RHIFYN CLVI.

# Y TRAETHODYDD.

## IONAWR, 1885.

CYNNWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF EBRILL 1, 1885.*

TREFFYNNON:
P. M. EVANS AND SON, CYHOEDDWYR.

PRIS DEUNAW CEINIOG.

# CYNNWYSIAD.

---

## IONAWR.



## EBRILL.



## GORPHENAF.

## HYDREF.

# Y TRAETHODYDD.

## AGORIAD COLEG GOGLEDD CYMRU.

Y MAE genym fel cenedl achos i ddwfn lawenhâu yn yr olwg ar y manteision addysgawl tra gwerthfawr sydd erbyn hyn wedi eu gosod o fewn ein cyrhaedd. Yr ydym wedi arfer grwgnach cryn lawer o herwydd ein hesgeuluso yn gymaint gan y Llywodraeth yn hyn, tra yr oedd rhanau eraill o'r deyrnas, a rhai o honynt ar bwys y cyllid cyhoeddus ag yr oeddym ni yn gwneyd ein rhan er ei gynnyrchu, yn cael eu gwala a'u gweddill o'r cyfleusderau goreu i ddiwyllio meddwl eu pobl ieuainc, ac felly i roddi iddynt y parotöad goreu i wynebu ar ymdrech einioes. Ond mae yn amlwg fod ein hachosion grwgnach yn diflanu y naill ar ol y llall, ac ymhen ychydig amser na fydd Cymru fechan, yn y mater o addysg, yn ol i'r un ran o'r deyrnas gyfunol. Yr unig anffawd ydyw na fuasai y mesur o Addysg Ganolraddol—mesur ag y deallir ei fod wedi ei barotoi er ys dros ddwy flynedd—wedi ei hen wneyd yn ddeddf, a bellach yn cymhwyso nifer mawr o'n hieuenctyd tirion i fwynhâu y manteision uwch sydd yn awr yn cael eu gosod mor helaeth o'u blaen. Er hyny y mae hanesyddiaeth yn yr achos pwysig hwn yn cymeryd camrau mor freision yn ein plith fel y mae braidd yn anhawdd i ni synied mor fawr ydyw y cyfnewidiadau sydd yn cymeryd lle. Yn 1843, pan anfonodd y diweddar Syr Hugh Owen ei lythyr enwog at ei gydwladwyr yn galw eu sylw at y manteision a gynnygid i sefydlu ysgolion elfenol ar egwyddorion y *British and Foreign School Society*, nid oedd nemawr ysgol ddyddiol o fewn y Dywysogaeth lle y gallesid rhoddi yr hyfforddiad symlaf i blant, oddieithr mewn cysylltiad â'r *National School Society*, cymdeithas ag oedd wedi ei sefydlu yn arbenig i'r dyben o "addysgu plant y tlodion yn egwyddorion Eglwys Loegr," ac felly yn dra anaddas i gyfarfod âg amgylchiadau Cymru, lle yr oedd corff mawr y boblogaeth yn Ymneillduwyr. Ond yn awr y mae ein gwlad wedi ei gorchuddio âg ysgolion elfenol o'r fath oreu, ac ni ymyrir yn yr un o honynt âg unrhyw aigyhoeddiadau ar dir cydwybod a allant fod yn gysegredig yn ngolwg unrhyw rieni a ddymuno anfon eu plant iddynt. Ac wedi i ni fod am flynyddoedd lawer yn dyheu am Goleg cenedlaethol—ac nid yn anfyn-

ych yn dueddol i ymollwng gan deimlo fod y drychfeddwl "yn brydferth fel un o'r sêr, ond ow, mor bell!"—yr ydym yn awr yn cael llawenychu yn modolaeth *tri* o Golegau felly yn ein gwlad, a phob un o honynt ar lawn waith, ac yn nghanol amgylchiadau tra ffafriol i lwyddiant ac enwogrwydd. Goreu po gyntaf, bid sicr, y cawn ein mesur o Addysg Ganolraddol trwy y Senedd; ond er hyny mae yn rhyfedd fel y mae ein Colegau yn myned ymlaen, ac mae yn ddiammeu y bydd eu cyflenwad o efrydwyr, a hyny o ran nifer a chymhwysder, yn cynnyddu o flwyddyn i flwyddyn.

Mae yn naturiol i'n cyfeillion ieuainc, yn neillduol, ymofyn pa fodd y daeth hyn oll oddiamgylch; ac ar yr achlysur dyddorol hwn o agoriad ein trydydd Coleg, mae yn addas i ni gymeryd mynyd o hamdden i edrych ar yr amgylchiadau ac ystyried pwy ydyw y cymwynaswyr yr ydym yn arbenig dan rwymau i'w mawrhâu wrth weled y manteision gwerthfawr hyn wedi dyfod i'n cyrhaedd.

Y mae ein cydwladwyr parchus, Mr. E. G. Salisbury o Gaer—gŵr ag yr ydym yn ddwfn yn ei ddyled ef ei hun yn yr achos o addysg—wedi ysgrifenu llythyr dyddorol ymha un yr hòna anrhydedd neillduol ynglŷn â chychwyniad y symudiad hwn i Mr. William Williams, Cymro llwyddiannus o'r Deheudir, a fu am yspaid yn Aelod Seneddol dros Coventry. Yr ydym oll yn gwybod am ei rodd garedig ef o £1000 at yr achos pan aed i ddechreu gweithio gydag ef, ond geilw Mr. Salisbury sylw at y ffaith ddyddorol ddarfod iddo ef ar y 10fed o Fawrth, 1846, gynnyg yn Nhŷ y Cyffredin, "Fod Anerchiad yn cael ei anfon at y Frenhines, yn erfyn ar ei Mawrhydi gyfarwyddo ar fod ymchwiliad yn cael ei wneyd i sefyllfa addysg yn Nhywysogaeth Cymru, ac yn neillduol i'r manteision sydd yn nghyrhaedd y dosbarthiadau gweithiol er ennill gwybodaeth o'r iaith Saesoneg." Mewn canlyniad i hyn fe benodwyd y Ddirprwyaeth a fydd yn enwog byth fel "gwŷr y llyfrau gleision," a chyflwynwyd eu Hadroddiad i'r Senedd yn 1847. Crybwylla Mr. Salisbury ei fod ar ymweliad â Mr. Williams yn mis Medi y flwyddyn hono, a'u bod yn ymddyddan am gael addysg uwchraddol i Gymru. Mynai Mr. Williams, yn naturiol, gael Coleg y Frenhines yn y De, a theimlai Mr. Salisbury, yr un mor naturiol, awydd ei gael yn y Gogledd; ond cytunasant i ymdrechu cael cymhorth y Llywodraeth tuag at gynnal un os nad dau Goleg felly i Gymru. Cawsant gyfarfod â'r Marquis of Landsdowne er ymddyddan yn rhydd âg ef yn ei dŷ am hyn, ond ni allent ei berswadio i'w cynnorthwyo. Ac mae yn ymddangos fod dau rwystr neillduol y pryd hwnw ar y ffordd i gael ein cydwladwyr i gymeryd y peth i fyny: un ydoedd y berw o anfoddlonrwydd oedd wedi ei achlysuro gan gulni a chwerwder y "llyfrau gleision;" y llall ydoedd y gwrthwynebiad a deimlai llawer at dderbyn dim cymhorth gan y llywodraeth at addysg, mwy nag at gynnaliaeth crefydd, er fod ein cenedl, gyda'r beichiau eraill yr ymgymerasai â'u dwyn, yn amlwg yn analluog ei hunan i ddarpar ar gyfer ei hanghenion addysgawl. Crybwylla Mr. Salisbury fod y Parch. Henry Griffith o Aberhonddu, a'r Parch. James Rhys Jones—a adnabyddir yn awr drwy Gymru benbaladr fel y Parch. J. R. Kilsby Jones—wedi rhoddi cefnogaeth ddeallus i Mr. Williams, er fod eu cydwladwyr dan arfau yn eu herbyn. Trowyd Mr. Williams o'r

Senedd gan Ymneillduwyr Coventry, a chondemnid Meistri Griffith a Jones fel wedi bradychu eu hegwyddorion trwy feiddio gofyn am arian y cyhoedd at gynnal Colegau yn Nghymru. Argraffodd Mr. Salisbury ddau o lythyrau yn niwedd 1847 o blaid y symudiad, ac anfonodd hwynt i brif weinidogion a lleygwyr y Gogledd, amryw o ba rai a addawsant gydweithredu. Ond fel gyda llawer o amcanion da, fe fethwyd ar y pryd a'i weithio allan, a gadawyd ef yn ddisylw hyd 1851, pryd yr ymunodd Mr. Hugh Owen gyda hwynt. Dair blynedd yn ddiweddarach cawsant gydweithrediad Mr. Osborne Morgan. O hyny ymlaen mae yr hanes yn fwy adnabyddus, ac yr ydym yn rhwymedig i Mr. Salisbury am osod o fewn ein cyrhaedd yn awr y ffeithiau dyddorol a grybwyllwyd.

Yn 1854 fe ddygodd Mr. Owen gynnygiad ger bron am gael un neu ychwaneg o Golegau y Frenhines fel a sefydlasid yn Iwerddon, yn Nghymru, a chaed ymgynghoriad dylanwadol yn Llundain mewn perthynas iddo. Yr oedd yn bresennol y Parchn. Henry Rees, Lewis Edwards, D.D., David Charles, D.D., a Meistri E. G. Salisbury (oedd y pryd hyny yn Aelod Seneddol dros Gaer), Osborne Morgan, A.S., Hugh Owen, a Richard Davies, A.S. Gwnaed gan y boneddigion teilwng hyn barotöadau er ceisio dwyn y symudiad ymlaen. Ond torodd y rhyfel Rwssiaidd allan, ac ymddangosai yr adeg yn anobeithiol i feddwl am gael cymhorth y Llywodraeth at addysg uwchraddol yn Nghymru. Ymroddodd Mr. Owen, fodd bynag, mewn undeb â'r Parchn. Henry Rees a John Phillips, a Meistri Salisbury, Richard Davies, Robert Davies, David Roberts, W. H. Darby, a Robert Forster (ewythr yr Aelod Seneddol dros Bradford), ac eraill, i sefydlu y Coleg Normalaidd yn Mangor, yr hwn a agorwyd yn 1858, ac a symudwyd i'w gartref hardd a chyfleus presennol yn 1862. Y mae y sefydliad er hyny wedi troi allan nifer mawr o athrawon galluog a medrus i ysgolion elfenol Cymru, ac fe addefir ei fod yn gwneyd ei waith yn dda. Ond nid oedd modd, yn enwedig i ŵr o benderfyniad meddwl Syr Hugh Owen, ollwng gafael ar yr amcan gwych o gael mantais i'r Cymry gyrhaedd ychydig o addysg uwchraddol yn eu gwlad. Yn 1863 darllenodd Dr. Nicholas bapyr yn Eisteddfod Genedlaethol Abertawe ar "Addysg Uwchraddol yn Nghymru." Dyma y pryd yr addawodd Mr. William Williams ei £1000 at yr amcan. Bu Dr. Nicholas am yspaid yn gweithredu fel goruchwyliwr y symudiad, a chasglodd lawer o arian tuag ato; wedi hyny ymgymerodd Dr. David Charles â'r gwaith, a bu yntau yn dra diwyd ac ymdrechgar gydag ef; ac wedi iddo ef ei adael, darfu i'r diweddar Syr Hugh Owen, yr hwn er mwyn cwbl ymgysegru i'r gwaith a roddodd i fyny y swydd o brif glerc y *Poor Law Board*, ymdaflu â'i holl galon, ac heb dderbyn dimai am ei boen, ïe, at ei dreuliadau, i'r ymdrech o gasglu at a cheisio sefydlu y Coleg oedd erbyn hyny ar gael ei agor yn Aberystwyth. O'r flwyddyn 1863, pan ddechreuwyd casglu, hyd 1880, yr oedd cyfraniadau pobl Cymru at y Coleg yn £51,131. Ac y mae yn dra dyddorol cofio fod 100,000 o danysgrifiadau wedi dyfod i wneyd i fyny y swm yna oeddynt dan hanner coron yr un. Yr oedd y fath amlygiad digyffelyb o'r dyddordeb a gymerai y Cymry yn y cwestiwn o addysg uwchraddol yn ddadl ryfeddol o gref dros apelio am gymhorth

o'r Llywodraeth tuag at ddwyn y sefydliad ymlaen; a gwyddid fod Mr. Gladstone yn teimlo yn hynod o ffafriol at yr amcan pan y rhoddes ei le i fyny ac y daeth y Toryaid i allu yn 1874. Yn Medi 1877, ynglŷn âg agoriad Coleg Nottingham, llefarai efe am Gymru yn yr ymadroddion caredig a ganlyn:—"Gadewch i mi gyfeirio at achos arall â pha un yr wyf yn bersonol gydnabyddus, i ddangos i chwi, lle bynag y mae addysg elfenol yn cael ei charu, y rhaid caru a chyfranu addysg uwch hefyd. Yr wyf yn siarad am Gymru, yn yr hon y mae genyf yr hapusrwydd o dreulio rhan fawr o'm hamser; ac nid oes ran o boblogaeth y deyrnas—ac yr ydwyf yn ei ddyweyd yn rhydd a hyderus yn eich clywedigaeth—nid oes ond ychydig ranau a all gystadlu â Chymru, ac nid oes un ran a all ragori arni o'r naill ben i'r ynys i'r llall mewn cariad difrifol, ac, mi allaf ddyweyd, angerddol, at addysg. Y maent yn bobl grefyddol, ac yn bobl mewn dwfn gariad at wybodaeth; ac mae yr hyn a wnaethant wedi ei wneyd heb ond ychydig iawn o gynnorthwy. Heb help o gwbl o unrhyw gyllid cyhoeddus o fath yn y byd, y maent o fewn y pump neu y chwe' blynedd diweddaf yma wedi sefydlu Coleg mawr a phwysig yn Aberystwyth. A ydyw yn bosibl i chwi gael prawf cryfach fod cariad at addysg elfenol yn arwain ymlaen, ac y rhaid iddo arwain ymlaen, i ymdrech dra egnïol er sefydlu addysg uwchraddol?" Yn 1875 fe aeth dirprwyaeth dra pharchus o'r Aelodau Seneddol Cymreig ac eraill—i osod yr achos o flaen Duc Richmond, yr hwn oedd mewn awdurdod yn y Cynghor Addysg dan Arglwydd Beaconsfield; ond fel y gallesid dysgwyl, ni fu eu cais ond hollol ofer. Yn 1880, fodd bynag, wedi yr etholiad mawr a wnaeth y fath dro ar fyd tua Thŷ y Cyffredin a'r Llywodraeth, fe anfonodd Cynghor y Coleg gyfarchiad rhagorol at Mr. Gladstone, ac fe gynnygiodd ein cydwladwr teilwng Syr Hussey Vivian benderfyniad yn y Senedd yn ffafr hawliau Cymru yn y mater o addysg uwchraddol. Yr oedd llaw Syr Hugh Owen yn hyn oll hefyd; ac ar ei argymhelliad ef, fe benodwyd Pwyllgor dan y Cynghor Addysg, y *Departmental Committee*, i edrych i fewn i sefyllfa addysg ganolraddol ac uwchraddol yn Nghymru a Sir Fynwy. Ei aelodau oeddynt, Arglwydd Aberdar (cadeirydd), Arglwydd Emlyn, Prebendary Robinson, a Meistri Henry Richard, John Rhys, a Lewis Morris. Yr oedd Syr Hugh ei hun allan, am fod ganddo ymddiried llawn yn y boneddigion uchod, ac am y carai yn hytrach gael cyfleusdra i roddi tystiolaeth o flaen y Pwyllgor.

Yr oedd penodiad y pwyllgor hwn yn un o'r pethau mwyaf hapus a allasai gymeryd lle. Yr oedd yn amlwg fod y Llywodraeth yn gweithredu yn yr ysbryd goreu, gan benderfynu gwneyd unrhyw beth a fuasai yn rhesymol i gyfarfod â'n hanghenion. Clywsom Syr Hugh Owen yn adrodd fod Mr. Mundella yn dyweyd wrth rai o'r aelodau pan yn dechreu ar eu gwaith—fe allai rhwng difri' a chwareu, ond yn amlwg gan ystyried a ddywedai,—"Ask enough." Gofynwch ddigon! Ac felly y gwnaethant. Ymgymerodd y chwe' boneddwr â'r gwaith a ymddiriedasid iddynt yn y modd mwyaf calonog. Mor anfesurol wahanol oeddynt i'r gwŷr ieuainc o Saeson a ddaethent i edrych noethder ein gwlad ac i'n gwaradwyddo yn 1847! Yr oedd y rhan fwyaf o'r *Departmental Committee* yn gwybod cryn lawer am danom eisoes, ac yr oeddynt oll yn ddiragfarn, ac yn barod i gymeryd eu harwain gan

y tystiolaethau a osodid o'u blaen. Ac wedi derbyn corff o dystiolaethau sydd yn llanw cyfrol fawr unplyg o dros naw cant o du dalenau, ac yn cynnwys ystori pawb y gellid cael gafael arnynt a deimlent fod ganddynt rywbeth i'w ddyweyd o berthynas i anghenion addysgawl ein cenedl, hwy a dynasant i fyny eu Hadroddiad—Adroddiad sydd o ran gallu, a doethineb, a thegwch, yn llawer o glod iddynt, ac a ddylai wneuthur eu henwau yn anrhydeddus gan y Cymry hyd byth. Mae yn wir nad ydyw yn cynnwys dim nad ydoedd berffaith uniawn a phriodol; ond pan gofiwn i ni fel pobl fod am gymaint o amser yn dyoddef yn yr achos pwysig hwn y fath gamwri, a phan yr oedd gan rai o honynt hwythau ragfarnau eu "llwyth," chwedl Bacon, yn rhwystrau cryfion ar eu ffordd i ddilyn y cyfeiriad a nodid gan y tystiolaethau, ni fuasai yn rhyfedd pe buasent hwythau, fel Dirprwywyr 1847, a thrachefn Dirprwywyr 1866, ac amryw eraill cyffelyb, yn terfynu eu llafur mewn oferedd, os nad rhywbeth gwaeth. Ond ni allasem fel pobl ddymuno iddynt wneyd yn well ar ein rhan nag y gwnaethant. Nodwedd arbenig eu hadroddiad ydoedd, y mynent i ni gael ein cyfarfod yn yr amgylchiadau yr oeddem ynddynt, gan gydnabod ein cenedlaetholdeb, ein hiaith, ein hymneillduaeth, ein hawydd angerddol am wybodaeth, a'n tlodi,—ac nid ymddwyn tuag atom fel pe buasem oll yn Saeson ac Eglwyswyr, gan gau llygaid ar yr holl nodweddion neillduol ag oedd yn ein gwahaniaethu yn gymaint oddiwrth y gweddill o'n cyd-ddeiliaid. Argymhellent, yn gyntaf, ar ein bod ymhob man y byddai yn gyfleus, yn cael Ysgolion Elfenol Uwchraddol, *Advanced Elementary Schools.* Mae nifer da o'r ysgolion hyn ar waith mewn amryw fanau yn Lloegr, a rhai yn Nghymru; a chyda thaliad am yr addysg o ryw naw ceiniog yr wythnos ar ran yr ysgolheigion, y mae y Byrddau Ysgol, gyda chymhorth y Llywodraeth, yn gallu eu cario ymlaen heb fod ond o ychydig iawn o bwys ar y trethi. Yr oeddynt hefyd, yn ail, yn argymhell ar ein bod yn cael cyflenwad digonol o Ysgolion Canolraddol ar gyfer ein bechgyn a'n genethod, gan roddi pwys neillduol ar fod llywodraethiad yr ysgolion hyny yn llaw cynnrychiolwyr y bobl, ac nid mewn un modd yn meddiant unrhyw sect. Ac argymhellent, yn drydydd, ein bod yn cael dau Goleg, y naill i'r De a'r llall i'r Gogledd, gyda chynnorthwyo blynyddol o £4000 o'r Llywodraeth tuag at gynnal pob un o honynt. Ac os oedd y *Departmental Committee* yn haelfrydig a doeth yn gwneuthur y fath argymhelliadau, nid llai oedd haelfrydedd a doethineb y Llywodraeth yn penderfynu ar unwaith i weithredu yn eu hol. Yn ddiymaros, fe anfonodd y Cynghor Addysg at y Byrddau Ysgol Cymreig yn galw sylw at yr argymhelliad o berthynas i'r *Advanced Elementary Schools,* gan ddangos pob parodrwydd i gyfarfod â'r Byrddau hyny a ddymunent eu sefydlu, gyda *grant* o'r Llywodraeth. Fe allai fod rhai ardaloedd yn araf i ysgogi yn y cyfeiriad yma, gan ddysgwyl gweled beth allai fod darpariaethau y mesur Addysg Ganolraddol. Ond mae yn gwbl sicr am lawer o fanau lle y mae ysgolion elfenol da, y byddai yn anhawdd iddynt gael dim gwell nag Ysgol Elfenol Uwchraddol, heblaw y byddai y baich o'i chynnal, gyda y *grants,* yn llawer ysgafnach nag yr ymddengys yn bosibl i'r baich o gynnal Ysgol Ganolraddol fod. Am yr Ysgolion Canolraddol, ni ellid ysgogi mewn ffordd o gario allan argymhelliadau y

pwyllgor gyda golwg arnynt hwy heb weithred Seneddol, ac ysywaeth y mae y dagfa ar y gwaith cyhoeddus yn y Senedd, trwy y perffeithrwydd y mae cynifer o'r aelodau anrhydeddus wedi gyrhaedd yn y gelfyddyd o lesteirio pob amcan da, wedi gwneuthur hyny hyd yma yn anmhosibl. Clywsom fod Mr. Mundella wedi arfaethu dwyn y mesur hwnw ymlaen yr adeg ag y teimlai Mr. Gladstone ei fod dan rwymau, wedi gwrthodiad mesur yr etholfraint gan yr Arglwyddi, i ddadgan na allent ond dirwyn y Senedd-dymmor i ben mor fuan ag y byddai modd, a chyfarfod drachefn yn yr Hydref i ail ystyried mesur yr etholfraint. Felly, am golli blwyddyn yn ychwaneg gyda mesur yr Ysgolion Canolraddol—fel am gynnifer o fendithion eraill—yr ydym i ddiolch am Dŷ yr Arglwyddi! Am y Colegau, fe ddarfu i'r Llywodraeth eu cymeryd hwy i'r bleidlais ar yr amcan-gyfrifon, ac felly, can gynted ag y gallem fod yn barod i alw am danynt, yr oedd y ddau £4000 at ein gwasanaeth. Ac i aros i'r Gogledd benderfynu pa un a allai ymgymeryd â'r Coleg yn Aberystwyth, ynte a fyddai yn well ei "symud i Gaernarfon neu Fangor," fe benderfynwyd hefyd, yn y cyfamser, rhoddi y *grant* i Aberystwyth.

Yn y Deheudir nid oedd mor anhawdd penderfynu ymha le y byddai y Coleg, gan fod yn amlwg y rhaid ei sefydlu naill ai yn Nghaerdydd neu yn Abertawe. Wedi cael barn gwŷr diduedd ar hawliau cymharіaethol y ddwy dref, ac wedi yr haelioni canmoladwy a ddangoswyd at yr amcan o sefydlu y Coleg, fe lwyddwyd i'w agor mewn adeilad gymhwys yn Nghaerdydd yn Hydref, 1883. Yn y Gogledd, o'r ochr arall, yr oedd yn anhaws ymsymud. Yr ydoedd i fesur yn gwestiwn agored pa un a fyddai Coleg Aberystwyth yn Goleg y Gogledd, ynte a ellid cael un yn y Gogledd ei hunan; ac os gellid cael Coleg yn y Gogledd, yr oedd nifer mawr o leoedd yn awyddus am dano, ac oll yn barnu eu bod bob un cystal a'u gilydd—a gwell hefyd!—fel cartref i'r sefydliad. Buwyd am gryn amser yn petruso, heb fod neb yn gallu anturio symud yn yr achos o gwbl. O'r diwedd cynnygiodd Mr. Gee yn nghyfarfod y Cymmrodorion ynglŷn âg Eisteddfod Dinbych yn 1882, fod llythyr yn cael ei anfon at gyfeillion addysg trwy Ogledd Cymru i ofyn eu barn am y priodoldeb o fod Cynnadledd yn cael ei chynnal i ystyried beth a fyddai oreu ei wneyd. Dangoswyd cymeradwyaeth gyffredinol o'r amcan, ac mewn canlyniad fe gyfarfu y Gynnadledd a gynnaliwyd yn Nghaer yn Ionawr, 1883. Yno yr ydoedd yn gwbl amlwg fod pobl Gogledd Cymru yn benderfynol o gael eu Coleg *yn* Ngogledd Cymru. Yna fe ddaeth y cwestiwn dyrys i'w ystyried, pa fodd y penderfynid rhwng y tri lle ar ddeg oedd yn cydymgais am yr anrhydedd o gael bod yn gartref i'r sefydliad; ac er nodi ar nifer o bersonau y tybid y gellid ymddiried ynddynt i geisio penderfynu y mater, fe ganfu y boneddigion hyny, wedi iddynt ddyfod ynghyd, fod yn anobeithiol iddynt allu dyfod i ben â'r dasg a ymddiriedasid iddynt, yn gymaint a'u bod yn "advocates and judges,"—y dysgwylid i bob un ddadleu dros ei ardal arbenig ei hun, ac wedi hyny i eistedd mewn barn ar hawliau y cyfan. Yn wyneb hyny ni ellid meddwl am ddim doethach na dilyn esiampl ein cydwladwyr yn y Deheudir, a gadael y cwbl at farn tri o foneddigion doeth a pharchus y tu allan i Gymru, gan ddysgwyl y gallasent hwy ymgodi uwchlaw pob rhagfarnau lleol,

a gwneyd yr hyn a fyddai oreu i'r wlad oll, ac i genedlaethau y dyfodol. Ac fe gydolygwyd na ellid meddwl am well tri na'r rhai ag oedd wedi bod yn cyflafareddu yn y Deheudir, sef y Barwn Bramwell, Arglwydd Carlingford, a Mr. Mundella,—y ddau olaf yn yr awdurdod uchaf yn y Cynghor Addysg, ac wedi profi yn gyfeillion tra phur i Gymru. Awst yr 31ain, 1883, fe wnaed yn hysbys fod y tri boneddwr wedi penderfynu yn unfrydol yn ffafr Bangor.

Gydag achos ag yr oedd teimladau y genedl mewn perthynas iddo mor hynod o fyw, fe fuasai yn dra rhyfedd pe na fuasai llawer yn teimlo yn siomedig wrth yr hyn a wnelsid gyda golwg arno, a than eu siomedigaeth eu bod yn cael eu temtio i fod yn "farnwyr meddyliau drwg." Yr oedd llawer ag oedd wedi bod yn gweithio yn ffyddlawn gyda Choleg Aberystwyth, yn dra anfoddlawn iddo beidio cael ei gydnabod, os nad fel un Coleg Prifysgol i Gymru oll, eto o leiaf fel un o ddau. A chan na ellid meddwl am dano, er yn y Deheudir, fel Coleg i'r Deheudir, nid oedd dim i'w wneyd ond ceisio profi ei fod yn y lle cymhwysaf y gellid meddwl am dano fel Coleg i'r Gogledd. Clywsom ymresymu cywrain ac areithio hyawdl er profi fod Aberystwyth yn fwy cyfleus i'r oll o Ogledd Cymru nag un man yn Ngogledd Cymru. Ond nid oedd unrhyw gywreinrwydd na hyawdledd a allasai berswadio y Gogleddwyr i gredu peth felly, ac ar egwyddor y dyfyniad o Matthew Arnold a argreffir yn Adroddiadau Coleg Aberystwyth—"Os oes un peth y mae fy mhrofiad tramor wedi fy ngadael i yn argyhoeddedig o hono—mor argyhoeddedig ag ydwyf o'n hangen am addysgiaeth uwchraddol—dyma ydyw: y rhaid i ni gymeryd yr addysgiaeth yma at yr efrydwyr, ac nid gobeithio dwyn yr efrydwyr at yr addysgiaeth,"—fe deimlai pobl y Gogledd y dylai eu Coleg hwy fod yn nês atynt nag Aberystwyth. Ac fe farnai y Llywodraeth hefyd fod ganddynt reswm digonol dros hyny. Fe lefarwyd ac fe ysgrifenwyd pethau cryfion mewn ffordd o gondemnio y Llywodraeth am hyn, gan ei chyhuddo o ddinystrio y Coleg a godasid gan zel a chariad pobl Cymru. Mae yn amlwg nad oedd dinystrio mewn golwg o gwbl, ond rhoddi, yn lle un sefydliad oedd yn ymladd am fodolaeth dan amgylchiadau mor anfanteisiol, ddau Goleg, a'r rhai hyny wedi eu planu yn y manau mwyaf cyfleus yn nhrwch poblogaeth dau ben y dalaeth, a than yr amgylchiadau mwyaf manteisiol i gario ymlaen yn llwyddiannus eu gwaith mawr. Yn ddiweddarach fe feddyliwyd am ddadl arall, sef fod eisieu Coleg Aberystwyth i Ganolbarth Cymru, ac fe gaed fod ei gyflenwad o efrydwyr o'r dechreuad wedi dyfod ymron yn gwbl o Sir Aberteifi a *Mid-Wales*, ac am hyny y gellid ei gario ymlaen i barhâu fel Coleg i'r parthau hyny, heb ymyraeth â'r gwledydd oedd yn fwy cyfleus i Gaerdydd a Bangor. Ar bwys y ddadl hon, gyda'r haelioni mawr a ddangosid dros ei gario ymlaen, fe gydsyniodd y Llywodraeth—yn ychwanegol at yr oll a argymhellid gan y *Departmental Committee*—i roddi £2500 yn y flwyddyn am bum' mlynedd tuag at Goleg Aberystwyth, fel y galler gweled hefyd pa un a ydyw Cymru yn galw am drydydd Coleg. A da iawn oedd genym ddeall oddiwrth areithiau Mr. Mundella yn Mangor, ac wedi hyny ei araeth garedig yn Aberystwyth, nad ydyw efe a'r boneddigion teilwng eraill sydd yn gwneyd i fyny Lywodraeth ei Mawrhydi mewn un modd yn ofni i Aberystwyth ar derfyn y pum'

mlynedd ddyfod ymlaen i wneyd yn dda ei hawl i'r un swm blynyddol â'r Colegau eraill, ond eu bod o galon, gan faint eu hawydd am ddyrchafiad ein cenedl, yn dymuno llwyddiant y cyfan. Nid oedd yn annaturiol ychwaith i'r rhai oedd wedi rhoddi eu bryd yn gymaint ar gael Coleg y Gogledd i'w tref neillduol eu hunain, deimlo yn siomedig fod dyfarniad y cyflafareddwyr wedi disgyn ar Fangor. Ar unrhyw dir nid oedd fodd i ddwsin o fanau beidio a chael eu siomi! Ond ar wahân oddiwrth bob ystyriaethau eraill, ymha rai, a dyweyd y lleiaf, nad ydyw Bangor yn ol i'r manau mwyaf dymunol, pan ystyrir y dangosid ei bod o fewn dwy awr a hanner o drafaelio gyda y rheilffyrdd i fwy na hanner poblogaeth Gogledd Cymru, nid oedd mewn un modd yn ddyeithr fod boneddwyr parchus a galluog fel y cyflafareddwyr yn cytuno arni fel y lle mwyaf manteisiol i fod yn eisteddle i Goleg y Gogledd. Mae yn ddrwg genym fod teimladau chwerwon wedi eu dangos yn y mater yma, ac fod drwg-dybiau heb rith o sail iddynt wedi eu coleddu am ddylanwadau annheg yn cael eu dwyn ar feddyliau y cyflafareddwyr; ac yn arbenig fod y gwŷr anrhydeddus hyny eu hunain wedi derbyn llythyrau tra angharedig yn eu cyhuddo o bartïaeth, &c. Ond mae yn gysur mawr gweled fod pethau yn yr ystyr yma yn iachâu mor hyfryd, ac fod ein cydwladwyr yn gyffredin yn gweled nad oes, wedi y cyfan, gamgymeriad mawr wedi ei wneuthur. Clywsom ar un adeg daranau mawrion yn llanw yr awyrgylch ac yn ein rhybuddio rhag meddwl y telid yr addewidion a wnelsid mor haelfrydig at y Coleg, gan ei fod yn dyfod i Fangor. Ond yr atebiad i hyny ydyw fod eisoes, yn ystod y flwyddyn gyntaf, a hyny er bod o dair i bum' mlynedd yn cael eu rhoddi i dalu y symiau a addewid, tua £23,000 allan o'r cyfanswm o £33,000 a addawyd, *wedi* dyfod i law. Ac fe bregethwyd gydag yni a dyhewyd difesur, gan fod y Coleg dan gysgod yr Eglwys Gadeiriol, ac wrth fur Castell y Penrhyn, y byddai o angenrheidrwydd yn sefydliad Eglwysig a Thoryaidd. Fe ddysgid pethau cyffelyb hefyd am Goleg Caerdydd, gan hòni mai yr unig ymwared i Ymneillduwyr a Rhyddfrydwyr Cymru, os ydynt am wrthweithio y dylanwadau gwenwynig yn y ddau Goleg newydd, ydyw cadw ymlaen Goleg Aberystwyth. Mae yn dda genym fod rhesymau gwell dros barhâu yn yr ymdrech i gario ymlaen y gwaith da a wneir yn ein Coleg rhagorol yn Aberystwyth. Ond am y dylanwadau gwenwynig, nid ydynt yn bod ond yn nychymyg y rhai sydd yn ceisio ein dychrynu, os ydyw yn bosibl eu bod yn hanfodi hyd yn nod yn y diriogaeth hono. Fel y dywedai Arglwydd Aberdâr yn y cyfarfod cyhoeddus a gynnaliwyd ynglŷn â chyfarfod diweddaf Cynghor Coleg Aberystwyth, "Those were mere idle dreams, idle visions." Am Goleg Bangor, nid ydyw yr Esgob yn aelod o Lys y Llywodraethwyr nac o'r Cynghor; nid oedd yr un Clerigwr ychwaith ar y Cynghor ond y diweddar Ddeon; a phan aed i ethol aelod yn ei le ef, ni feddyliwyd hyd yn nod am enwi Clerigwr, ond fe ddewiswyd, ac yn dra phriodol, yr ysgolhaig gwych a'r athraw da, Mr. Glynn Williams, o Ysgol y Friars, yr hwn sydd yn cynnrychioli yr Ysgolion Gramadegol a fyddant yn brif *feeders* y Coleg. Y mae y Siarter hefyd yn gwbl anenwadol; ac ar yr un dealltwriaeth y mae *grant* y Llywodraeth yn cael ei roddi; heblaw hyny mae mwyafrif anferth y Llywodraethwyr yn

Ymneillduwyr a Rhyddfrydwyr; mae yr un peth i'w ddyweyd hefyd am y Cynghor; ac yn ychwanegol at y cwbl, yr ydym yn hyf i ddyweyd am yr Eglwyswyr Toryaidd parchus sydd ar y Cynghor, nad oes neb yn fwy ffyddlawn i egwyddor genedlaethol y sefydliad. Ni fuasai yn ddichonadwy i Mr. Miall ei hun fod yn fwy teg a diduedd, neu yn fwy pur i'r dealltwriaeth am gymeriad anenwadol y Coleg, na Chadeirydd parchus y Cynghor, y *Colonel* yr Anrhydeddus Sackville West. Ac am Arglwydd Penrhyn, er nad oes unrhyw gysylltiad o gwbl rhyngom ni â'r pendefig teilwng, ac nad ydyw, am a wyddom, yn ein hadwaen oddiwrth Adda, eto yr ydym yn rhwym o ddyweyd ei fod wedi ymddwyn yn yr holl helynt yma mewn ffordd a ddylai yn sicr leddfu ein hammheuon, ïe, yn wir, ennyn ein hedmygedd a'n diolchgarwch. Fe ŵyr pawb fod ei Arglwyddiaeth yn Geidwadwr o egwyddor, ac yn Eglwyswr cydwybodol; ac yn y cylchoedd hyny mae ei haelioni trwy y blynyddoedd wedi bod yn dywysogaidd. Ac er fod ei garedigrwydd ef a'i deulu mewn llawer o ffyrdd eraill wedi bod bob amser yn fawr, eto nid ydym yn gwybod iddo o gwbl ddyfod allan mor amlwg ag yn y tro hwn fel cymwynaswr i'r Cymry yn ddiwahaniaeth. Fe addawodd £1000 at y Coleg, ac fe'u haddawodd i Mr. Rathbone, gŵr oedd ychydig cyn hyny wedi ei drechu ef a'i blaid mor lwyr yn mrwydr fawr yr etholiad; ac ynglŷn â'i addewid, fe ychwanegodd ammod oedd yn werth llawer mwy na £1000,—"os cai foddlonrwydd y dygid ef ymlaen yn rhydd oddiwrth bob gogwydd politicaidd ac enwadol, y byddai yn dda ganddo ei gynnorthwyo, ac y rhoddai tuag ato yn sicr ddim llai na mil o bunnau." Drachefn fe gyfarfyddodd y Cynghor yn y modd mwyaf rhesymol a charedig gyda gosod y *Penrhyn Arms Hotel* fel cartref i'r Coleg dros dymmor; y mae hefyd yn rhoddi dwŷ ysgoloriaeth o £50 bob un; a phan ofynodd y Cynghor a fyddai efe cystal â dyfod ar ddiwrnod yr agoriad i gyflwyno yr allwedd yn enw y Cynghor a'r Llywodraethwyr a phobl Gogledd Cymru, i Lywydd y Coleg, Iarll Powys, fel y gallai yn ffurfiol ei agor, anfonodd ar unwaith i ddiolch am eu teimlad da ac i ddyweyd y byddai yn hyfryd ganddo gydsynio â'u cais, ond dan yr amgylchiadau—gan gyfeirio mae yn ddiau at farwolaeth ddiweddar ei fab—ei fod yn gobeithio na ddysgwylient ychwaneg oddiwrtho. A phan oedd yr holl Gynghor yn llawenhâu wrth glywed darllen ei lythyr, ychwanegai *Col.* West fod Arglwydd Penrhyn hefyd yn myned i roddi agoriad aur i'r perwyl, o'r fath ag a roisid i Arglwydd Aberdâr yn Nghaerdydd. A hyn oll i Goleg ag yr addawodd ac y talodd ei £1000 tuag ato, ar ol cael boddlonrwydd ei fod i fod yn rhydd byth oddiwrth bob gogwydd politicaidd ac enwadol! Y mae cyfarfod teimladau o'r fath yma gydag ammheuon a drwgdybiau yn ffolach na lladd y lladdedigion, ac yn dangos ysbryd nad yw yn weddus i ni, yn sicr, ymffrostio ynddo. Pan y mae eisieu ymladd, a phan deimlwn yn enwedig fod egwyddorion mawrion yn y chwareu, gadewch i ni ymladd fel gwŷr, a dwyn barn ein hegwyddorion i fuddugoliaeth; ond pan mae y goncwest wedi ei hennill, a phan yn y mater ardderchog yma o addysg uwchraddol y mae gwŷr mwyaf urddasol ein gwlad yn ein cyfarfod, a hyny ar ein tir ni ein hunain o anenwadaeth bur a digymysg, wel, os oes gronyn o ŵreidd-dra o fewn ein natur, gadewch i ni eu cyfarfod yn barchus a charedig, a mawrhâu eu cynnorthwy gwerthfawr i gario ymlaen y gwaith da.

Ac ni allasai dim ddangos yn fwy amlwg y teimladau da â pha rai o bob cyfeiriad y croesawir y Coleg na helynt fawr adeg ei agoriad. Fe dderbyniwyd gwahoddiad y Cynghor i fod yn bresennol ar yr achlysur gan lïaws mawr o faerod, a chynghorwyr, a gweinidogion, a llywyddion Colegau, ac athrawon—y rhai a ddeuent yno yn eu hurddwisgoedd dinesig ac athrofaol,—gyda nifer anferth o danysgrifwyr ac ewyllyswyr da. Gwnelid pwyllgor y parotoadau i fyny o is-bwyllgor o Gynghor y Coleg, un arall o Gynghor dinas Bangor, ac un arall a benodasid gan gyfarfod cyhoeddus yn Mangor, ac fe addefir y buasai yn anhawdd i'w drefniadau fod yn well. Yr oedd y "Reception" y nos Wener flaenorol gan y Maer a'i foneddiges (Major a Mrs. Platt) a Chorfforiaeth Bangor, yn y Masonic Hall, i'r Cynghor a'r Llywodraethwyr a'r Proffeswyr, &c.—pob boneddwr i ddyfod â boneddiges gydag ef—yn beth gwych dros ben, ac yn gyfleusdra hynod o ddymunol i bobl, heblaw mwynhâu y miwsig a'r *refreshments*, i adnabod a mwynhâu cymdeithas eu gilydd, ac, wrth reswm, i gydlawenhâu ar yr amgylchiad dedwydd o agor y Coleg. Ac am yr orymdaith ddydd Sadwrn, ar ol Anerchiad Agoriadol benigamp y Llywydd, Iarll Powys, yn y Penrhyn Hall,—nid ydyw yn ormod dyweyd ei bod yn fawreddog. Dywedir ei bod tua milldir a hanner o hyd, er fod y dynion yn cerdded ynddi bob yn bedwar, ac fynychaf bob yn chwech. Fe allai ambell un dybied ei fod braidd yn blentynaidd i gynifer gerdded o amgylch y ddinas. Digon tebyg. Ond plant *ydym* oll, er fod rhai o honom yn "children of a larger growth." Ac mae yn anhawdd meddwl am ddim arall a roisai y fath gyfleusdra i gynifer deimlo eu bod yn cymeryd rhan yn yr amgylchiad dyddorol â thrwy ymuno ar y fath ddiwrnod hyfryd mewn gorymdaith drefnus, gyda seindyrf a banerau; heblaw fod yr olwg arnynt yn peri dyddordeb neillduol i filoedd lawer oedd wedi dyfod ynghyd o bob cŵr ar y wlad nad oeddynt yn cerdded yn yr orymdaith. Yr oedd pawb yn teimlo fod yr amgylchiad yn un mawr; yr oeddynt yn falch o hono; ac yr oedd yn dda ganddynt oll gael cyfle i wneyd eu rhan mewn ffordd o'i "ddathlu." Yr oedd Mr. Mundella newydd gyrhaeddyd o Sheffield, wedi trafaelu bron trwy y nos er bod yn bresennol, ac wrth edrych ar yr orymdaith fawr o ffenestr ystafell wely yn yr *Hotel*, a gweled dwfn gariad y bobl at eu Coleg—Coleg ag yr oedd cynifer o honynt, ac mewn ffordd mor sylweddol, wedi gwneuthur cymaint erddo—yr oedd ei galon, fel yr addefai ef ei hun, yn dychlamu gan lawenydd. Yr ydoedd y *procession* wedi ei drefnu fel y canlyn:—1. Coast Guards. 2. Royal Naval Volunteers. 3. Band. 4. Menai Society, Medical Association, and University Graduates. 5. Clergy and Ministers. 6. Representatives of School Boards. 7. Masters of Grammar and Elementary Schools. 8. Normal College Students. 9. Representatives of Local Boards and Commissioners. 10. Representatives of Corporations,—Chester, Oswestry, Beaumaris, Carnarvon, Conway, Denbigh, Flint, Llanidloes, Pwllheli, Ruthin, Welshpool, and Wrexham. 11. Bangor City Council. 12. Mayor of Bangor, High Sheriff of Carnarvonshire, and President of Cardiff and Aberystwyth Colleges (Lord Aberdare). 13. Principals of Liverpool, Cardiff, and Aberystwyth University Colleges. 14. Registrar. 15. Treasurer. 16. Vice-Presidents. 17. President. 18. Council of North Wales University College. 19. Principal and Professors.

20. Court of Governors. 21. Band. 22. Bodies of Subscribers, Penrhyn Quarrymen,* Dinorwic Quarrymen, &c. 23. Trades,—Printers, Millers and Bakers, Tailors, Sailors and Ship Carpenters, Port Penrhyn and Slateyard Workmen, Bootmakers and Curriers, Joiners, Builders and Masons, Cabmen. 24. Tradesmen and general Public. 25. Benefit Societies. 26. Clio Boys. 27. Grammar School Boys. 28. Elementary Schools.

Am resymau amlwg, a'r rhai hyny yn cael eu dwyn ymlaen gan rai ag y mae ambell un eto yn dra pharod i'w drwgdybio, ni threfnwyd fod dim gwasanaeth crefyddol arbenig yn cael ei gyflawni ynglŷn â'r amgylchiad, er mae yn ddiau fod teimladau addolgar yn ymchwyddo mewn aml i fynwes wrth ystyried yr hyn oedd yn cymeryd lle; ond wedi cyrhaedd y Coleg, pan oedd y dorf fawr yn ymgrynhoi o amgylch y lle, fe darawodd rhywun yr Hen Ganfed ar

Praise God from whom all blessings flow,

ac fe ymunodd rhai miloedd gydag ef i'w chanu; wedi hyny fe ganwyd yr un modd yn Gymraeg,

I Dad y trugareddau i gyd.

A diammeu fod llawer gweddi yn esgyn i fyny ar fod y Goruchaf yn bendithio yn helaeth y gwaith ag oedd y diwrnod hwnw, a than amgylchiadau mor addawol, yn cael ei ddechreu.

Yr oedd seremoni yr agoriad yn weddus a hardd. Yr oedd y pendefig hybarch, Arglwydd Penrhyn, wrth y drws yn aros yr orymdaith. Ar ysgwâr o garped oedd ar y palmant o flaen y fynedfa, safai Llywydd neu *President* y Coleg, Iarll Powys. Ac fel Cadeirydd y Cynghor dywedai *Col.* West, mewn llais oedd yn glywadwy i nifer mawr o'r rhai oedd yn bresennol, fod dwy ddyledswydd dra phwysig, yn ychwanegol at lawer o orchwylion eraill, wedi eu hymddiried iddynt fel Cynghor gyda golwg ar agor y Coleg. Un ydoedd dewis a phenodi y fath Brifathraw a Phroffeswyr ag a hawlient ymddiried y wlad, ac a sicrhäent lwyddiant y Coleg. Y dasg arall—ac nid y leiaf dibwys—oedd cael preswylfod i'r Coleg. Diolch i berchenog yr adeilad hono, fe alluogwyd y Cynghor, a hyny ar y fynyd pan oedd arnynt ei eisieu, i sicrhâu lle ag ydoedd, o leiaf, os yn ddim mwy na chyfleusdra ar y pryd, yn eu galluogi i agor y Coleg ar unwaith. Yr oeddynt wedi gwneyd eu goreu gyda golwg ar y parotöadau angenrheidiol, ac wedi eu galw ynghyd y diwrnod hwnw i wneyd yr agoriad ffurfiol. Nid oedd yn perthyn iddo ef i siarad am waith y Coleg. Yr oedd ganddo argyhoeddiad pur gryf ei hunan, y byddai y diwrnod hwnw ar ba un yr oeddynt wedi dyfod ynghyd, yn gyfnod yn hanes Gogledd Cymru. Yr oedd un ddyledswydd yn gorphwys arno ef y pryd hyny, a dyna ydoedd, yn enw Cynghor y Coleg, ac yn enw pobl Gogledd Cymru, ac yn enw pobl Sir Gaernarfon â pha rai yr oedd ei Arglwyddiaeth dros gynifer o flynydd-

* Yr oedd baner y rhai hyn, "Chwarelwyr y Penrhyn, Meibion Llafur ac Addysg,' yn peri dyddordeb neillduol i lawer o'r boneddigion. Nifer chwarelwyr y Penrhyn yn yr orymdaith oedd 1100.

oedd wedi cydfyw, ac yn enw dinaswyr Bangor y rhai oedd mor falch o gael y Coleg i'w plith, i ofyn i Arglwydd Penrhyn gyflawni gweithred ynglŷn âg agoriad y Coleg, a hyny ydoedd cyflwyno agoriad yr adeilad i'r Corff Llywodraethol, ac i'w gosod mewn meddiant o hono. Mewn atebiad dywedai ei Arglwyddiaeth:—"Fy arglwyddi a boneddigion,—Yr wyf yn credu fod y rhan fwyaf o honoch yn gwybod am yr amgylchiadau a gymerodd le yn fy nheulu yn ddiweddar sydd wedi fy lluddias i fod yn bresennol yn y gwahanol gyfarfodydd a gynnaliwyd mewn perthynas i'r Coleg. Yr oeddwn, fodd bynag, yn dymuno bod yn bresennol yn y cyfarfod yma i ddangos y perffaith unfrydedd sydd rhwng pob pleidiau gyda golwg ar ddewisiad y lle hwn. Nid wyf yn golygu yr adeilad, ond fod Coleg Gogledd Cymru wedi ei osod yn nghymydogaeth Bangor. Mae yn ymddangos fod y lle yn rhoddi boddlonrwydd mawr i lawer, ac nid oes genyf ond gobeithio y parhâ y Coleg am lawer o flynyddoedd i fod yn berffaith lwyddiant. Yn awr, Arglwydd Powys, yr wyf yn dymuno eich anrhegu âg agoriad y Coleg hwn, yr hwn, fel y dywedais o'r blaen, a fydd, yr wyf yn gobeithio, yn llwyddiant mawr." Yna estynai iddo yr agoriad aur, yr hwn oedd wedi ei lunio yn hynod o gelfydd, ac wedi ei osod mewn *case* morocco tra hardd. Derbynid ef gan Arglwydd Powys gyda moesgarwch perffaith gŵr llys, ac ar ran nid yn unig y Cynghor a'r Llywodraethwyr, ond hefyd y tanysgrifwyr a chyfeillion y Coleg, diolchai i Arglwydd Penrhyn am ei bresennoldeb y diwrnod hwnw. Yr oedd yn ddymunol meddwl fod ei Arglwyddiaeth wedi bod mor dda a chymeryd arno y gorchwyl o drosglwyddo y diwrnod hwnw adeilad y Coleg, nid yn unig o herwydd ei haelioni mawr ef tuag ato, ond am fod yr adeilad ag yr ydoedd ei Arglwyddiaeth wedi bod mor garedig a'i osod at eu gwasanaeth yn ymddangos yn un ag oedd mor hynod o gyfaddas i hyrwyddo ei lwyddiant. Yr oedd y Coleg yn ddigon agos i'r dref i fod yn gyfleus i'r ysgolheigion, ac yr ydoedd yn ddigon neillduedig oddiwrth y tramwyfeydd prysur i rwystro i'w hefrydiau gael eu llesteirio gan sŵn masnach a thrafferthion. Ac fe fyddai y gerddi ymha rai y safai yn dra dymunol i'r efrydwyr. Fe alluogai efrydwyr myfyrgar, fel eu rhagflaenwyr yn Athen, i grwydro *inter Academi silvas*, rhwng llwyni Academus. Fe fyddai i'r agoriad ag yr oedd ei Arglwyddiaeth wedi bod mor dirion a'i gyflwyno, gobeithiai efe, agor trysorfa gwybodaeth i lawer o genedlaethau dyfodol. Ac yna, nid oedd yn aros iddo ef, ar ran athrawon ac ysgolheigion y Coleg hwnw, ond offrwm gweddi at yr Awenau ar iddynt fod yn ffafriol i'r deml newydd hono a gyflwynid iddynt. Unwaith eto, meddai, yr wyf yn diolch i chwi, fy Arglwydd.—Fel y gallesid dysgwyl, derbynid sylwadau y naill a'r llall o'r pendefigion hyn gyda chymeradwyaeth frwdfrydig. Yna, yn nghanol mawr foddhâd ar ran y dorf, a cherddoriaeth lawen y *band*, tröwyd yr agoriad aur yn y clo, ac aeth y Llywydd a llïaws gydag ef i mewn i'r adeilad.

Nid drwg troi Hotels yn Golegau! Ac y mae yr adeilad yma, gyda'r cyfnewidiadau ag yr oedd yn rhaid eu gwneyd arni, yn troi allan yn llawer mwy cyfleus nag y dysgwylid. Y mae yn yr adeilad ei hunan, heblaw llawer o ystafelloedd eraill sydd yn angenrheidiol y naill ffordd neu y llall at wasanaeth y Coleg, chwech o ddarlith-ystafelloedd ag y byddai yn anhawdd cael rhai mwy cyfleus a dymunol, heblaw fod

dwy eraill at *Chemistry* a *Physics*, gyda *laboratories* a chyfleusderau, yn cael eu hychwanegu lle yr oedd yr ystablau, &c., ynglŷn â'r Hotel. Ychwanegir un arall hefyd at *Biology*. Nid ydyw yn debyg y bydd y draul ynglŷn â'r adeiladau—heb son am ddodrefn a llyfrau ac *apparatus* —yn fwy na £3000. Mae y lle i'w gael am yr ardreth rhesymol o £200 yn y flwyddyn, ar brydles o un mlynedd ar hugain, yr hon a derfyna, os dewisir, ar bedair blynedd ar ddeg, neu saith mlynedd. Ond yn ol dim sydd yn ymddangos yn bresennol, fe fyddai yn anhawdd i'r Coleg wneyd yn well na chartrefu yn y lle, ac felly yn lle gosod yr arian mewn coed a cheryg, gael eu gwasanaeth at feithrin a dwyn ymlaen y sefydliad.

Ar ol yr agoriad, yr oedd *luncheon* wedi ei arlwyo yn y Coleg, ac eisteddodd tua 500 o'r rhai ag oedd yn flaenorol wedi cymeryd tocynau, heblaw ymwelwyr gwahoddedig, i'w fwynhâu. Yr oedd hyn hefyd yn gyfleusdra rhagorol i gyfeillion y Coleg o wahanol ranau Gwynedd ddyfod i adnabod eu gilydd a chyfnewid teimladau da. Ar ol y *luncheon*, yr oedd wrth reswm y llwncdestunau arferol, y rhai a yfid, mae yn dda genym ychwanegu, yn helaeth iawn mewn dwfr glân. Traddodwyd amryw areithiau rhagorol ar yr achlysur, ac mae yn hyfryd genym yn arbenig alw sylw at araeth dra phwysig a draddodwyd gan Is-lywydd y Cynghor, Mr. Mundella. Fe ofynasid iddo ef gynnyg, "Llwyddiant Coleg Gogledd Cymru." Dywedai nad allai ymffrostio ei fod yn Gymro, er na allai ddyweyd ei fod yn gwbl rydd oddiwrth waed Cymreig; ond nid oedd y diwrnod hwnw un dyn yn Nghymru oedd yn fwy o ddifrif yn dymuno llwyddiant y Coleg nag efe. Os oedd unrhyw ddiffyg yn y boddlonrwydd a deimlai wrth sefyll yn eu plith, yr ydoedd am na allai eu llongyfarch am fod trefniadau addysgawl y Dywysogaeth eto yn gyflawn. Os oedd un peth mwy na'i gilydd ag yr oedd Iarll Spencer ac yntau wedi gosod eu calon arno pan gymerasant swydd, dyna ydoedd, eu bod yn gwneyd yn y gongl hono o Brydain Fawr gynllun, gynllun cyflawn, o drefniad addysgawl, a fuasai yn deilwng o'i ddilyn gan y genedl Seisonig fawr. Sut bynag, yr oedd pedair blynedd mewn swydd wedi ei ddysgu fod yn rhaid iddo "ddysgu llafurio a dysgwyl." Ond yr oedd boddlonrwydd mawr mewn teimlo y diwrnod hwnw, er nad oedd ond prin bedair blynedd er pan roddasid y commisiwn dan ba un yr oedd ei gyfaill urddasol, Arglwydd Aberdâr, a'i gydlafurwyr wedi dechreu eu hymchwiliad, ac nad ydoedd ond prin dair blynedd er pan adawsai eu hadroddiad ddwylaw yr argraffydd, eu bod wedi gallu gwneyd hyd yn nod gymaint; fod ganddynt un Coleg yn Neheudir Cymru ydoedd wedi bod ar lawn waith, a chyda llwyddiant mawr, am dros flwyddyn; eu bod y diwrnod hwnw yn cael y fantais o agor Coleg Prifysgol Gogledd Cymru dan amgylchiadau mor addawol am ei ddyfodol; ac fod y Coleg cyntaf o'r cwbl, Aberystwyth, yn para i lwyddo, ogylch yr hwn yr oedd serchiadau y Cymry yn glymedig, ac mewn cysylltiad â pha un y dylai fod cofion tra serchog a'r teimladau caredicaf ar ran y chwaer golegau. Yr oedd yn foddhäol fod y tri y pryd hyny wedi eu sefydlu ar sylfaen dda. Ond nid oedd y gwaith wedi bod yn hawdd, a thybiai fod y Cymry i'w llongyfarch ar y mesur o lwyddiant oedd wedi dilyn eu hapeliadau at y Cynghor Addysg. Pan osododd Arglwydd Aberdâr ei adroddiad o flaen y Cyfrin-Gynghor, ac y canfyddodd ef ei

fod yn argymhell *grant* at ddau Goleg o £8000, yr oedd ei galon yn suddo gan ddychryn. Sut bynag dynesodd yn hyf at y Trysorlys, er yn cyffesu wrth rai o'i gyfeillion ei fod yn dra ammheus am y canlyniad. Ond dywedai rhai Cymry zelog a brwdfrydig, a chyfeillion addysg hefyd, "Cymerwch a ellwch gael. Os na ellwch gael £8000, cymerwch £6000; os na ellwch gael £6000, cymerwch £5000." Nid oedd yn sicr nad oedd rhai yn myned ychydig yn îs. Dywedai yr ystori y pryd hyny ar ol yr achlysur; fe allai pe yr adroddasai yn ffyddlawn i'r Trysorlys ar y pryd yr hyn a ddywedasid wrtho, na fuasent wedi cael hanner yr hyn a gawsent. Yr oedd Cerberus y Trysorlys yn sefyll yn effro ar wyliadwriaeth, ac yr oedd yn rhaid iddo addef fod rhesymau nerthol iawn yn cael eu defnyddio yn erbyn y ceisiadau a wnelai; ond fe'i cefnogid yn dda gan Arglwydd Spencer, ac wedi hyny gan Arglwydd Carlingford, a chan yr Aelodau Cymreig yn Nhŷ y Cyffredin; ac uwchlaw y cwbl—ac yr oedd yn rhaid iddo ei ddyweyd i fod yn gyfiawn—yr oedd y mesur o lwyddiant a ddilynasai ei gais yn ddyledus yn benaf i'r serch trwyadl at y Cymry, y gwerthfawrogiad o'r cymeriad Cymreig, a'r cydymdeimlad âg ymestyniadau meddyliol pobl Cymru a deimlid gan y Prif Weinidog. Efe ydoedd ei lŷs eithaf o apêl. Efe a roddes y dyfarniad terfynol; a phan gyflwynai efe ei archebion i un o weision enwog y Trysorlys, sydd yn edrych yn dda ar ol buddiannau y cyhoedd Prydeinig, fe ddywedai, "Ar fy ngair, yr wyf yn credu ei fod yn hanner Cymro." Yr oedd eu Colegau erbyn hyn ganddynt. Yr oeddynt wedi gwneyd dechreuad ardderchog, a llongyfarchai Gaerdydd ar eu Prifathraw rhagorol a ladratasent oddiwrthynt hwy yn Sheffield. Yr oedd yn ddyrnod chwerw iddo ef argymhell i Gaerdydd y goreu ag oedd erioed wedi llywyddu Coleg ei etholiadaeth ef ei hun. Llongyfarchai hefyd Goleg Prifysgol Gogledd Cymru ar y swyddogaeth dra dysglaer â pha un y cychwynai. Ni chlywsai ond un farn ar y cwestiwn hwnw, ac oddiwrth wŷr oeddynt alluog i ffurfio barn—oddiwrth Feistriaid a Llywyddion Colegau Rhydychain, Caergrawnt, a Glasgow—fod Coleg Prifysgol Gogledd Cymru yn cychwyn gyda swyddogaeth o allu a dysgleirdeb neillduol. Yr oedd y dechreu rhagorol yn ddyledus, yn y lle cyntaf, ni ddylid byth anghofio, i'r ymdrechion a ddechreuodd pobl Cymru at sefydlu y Coleg yn Aberystwyth yn 1854. Yr oedd hwnw mewn gwirionedd yn symudiad cenedlaethol. Fod 100,000 o danysgrifiadau dan 2s. 6c. y pen wedi dyfod at y Coleg; ei fod wedi ei gynnal, a siarad felly, i raddau tra mawr trwy roddion bychain y dosbarthiadau tlotaf o'r bobl, trwy roddion mewn eglwysydd a chapeli, a thrwy gasgliadau o ddrws i ddrws, ac fod y Coleg wedi ei sefydlu felly er ys cymaint o amser, yr ydoedd yn anrhydedd tragywyddol i bobl Cymru. Ond yr oeddynt yn ddyledus am eu sefyllfa y pryd hyny i fesur helaeth iawn i ychydig foneddwyr, rhai o ba rai oeddynt yn bresennol ar y pryd, ac a haeddent fyw yn eu hadgof diolchus. Yr oedd Arglwydd Aberdâr a'r pum' boneddwr oedd gydag ef yn teilyngu diolchgarwch goreu eu cydwladwyr, a thybiai y dylai, fe allai, ddyweyd, wrth fyned heibio, ei fod yn credu ddarfod i'w hadroddiad roddi y fath ysgogiad addysgawl i'r Dywysogaeth na phrofasai erioed o'r blaen, a'r fath, gobeithiai ef, na wellhâi byth o hono. Yna crybwyllai ffyddlondeb amryw o'r Aelodau Cymreig, a dywedai ei fod yn teimlo

meddyliai y teimlai yr Arglwydd Lywydd, fod yn rhaid iddynt, nid yn unig er mwyn addysg, ond er mwyn eu heddwch a'u hamdden eu hunain, gyfarfod ceisiadau rhesymol y Cymry. Cyfeiriai yn barchus a thyner at y diweddar Ddeon. Wedi cael pethau i'r fath drefn, hyderai na fyddai yr hyn a ddangosid yn dòn o frwdfrydedd a elai heibio, ond yn rhywbeth a elai ymlaen o fach i fwy, nes y byddai trysordy gwybodaeth wedi ei agor i holl bobl Cymru. Wrth reswm fe ddibynai cymeriad y sefydliad yn helaeth iawn ar gymeriad yr ysgolion o ba rai y derbyniai ei gyflenwadau, ac fe ddibynai hyny ar zel a chariad pobl Cymry at addysg. Yr oedd ganddynt gyfundrefn ardderchog o addysg elfenol, yr hon oedd yn cynnyddu yn rhyfeddol, ac yn gwella bob blwyddyn. Ond yr oedd rhai manau tywyll eto yn aros, ac eisieu eu deffro. Cofiai fod Arglwydd Aberdâr, yn agos i ugain mlynedd yn ol, wrth wneyd apêl ardderchog at Dŷ y Cyffredin yn ffafr mesur a ddygid i fewn y pryd hyny gan Mr. Forster, yn dyfynu o araeth gan Arglwydd Macaulay i ddangos beth a wnaethai addysg i'r Ysgotiaid. Ofnai nad ydoedd yn ddigon dealledig gymaint mewn gwirionedd oedd Scotland wedi ennill trwy ei chyfundrefn genedlaethol o addysg. A rhoddi o'r neilldu, yr hyn nad allent ei roddi o'r neilldu, ond am y fynyd,—a rhoddi o'r neilldu holl fanteision diwylliad, yr holl hyfrydwch a roddai i gartref, i fywyd un ac i'w hamdden, mewn cariad at brydferthwch ac at wirionedd, a'r ymwneyd â llenyddiaeth, yr hyfrytaf o bob ymwneyd â pha un y gall dynolryw gael eu bendithio—fe ddywedai, hyd yn nod a chymeryd gwedd faterol ar y peth, fod Scotland yn fwy dyledus i'w chyfundrefn addysgawl nag i ddim arall yn y byd. Yn niwedd yr ail ganrif ar bymtheg, yr oedd ei thlodi gymaint yn fwy na dim a brofasent hwy yn Nghymru yn ystod y ganrif hon ag oedd ei chyfoeth y dydd hwnw yn fwy na'r eiddynt hwy. Yr ydoedd yn un o'r cenedloedd tlotaf yn y byd. Fe sicrheir ar brofion diymwad fod y bummed ran o'i holl boblogaeth yn gardotwyr o ddrws i ddrws—cardotwyr o ddosbarth garw, gydag arferion yspeiliol, a chynnygiai un o'r gwladweinwyr mwyaf dyngarol fod triniaeth caethion India'r Gorllewin yn cael ei chymhwyso atynt; fod y gadwyn a'r fflangell yn cael eu defnyddio at lawer iawn o'i gydwladwyr i wneyd iddynt weithio. Fe lwyddodd cynghorion gwell. Sefydlasant gyfundrefn—cyfundrefn ardderchog—o addysg genedlaethol. A beth fu y canlyniad? Yr oedd Scotland, oedd yn watwaredd a dirmyg Lloegr yn yr ail ganrif ar bymtheg, yn cael cenfigenu wrthi, nid yn unig gan Loegr, ond gan yr holl fyd, yn y ddeunawfed ganrif; a'r dydd hwnw, mewn cymhariaeth i'w nifer, yr ydoedd yn llanw y lle blaenaf yn yr Ymherodraeth Brydeinig. Wel, fe ganfyddai efe lawer iawn o'r ysbryd Ysgotig yn Nghymru. Yr oedd wedi gweled llawer iawn a alwai allan ei edmygedd, ac a ymddangosai iddo ef yn addaw, gyda chyfundrefn dda o addysg, am yr hyn a wnaethai Scotland na fethai Cymru a'i wneyd. Canmolai ymdrechion Chwarelwyr y Penrhyn, a chyfeiriai at niferoedd o engreifftiau a ddygasid o'i flaen o ddynion a gyrhaeddasent wir enwogrwydd yn Nghymru, a'u henwogasent eu hunain yn y Prifysgolion Seisonig, oeddent y pryd hyny ymysg eu hysgolheigion goreu a mwyaf addawol, ond a ddechreuasent yn rhengau isaf bywyd, oeddent wedi cynnilo, a dyoddef

eisieu, a gweithio fel y gallent gyrhaedd gwybodaeth. Dyna yr ysbryd oedd arnynt eisieu. Hyderai y byddai i'r Coleg hwn a'r Colegau eraill gael eu gwneyd yn gyrhaeddadwy i'r rhai tlotaf, os oedd Duw wedi eu cynnysgaeddu â galluoedd uwchraddol. Hyderai y byddai ganddynt rywbeth fel yr ysbryd Spartaidd a'r fywoliaeth Spartaidd, fel y delai dynion yno, fel y delent yn Scotland—dynion a weithient hanner y flwyddyn â'u dwylaw ac a astudient hanner y flwyddyn â'u penau i ennill gwybodaeth; a hyderai y ceid dynion a ddelent i Brifysgol y Gogledd a fyddent foddlawn i ddyfod gyda y gasgen o flawd ac ychydig benwaig, fel y gwnelai yr Ysgotiaid, ac ymladd y frwydr drwodd; hyd yn nod glanhâu esgidiau os rhaid, fel y gallent ennill goleuni euraidd gwybodaeth. Cyfeiriai at yr ymdrechion mawrion a welsai yn cael eu gwneyd gan bobl Switzerland er sicrhâu addysg i'w plant; er nad oeddynt yn cael dim *grants* gan y Llywodraeth, ond yn ymddibynu yn gwbl ar eu trethi eu hunain; eto yr oedd yr holl addysg yno, o'r ysgol elfenol i'r brifysgol, yn gwbl rydd. Am Gymru, yr oeddynt wedi sefydlu tri o Golegau. Dywedai rhai y deuai dau o honynt i ddiwedd drwg; dywedai rhai y delai yr holl dri. Yr oedd efe wedi gwneyd rhai cyfrifiadau, ac os oedd yn Nghymru hanner y zel oedd yn Scotland, yn lle bod y tri yn dyfod i ddiwedd drwg, fe fyddai iddynt fwy na dyblu a threblu eu nifer presennol o efrydwyr. Yr oedd gan Scotland 6000 o efrydwyr yn ei Phrifysgolion. Yr oedd Cymru y drydedd ran o faintioli Scotland, dywedid wrtho ef ei bod yn hanner. Fe ddylai fod ganddynt, gyda'u zel, yn agos i 3000 o efrydwyr. Tybiai fod ganddynt y dydd hwnw bum' gwaith y nifer oedd ganddynt dair blynedd yn ol, ac yr oedd ganddynt ychydig ychwaneg na 300; felly yr oedd lle iddynt dyfu. Pan ystyriai fod ymhob tref Germanaidd fanteision addysgawl, fod 40,000 o efrydwyr yn y Prifysgolion Germanaidd, a phan welai yr angen oedd i ddyrchafu eu holl boblogaeth a rhoddi iddynt y wybodaeth oreu, yr arfogaeth feddyliol oreu â pha un y gellid eu harfogi i frwydr bywyd, fe gredai na fyddai Cymru, gyda'i chariad at farddoniaeth, ei chariad at gerddoriaeth, ei chariad at areithyddiaeth, ei chariad at ddysgeidiaeth, yn ol i Scotland, neu i unrhyw wlad. Yr oedd Cymru y pryd hyny ar yr iawn ffordd i lwyddiant. Hyderai y byddai ei ffawd dda ef yn fuan i gario y Mesur Addysg Ganolraddol. Yr oedd wedi ei argraffu er ys llawer o amser; dygai ar ei gefn enwau dau o aelodau Cymreig—Mr. Osborne Morgan ac Arglwydd Richard Grosvenor. Credai y cai gefnogaeth unfrydol aelodau Cymreig Tŷ y Cyffredin, a hyderai pan ddelai i gael ei osod mewn gweithrediad, y gwnaent â'r mesur hwnw fel y gobeithiai y gwnaent â'u Coleg—gadael i bob eiddigeddau, drwg-dybiau, a dygasedd lleol farw allan. Yn ystod y tair blynedd diweddaf yr oedd efe wedi cael rhai profiadau chwerwon ar y pwynt hwnw o eiddigeddau lleol yn Nghymru. Yr ydoedd wedi cael rhywbeth i'w wneyd i beri i bobl gredu nad oeddynt yn cymeryd y Colegau i'r manau na ddylasent. Yr ydoedd yn uchelgais pur naturiol a gonest i bob tref yn Ngogledd Cymru ddymuno y Coleg, a gallai sicrhâu ei wrandäwyr nad oeddynt hwy, y tri chyflafareddwr—Arglwydd Bramwell, Arglwydd Carlingford, ac yntau—yn cael eu harwain gan un cymhelliad arall wrth osod y Coleg hwnw yn Mangor a'r llall yn Nghaerdydd, ond gwneyd yr hyn a

gredent hwy a fyddai er y manteision goreu i Gymru. Hyderai y byddai pob sectau a chredöau, pob pleidiau a lliwiau, yn cydweithredu yn galonog er sylweddoli y llwnc-destun oedd ganddo i'w gynnyg iddynt, "Llwyddiant i Goleg Prifysgol Gogledd Cymru."

Prin y mae eisieu dyweyd y gwrandewid yr araeth ragorol o ba un y rhoddasom y crynodeb uchod gyda mawr gymeradwyaeth, a theimlai yr holl gynnulliad parchus ddwfn ddiolchgarwch i Mr. Mundella am wneyd y fath ymdrech i fod yn bresennol, am ei anerchiad gwerthfawr, ac am yr holl ffyddlondeb caredig a ddangosodd i'n cenedl er pan y mae yn ei sefyllfa bwysig fel, mewn gwirionedd, ein Gweinidog Addysg. Traddododd araeth gref a chynhes drachefn yn y cyfarfod a gynnelid dri o'r gloch yn y *Skating Rink*, dan lywyddiaeth Arglwydd Aberdâr, lle yr oedd lliaws yn bresennol nad oeddent yn y cynnulliad yn y Coleg. Dywedai Mr. Mundella wrth gydnabod llafur Arglwydd Aberdâr a'i gymdeithion, ei fod ef wedi gwneyd ei oreu i gario allan eu hadroddiad, ac mewn rhai ystyriaethau fod y Llywodraeth wedi myned tu hwnt iddo. Tybiai y buasai Arglwydd Aberdâr a'r cyfeillion eraill yn synu yn fawr iawn pe dywedasid wrthynt dair blynedd yn ol y byddai, yn niwedd 1884, dri o Golegau mewn gweithrediad, yn derbyn *grants* o dros £10,000 yn y flwyddyn. Dangosai yn amlwg hefyd fod y Llywodraeth yn benderfynol o gario allan awgrymiadau yr adroddiad gydag Addysg Ganolraddol, gan roddi ar ddeall—gyda'r ymdrechion lleol, a gwell hwsmonaeth ar y gwaddoliadau, a'r cynnorthwy a ellid ddysgwyl oddiwrth y Llywodraeth—na fyddai raid fod dim diffyg yn ein hardaloedd am gyflenwad digonol o addysg dda i lanw yr adwy rhwng yr ysgolion elfenol a'r Colegau. Ac ar ol yr hyn a ddywedasai, golygai y byddai yn anmhosibl i unrhyw Lywodraeth a allai ddilyn yr un bresennol oedi yn hir weithiad allan yr egwyddorion hyny. Yn y ddau gynnulliad y cyfeiriwn atynt, fe draddodwyd areithiau gwych gan amryw foneddigion eraill, ond yn naturiol fe delid sylw arbenig i bob gair a ddeuai o enau y Gweinidog urddasol sydd eisoes wedi profi ei hun yn gyfaill mor ffyddlawn i'n cenedl, ac sydd wedi gosod ei fryd mor lwyr, fel y dywedai efe ei hun, ar wneyd ein cyfundrefn Gymreig o addysg yn gynllun i Loegr oll. Nid oedd angen iddo ddyweyd ei fod yn "caru ein cenedl ni;" mewn parch a chariad atom nid all fod yn ol i Mr. Gladstone ei hunan: ac mae yn amlwg fod y teimladau hyny yn ei fynwes wedi cael eu ffurfio a'u meithrin, nid gan ffansi i noddi poblach ddiniwed ag y cydnabyddir yn lled gyffredin nad ydynt hyd yma wedi cael eu hiawnderau, ond gan edmygedd anrhydeddus o'n hymdrechion digyffelyb er sicrhâu hunan-ddiwylliad, a'r llawenydd o gael cydweithrediad pobl sydd â'u holl galon o blaid addysg er sefydlu trefniad a fydd yn *ideal* i'r deyrnas oll. Ac yr oedd ei deimlad da yn cael ei ddangos yn amlwg yn ei waith y tro hwn hefyd, er mor fyr oedd ei arosiad yn y gymydogaeth, yn mynu hamdden i ymweled â'r *Normal College*, yr hwn amryw weithiau bellach y mae wedi alw yn "sefydliad ardderchog," ac a alwai felly yn ei araeth yn y *Rink* hefyd, gan ychwanegu, "Y mae wedi gwneyd gwasanaeth ysplenydd i'ch ysgolion elfenol." Gan fod yr efrydwyr, yn fuan wedi ei ddyfod i fewn, yn cael eu galw at eu tê, fe ddarfu iddo yntau, a'r foneddiges wladgarol Mrs. Verney, yr hon oedd gydag ef, ymuno

yn y modd mwyaf cartrefol gyda hwynt; a chyn ymadael fe roddes anerchiad iddynt ar fawredd y gwaith yr ymbarotöent ar ei gyfer, a gofir ganddynt, ni a hyderwn, hyd byth. A chyn gadael Cymru, fe alwodd, gyda Mr. Lewis Morris, i weled Coleg Aberystwyth, ac fe lefarodd yno hefyd eiriau a hawliant iddo gariad yr holl genedl. Y mae efe wedi ei feddiannu yn gwbl gan ei waith, a gallwn yn rhesymol hyderu y bydd ei ymweliad y tro hwn â Chymru yn foddion i buro a dyfnhâu ein cariad fel pobl at addysg, gan beri i ni ymgodi uwchlaw y bychanderau a fynent ein llesteirio, i frwdfrydedd dyrchafedig a'n nertha i ymgolli yn ein gwaith, ac felly i sicrhâu amcanion mawrion ac ardderchog.

Ar ol rhïaltwch yr agoriad, yr oedd yr wythnos ganlynol yn cael ei defnyddio mewn parotoi at ddechreu ar waith y Coleg, a phob prydnawn (oddieithr dydd Sadwrn), am 2 30, yr oedd yr Athrawon yn traddodi darlithiau arweiniol i'r gwahanol wybodaethau y penodasid hwynt i'w dysgu. Yn ychwanegol at yr efrydwyr, yr oedd y darlithiau hyn yn agored hefyd i'r cyhoedd, ac yr oedd yr ystafell eangaf yn y Coleg a ellid y pryd hyny gael i'w traddodi, yn orlawn o wrandäwyr astud o'r ddau ryw, a llawer o honynt o deuluoedd parchusaf y gymydogaeth. Brydnawn Llun rhoddodd y Prifathraw Reichel anerchiad agoriadol. A'r dyddiau canlynol cafwyd darlithiau arweiniol fel y canlyn:—Ddydd Mawrth, gan y Proffeswr Henry Jones ar Athroniaeth, a'r Proffeswr Rhys Roberts ar y Clasuron; ddydd Mercher, gan y Proffeswr Gray ar Anianeg *(Physics)*, a'r Prifathraw ar Hanesiaeth; ddydd Iau, gan y Proffeswr Dobbie ar Fferylliaeth, a'r Proffeswr Ballard Matthews ar *Mathematics*; ddydd Gwener, gan y Darlithydd Phillips ar Fywydeg *(Biology)*, a'r Darlithydd Trechmann ar yr Ieithoedd Diweddar. Fel yr ydym yn ysgrifenu y mae y Coleg ar lawn waith, gydag eisoes dros driugain o efrydwyr, o ba rai y mae tua'r drydedd ran yn foneddigesau, ac amryw o honynt o'r teuluoedd uchaf: ond y mae lliaws yr efrydwyr o'r dosbarthiadau ag y bwriedid y Coleg yn benodol ar eu cyfer. Mae yn ddyddorol deall hefyd nad yr ysgoloriaethau a'r *exhibitions* sydd yn cyfrif am liosogrwydd yr efrydwyr: nid oes ond rhyw un ar bymtheg o honynt yn derbyn dim cynnorthwy felly. Hyderwn y llwydda llawer yn ychwaneg yn yr arholiadau nesaf. Y mae yn dra dyddorol hefyd gweled fod y dosbarthiadau prydnawnol ynglŷn â'r Coleg mewn amryw fanau yn addaw yn rhagorol. Deallwn fod tua 100 eisoes wedi ymrestru i gymeryd cwrs y Prifathraw ar Hanesiaeth yn Nghaernarfon; dysgwylir y bydd nifer cyffelyb yn dilyn dosbarthiadau yn Bethesda a Ffestiniog hefyd; ac y mae golwg am o 60 i 70, neu ychwaneg, yn Llanrwst a Bangor. Y mae ardaloedd eraill hefyd yn ymsymud.

Yr ydym yn ofni fod y Proffeswyr gyda rhai o'u dosbarthiadau, "o herwydd yr angenrhaid presennol," yn gorfod gwneyd gwaith sydd dipyn islaw iddynt, fel y maent yn y Colegau eraill. Ond mewn amser fe ellir yn rhesymol dysgwyl i bethau wellhâu yn yr ystyr yma; a doeth a charedig yw eu gwaith hwy yn cyfarfod eu hefrydwyr lle y maent, gan roddi iddynt law o gymhorth i ddyfod i'r làn. Dywed ein cyfaill hybarch, y Parch. Edward Price, am hen gyfaill iddo yn y dyddiau gynt, oedd wedi myned i Sir Amwythig i weithio, ond wedi dychwelyd i ymweled

â'i hen fro yn Llangwm, yn galw gydag ef yn yr efail. "Rhyfedd iawn, Ned," meddai, "rhyw bedolau bach o'r fath yna ydach chi yn wneyd; yr ydan ni yn gwneyd pedolau mwy o'r hanner yn Sir Amwythig acw." "Wel, ïe, Twm," ebai Price, "ond mae y rhai'n, wyddost, yn ddigon eu maint i'n ceffylau ni yma." Buasai yn fwy cydweddol â chwaeth ein Proffeswyr dysgedig i dramwy hyd rodfeydd uchel eu materion; ond hyderwn y cânt cyn bo hir yr hyfrydwch o weled eu hefrydwyr sydd fwyaf ar ol yn manteisio yn gymaint ar eu llafur nes profi eu hunain yn gwbl deilwng o'u trafferth gyda hwynt, ïe, yn dyfod yn ymffrost iddynt. Nes y ceir Siarter y Brifysgol i Gymru —yn yr hon wrth reswm y bydd Iaith a Llenyddiaeth Cymru yn cael y lle a deilyngant—rhaid i'r Colegau Cymreig weithio ar gyfer arholiadau Prifysgol Llundain, a hyderwn yn fawr y profa yr ieuengaf o'r tri nad ydyw yn ol i'r un o'r lleill mewn llafur a llwyddiant. Mae y rhan fwyaf o'r Athrawon o allu a chyrhaeddiadau a fuasent cyn hir yn sicrhâu dyrchafiad iddynt yn y sefydliadau parchusaf, megys yn yr hen Brifysgolion; ac mae yn sicr na fydd eu hymdrech yn llai yn y Coleg hwn, lle y teimlant ei fod wedi disgyn yn neillduol i'w rhan i greu iddo enw. Ymrodded ein cydwladwyr ieuainc, yn feibion a merched, i weithio yn galonog gyda hwynt, gan deimlo fod llygaid eu cenedl arnynt, a'i dymuniadau goreu o'u plaid. Gallant hefyd deimlo yn hyderus, ond iddynt hwy wneyd eu rhan, gan "ofni Duw a chilio oddiwrth ddrygioni," na fydd Rhagluniaeth dirion yn esgeulus o honynt, ond y taena drostynt ei haden rasol, ac yr egyr o'u blaen ddyfodol teg.

Bydd yn dda gan lawer o'n darllenwyr gael cyfleusdra i ddarllen yn y tu dalenau a ganlyn yn Gymraeg Anerchiadau Agoriadol y Llywydd a'r Prifathraw.

DANIEL ROWLANDS.

---

# ANERCHIAD AGORIADOL IARLL POWYS, LLYWYDD COLEG GOGLEDD CYMRU,

### A DRADDODWYD YN Y PENRHYN HALL, HYDREF 18, 1884.

Yr oedd yn bresennol y Cynghor a'r Llywodraethwyr, ac yn ddiatreg wedi agoryd y drysau fe orlanwyd y Neuadd gan danysgrifwyr a chyfeillion y Coleg. Galwai Cadeirydd y Cynghor am wrandawiad astud i Anerchiad Agoriadol Iarll Powys, Llywydd y Coleg. Yr oedd yr uchelwr dysgedig wedi ei wisgo yn urddwisg ysgarlad D.C.L., a chafodd dderbyniad na phrofodd, fe allai, ar unrhyw adeg ei gyffelyb. Dywedai :—

Yr ydym wedi dyfod ynghyd heddyw i agor sefydliad at ba un yr edrychai llawer ymlaen fel dechreuad dadblygiad addysg uwchraddol yn Nghymru, ac fel dolen a rwymai ynghyd ac a unai yr Ysgolion Elfenol a Gramadegol ar y naill law, a'r Prifysgolion ar y llaw arall. Fe alluoga y wlad i ddadblygu chwaeth lenyddol ac ardymher farddonol y Cymry. Y mae pwysigrwydd y sefyliad a'r teimlad y profa yn llwyddiant wedi eu dangos gan y gefnogaeth a'r cynnorthwy haelionus y mae y Coleg hwn, gyda'r Colegau eraill yn Nghaerdydd ac Aberystwyth, wedi dderbyn gan y Llywodraeth a'r Senedd; ac yr wyf yn meddwl y gallaf anturio dyweyd y buasai yn dra anhawdd i ni gael y cynnorthwy hwnw oni b'ai fod genym o'n plaid gydymdeimlad personol y Prif Weinidog.

Mewn cyfarfod o'r *British Association for the Advancement of Science* a gynnaliwyd yn mis Medi diweddaf yn Montreal—cyfarfod i'w gofio fel yr achlysur cyntaf y cynnaliodd cymdeithas Seisonig ddysgedig ei chynnulliad blynyddol yn un o'n taleithiau—fe rybuddiai un o'r llefarwyr dysgedig a anerchent y cyfarfod hwnw efrydwyr y gwyddorau mesuronol a chymysg, i beidio bod yn rhy beiriannyddol yn eu hefrydiau. Dywedai fod mesuronwyr yn dueddol y dyddiau hyn i ymddiried yn mherffeithrwydd eu hoffer; fod Newton wedi gwneyd ei ddarganfyddiadau mawrion gydag offer llawer llai perffaith na'r rhai sydd at wasanaeth sylwedyddion y dyddiau hyn, a phan synid ef gan rywbeth annysgwyliadwy a ddeuai i'r golwg, yr oedd ganddo yn fynych i ymofyn ac archwilio i'r dyben o weled pa un ai nid oedd ei beiriannwaith a'i offer yn ei gamarwain. Wel, yr wyf fi yn meddwl fod hyn yn wir am efrydiau llenyddol yn unig, yn gystal ag am fesuroniaeth a'r gwyddorau cymysg. Beth all fod yn fwy peiriannyddol na "*cram?*" Ystyriwch y fath ryfeddodau o ddiwydrwydd yn gystal a dysgeidiaeth raid fod yr ysgrifenwyr boreuol; ysgrifenwyr nad ydyw y canrifoedd dilynol wedi bod yn abl i'w taflu i'r cysgod. Y mae, fe allai, yn ansicr pa un a osodwyd pryddestau Homer ar y dechreu

mewn ysgrifen; y mae, fodd bynag, yn sicr eu bod wedi eu dwyn i lawr i'r oesoedd yn unig gan glerwyr neu ddadganwyr, y rhai a'u hadroddent yn gyhoeddus; ac nes y casglwyd ac y dygwyd hwy ynghyd gan Pisistratus, dibynent yn gwbl ar draddodiad trwy lafar. Nid wyf yn tybied fod hanner dwsin o bobl heddyw yn yr ystafell hon a ymgymerent â dysgu ar dafod leferydd bedwar llyfr ar hugain yr Iliad, a'r Odyssey, neu a allent adrodd i ni ar unwaith enwau y rhai a gwympasant yn mrwydr y Llyffantod a'r Llygod. Pa fodd yr ennillodd Homer ei wybodaeth helaeth? Neu yn wir, lawer o ganrifoedd yn ddiweddarach, pa fodd y gwnaeth Shakespeare? Pa fodd y gwnelai y plentyn yr oedd ganddo i ennill gwybodaeth oddiwrth y fath arysgrifau â'r llythyrenau Oggam yn ein gwlad ni ein hunain, neu yr arysgrifau cŷnffurf a gerfiwyd ar greigiau yr ymherodraeth Assyriaidd fawr. Meddyliwch am yr anhawsderau raid fod y dyddiau hyny nid yn unig yn dilyn cyrhaeddiad gwybodaeth, ond mewn gwneuthur y cofnodiad byraf o amgylchiadau a gymerent le. Drachefn os trown i'r Aipht henafol, ni a gawn yr *hieroglyphics* yn fwy dyrys na'r wyddor Chinëaidd, yr hon sydd yn anobaith masnachwyr Seisonig—canys nid wyf yn credu, er fod Ewropeaid wedi dysgu siarad yr iaith, fod un Ewropead a allai ysgrifenu ei llythyrenau astrus. Yna, drachefn, yn oes llyfrau, gadewch i ni ystyried yr anhawsderau materol a safent yn ffordd cyrhaeddiad gwybodaeth. Beth oedd y taclau ysgrifenu cyntaf, a'r pethau a wnelent yn lle llyfrau? Tafleni cŵyredig, a rholiau *papyrus*, nad ydoedd debyg i'n papyr ni ond yn unig mewn enw. Drachefn, nid oedd gwyddor yr ysgriflyfrau hyn yn galonogol. I ddechreuwyr, yr oedd llythyrenau yr arysgrifau Groeg a Lladin, i waered hyd y cyfnod Cristionogol, mor anhawdd a thywyll fel nad oes, mae yn debyg, ddim hanner dwsin o bersonau yn yr ystafell a allent wneyd allan yn rhwydd neu ddarllen rhag blaen ysgriflyfr o'r Testament Groeg o'r pedair canrif cyntaf. Ond wedi hyn oll, y fath ystôr o ddysgeidiaeth sydd yn sail ein gwybodaeth. Meddyliwch am Homer, y bardd cyntaf; Herodotus, yr hanesydd a'r teithiwr cyntaf; a Demosthenes, yr areithydd enwocaf a gynnyrchodd Groeg; ystyriwch weithiau Livy a Cicero yn Lladin; yn Palestina y Talmud, a'r nifer anferth o esbonwyr ar Hebraeg yr Hen Destament; llafur amyneddgar a diwydrwydd y Tadau Cristionogol cyntaf, a'r nodiadwyr Groegaidd: chwi a welwch yn y rhai hyn oll ystôr o lenyddiaeth, o ran swm ac ansawdd, a allai beri cywilydd i gynnyrchion byrhoedlog amseroedd diweddarach. Gadewch i mi roddi un engraifft ymhellach o'r anhawsder oedd ynglŷn âg ysgrifenu llyfrau. Yn y Canol-oesoedd yr oedd memrwn a defnyddiau ysgrifenu mor gostus, fel, yn amser adfeiliad dysgeidiaeth a ddilynodd ddymchweliad yr Ymherodraeth Rufeinig, yr arferai y mynachod a'r copïwyr nad oeddynt yn meddu gwybodaeth glasurol, ddileu trwy gymysgeddau fferyllol, yr ysgrifeniadau ar yr ysgriflyfrau clasurol, fel y gallent wneyd defnydd o honynt er ysgrifenu eu traethodau duwinyddol eu hunain. Pan gymerodd adfywiad dysgeidiaeth le, fe ddarganfyddwyd trwy ddamwain nad yr ysgrifeniadau hyny oedd y llythyrenau gwreiddiol ar y memrwn, a thrwy waith gofalus fe symudwyd yr ysgrifen ddiweddaraf, ac fe adferwyd yr hen lythyrenau; ac yn y modd yma y mae llawer o weddillion pwysig yr awduron Groeg

a Lladin wedi eu hachub rhag anghof. Yn yr amser presennol, pan nad oes genym yr holl anhawsderau hyn, y mae yn dyfod yn fwyfwy amlwg yr arweinia diwydrwydd a dyfalbarhâd i lwyddiant yn fwy nag athrylith anniwylliedig. Y mae hanes ein cyfeillion a'n cydymgeiswyr, neu ein cydysgoleigion a'u cydoeswyr, yn profi hyn yn helaeth o fewn ein gwybodaeth ni ein hunain. A da mai felly y mae. Nid ydyw "tân cysegredig" athrylith yn cael ei roddi ond i ychydig; ond y mae diwydrwydd a dyfalbarhâd yn rhoddion ag y gall unrhyw ddyn eu meddiannu, os ewyllysia. Yn nhiriogaeth y dychymyg y mae athrylith yn oll-fuddugoliaethus. Am diriogaeth y dychymyg y llefarai Pindar, y telynfardd mwyaf o'r cwbl, yr hwn—yn byw mewn oes pan gyflawnai y bardd neu y caniedydd swyddogaeth bardd a gwladweinydd, athronydd a hanesydd, gan ddysgu amaethyddiaeth trwy ei fugeilgerddi, egwyddorion llywodraeth trwy ei bruddchwareuon, a ffurfio meddyliau a theimladau gwladgarol ei wlad trwy ei gerddi hanesyddol—a duchanai yn erbyn ei oganwyr yn yr ymdoriad ysplenydd hwnw o frwdfrydedd y darfu i'r Esgob Heber ei roddi mewn geiriau sydd prin yn llai eu hysbrydiaeth na'r gwreiddiol:—

Yes, he is wise whom nature's dower
Hath raised above the crowd,
But, trained in study's formal hour,
There are who hate the minstrel's power,
As daws who mark the eagle tower,
And croak in envy loud.

Ac am hyny—er na chynghorwn y mwyaf diwyd o falwyr geiriau i ymestyn am gydymgais âg Æschylus neu Demosthenes, neu y meistr perffeithiaf ar y Geiriadur Odliadol, i'w ystyried ei hun yn ail i Shakespeare neu Milton, oddieithr ei fod yn ymwybodol ynddo ei hun o'r tân barddonol y gall diwydrwydd ei addurno ond nad all gyfranu—mi anturiwn argymhell i chwi yn llywodraethiad eich bywyd ddammeg fechan yr ysgyfarnog a'r crwban, y *tortoise*, yn hytrach na'r llinellau wyf newydd ddyfynu.

Ond rhaid i ni beidio caniatâu i ni ein hunain ymchwyddo gyda'r teimlad gwagoneddgar ein bod mor anfesurol uwch na'r oesau aethant heibio. Mae y rhai hyny, mewn oes wybodus, na wyddant ddim, neu na allant ddarllen, mewn gwirionedd yn fwy anwybodus na'n cyndadau. Os na wyddant ddim am hanes eu gwlad eu hunain, y maent mewn gwirionedd yn fwy anwybodus nag ydoedd y gwerinwr Groegaidd 2000 o flynyddoedd yn ol. Yr oedd efe yn trosglwyddo i lawr mewn cerddi orchestion ei gyndadau, er, fel yn Nghymru, fod llawer traddodiad a chân oedd yn meddiant y cyndadau wedi myned ar goll. Ond y mae llawer wedi aros yn ein plith ni, megys am ein harwr chwedlonol mawr, y Brenin Arthur. Felly yr ydoedd yn Scotland, pan achubwyd caniadau cyffindiroedd y wlad hono ar yr unfed awr ar ddeg gan Syr Walter Scott. Fe gyflawnodd efe yn Scotland wasanaeth, yr hwn, fel y mae goreu y modd, a wnaethid yn flaenorol er cerdd-lenyddiaeth Seisonig trwy lafur yr Esgob Percy. Mi gynghorwn yr efrydwyr hyny o Goleg Prifysgol Gogledd Cymru sydd yn astudio llenyddiaeth glasurol, i wneyd eu hunain yn feistriaid ar ganiadau godidog Arglwydd

Macaulay, "The Lays of Ancient Rome." Pan gewch hanesiaeth Rufeinig braidd yn ddwl, a Livy dipyn yn anhawdd, chwi welwch pa fodd y mae Arglwydd Macaulay—oedd enwog fel ysgrifenydd, yn fardd o gryn allu, a hefyd yn areithydd Seneddol mawr—yn y cerddi hyny, "The Lays of Ancient Rome," wedi gwisgo gyda swyn barddonol lawer o helyntion mwyaf amlwg y Werinlywodraeth Rufeinig. Wel, ynte, os na wyddoch ddim am y Mur Rhufeinig yn nghwr gogleddol y deyrnas; os nad ydyw colofn Rodney a Chlawdd Offa yn ddim mwy i chwi nag unrhyw gareg filldir neu derfyn cyffredin plwyf; os nad yw arwydd y Dderwen Frenhinol o fwy dyddordeb hanesyddol na'r Ci a'r Hwyaden, yr ydych ymhell bell yn ol i'r Bugail Arcadiaidd, yr hwn, fil o flynyddoedd cyn y cyfnod Cristionogol, fel yr eisteddai gan chwareu i'w ddeadelloedd, a ymddifyrai trwy gydol y dydd wrth ganu i'w gymdeithion orchestion Hercules, dewrder Achiles, gwladweiniaeth Brenin Ithaca, neu swynion digyffelyb y wantan Helen, yr hon am ugain o hir flynyddoedd a osododd Ewrop ac Asia ar dân. Nid oes gan yr efrydwyr anhawsderau materol i'w gorchfygu; y mae ganddynt bob rhwyddineb mesuronol a pheirianyddol at eu llaw. Mae y ffyrdd i Parnassus i fesur helaeth wedi eu palmantu â llawlyfrau. Ond os dechreuwch ymroddi yn gyson, at ba isaniad neu gangen bynag o wybodaeth yr ymgymerwch â hwynt, chwi a gewch nad oes yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg fwy o ffordd boblogaidd, nag oedd yn y Canol-oesoedd o ffordd frenhinol i ddysgeidiaeth. Ond y mae un fantais genych chwi. Y mae ffrwd fawr llenyddiaeth ddiweddar wedi ei chyfyngu yn ymarferol i dair iaith: Saesoneg, iaith masnach, morwriaeth, a pheirianyddiaeth; Ffrancaeg, cyfryngiad cydgenedlaethol cymdeithas, iaith gydgenedlaethol gwladweinwyr a llysgenadwyr; Germanaeg, iaith meddwl amyneddgar ac ymchwiliadau athronyddol. Gwelsom yn ddiweddar drafodaeth ynghylch y Saesoneg a'r Gymraeg, lle y dangosid fod y Saesoneg yn fwy cyfaddas i'r ymchwiliadau dyfnaf, gan fod y Gymraeg yn amddifad o dermau gwyddonol, yr hyn sydd gan y Saesoneg yn helaeth. Gallai y Cymry hyny a ofidiant am hyn eu cysuro eu hunain trwy gofio fod y Saesoneg yn iaith sydd wedi ei chyfoethogi ei hun trwy dynu cyflenwadau o holl ieithoedd diweddar Ewrop, a phe byddai iddynt anerch bachgen yn heolydd Llundain yn yr Anglo-Saxon, ei fod yn debyg y meddyliai eu bod yn siarad âg ef yn Gymraeg.

Gan gyfeirio drachefn at y Coleg, gallaf ddyweyd fod ei ddyfodol yn ymddibynu ar ddoethineb a synwyr da y Llywodraethwyr, y Cynghor, a'r efrydwyr. Mae yn hawdd gwneyd dechreu drwg; mae yn dra anhawdd ei adgyweirio. Mae llawer yn dibynu ar yr efrydwyr cyntaf yn ystod y tair blynedd cyntaf. Os dangosant hwy deimlad moesol uchel, os byddant yn hynod am eu moesau da a'u diwydrwydd, hwy a wnant eu rhan, a rhan bwysig iawn hefyd, yn sefydliad y Coleg. Yr ydym yn edrych at rieni a chyfeillion yr efrydwyr ar eu bod mewn sefyllfa i wneyd y defnydd goreu o'u hamser yn y Coleg; eu bod yn dyfod yno wedi eu gwreiddio yn dda mewn addysg barotoawl, ac nid cael eu danfon yno i ddysgu y wyddor Roeg yn un ar bymtheg. Yn ngweinyddiad y Coleg fe gyfyd anhawsderau o bryd i bryd. Yn gyntaf mewn Coleg newydd, tra mae yr efrydwyr eto yn ychydig o nifer, fe fydd

anhawsderau cyllidol i fyned drostynt. Rhaid i zel Cynghor y Coleg beidio gadael iddynt gael eu bradychu i wastraff mawreddog yn eu treuliadau. Fe gyfyd cwestiynau eraill ymha rai y bydd raid cydnabod gwahanol farnau; ond rhaid peidio eu cyfarfod trwy gyffroad culfeddwl, eithr trwy ymgynghoriad athrofäol. Rhaid trafod barnau a rhesymau yn dawel a hunan-feddiannol, a rhaid peidio gwthio amcandybiau a mympwyon i'w casgliadau eithaf. Os llwydda y Coleg, fe fydd iddo, gydag Ysgol y Friars, yn ddiammeu, brofi yn attyniad mawr i'r ddinas hon, a dwyn llawer yma fyddant yn ceisio addysg dda a rhadlawn i'w plant. Os ydyw i lwyddo, rhaid i'w lywodraethiad fod yn ffrwyth ymgynghoriad llawn a theg, yr hwn, yn y diwedd, a arwain i gasgliadau teilwng. Rhaid i ni weithredu yn ysbryd yr hen ddiareb Gymraeg: "Y Gwir yn erbyn y byd."

---

## ANERCHIAD AGORIADOL Y PRIFATHRAW REICHEL,

### A DRADDODWYD YN Y COLEG DDYDD LLUN, HYDREF 20.

FONEDDIGION A BONEDDIGESAU,—Y mae Coleg Prifysgol Gogledd Cymru o'r diwedd wedi ei agor. Ymysg yr areithiau galluog a draddodwyd ddydd Sadwrn, rhaid mai nid y lleiaf byw yn nghof llawer o fy ngwrandäwyr ydyw yr anerchiad ysgolheigaidd ymha un y desgrifid natur gwir ddiwylliad gan ein Llywydd, a hyny gyda'r pwynt a'r coethder a nodweddant yr hen ysgolheigdod Seisonig, o ba un y mae ei arglwyddiaeth yn gynnrychiolydd mor deilwng. I'r rhan fwyaf o honom mae yn rhaid fod yr anerchiad hwnw wedi dwyn adref y gwirionedd y mae ychydig yn ammeu, ond llai yn sylweddoli, fod perffeithrwydd offerynau meddwl yn gydsafol â, ïe, fe allai, yn demtasiwn i, dylodi a gwendid meddwl. Nid yw symledd, enaid gwreiddiolrwydd, yn cael ond ychydig le i'w gydnabod mewn oes ymha un y mae darpariadau, a ddyfeisiwyd ar y dechreu er gadael dynion yn fwy rhydd i feddwl a gweithredu, yn tueddu, ïe, trwy eu llïosogrwydd a'u cywreinrwydd, i droi atynt eu hunain yr yni meddyliol y bwriedid iddynt ei gyfnerthu, ac felly i roddi cymhwysiad newydd i ddywediad y Duchanfardd Rhufeinig, "Propter vitam vivendi perdere causas:" Er mwyn bywyd colli dybenion byw. Y mae dyfeisiau celfyddydol yn ddiammeu wedi lledu llifrediad gwybodaeth a diwylliad; ond y mae o leiaf yn agored i gwestiwn pa un ai nid ydynt wrth ledu, fel Cyrus

gynt, wedi darostwng afon fawr, oedd yn derfyn teyrnasoedd ac yn brif-ffordd cenedloedd, i ddinodedd ac annefnyddioldeb mil o fusgrell gamlesydd. Nid oes un gwirionedd a ddylai gael ei gadw yn fwy cyson mewn golwg genym na hyn, mai dadblygiad gallu meddyliol, ac nid cyfranu yr hyn a elwir gwybodaeth fuddiol, ydyw dyben ac amcan cyntaf addysgiaeth. Mae ffeithiau yn dda, ond rhaid iddynt fod yn weision, nid yn ormeswyr, y meddwl. Mae ymborth na threulir yn gwenwyno yn lle maethu. Y gwirionedd hwn ydyw bywyd ac enaid addysgiaeth Prifysgol.

Beth, ynte, ydyw y berthynas sydd rhwng hyfforddiad Ysgol a Phrifysgol, canys y mae yn amlwg y rhaid fod y wireb a grybwyllais yn gyffredin i'r naill a'r llall. Mae y gwahaniaeth i'w gael, yr wyf yn meddwl, yn y rhyddid mwy sydd yn perthyn i'r olaf. Y mae gwaith Prifysgol, yn y lle cyntaf, yn fwy ffafriol i efrydiaeth ysbrydol—yn wrthgyferbyniol i un gelfyddydol—o orchestweithiau henafiaeth glasurol. Mae yr efrydydd wedi myned dros yr anhawsderau cyntaf sydd yn cylchynu y fynedfa i'r palas hûd. Mae efrydiaeth Groeg a Lladin iddo ef wedi peidio a bod yn elfeniad sych o eiriau a brawddegau; nid ydyw mwyach ar waith gyda ffurfiau difywyd yr ystafell ddifynio *(dissecting room)* ieithyddol, ond gyda meddyliau a dychymygion byw y meddylwyr a'r beirdd mwyaf a welodd y byd erioed. Ac felly mewn gwyddoniaeth; rhaid i'r bachgen ysgol foddloni, i fesur helaeth, gydag esgyrn meirw ffeithiau ysgaredig a didrefn, i ba rai yn ddiweddarach y bydd gan efrydiaeth y Brifysgol i anadlu anadl bywyd a deddf.

Ac nid yn unig yn nhiriogaeth gwaith y bydd i'r bachgen sydd yn gadael yr Ysgol ac yn myned i'r Coleg brofi y teimlad o ryddid mwy. Yn holl lywodraethiad ei fywyd, yn nhrefniad ei amser, yn nghyfeiriad ei egnïon, yn newisiad cyfeillion, y mae yn dyfod ar unwaith yn weithredydd mwy rhydd, a chan belled a hyny mwy cyfrifol. Nid ydyw y cyfnewidiad heb ei beryglon; ond os ydyw ffurfio cymeriad cryf, hunan-ddibynol, yn un o amcanion cyntaf bywyd colegawl, y mae yn gyfnewidiad anocheladwy. Tra, fodd bynag, yn llawn gydnabod ei werth, ni arweiniwyd ni gan awydd am berffeithrwydd rhesymegol at y drefn o anymyriad a ddilynir gan y Prifysgolion Gogleddol. Fe allai y drefn hono, yn wir, gryfhâu y cryf; y mae yn andwyol dueddol i lethu y gwan. Gan fod trigiannu yn y sefydliad yn cael ei wahardd gan Siarter ein Coleg, ni a'i teimlasom yn ddyledswydd arnom i amddiffyn efrydwyr oddiwrth un o ffurfiau mwyaf niweidiol, drwgddylanwadol,—llettŷau afiachus ac anmhur. A gallwn gyfiawnhâu ein hymadawiad oddiwrth yr arfer Ysgotig ar seiliau eraill. Mae derbyn Efrydesau yn gwneyd gwahaniaeth sylfaenol rhyngom ni a hwynt. Os oes llawer o rieni yn teimlo anhawsder i anfon eu meibion i dref bellenig i weithio eu ffordd heb arolygiaeth, ymron heb arweiniad, nid oes ond ychydig yn wir a dderbynient y fath sefyllfa i'w merched. Mae ein gwaith, gan hyny, yn derbyn efrydesau wedi gwneuthur yn hanfodol yr hyn ydoedd, ïe, o'r blaen yn ddoeth. Yn wir, y mae yn gwestiwn difrifol pa un a ydyw yr hyn a wnaeth y Coleg—ac y mae wedi gwneyd yr oll a allai—yn ddigon i gyfarfod â'r achos. Mae y mater o *hostels*, neu llettŷau penodol, eisoes wedi bod dan ystyriaeth. Y mae rhai wedi dechreu ammheu ai nid allai ysgariad addysg fydol a

chrefyddol, er yn ammod anhebgorol cyfundrefn o addysgiaeth sydd i gymeryd i fewn yr holl enwadau, fod yn cario ynddo ei hun hedyn perygl; pa un ai nid allai yr ymdrech i gau allan ymryson sectau Cristionogol, derfynu mewn cau allan Gristionogaeth ei hun. I gyfarfod y perygl hwn yr awgrymwyd gyntaf y drefn o gael *hostels*, ymha rai y gallai efrydwyr fwynhâu ar yr un pryd y manteision o well arolygiaeth, ac o addysgiaeth grefyddol hefyd. Am deilyngdod sefydliadau enwadol o'r fath nid wyf yn bwriadu dyweyd dim; fy amcan yn hytrach yn bresennol ydyw dangos nad ydyw yr elfen enwadol yn rhan angenrheidiol o'u cymeriad; ac, oddieithr fod rhywbeth o'r fath, pa un bynag ai enwadol ai anenwadol, yn cael ei sefydlu, ofer yw gobeithio y gall y Coleg dynu cyflenwad cyson o efrydesau, oddieithr yn unig o gymydogaeth y dref. Gadewch i mi, gan hyny, argymhell ar noddesau addysg uwchraddol i fenywod hawliau pwysig *Hostel* i Enethod.

Yr ydwyf eisoes wedi cyfeirio at y cyfrifoldeb sydd yn gysylltiedig â rhyddid mwy bywyd mewn Prifysgol; ond, fe allai, na fydd allan o le os dywedaf ychydig eiriau wrth efrydwyr sydd yn awr yn dyfod i Goleg am y waith gyntaf, i ddangos fel y gellir defnyddio yr ail yn y fath fodd fel ag i gyfarfod y cyntaf. Gellwch chwi gael y bywyd corfforiaethol hwnw sydd yn ffurfio rhan mor werthfawr o hyfforddiad Ysgol neu Goleg—a'r hwn, mewn Ysgol, a gedwir i fyny trwy ymyriad swyddogol—trwy eich ymdrechion rhyddion eich hunain. Neillduad, *isolation*, ydyw perygl eich sefyllfa newydd. Mae yn ddrwg pan nad ydyw efrydwyr yn gweled eu gilydd oddieithr yn y ddarlith-ystafell. Cofiwch y dylai y Coleg eich parotoi, nid yn unig i ddarllen a meddwl, ond hefyd i weithredu; ac y mae gweithred yn hanfodol gorfforiaethol. Mae ymdrech y person unigol yn colli; am hwnw yn unig y gellir mewn gwirionedd ddyweyd ei fod yn gweithredu, yr hwn sydd yn llwyddo i lefeinio â'i frwdfrydedd a'i grêd ei hun y gymdeithas yn yr hon y mae yn byw. Dysgwch, gan hyny, weithredu ynghyd; ffurfiwch gymdeithasau er gwaith ac adloniant, clybiau dadleuol, undebau corawl, clybiau pêl droed. Yn hyn chwi gewch gynnorthwy calonog y swyddogaeth, ond rhaid i'r symudiad ddyfod oddiwrthych chwi eich hunain. Ni fydd amser a dreulir felly yn cael ei wastraffu. Nid yn unig fe ddysg i chwi gyfrinach cydweithrediad, ond fe rydd ddyddordeb a gwirioneddolrwydd newydd i'ch gwaith yn y dosbarth. Po fwyaf a drinoch ar y gwaith hwnw gyda'ch gilydd, po fwyaf bywiog y dadleuoch y gwahanol faterion o ddyddordeb fydd yn eich cyfarfod yn nghwrs eich darllen, mwyaf trwyadl y deallwch yr hyn a ddarllenwch, a lleiaf yn y byd fydd eich perygl o ddyfod yn yslafiaid *cram*, pechod parod i amgylchu addysgiaeth ddiweddar.

Ar gychwyniad ein gyrfa gyda y Coleg fe ddysgwylir rhyw eglurhâd ar ein perthynas â chyrff addysgawl eraill yn Nghymru a Lloegr, ac yn fwy neillduol â Cholegau Enwadol ac Ysgolion Canolraddol y wlad hon. Yma yr ydym ar unwaith ar dir llednais. Y mae rhai cyfeillion ffyddlawn i addysg uwchraddol yn dueddol i feddwl fod sefydliad Coleg Gogledd Cymru yn gynamserol, ac mae yr ofn yn cael ei goledd gan lawer, gan fod y moddion parotöad sydd yn awr mewn bod yn annigonol, y bydd y Coleg newydd yn analluog i ochel y gwaith elfenol, yr hwn yn briodol a berthyn i'r Ysgolion, ac y sudda felly, yn raddol, i fod

yn Ysgol Rammadegol yn derbyn cymhorth y Llywodraeth, ac felly yn cydymgais yn annhêg â'r Ysgolion Canolraddol presennol. Pe gallwn gredu hyn, ychydig obaith fyddai genyf am ddyfodol y Coleg. Ond fe allai y caniatëir i mi ammeu a ydyw y fath drychineb yn anocheladwy. Gallwn gyfeirio, ar y llaw arall, at y terfyn o ran oedran a osodwyd gan reolau y Coleg; at reddfau proffeswriaethol y swyddogaeth; ac yn olaf oll at hanes Colegau Prifysgolion eraill. Mae y rhan fwyaf o honynt wedi dechreu yn nghanol cydgor prophwydoliaethol o anrhaith a dadfeiliad a gyfodid gan yr Ysgolion; ac mae yr oll o honynt, a gafodd amser, wedi profi geudeb y daroganau aethus hyny. Nid yn unig y mae Ysgolion oeddent eisoes mewn bodolaeth wedi cynnyddu yn lle lleihâu yn eu rhifedi, ond y mae Ysgolion newyddion wedi eu sefydlu i gyfarfod â'r alwad newydd. Ac yn ddiammeu, dyma y casgliad y mae hyd yn nod ymofyniad ysgafn i'r berthynas rhwng Colegau ac Ysgolion yn wneyd yn anocheladwy. Mae yn amlwg nad ydyw yn llai o fantais i'r Proffeswyr ochel nag ydyw i'r Ysgolfeistriaid gael iddynt eu hunain waith elfenol. Oblegid beth a alluoga Golegau Prifysgolion i gydymgais yn erbyn yr Ysgolion cyhoeddus am wasanaeth dynion sydd wedi ennill anrhydedd uchel yn y Prifysgolion? Yn sicr hyn, fod y cyntaf, er nad yn dal allan y fath ragolygon arianol, yn cynnyg gwaith uwchraddol, ac felly mwy cydnaws; a hefyd yn rhoddi cyfleusdra i ymchwiliad gwreiddiol. Yn wir, ymysg dyledswyddau Prifysgol, nid oes dim yn fwy hanfodol i gadw i fyny dyfiant iachus na chefnogi yr hyn a allai ymddangos i'r cyhoedd y tu allan yn ddim ond coll amser. Yr oriau nad yw y Proffeswr ar waith yn bendant yn dysgu, ydynt fe allai ymysg y rhai gwerthfawrocaf i'r efrydwyr; oblegid ynddynt hwy y mae yn cynnal y cymundeb bywiol hwnw â'i fater, yr hwn yw yr unig ammod ar ba un y gall ei ddysgu i eraill fel gwirionedd byw. Y bywyd a gyfrana, nid yr eiddo ei hun ydyw: torwch ymaith y cysylltiad yna, ac yn fuan fe beidia a bod yn athraw, ac fe ddaw yn beiriant ag y mae arholiadau y *Civil Service* wedi ei gynnyrchu a'i freintlythyru—y *Grinder*. Ond os rhaid ymgymeryd â gwaith elfenol, ni ellir hebgor yr amser at y fath ymchwiliad. Felly yn y naill olwg a'r llall, y mae yn fantais uniongyrchol i swyddogaeth Coleg wrthod ymyraeth o gwbl â gwaith sydd yn perthyn yn briodol i Ysgolion; ac nid ydwyf ond yn dadgan deddf mewn trefnidedd gwladol pan ddywedaf y byddai i unrhyw Goleg a ddewisai felly anghofio ei waith priodol ei hunan, yn fuan golli ei swyddogaeth. Os oes, gan hyny, gan Golegau ac Ysgolion bob rheswm, pa un bynag ai o zel dros addysgiaeth ar y naill law, neu hunan-fudd ar y llall, i ochel y fath gydymgais, a all fod unrhyw sail resymol i frawychu? Nid yn unig yr ydym ni yn gwrthod cydnabod unrhyw berygl, ond yr ydym yn credu mai un o brif ddyledswyddau y Coleg fydd cefnogi yr Ysgolion Canolraddol. Ac fe ellir gwneyd hyny mewn dwy ffordd, trwy greu safon a thrwy sefydlu gwobrwyon. Gellir gweithio y naill a'r llall trwy arholiadau: ac mae yn hyfryd canfod fod sefydlu rhyw drefn o arholiadau ar ysgolion, fo yn cael ei gweithio gan y Coleg, wedi ennill cymeradwyaeth llawer nad oeddent ar y dechreu yn annhueddol i edrych ar ein symudiadau gyda drwgdybiaeth. Mae y drefn eto yn anelwig, ac fe ofyna ofal a chydweithrediad y rhai y bwriedir hi ar eu cyfer i'w dwyn i oleuni.

Gyda golwg ar y Colegau Duwinyddol y mae y syniad o wrthdarawiad wedi bod yn llawer llai, os yn wir y bu yn bod o gwbl. Mae y rhan fwyaf wedi cydnabod y bydd y cyfleusdra o gyfyngu eu hunain at eu gwaith neillduol, a estynir iddynt gan y Coleg, yn fantais ddirfawr i'r rhai fydd yn dysgu a'r rhai a ddysgir. Fe fydd Proffeswyr y Colegau hyny bellach yn abl i ymroddi yn gwbl i astudio y materion ag y bwriedid iddynt eu dysgu ar y dechreu, yn lle gwasgar eu hegnïon dros nifer o efrydiau parotöawl, y tybid eu bod yn arwain i'r lleill, ond yn rhy fynych na adawent le iddynt.

Am beth amser fe fydd gwaith y Coleg yn gynnwysedig yn benaf mewn parotoi efrydwyr at arholiadau Prifysgol Llundain. Mae y Brifysgol hono, mae yn ddiammeu, wedi gwneyd llawer mewn darpar i'r Colegau newyddion sydd yn codi i fyny trwy yr holl wlad gwrs o efrydiaeth a grâdd, sydd yn gwasanaethu ar unwaith i arwain a chynhyrfu ymdrechion proffeswyr ac efrydwyr. Ond er y manteision llïosog y mae wedi estyn i addysgiaeth, mae y gyfundrefn yn cynnwys diffygion amlwg. Y mae, yn ddiammeu, fesur helaeth o wirionedd yn yr egwyddor gyffredinol ar ba un y mae y gyfundrefn hono wedi ei seilio, sef yr egwyddor fod cynnydd i fod o wybodaeth ëangach i un fwy neillduol. Yn nechreuad hyfforddiad bachgen, yr amcan ydyw dodrefnu ei feddwl â gwybodaeth gyffredinol, yn hytrach na'i lanw â manylion celfyddus galwedigaeth neu grefft. Yn ddiweddarach, y mae ffeithiau celyd einioes yn eu hôni eu hunain; rhaid iddo ddewis galwedigaeth, a chyfyngu ei efrydiaeth yn fwy neu lai at y gangen hono o ddysgeidiaeth sydd yn perthyn yn uniongyrchol iddi. Yn y dyddiau hyn o gydymgais sydd yn parhâus gynnyddu, ni all y cyfreithiwr, y meddyg, neu y duwinydd dyfodol, ond yn llai lai fforddio aberthu y fantais y rhaid i'r rhai sydd yn y Prifysgolion yn gwneyd efrydiaeth arbenig mewn cyfraith, meddygaeth, neu dduwinyddiaeth feddu, ar y rhai ydynt wedi boddloni ar ddilyn cwrs o ddiwylliad cyffredinol. Ac y mae hyn, nad ydyw yn llai gwir am yr athraw, yn dal hyd yn nod gyda nerth mwy am yr ymchwilydd. Yr ydym yn byw mewn oes o ymchwiliad a darganfyddiad. Y mae gwyddoniaeth anianyddol, hyd yn nod wedi lliwio yr efrydiau hŷn o hanesiaeth ac iaith. Yn y manylrwydd amyneddgar â pha un y mae ffeithiau mwyaf aneglur, ac ar yr olwg gyntaf, lleiaf pwysig hanesiaeth wedi eu chwilio a'u helfenu; yn ngwyddoniaeth gramadeg cymhariaethol, a grëwyd gan lafur yr ieithyddwyr Germanaidd; ac, fe allai, yn y dibrisdod o ffurf gelfyddgar sydd yn rhy fynych yn nodweddu yr ymchwil newydd, mae yn hawdd cydnabod ysbryd gwyddoniaeth sydd bob amser yn cael ei demtio, yn awyddfryd ymchwiliad, i anghofio nad all ffurf ac ysbryd gael eu hysgaru heb niwed i'r naill a'r llall. Fel hyn y mae gogwydd ein hamser yn y byd proffeswriaethol ac yn y galwedigaethau at y neillduol, a rhaid i'r addysgiaeth athrofäol sydd i gyfarfod anghenion yr amser, gan hyny, gael ei seilio ar gydnabyddiaeth o'r neillduol. Nid ar yr egwyddor, ond ar ei chymhwysiad yr ydys i weled bai. Fe ellid dadleu, ac y mae yr wrthddadl yn gref, fod trefn Prifysgol Llundain yn galw am ormod o ëangrwydd ar y cychwyn. Mae yn anhawdd osgoi y casgliad, wrth hawlio dim llai na saith o faterion i arholiad *matriculation*,—yn cynnwys pedair iaith, dau fater gwyddonol, a mesur-

oniaeth—fod y rhai a ffurfiasant y cynllun wedi deddfwriaethu heb feddwl am y dosbarth lliosog hwnw o feddyliau yr hwn, gyda gallu naturiol arbenig at un neu arall o'r efrydiau hyn, a all fod yn hynod ddiffygiol gyda golwg ar y lleill; a hyd yn nod gyda golwg ar y dosbarth llai, sydd yn meddu y gallu i ymafaelu â'r materion mwyaf amrywiol, eu bod wedi trefnu ymborth y gellir yn wir ei lyncu, ond mai prin y gellir ei dreulio. Ond y mae eto reswm arall. Un o'r ffeithiau mwyaf tarawiadol mewn bywyd Prydeinig diweddar ydyw yr hyn sydd wedi ei alw yn gyfodiad y taleithiau. Mae y brifddinas wedi peidio bod yn eisteddle bywyd cenedlaethol. Ymhob man y mae canolbwyntiau newyddion o fywyd politicaidd a dealltwriaethol yn eu hôni eu hunain, ac ni all fod ond ychydig ammheuaeth na fydd i'r duedd yma, yn fuan neu hwyr, ymwthio i'r deddflyfr yn y ffurf o ryw gynllun o hunan-lywodraeth leol. Mae yn debyg y bydd i ddad-ganolbwyntiad ddadrys llawer o'r dyrysbynciau cymdeithasol a pholiticaidd hyny sydd yn bresennol yn blino meddyliau meddylwyr tawel. Ni all efrydydd hanesiaeth ammeu fod hyn yn arwydd o iechyd. Fe allai canolbwyntiad, yn wir, roddi effaith fwy i allu a dealltwriaeth cenedl mewn adeg neillduol, ond y mae bob amser ar draul bywiolrwydd dyfodol. Y mae cenedl, fel planigyn, yn tyfu oddi-isod, nid oddi-fyny. Yn adfywiad bywyd cenedlaethol lleol y mae ein gobeithion penaf am y dyfodol politicaidd, fel mai diffoddiad y bywyd hwnw ydyw y perygl mwyaf, ac sydd wedi bod yn ddinystr i ymherodraethau mawrion. Ond y mae Corff Arholiadol mewn canolbwynt yn Llundain, yn nodi efrydiau ac yn pasio trwy yr un fold feddyliau cynnyddol y gwahanol daleithiau, yn gwbl ar wahân oddiwrth yr egwyddor hon. Ac mewn unrhyw diriogaeth nis gall ei threisio fod mor lawn o ganlyniadau ag yn nhiriogaeth addysgiaeth. Os ydyw yr egwyddor o ddad-ganolbwyntiad yn dal—ac y mae y rhan fwyaf o feddylwyr y dydd presennol, beth bynag eu plaid neu eu credo, yn cael eu gorfodi i gydnabod ei bod—yna y mae yn wirionedd amlwg y dylai y taleithiau fod mor rydd oddiwrth linynau arweiniol y brifddinas mewn addysgiaeth, ag mewn crefydd neu wleidyddiaeth. Yn wir, ni fyddai yn ddim llai na thrychineb fod y cyntaf yn cael ei ddwyn o le arall, a'r ddau olaf yn dyfiant cynhenid, canys fe olygai yn anocheladwy fod pobl addysgiaeth yn cadw draw oddiwrth fywyd politicaidd a chrefyddol. Mae yr ystyriaethau cyffredinol hyn, gan hyny, yn hawlio sefydliad Prifysgolion taleithiol; ac yr ydym felly yn cael ein cyfiawnhâu wrth edrych tu draw i'r gwaith presennol at weithgarwch mwy amrywiol a mwy cenedlaethol fel un o adranau Prifysgol Gymreig. Eto tra yn cadw yr amcan yma mewn golwg, ni ddylai fod genym mewn un ysbryd o gulni. Mae gwirionedd yn amrywiol ei ffurfiau, ond mae gwirionedd hefyd yn un. A thra yn argyhoeddedig y rhaid fod gosod llawn lywodraethiad addysgiaeth Gymreig yn nwylaw corff o ddynion sydd yn cynnrychioli un ysgol o feddwl Seisonig—y rhai, pa mor ddysgedig bynag, nad ydynt yn deall ac nad allant ddeall cymeriad ac anghenion Cymru—yn niweidiol, nid yn unig i fywyd Cymreig lleol, ond hefyd i fuddiannau yr addysgiaeth uchaf yn gyffredinol, ni a ddylem hefyd fod yr un mor benderfynol nad ydyw Prifysgol Gymreig i fod yn foddhâd i falchder diniwed, neu yn esgus am addysgiaeth îs neu lai eang.

## Y PARCHEDIG EDWARD MORGAN, DYFFRYN.

EIN bwriad ar y cyntaf oedd gwneuthur ychydig sylwadau ar y Ddwy Gyfrol o Bregethau Mr. MORGAN sydd wedi bod ger bron y cyhoedd bellach er ys rhai blynyddoedd; ond wrth gasglu defnyddiau i'r amcan hwnw, teimlasom awydd cryf i ddodi i lawr ychydig adgofion am y pregethwr yn ei gysylltiad â Chyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd, a gwneuthur rhai crybwyllion am ei berthynas â phrif symudiadau y Methodistiaid Calfinaidd mewn blynyddoedd diweddar. Ac ar hyn o bryd cyfyngwn ein sylw yn unig at y pethau hyn. Hyderwn nad ystyrir ni, ar y naill law, yn gwneyd yr hyn sydd ddiangenrhaid, nac ar y llaw arall yn ymyryd â mater a ddylai gael ei adael mewn dwylaw mwy galluog. Dichon nad yw yr amser wedi dyfod eto i ysgrifenu hanes y ddau symudiad mawr yr oedd a fynai Mr. Morgan yn arbenig â hwynt, sef, yn gyntaf, y symudiad er rhoddi addysg deilwng i'n pregethwyr, ac, yn ail, y symudiad er sicrhâu gofal gweinidogaethol i'r eglwysi. Nid ydym ni, pa fodd bynag, yn meiddio ymgymeryd â'r fath orchwyl; ond nis gallwn ymattal rhag gwneuthur ychydig nodiadau ar y lle mawr a lanwyd gan Mr. Morgan mewn perthynas iddynt; ac yn fwyaf neillduol mewn perthynas i'r diweddaf.

Nid ydym yn bwriadu gwneyd llawer heblaw adrodd ffeithiau. Mae beirniadu ymddygiad Mr. Morgan ar y naill law, ac ymddygiadau y rhai a deimlent eu hunain dan rwymau i'w wrthwynebu ar y llaw arall, yn waith na fwriadwn wneyd un cais at ei gyflawni. Edmygedd dwfn a serch cryf yw ein hunig deimladau tuag atô. Efe oedd y dyn gwir fawr cyntaf y cawsom y fraint o ddyfod o dan ei ddylanwad; a hawdd gan hyny ydyw deall nad oes ynom un duedd i eistedd mewn barn ar ei ymddygiadau. Rhaid i ni edrych ar yr adeg y daethom i gyfarfydd-iad âg ef fel un o adegau pwysicaf ein bywyd—fel adeg y cawsom ein dwyn i mewn i fyd newydd a chwbl ddyeithr i ni hyd y pryd hwnw. Ac ni raid ychwanegu fod ei goffadwriaeth yn gysegredig ac anwyl yn ein golwg. Ni fynem ychwaith geisio adgyfodi dim a wnaed mewn gwrthwynebiad i'r symudiadau neu y cynlluniau y safai efe yn gryf drostynt, a allai fod yn ddolurus i deimladau y personau hyny eu hunain, neu ynte gyfeillion iddynt sydd eto yn aros. Am y rhesymau hyn ymattaliwn rhag dodi i lawr lawer o fanylion mewn cysylltiad â dygwyddiadau sydd erbyn hyn yn meddu ar ryw fesur o bwysigrwydd.

Anhawdd ydyw meddwl am neb o fewn yr hanner canrif ddiweddaf a lanwodd le mwy a phwysicach nag a lanwyd gan Mr. Morgan am yr ugain mlynedd diweddaf o'i oes yn Nghyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd. Dywedodd un blaenor a adwaenom yn dda fesur o wirionedd ar y mater hwn un tro wrtho ef ei hun. Wedi ei gyfarfod yn ddam-

weiniol ar y ffordd, gosododd o'i flaen ryw fater o bwys yn yr eglwys y perthynai iddi, gan ofyn ei gyfarwyddyd gydag ef. "Wel," meddai Mr. Morgan, "de'wch â'r mater i'r Cyfarfod Misol." "I ba beth?" meddai yntau, "onid chwi yw y Cyfarfod Misol?" Efe yn ddiau ydoedd ei brif ysgogydd gyda phob symudiad, a'i brif gyngborwr a chyfarwyddwr ymhob amgylchiad yn ystod y blynyddoedd hyny. Yr oedd y blaenaf o ddigon fel pregethwr. Dywedai gweinidog a'i hadwaenai yn dda, ac oedd yn ŵr o synwyr cryf, fel y canlyn am dano pan nad oedd eto ond cymharol ieuanc:—"Mi fydda' i yn teimlo fod amryw o'm brodyr yn pregethu yn well o lawer na mi; ond ni byddaf yn clywed yr un o honynt, oddieithr Mr. Morgan, na byddaf yn credu y gallwn, pe yr ymdrechwn, bregethu cystal â hwythau. Am dano ef, byddaf yn teimlo ar unwaith na fedrwn byth, er gwneyd fy ngoreu, bregethu yn gyffelyb iddo."

Yn niwedd 1840 y dechreuodd bregethu, a'r pryd hwnw yr oedd y gweinidogion yn ychydig mewn nifer. Cyn ordeinio y Parchedig Rees Jones (yn awr o'r Felinheli), a'r diweddar Barchedig Robert Williams, Aberdyfi, yn 1844, nid oedd ond pedwar o weinidogion yn y rhan Orllewinol o Feirionydd, sef y Parchedigion Daniel Evans, Penrhyn; Richard Humphreys, Dyffryn; Hugh Jones, Towyn; a Robert Griffith, Dolgellau. A bu farw y diweddaf o'r pedwar hyn ymhen y mis ar ol ordeinio y ddau frawd eraill. Dichon nad annyddorol fyddai rhoddi rhestr y "pregethwyr" fel y ceir hi yn y *Dyddiadur* am 1845,—ddeugain mlynedd yn ol:—Lewis Morris, Sïon; Edward Foulkes, Dolgellau; Rowland Davies, Dyffryn; Richard Roberts, Dolgellau; Lewis Williams, Llanfachreth; David Williams, Talsarnau; Robert Thomas, Ffestiniog; William Jones, Maethlon; Evan Roberts, Sïon; Evan Morris, Rehoboth; John Williams, Dyffryn; Humphrey Evans, Ystradgwyn; Edward Morgan, Dyffryn; James Donne, Ffestiniog; Morris Davies, Dyffryn. Am bedwar o'r rhai hyn nid oes genym gof o gwbl. Nid oes ond tri o honynt yn awr yn fyw. Yr oedd ymysg y gweinidogion a'r pregethwyr hyn amryw o wŷr a ystyrid yn "dywysogion yn yr holl dir." Felly yn arbenig yr oedd y Parchedig Richard Humphreys; a pharchus iawn oedd safle y Parchedig Daniel Evans, yr hwn oedd Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol ar y pryd. Ond nid ydym yn defnyddio unrhyw ormodiaeth pan yn dywedyd ddarfod i Mr. Morgan ymgodi yn fuan uwchlaw iddynt oll fel pregethwr. A phan nad ydoedd ond ieuanc, daeth yn fuan yn feddiannol ar ddylanwad mawr, ac i gael ei gydnabod fel arweinydd. Derbyniasai addysg uwch o lawer na neb o'i frodyr; ac yr oedd yn amlwg o gychwyn ei yrfa yn y Gwynfryn nos Sabboth, Rhagfyr 20, 1840, ei fod wedi ei godi gan Dduw i lanw lle pwysig ymhlith y Methodistiaid. Cawn ei fod yn pregethu yn Nghymdeithasfa y Bala yn Mehefin 1846; ac yn ei Gyfarfod Misol ei hun, daeth ei bregethau ef yn fuan i ffurfio ei brif attyniad. Gelwid arno i bregethu ymhob Cyfarfod o'r bron, hyd yn nod yn y lleoedd agosaf i'w gartref; a'r rhan fynychaf ddwywaith, os nad ychwaneg. Ymysg y swyddogion, wrth drafod pethau amgylchiadol yr achos, daeth ar unwaith yn arweinydd; ond pan ymgasglai y gynnulleidfa ynghyd yn yr hwyr nid oedd un arwydd ar ei bregeth fod dim wedi bod ar ei feddwl er ys diwrnod-

au ond ei bregeth. Am lawer o flynyddoedd bu ei bregeth ef ar noson gyntaf y Cyfarfod Misol yn un o'r pethau mwyaf gogoneddus yn hanes Methodistiaeth yn y rhan hono o'r wlad. Fel y cawn sylwi eto, byddai ei gynlluniau yn nghyfarfod y prydnawn yn peri i lawer o frodyr da ei wrthwynebu; ond unwaith y dringai i'r pulpud byddai pawb yn estyn eu gyddfau mewn dysgwyliad dan ei weinidogaeth. Byddai bob amser yn feistr y gynnulleidfa; ond nid ydym yn credu y byddai yn pregethu yn un man yn rhagorach, a dyweyd y lleiaf, nag y gwnai yn y Cyfarfodydd Misol. Cofiwn yn dda am lawer o'r odfeuon hyn, pan y byddai y capelau wedi eu gorlenwi, a'r teimlad cyn y diwedd wedi rhedeg yn uchel iawn. I ni byddai yr olwg ar yr hen flaenoriaid o gwmpas y pulpud, oll ar eu traed, yn gwenu ac yn wylo, ac yn bwrw allan eu Hamenau brwd, y fwyaf swynol y byddem un amser yn cael y fraint o syllu arni. Y gweinidogion a'r pregethwyr yr un modd, byddai pawb yn cael gwledd wrth wrando arno yn pregethu. Ac nid oes un ammheuaeth na bu ei bregethu yn y Cyfarfodydd Misol yn allu pwysig i godi Methodistiaeth, ïe, a chrefydd yn Ngorllewin Meirionydd, yn gystal a'i ofal cyson a llygad-agored am yr achos yn yr holl ardalóedd.

Yr oedd yn *enthusiast* trwyadl gyda golwg ar bregethu. Yr ydym yn cofio yn dda iddo ein goddiweddyd ar ein taith un boreu Sabboth, a'n gwahodd i fyny ato i'w gerbyd; ac un o'r cwestiynau cyntaf a ofynodd i ni, ymhen ychydig eiliadau, ydoedd, "A ydych chwi yn hoff o bregethu?" Yn yr ymddyddan a ddilynodd, dywedodd, "Mae arna' i eisieu i chwi feddwi ar bregethu: ni wnewch chwi ddim byd o honi heb hyny." Yr oedd ef ei hunan yn ddiau wedi meddwi arno. Nid trwy siarad am ei bregethu y byddai yn dangos hyny; ond trwy fod yn llawn o hono ymhob man, edrych ar bob peth trwy lygad pregethwr, a llafurio yn ddibaid er mwyn cyflawni ei weinidogaeth yn deilwng. Codai yn foreu, gweithiai yn egnïol, a gwnai at bob ymddangosiad cyhoeddus y parotöad mwyaf trwyadl oedd yn ddichonadwy. Yr oedd ganddo syniad uchel am weinidogaeth yr efengyl, ac ni chollai un cyfleusdra i geisio cyflwyno y syniad hwnw i bregethwyr ieuainc, "Llafuriwch," meddai un tro, "llafuriwch yn ddibaid. Pe b'ai genych ddawn angel, fe flinai y bobl ar hwnw wrtho ei hun; ond am lafur, fe geidw hwnw newydd-deb yn eich pregethu na flina eich gwrandäwyr byth arno. Am danaf fy hun, yr wyf fi heb wneyd fy mhregeth oreu eto; bydd hono ar ei hanner pan y byddaf farw." Byddai yn pregethu am flynyddoedd ymhob claddedigaeth yn y Dyffryn, a hawdd fuasai iddo wneuthur hyny yn dra chymeradwy heb nemawr o barotöad blaenorol; ond byddai yn darparu mor drwyadl a phe buasai i bregethu yn y Gymdeithasfa. Wedi i'w orchwylion amlhâu, gorfodwyd ef i roddi hyn heibio; a chlywsom ef yn dywedyd ei bod yn rheol ganddo yn ei flynyddoedd diweddaf i beidio treulio mwy nag awr i barotoi at yr amgylchiadau hyny. Bu yn pregethu unwaith i Gymdeithas Gynnorthwyol yn y Dyffryn. Yr oedd ar y pryd mewn gwendid mawr, a gofynasai i'w gyfaill, y Parchedig David Jones (yn awr o Ddôl-garegddu), i ddyfod yno i gymeryd ei le os byddai yn analluog i fyned trwy y gwaith. Clywsom Mr. Jones yn dywedyd fod y bregeth ar yr achlysur hwnw yn un anarferol o brydferth; ac ychwanegai na chlyw-

odd ganddo byth wedi hyny gymaint a sylw neu gymhariaeth o honi mewn unrhyw gysylltiad arall. Pan gymhellai Mr. Jones ef i'w phregethu drachefn, dywedodd, "Na wnaf, byth." "Beth wnewch chwi â hi ynte?" "Wel," atebai yntau, "Mi a'i hanfonaf i ——," gan enwi hen frawd ag yr oedd ei hoffder o Lyfr y Diarebion yn dra adnabyddus. Trwy garedigrwydd Mrs. Morgan yr ydym wedi cael copi o'r bregeth, ac y mae i'w gweled yn Y DRYSORFA am y mis hwn. Mae yn engraifft nodedig o'r llafur dirfawr a gymerai i gyflawni pob gwaith a ddisgynai i'w ddwylaw yn y modd goreu yr oedd yn ddichonadwy iddo.

Nid anmhriodol fyddai cyfeirio at Mr. Morgan fel gwrandäwr yn gystal ag fel pregethwr. Cwynir weithiau mai gwrandäwyr gwael yw pregethwyr; ond am bregethwyr gwael yn unig y mae y gŵyn yn wirionedd. Mae pregethwyr da yn gyffredin yn wrandäwyr da. Felly o leiaf yr oedd Mr. Morgan. Ar y mwyaf cyffredin o'i frodyr, byddai yn gwrando gydag astudrwydd a sirioldeb; ac ar adegau gwelwyd ef yn wylo yn hidl. Byddai yn gwbl rydd i siarad yn gyfrinachol wrth ei frodyr yn y weinidogaeth am eu diffygion; ond ni ddangosai wrth eu gwrando un amser ei fod yn gweled ynddynt unrhyw ddiffyg. A chafodd, o herwydd ei wendid, gyfleusderau mynychach i wrando ar ei frodyr nag a gawsai pe buasai ei iechyd yn gryfach.

Edrychai yn uchel ar ei swydd fel gweinidog. Yr oeddym yn bresennol yn y Cyfarfod Misol, pan y dangosodd deimlad cryf o herwydd fod ei enw wedi ei roddi mewn gweithred fel "Edward Morgan, *Farmer*," ac y mynodd hefyd ei newid. "Yr ydwyf yn byw mewn ffarm," meddai, "er mwyn Eglwys y Dyffryn; ond nid ffarmwr ydwyf fi." Yr ydym yn cofio ei glywed dro arall mewn ymddyddan yn dyweyd fod gwahaniaeth pwysig rhwng "ffarmwr yn pregethu" a "phregethwr yn ffarmio." Ystyriai fod urddas yn perthyn i'w swydd fel gweinidog, a byddai yn dra gofalus na byddai dim yn ei ymddygiad ar unrhyw adeg yn annheilwng o hono. Nid bob amser y teimlai fod ei frodyr yn ddigon gofalus yn y peth hwn, ac y mae o fewn ein cof iddo geryddu un o honynt am ei ddiffyg dan amgylchiadau rhy ddigrifol i'w gosod i lawr yn y lle hwn.

Anhawdd i ni fyddai peidio crybwyll am ei garedigrwydd at bregethwyr ieuainc. Neillduolrwydd ei garedigrwydd ydoedd ei fod yn cyddrigo ynddo â'r gofal mwyaf am urddas y weinidogaeth. Byddai y weinidogaeth yn wastad yn cael y lle blaenaf yn ei feddwl, a'r ymgeisydd y lle nesaf. Mynai bob amser brofion eglur o gymhwysder at y weinidogaeth, yr hyn mewn ambell amgylchiad a barodd i ymgeiswyr dybio ei fod "yn eu herbyn." Un o'r pethau y teimlai gryfaf drosto oedd cadw i fyny safon y weinidogaeth. Holwr caled ydoedd. Yr ydym yn cofio yn dda am lymder yr oruchwyliaeth. Ond yr oedd yn berffaith deg, ac fel pob dyn teg yn drugarog hefyd. Wedi holi dau o honom yn ddiarbed ar "Y pechod gwreiddiol," yr oedd yn gwbl barod i'n hamddiffyn rhag cwestiwn a ystyriai yn annheg. Gofynodd un gweinidog i ni, "Pa beth a wnaech chwi pe gwrthodai y Cyfarfod Misol heddyw ganiatâd i chwi i bregethu?" Wedi i ni ateb, cododd Mr. Morgan—efe oedd y llywydd—a dywedodd, "'Dyw y cwestiwn yna ddim yn deg i wŷr ieuainc fel hyn. Yr ydw i yn cofio yn bur dda yr adeg yr oeddwn yn cychwyn

fy hun. Pe dywedasai rhywun wrthyf y pryd hwnw nad oedd genyf yr un genadwri, buaswn yn dyweyd wrtho fel y dywedodd Ahimaas gynt, 'Beth bynag a fyddo gad i mi redeg.' Gofyn am gael pregethu y mae y brodyr hyn, ac nid yw yn deg gofyn iddynt yn awr pa beth a wnaent pe gwrthodem eu cais." Eglurwyd i ni wedi hyny yn gyfrinachol y rheswm am y cwestiwn. Nid oedd dim a fynai â ni. Engraifft ydoedd o'r hen drefn annhrugarog, "Taro'r post gael i'r pared glywed." Mae ymgeiswyr wedi dyoddef llawer oddiwrthi o dro i dro, heb fod neb yn teimlo yr angharedigrwydd lleiaf tuag atynt. Ond yr oedd Mr. Morgan ei hun âr yr un pryd yn anfoddlawn i hen frawd arall i roddi cynghor i ni gyda golwg ar bregethu cyn ein bod wedi derbyn caniatâd i hyny. "Cynghor da iawn," meddai, "os cânt rywun i agor drws y pulpud iddynt: mae hyny eto heb ei benderfynu." Am y weinidogaeth yn ddiau yr oedd ei ofal cyntaf; ond yr oedd ei ofal am, a'i garedigrwydd at bregethwyr ieuainc hefyd yn ddiammheuol. Gofalai am eu hamgylchiadau, a threfnai ryw foddion esmwyth i'w cynnorthwyo pan y byddai angen arnynt; a dygai hwynt i sylw yn y Cyfarfod Misol pan y byddent yn bresennol ar adegau dysbeidiant yr athrofa.

Yn y peth hwn ceir engraifft o'r ëangder oedd yn ei gymeriad mewn gwahanol gyfeiriadau. Nis gellir cael yr holl wirionedd mewn athrawiaeth heb gyfuno pethau a ymddangosant yn wrthwynebol; ac nis gellir ychwaith cael yr holl rinwedd mewn cymeriad heb gyfuno nodweddau a ymddangosant yn wrthwynebol. Yr oedd Mr. Morgan, fel pob dyn gwir fawr, yn ddiofal am gysondeb arwynebol ei ymddygiadau; ac ni ddiangodd rhag cael ei gamddeall rai gweithiau oblegid hyny. Yr oedd yn ddyn gwir haelionus, ond meiddiodd sefyll i fyny dros gydnabyddiaeth deilwng i weinidogion yr efengyl am eu llafur, a chafodd ei ystyried gan lawer mewn canlyniad yn ddyn ariangar. Am y dadleuai na ddylid rhoddi llai nag ugain swllt i weinidog am Sabboth, tybiwyd ei fod yn ddyn ariangar! A daeth rhai o'i frodyr, yn enwedig y diweddar Barchedig Robert Williams, Aberdyfi, dan yr un cyhuddiad. Ni ddylid condemnio yn ormodol eu cyhuddwyr; oblegid yr oedd punt y Sabboth yn swm mawr o'i gymharu â'r hyn oedd arferol am flynyddoedd wedi iddynt hwy ddechreu pregethu. Yn ei araeth yn Nghymdeithasfa Dolgellau, yn Mehefin 1870, ar "Sefyllfa yr Achos Methodistaidd yn y Rhan Orllewinol o Sir Feirionydd," dywedai Mr. Morgan fel y canlyn:—"Ugain mlynedd yn ol nid oedd yma na 'chyflog i ddyn na llôg am anifail.' Gellwch chwi wenu wrth fy nghlywed i yn dywedyd hyn, ond geiriau gwirionedd a sobrwydd ydynt. Pum' swllt y Sabboth oedd y swm mwyaf a gefais i gan ein heglwysi cryfaf cyn i fugeiliaeth gychwyn, a llai na hyny yn aml. Bûm yn dyfod i Ddolgellau am rai blynyddoedd am bum' swllt y Sabboth." Cyn ei ddyddiau ef nid oedd un cais teilwng wedi ei wneyd i godi y "gydnabyddiaeth Sabbothol" yn Ngorllewin Meirionydd. Yr ydym yn tybio fod Sir Gaernarfon y pryd hwnw yn rhagori i ryw fesur ar Sir Feirionydd. Ond ymhob Sir yr oedd y pregethwyr goreu yn dibynu braidd yn gwbl ar ryw alwedigaeth fydol am eu cynnaliaeth eu hunain a'u teuluoedd, ac yn dra gofalus i rybuddio pregethwyr ieuainc i ymogel rhag meddwl am fod yn "faich ar yr eglwysi." Pregethai rhai o honynt yn eu cartrefi heb unrhyw gydnabyddiaeth o gwbl, ac yn annibynol ar ei rhadlondeb yr

oedd gweinidogaeth y brodyr hyn yn fynych y fwyaf cymeradwy yn y lleoedd hyny. I ran Mr. Morgan, fel arweinydd, y disgynodd y gorchwyl annymunol, ar ryw gyfrifon, o ddysgu yr eglwysi i gyfranu yn deilwng tuag at gynnaliaeth y weinidogaeth. Dywedodd y Parchedig Richard Humphreys eiriau cryfion ar y mater wrth draethu ar "Natur Eglwys" yn Nghymdeithasfa y Bala yn 1841. A galwodd y diweddar Barchedig John Hughes, Pontrhobert, sylw at yr un mater yn yr un lle, ac o dan yr un amgylchiadau, yn 1845. Yr ydym yn dyfynu yr hyn a ganlyn o'i sylwadau fel y cofnodir hwy yn y *Drysorfa*:—

Brodyr ieuengaf yr apostolion ydym ni; yr oedd y weinidogaeth yn etifeddiaeth iddynt hwy fel y rhai cyntafanedig, ond trwy lafur yr ydym ni yn dyfod iddi; a dylid cynnorthwyo a chydnabod y llafur hwnw. Nid pregethu yw holl waith gweinidogion yr efengyl; hwy sydd i fugeilio, i drin yr agoriadau, i weinyddu mewn derbyn a diarddel aelodau, &c. Mae Pen yr Eglwys wedi rhoddi yr agoriadau iddynt hwy, ac nid i neb arall; ac anmhosibl yw i weinidogion fyned i ymweled â'r eglwysi, ac arfer y gofal angenrheidiol am danynt, heb eu rhyddhâu yn gwbl at eu gwaith.

*Byw* wrth yr efengyl sydd eisieu,—nid casglu cyfoeth, a myned yn foneddigion, ond cael modd i fyw, heb eu beichio gan ofalon bydol. Mae pwys y gwaith yn ddigon iddynt hwy.

Gellwch ddeall nad wyf fi yn traethu ar y pwnc hwn er fy mwyn fy hun. Pe buasai rhywbeth yn cymeryd lle ddeng mlynedd ar hugain yn ol, buasai hyny, fe allai, yn rhyw fantais i mi; ond er mwyn y gwaith a'r achos ynddo ei hun, ystyriwch y peth.

Bu y mater dan sylw y Gymdeithasfa rai gweithiau, a hysbyswyd ni ddarfod i Gyfeisteddfod gael ei benodi ganddi un adeg i'w ystyried. Yn hwnw neu mewn Cymdeithasfa tua'r un adeg y dywedai y diweddar Barchedig John Jones, Tremadog:—"Ni wn i yn y byd beth ydyw'r mater. Mae yr eglwysi yn rhoddi i mi arian na wn beth i'w wneyd â hwy; *deuddeg swllt am Sabboth* oeddwn i yn gael yn bur ddiweddar!" Swllt a deunaw ceiniog oedd y gydnabyddiaeth a dalwyd yn Nghymru am y pregethau grymusaf a bregethwyd ynddi erioed; ac wrth gofio hyny dylem fod yn gymedrol yn ein condemniad ar y brodyr da oeddynt yn dygwydd byw yn y cyfwng rhwng yr oruchwyliaeth hono a'r oruchwyliaeth bresennol. Mae y rhan fwyaf o honynt wedi myned i'r nefoedd bellach, ar ol gwasanaethu eu cenedlaeth yn ffyddlawn yn ol eu goleuni, a'u holynwyr wedi eu llanw âg ysbryd gwahanol. Diau fod genym le i wella eto, ond y mae y cynnydd yn ystod y deugain, a hyd yn nod yr ugain mlynedd diweddaf, wedi bod yn rhyfeddol. Ac nid oes neb y mae y Methodistiaid yn fwy dyledus iddo am y cynnydd hwnw na'r diweddar Barchedig Edward Morgan o'r Dyffryn. Dyoddefodd lawer wrth gyflawni y gwaith, ond dygodd farn i fuddugoliaeth. Dyn o'r fath fwyaf haelionus ydoedd ei hunan. Felly yr adnabyddid ef ymhob cylch. Siriolid calon pob *hostler* yn y trefi yr arferai fyned iddynt pan y gwelid ef yn agosâu; a bu agos i un o honynt roddi curfa dda un tro i un a feiddiodd ddywedyd yn ei glyw fod Mr. Morgan yn ariangar. Credai mewn haelioni, a gwnaeth ei oreu trwy athrawiaeth ac esiampl i gynnyrchu y gras hwn yn yr eglwysi. Cofiwn yn dda am ei zel dros y casgliad at y Genadaeth. Ar adeg derbyniad y casgliad hwnw yn Nghyfarfod Misol Dolgellau, byddai yn wastad ar ei draed yn gwneuthur sylwadau ar y swm a ddygid o bob lle. Canmolai y rhai

a haeddent hyny, a rhoddai symbyliad caredig i eraill oeddynt mewn angen am yr oruchwyliaeth hono. Iddo ef, yn ddiau, i fesur mawr, y mae y teimlad cynhes at y Genadaeth Dramor yn Ngorllewin Meirionydd hyd heddyw yn ddyledus.

A mawr mewn gwirionedd fu llwyddiant ei ymdrechion yn mhlaid haelioni at achos crefydd. Yn ei ddyddiau ef, ac i raddau helaeth trwy ei lafur ef, yr adeiladwyd capelau newyddion ymhob cymydogaeth bron trwy gylch y Cyfarfod Misol. Yr ydym yn cofio am dano mewn lle unwaith yn gofyn i'r blaenoriaid wrth ymddyddan â hwynt ac ymholi am hanes yr achos yn y lle, "Oes arnoch chwi ddim awydd tynu yr hen gapel yma i lawr? Yr wyf yn cofio yn dda y tro cyntaf y daethum iddo bedair blynedd ar hugain yn ol. Yr oeddwn yn ei weled yn fawr iawn. Mi welais amryw o rai mwy wedi hyny; ond nid wyf yn gwybod am lawer o rai heblaw hwn sydd yr un fath yn union ag oeddynt bedair blynedd ar hugain yn ol." Bu yr awgrym yn ddigon. Cyn pen llawer o amser tynwyd ef i lawr bob careg o hono, a gwnaed yn ei le gapel rhagorol, yr hyn a fu yn fendith ddirfawr i'r eglwys a'r gynnulleidfa. Trwy ei ofal a'i graffder ef byddai ymweliad y Cyfarfod Misol â chymydogaeth yn fynych yn gychwyn newydd i'r achos yno. Yn hyn yn ddiau yr oedd yn wahanol i ac yn rhagori ar lawer o ŵyr da eraill, yn ei graffder i ganfod anghenion neillduol pob cymydogaeth, ac i roddi sylw i fanylion nad ystyrir gan rai eu bod yn deilwng o sylw neb ond dynion bychain. Dangosodd ef fawredd yn y feistrolaeth hollol oedd ganddo ar yr holl fanylion bychain mewn cysylltiad â gwaith y Cyfarfod Misol.

Ond y mae yn llawn bryd i ni ddyfod at y ddau symudiad y cysegrodd i fesur mawr ei fywyd iddynt. Fel yr awgrymasom ar y dechreu ni wnawn ond ychydig grybwyllion gyda golwg ar yr hyn ydoedd ar lawer cyfrif yn brif waith ei oes, sef casglu y Gronfa at Athrofa y Bala. Ceir yn yr erthygl ragorol yn y *Gwyddoniadur* (Cyf. vii. 657—659) gyfeiriad at y prif ffeithiau mewn cysylltiad â helynt y Gronfa; ac ofer fyddai adrodd eilwaith yn y lle hwn yr un pethau. Ac nid oes genym y wybodaeth angenrheidiol i gofnodi manylion y gwaith rhyfeddol a ddechreuwyd gan Mr. Morgan yn 1857, ac a ddygwyd ymlaen ganddo yn anrhydeddus i'w orpheniad. Mae hanes yr Athrofa heb ei ysgrifenu eto. Nid oes yn awr ond tair blynedd hyd adeg ei Jubili; a goddefer i ni awgrymu mai tra dymunol fyddai casglu ynghyd erbyn y pryd hwnw hanes yr Athrofa o'i chychwyniad hyd yr adeg bresennol, a'i gyhoeddi mewn cyfrol ddestlus a chyfleus. Ni ddarllenasom ddim yn ddiweddar oedd yn fwy dyddorol i ni na'r adroddiad a gyhoeddwyd yn 1856 o'i hanes o'i dechreu hyd yr adeg hono. Yn gynnil iawn y codir y llen yno oddiar y gwrthwynebiad oedd ymysg y Methodistiaid i'r Athrofa. "Gwelwyd mewn rhai manau ychydig, a dim ond ychydig, o ragfarn a gelyniaeth benderfynol." "Er na chafwyd llawer o wrthwynebiad i ddwyn ymlaen ryw fath o ysgol, yr ydym wedi cyfarfod â rhwystrau anorfod i'w gwneyd yn deilwng o'r enw Athrofa." "Y gwirionedd yn y mater hwn ydyw, fod rhifedi mawr o'r Methodistiaid, hyd yn nôd eu pregethwyr a'u diaconiaid, heb amgyffred eto pa beth yw addysg, ac heb deimlo yr angenrheidrwydd am dano. Ac y mae anwybodaeth y rhai hyn, nid yn unig yn dirymu pob ymdrech,

mor bell ag y mae eu cylch hwy yn cyrhaedd, ond hefyd yn effeithio ar y lleill, trwy lesteirio eu hymgais i helaethu defnyddioldeb yr Athrofa." Awgrymiadau tyner yw y rhai hyn, ag ystyried yr amgylchiadau, am yr anhawsderau y gorfu i'r sefydliad yn ei gychwyniad fyned ymlaen yn eu herbyn. Ond nid oes a fynom â'r Athrofa yn bresennol hyd yr adeg y dygwyd Mr. Morgan i fath o gysylltiad swyddogol â hi yn Nghymdeithasfa Caergybi yn Rhagfyr 1855. Yr oedd yr Adroddiad y gwnaed y dyfyniadau uchod o hono wedi ei addaw er ys amser, a rhanau o hono wedi eu darllen yn Nghymdeithasfa y Bala Mehefin 1855; ond yn Nghymdeithasfa Caergybi yn Rhagfyr y flwyddyn hono, cawn fod y penderfyniad canlynol wedi ei basio:—"Fod Meistri D. Davies a D. Roberts, Liverpool, i arolygu cyfrifon arianol yr Athrofa, gyda golwg ar eu darparu i'w cyhoeddi gyda yr Adroddiad; a bod y Parchedig Edward Morgan, Dyffryn, i ofalu am y cyfryw Adroddiad, ei argraffu a'i anfon i'r Siroedd, &c." Yn yr Adroddiad hwn, a ddygwyd allan y flwyddyn ganlynol, dadleuir yn gryf o blaid Cronfa at gynnal yr Athrofa; a gwneir cyfeiriad at ymdrech aflwyddiannus a wnaethid eisoes at gyrhaedd yr amcan. Mae y dyfyniad canlynol erbyn hyn yn ddyddorol:—

Gwydddom nad yw hwn yn bwnc derbyniol gan y cyffredin o'n brodyr yn Ngogledd Cymru; ond pe deallent mor bwysig y mae yn ymddangos i ni, mae yn ddiau na thramgwyddent wrthym am ei grybwyll unwaith eto. Nid oes un sefydliad wedi llwyddo yn hir ond ar yr egwyddor hon; a byddai yn anhawdd enwi un dyn sydd wedi cyrhaedd enwogrwydd mewn dysgeidiaeth heb fod yn ddyledus am hyny, mewn rhyw ffordd neu gilydd, i drysorfa o'r fath yma. Ac heblaw hyny, mae y siroedd yn sicr o flino mewn amser yn cyfranu yn flynyddol at achos nad yw yn apelio at deimlad y lliaws; a'r syndod yw na fuasent wedi blino yn barod. Ond pe na byddai perygl i hyny fod, mwy anrhydeddus o lawer fyddai i'r rhai sydd yn meddu dylanwad a modd, benderfynu yn unfrydol na thrafferthant y siroedd mwyach yn yr achos hwn, ond y cyfranant ac y casglant ddigon ar unwaith i osod cynnaliaeth yr Athrofa ar sylfaen sefydlog. Tybir gan lawer mai dystawrwydd a musgrellni y rhai sydd yn dwyn perthynas yn fwyaf uniongyrchol â'r Athrofa yw yr achos na fuasai hyn wedi ei gyflawni. Ond nid felly y mae; oblegid buont am flynyddoedd yn dwyn y mater hwn ger bron y Gymdeithasfa. Gwnaethant bob ymdrech a allent i gael gan y Gymdeithasfa weithredu; ac o'r diwedd, gan nad oedd y gobaith lleiaf yn ymddangos i'r Cyfundeb ysgogi yn y ffordd hono, dechreuasant weithredu eu hunain. Cawsant addewidion am gannoedd o bunnau yn Liverpool a manau eraill, ar yr ammod y byddai i'r holl siroedd gydweithredu; ac yna aethant i bob sir, a rhoddasant yr achos ger bron pob Cyfarfod Misol; ond er y cwbl, ni lwyddwyd, oddieithr yn Sir Feirionydd yn unig.

Yn ei Adroddiad fel Arholwr am y flwyddyn hono (1856), gwnaed y sylwadau canlynol gan y Parchedig Owen Thomas, Llundain:—

Y mae yn resyn na byddai sefydliad sydd mor gyfaddas yn ei natur i wasanaethu achos crefydd yn ein gwlad, ac y mae holl arwyddion yr amseroedd presennol mor amlwg yn dangos yr angheurheidrwydd am dano, yn derbyn cefnogaeth fwy cyffredinol. . . . Fe ellid meddwl wrth wedd isel cynnaliaeth ein Hathrofa ni, ein bod eto yn bell iawn oddiwrth deimlo fel y dylem y pwys o gael addysg effeithiol i'n gweinidogion. . . . Y mae eisieu ffurfio trysorfa gref er diogelu ei pharhâd, heb ei gadael yn flynyddol i feichio yn gardodaidd ar y Siroedd.

Cynnaliwyd Cymdeithasfa yr Haf y flwyddyn hono—y tro cyntaf iddi gael ei symud o'r Bala—yn Llanfaircaereinion, Mehefin 10fed a'r

lleg. Yn y Bala, ar yr 17eg o'r un mis, mae yn ymddangos, y cynnaliwyd Cyfeisteddfod yr Athrofa, yn yr hwn y gwnaeth Dr. Edwards y dadganiad y cyfeirir ato yn y *Gwyddionadur*, "*fod yn rhaid cael Cronfa* i ddwyn yr Athrofa ymlaen yn llwyddiannus," yr hwn yr ychwanegir i'r diweddar Mr. Jacob Jones, Bala, ei gymeryd i fyny yn wresog, gan awgrymu "y byddai y Parchedig Edward Morgan, Dyffryn, yn debyg o allu ffurfio Cronfa, os gallai neb." Y drafodaeth hon a arweiniodd i'r penderfyniad dyddorol a ganlyn yn Nghymdeithasfa Bangor yn Medi:—"Fod y Gymdeithasfa yn rhoddi drws agored i frawd a anfonir gan y Cyfeisteddfod—y Parchedig Edward Morgan, Dyffryn, os gallai efe fyned, neu ynte rywun arall—i osod achos yr Athrofa, gyda golwg ar ffurfio Cronfa sefydlog ar gyfer ei dygiad ymlaen mewn modd grymus ac effeithiol, o flaen aelodau a chynnulleidfäoedd y Cyfundeb trwy y Siroedd." Mae yn amlwg nad oedd unrhyw berygl y pryd hwnw i'r Gymdeithasfa symud yn rhy gyflym mewn unrhyw gyfeiriad. Yn Nghymdeithasfa yr Wyddgrug, y Rhagfyr canlynol, y cymerwyd y cam penderfynol gyda'r achos, pryd y penodwyd Mr. Morgan yn "Oruchwyliwr tuag at ddwyn ymlaen y Gronfa, ac i'w gydnabod fel y cyfryw." Ac yn 1857 dechreuodd yntau o ddifrif ar y gorchwyl.

Nid hawdd fydd i neb anghyfarwydd â'r amgylchiadau sylweddoli mawredd y gwaith yr ymgymerodd âg ef. Nid oedd y fath waith erioed wedi ei gynnyg o'r blaen, ac nid oedd ond ychydig yn credu fod ei gwblhâd yn bosibl. Gwanaidd oedd iechyd Mr. Morgan ar y goreu; ac yr oedd y llafur teithiol, dan yr oruchwyliaeth oedd mewn grym y pryd hwnw, yn ddirfawr. Nid oedd wedi dechreu pregethu er ys mwy nag un mlynedd ar bymtheg; ond yr oedd eisoes wedi ennill ei le fel un o'r prif bregethwyr, er nad oedd eto wedi cyrhaedd y safle yn y Cyfundeb a gyrhaeddodd ar ol hyny. Ond yr oedd ynddo y cydgyfarfyddiad hapusaf o'r cymhwysderau angenrheidiol at gasglu y Gronfa; ac nid y lleiaf yn eu mysg oedd ei arabedd a'i ffraethineb digyffelyb, trwy ba rai y rhoddai yn fuan unrhyw gynnulleidfa mewn tymher dda, a phenderfyniad di-droi-yn-ol. Yr oedd yn llawn o ysbryd y gwaith, yn credu yn ddwfn yn yr angen am addysg athrofäol i bregethwyr, ac yn gwbl argyhoeddedig nad oedd modd ei sicrhâu heb gael Cronfa. Nid oedd ganddo yr ammheuaeth lleiaf wrth dreulio ac ymdreulio nad oedd yn cynnorthwyo tuag at ddarpar yr hyn oedd hanfodol i lwyddiant teyrnas y Gwaredwr mewn amser dyfodol. Ac ni roddir byth gyfrif llawn a theilwng am ei gymhellion ef i ymgymeryd â'r gwaith heb roddi ymlaenaf yn eu plith ei gariad cryf at y Gwaredwr, a'i zel danllyd dros lwyddiant ei deyrnas.

Ofer fyddai ceisio yn y fan hon roddi ond desgrifiad gwanaidd o fawredd ac amrywiaeth ei lafur gyda'r "casglu." Teithiai yn ddiddiwedd, ac am rai blynyddoedd bu ei gartref yn un o'r lleoedd mwyaf dyeithr iddo. "Mam," meddai un o'r plant, ar ei ddychweliad un tro, "A fydd nhad gartref yn hir yrwan?" Ac ymhob lle yr ymwelai âg ef, pregethai yn y modd mwyaf egnïol. Yr oedd llawer nad oeddynt yn hoffi y "casgliad;" ond swynid pawb gan ei bregethu. Wedi pregethu â'i holl nerth, a rhoddi anerchiad gwresog wedi hyny ar ran y casgliad, disgynai i fysg y gynnulleidfa i ofyn am addewidion,

gan gyfarfod yn yr ymddyddanion bob math o ymddygiad—sarug a siriol, coeg, cyndyn, a charedig. Cofus genym ei glywed unwaith yn gofyn am addewid i frawd a ddywedai nad oedd ef wedi cael ei lwyr argyhoeddi gyda golwg ar werth yr Athrofa, a'i fod mewn angen am ychwaneg o oleuni. Yr oedd Mr. Morgan ar y pryd mewn llesgedd mawr, ac yn llawer cymhwysach i'w wely nag i'r pulpud; a'r cwbl a ddywedodd wrtho ydoedd fod digon o oleuni i'w gael, os oedd ef yn peidio troi ei gefn ato. Dygwyddodd llawer o bethau digrifol yn ystod ei ymweliadau, yr adroddiad o ba rai ganddo ef a barent lawer o ddifyrwch i'r cynnulleidfäoedd. Hir gofir y modd yr adroddai am un hen wraig y gofynodd iddi am addewid at yr Athrofa. "Yn wir," meddai, "nid oes gen' i ddim i'w roi i chwi: cardota yr ydw i fy hun; ond 'dydw i ddim agos mor ddigywilydd a chwi." Atebodd yntau ei fod ef yn cardota dros Un gwell na hi; a'r diwedd fu i'r hen wraig wneuthur addewid. Mae yn bur sicr na chlywyd erioed fwy o "ddawn" yn nghynnulliadau y Methodistiaid nag a glywyd yn ei anerchiadau ef ar ran yr Athrofa. Cofir am danynt yn y Cymdeithasfäoedd mewn gwahanol fanau; ac nid anhawdd yn Liverpool ydyw cael unrhyw amser adroddiadau hwyliog am ei areithiau yn y "Seiat Fawr" ar Lun y Sulgwyn. Cofir yn Belfast hyd heddyw am ei anerchiad doniol yn Nghymanfa yr Henaduriaethwyr yno yn 1863. Adroddai brawd wrthym fod un o flaenoriaid yr Henaduriaethwyr yn coffâu am Mr. Morgan wrtho yn ystod y *Pan-Presbyterian Council* a gynnaliwyd yno yr haf diweddaf. "A ydych chwi yn cofio rhywbeth o'i anerchiad?" meddai ein brawd. "O ydym," atebai y gŵr, "yr ydym oll yn cofio 'Robert.'" Ac y mae llawer mewn gwahanol leoedd yn Nghymru yn cofio yn dda am y "Robert" hwnw. Mewn rhai capelau byddai y blaenoriaid yn cadw ymhell oddiwrtho, ac yn eistedd yma a thraw ymhlith y gynnulleidfa, yn lle bod yn y sêdd fawr fel arferol; a hyn oll oblegid arswyd y Casglydd. Mewn un lle yr oedd y sêdd fawr yn gwbl wag, er fod y gynnulleidfa yn lliosog; a theimlodd yntau mor ddolurus o herwydd yr ymddygiad angharedig, fel yr aeth allan ar ddiwedd y bregeth heb roddi achos yr Athrofa ger bron. Aeth rhywun ato i'r tŷ capel i ymliw âg ef, ac i erfyn arno ddychwelyd eilwaith. "Na," meddai, "ni ddof yn ol. Fe *adawodd* yr Arglwydd Iesu Nazareth: dyma Nazareth Cymru, ac yr wyf finnau yn ei gadael." Brawd arall a ymwelodd wedi hyny â'r lle hwnw, ac a lwyddodd i wneyd casgliad da yno.

Nid yn y gynnulleidfa yn unig y gwnai ei waith. Byddai yn ymweled yn bersonol â brodyr fyddai yn debyg o gydymdeimlo â'r amcan cyn y bregeth, ac yn cael rhyw fath o addewid ragbarotöawl er mwyn hwyluso y gwaith yn y cyhoedd. Galwodd mewn cannoedd os nad miloedd o dai, gan arfer ei holl ddawn er sicrhâu cyfraniadau teilwng. A gadawodd mewn llawer teulu adgof serchog am ei ymweliadau. Gwyddom am un teulu yn neillduol y mae ei enw byth yn barchus ac anwyl ynddo o herwydd y cydymdeimlad tyner a ddangosodd tuag ato mewn profedigaeth yn ystod ei ymweliad. "Yr wyf yn galw yma," meddai, "nid i gasglu heddyw, ond yn unig rhag i chwi gymeryd yn angharedig arnaf am fyned heibio i chwi." Casglu yr ydoedd y tro hwn at yr adeilad; ac yr oedd adgofion y teulu yn hapus am ei ym-

weliad blaenorol. "Yr wyf wedi clywed," meddai, "fod eich mab yn wael iawn." Dygwyddai fod yn y mab hwnw gryn lawer o ysbryd cenadol, a bu y darlun o'r Athrofa a adawodd Mr. Morgan yn barchus iawn ganddo yr ychydig ddyddiau y caniatäwyd iddo fyw ar ol hyny. Wedi derbyn ar ei daith hysbysrwydd am ei farwolaeth anfonodd Mr. Morgan lythyr tra charedig o gydymdeimlad â'r teulu yn eu profedigaeth. Yn nghanol brwdaniaeth ei zel dros y casgliad, yr oedd ynddo y lledneisrwydd mwyaf prydferth mewn amgylchiadau oeddynt yn galw am amlygiadau o hono. Ond yr oedd ganddo hefyd fflangell, yr hon ni phetrusai ei defnyddio yn weddol fynych at rai yn haeddu yr oruchwyliaeth. Cofir yn hir am ei sylwadau miniog yn yr Adroddiadau a gyhoeddid gyda'r DRYSORFA. Dyma un engraifft:—"Clywais o un man, lle yr addawyd i mi mewn pwyll ac ystyriaeth, eu bod *oll* wedi newid eu meddwl. Dymunwn iddynt yn y fan hono *oll* ddysgu y 15fed Salm, a sylwi yn neillduol *oll* ar ddiwedd y 4edd adnod, a holi eu hunain *oll* darluniad o bwy ydyw hono. Clywais o le arall, eu bod yn teimlo mwy yno at sefydliadau dipyn mwy daearol nag Athrofa y Bala. Nid ydyw yn beth newydd yn y byd, fod mwy o gydymdeimlad â phethau daearol nag â phethau sydd a fynont â byd ysbrydol; ond y mae yn llawen genyf feddwl, fod digon o gydymdeimlad â'r rhai olaf ymysg Methodistiaid Gogledd Cymru, fel y cyflawnant yr hyn a addawsant, beth bynag a wna ychydig leoedd neu ychydig bersonau." Anmhosibl fuasai gwneyd y gwaith heb y gwroldeb, y penderfyniad, a'r dawn neillduol oedd wedi cydgyfarfod ynddo ef. Cafodd y fraint hefyd o ddyoddef cryn lawer er mwyn enw Crist; ond trugaredd â phawb bellach ydyw gadael i len anghof dewhau a llwyr guddio am byth yr ymosodiadau a wnaed arno. Meiddiwn ddywedyd na wnaed erioed waith mor fawr am can lleied o gydnabyddiaeth. Clywsom Mr. Morgan ei hun yn dywedyd mewn Cyfarfod Misol, iddo ddechre ar y gwaith heb i unrhyw gyflog gael ei benodi iddo, a phan y gwnaed hyny mai y swm ydoedd £150 yn y flwyddyn. Ac os talwyd y swm hwn iddo am y pum mlynedd, nid oedd y cwbl ond £750 am gasglu cronfa o £26,000!

Rhaid i ni fyned heibio i'w lafur gyda chasglu at yr adeilad. Dyfynwn yn unig frawddeg o lythyr wedi ei arwyddo gan Meistri Richard Davies, A.S.; David Roberts, U.H.; a Robert Rowlands, ar ran Cyfeisteddfod yr Athrofa, dyddiedig Medi 25, 1877:—"Yn 1863, yn Nghymdeithasfa Llangefni, llwyddwyd trwy daerineb mawr i gael gan y diweddar Mr. Morgan, yn ychwanegol at ei lafur blaenorol gyda'r Gronfa Gyffredinol, i ymgymeryd â chasglu at draul yr adeilad, a chasglodd tua £7000. Ond lluddiwyd iddo gan farwolaeth barhâu." O'r Gronfa Gyffredinol casglwyd rhwng £24,000 a £25,000; ac wedi yr ychwanegir at y swm hwn y £7000 uchod, gwelir i'r gŵr y dymunwn yn yr erthygl hon anrhydeddu ei goffadwriaeth, gasglu rhwng £31,000 a £32,000. Gwir iddo dderbyn cynnorthwy effeithiol gan ugeiniau lawer o frodyr ffyddlawn yn y gwahanol Siroedd a lleoedd, ac ni byddai un amser yn esgeuluso cydnabod y buasai ei waith yn anmhosibl hebddo. Yn un o'i Adroddiadau dywed fel y canlyn:—

Ysgrifena casglydd arall ataf, "fod yn rhaid cael yr areithiwr hyawdl, medrus, a zelog i gael yr addewidion, ond fod yn rhaid cael casglydd da i gael yr arian i law;

bod aderyn mewn llaw yn werth dau mewn llwyn." Gwir iawn; ond nid oes berygl yr â yr areithiwr i ymryson dim â'r casglyddion am y clod. Dalier yr adar; wedi gwneuthur hyny, ceir hamdden i benderfynu pa faint o'r clod fydd yn deilwng i'r neb a'u dygodd i'r llwyn, a pha faint i'r neb a'u dygodd i'r llaw. Ac os ca ysgrifenydd y llinellau hyn fod yn un o'r rhai fydd yn penderfynu y pwnc, gall y casglyddion fod yn dra hyderus mai nid ychydig a fydd eu cyfran hwynt.

Ond amlwg iawn ydyw mai efe a roddodd fod i'r holl beirianwaith, ac mai efe hefyd a barhaodd yn ysgogydd iddo i'r diwedd. Tybed na ddylid rhoddi darlun o hono mewn cadwraeth barchus yn yr Athrofa!

Yr ydym yn awr yn myned ymlaen at y symudiad arall y bu iddo gysylltiad arbenig âg ef, amcan pa un oedd sicrhâu gofal gweinidogaethol am yr eglwysi. Gwelir ar unwaith fod y ddau yn dal perthynas agos â'u gilydd. Wedi rhoddi addysg briodol i'r pregethwyr, gwelai yn angenrheidiol rhoddi gwaith iddynt, ac estyn iddynt gynnaliaeth briodol at ei gyflawni. Ond nid gofal am y pregethwyr a'i hysgogai gyda'r naill symudiad na'r llall, eithr yn hytrach gofal am yr eglwysi. Er yn ieuanc yr oedd yn alluog i ddarllen "arwyddion yr amseroedd," a gwelai fod yn rhaid sicrhâu addysg i'r pregethwyr cyn y gellid gobeithio am weinidogaeth addas i gyfarfod anghenion yr oes. Ni welwyd erioed neb oedd yn fwy parchus o'r hen bregethwyr, na neb yn credu yn gryfach yn eu cymhwysder i gyfarfod anghenion eu hoes; ond yr oedd yn ddigon craff i ganfod fod yn rhaid wrth rywbeth yn mhregethwyr ei ddyddiau ef nad oeddynt hwy wedi cael mantais i'w gyrhaedd. Yr oedd ei gydymdeimlad yn drwyadl yn hyn âg athrawon yr Athrofa, a'r ychydig wŷr a estynent i'r athrawon eu cefnogaeth. Gwelai hefyd fod llwyddiant crefydd yn galw am ofal dros yr eglwysi. Yr oedd yn hollol o'r un farn â'r Parchedig John Hughes, Pontrhobert, yn y dyfyniad a wnaed eisoes; a chredai yn gryf fod crefydd yn rhwym o ddyoddef os na cheid rhyw drefniant i sicrhâu i'r eglwysi yr hyn y deuwyd yn raddol i'w alw yn "Fugeiliaeth." A'r gorchwyl mawr yr ymgymerodd âg ef yn Ngorllewin Meirionydd oedd dwyn hyn oddiamgylch.

Meddylier am foment am yr anhawsderau oeddynt ar ei ffordd. Nid oedd cymaint ag un gweinidog o fewn cylch y Cyfarfod Misol nad oedd yn dibynu am ei gynnaliaeth ei hun a'i deulu ar ryw alwedigaeth fydol; ac fel y crybwyllwyd eisoes, nid oedd y "gydnabyddiaeth Sabbothol" yn yr eglwysi cryfaf yn cyrhaedd mwy na phum' swllt y Sabboth. I ddangos agwedd pethau gyda golwg ar y "gydnabyddiaeth" am bregethu yn Ngorllewin Meirionydd tua'r flwyddyn 1837—ac nid oedd wedi gwella dim erbyn 1845—goddefer i ni adrodd yr hanes canlynol a gawsom gan weinidog sydd eto yn fyw. Gwahoddasid ef ar daith yn 1837 i'r rhan hono. Yr oedd yn y Bala y Sabboth, ac aeth oddiyno Ddydd Llun i Wyl Ddirwestol yn Nolgellau, lle yr areithiodd â'i holl egni ar hyd y dydd—galwesid odfa yn ol yn Llanuwchllyn er mwyn hyny—a derbyniodd am ei lafur y swm anrhydeddus o *ddau swllt!* Wedi pregethu yn y Bontddu, aeth ymlaen erbyn nos Fawrth i Gyfarfod Misol yn yr Abermaw, a phregethodd ynddo ddwywaith. Ar ei ffordd oddiyno i'r Dyffryn i bregethu nos Fercher, gofynodd Mrs. Humphreys iddo pa faint o gydnabyddiaeth a gawsai yn y Cyfarfod Misol. Tynodd allan o'i logell y papyr a'i cynnwysai, a chyn ei agor cipiodd Mrs. Humphreys ef o'i law. Erbyn ei agor yr oedd yn cynnwys

yr un swm ag a grybwyllwyd o'r blaen—*dau swllt!* Cadwodd Mrs. Humphreys y swm a rhoddodd iddo *sovereign* yn ei le, gan ei hysbysu y gofalai hi am ei chael yn ol. "Chwi fyddwch yn bur lew, Ann, os llwyddwch," meddai Mr. Humphreys. Yr oedd y pregethwr yn talu tri swllt yn y dydd am fenthyg merlyn, ac yn colli ei gyflog gyda'i alwedigaeth—gini yn yr wythnos, os ydym yn iawn gofio—gyda hyny; ond am ei lafur derbyniai *yn ol tua dau swllt yn y dydd!* Clywsom fod yr hen gofnodau mewn un lle yn y sir yn dangos mai *pymtheg swllt* fyddai y casgliad at gynnal Cymdeithasfa yno; a bod y fath fedrusrwydd yn cael ei ddangos wrth ranu y swm hwnw i'r pregethwyr, fel y llwyddid i gadw cyfran lled dda o hono at draul yr achos ar amgylchiadau cyffredin! Dyma oedd y tâl am bregethu yn Ngorllewin Meirionydd ddeugain mlynedd yn ol. Adroddodd y Parchedig Rees Jones, Felinheli, yn nghladdedigaeth Mr. Morgan, ymddyddan a gymerasai le rhyngddynt ar y ffordd i Ffestiniog un Sabboth, pan oeddynt ill dau yn ieuainc fel pregethwyr: "Rhaid i ni ddysgu yr eglwysi i gyfranu," meddai Mr. Morgan. "Wel," meddai Mr. Jones, "os gwnawn hyny ni a roddwn ein hunain yn agored i gyhuddiadau ein bod yn fydol ac ariangar." "Gadewch i hyny fod," meddai yntau, "ni a gawn y fraint o ddyoddef er mwyn crefydd." Cawsai Mr. Jones alwad cyn hyny i fyned i Ddolgellau; ond ni theimlodd yn ddigon hyderus i'w derbyn; a symudodd tua 1846 neu 1847 i'r Felinheli i ddilyn ei alwedigaeth fel llong-adeiladydd. Gwelai Mr. Morgan fod yn anmhosibl iddo ef barhâu i lafurio fel ysgolfeistr ac fel pregethwr, a bod yn rhaid iddo roddi y naill orchwyl neu y llall heibio. Penderfynodd ymroddi i'r weinidogaeth, gan athrawiaethu yn yr eglwysi ar eu dyledswydd i estyn cynnaliaeth deilwng i weinidogion y Gair. Yn 1847 derbyniodd wahoddiad yr eglwys yn Nolgellau i fyned yno yn weinidog iddi, a dechreuodd ar ei lafur tua Gorphenaf neu Awst y flwyddyn hono. Càn belled ag yr ydym wedi cael allan, efe ydoedd y trydydd i dderbyn galwad felly yn Ngogledd Cymru. Y cyntaf ydoedd y diweddar Barchedig John Phillips, yn Nhreffynnon, yn 1835; yr ail ydoedd y Parchedig Dr. Thomas, yn Mhwllheli, yn 1843. Ond yr oedd Mr. Morgan yn benderfynol o gael bugeiliaeth yn sefydliad cyffredinol trwy holl eglwysi y Cyfarfod Misol. Nid hawdd ydyw cael hanes ei ymdrechion boreuaf yn y cyfeiriad hwn, a hwyrach mai nid doeth fyddai gwneuthur unrhyw gais at gadw mewn cof helyntion y cyfnod hwnw. Ond y mae yn anmhosibl gwneuthur cyfiawnder â choffadwriaeth gwrthddrych yr erthygl hon heb sylwi i ryw fesur ar yr anhawsderau mawrion a orchfygwyd ganddo yn ei ymdrechion o blaid Bugeiliaeth. "Oni b'ai," medd Dr. Edwards, mewn erthygl arno yn y *Goleuad*, "ein bod yn anfoddlawn i dynu y naill achos i lawr er mwyn dyrchafu y llall, braidd na fuasem yn dywedyd mai y gwaith mwyaf a gyflawnodd oedd yr hyn a wnaeth o blaid y fugeiliaeth. Buasai yr Athrofa yn myned ymlaen rywfodd heb y gronfa, ond y mae yn rhaid i ni addef nas gallwn weled pa fodd y dichon i'r Methodistiaid bara yn hir heb y fugeiliaeth." Yn ddiddadl yr oedd yr anhawsderau yn fawrion, a da iawn oedd fod gan y Methodistiaid un gŵr a roddodd ei wyneb fel callestr yn eu herbyn.

Ymadawodd Mr. Morgan o Ddolgellau yn 1849, wedi dwy flynedd o

lafur ag y mae eu hôl i'w ganfod ar ei Methodistiaeth hyd heddyw. Teimlodd ryw agosrwydd parhäol at Ddolgellau; ac y mae y llythyr canlynol oddiwrtho at yr Eglwys yno ymhen blynyddoedd wedi hyny o ddyddordeb gwirioneddol.

Dyffryn, Ionawr 8, 1855.

At Eglwys Dolgellau.

Anwyl Gyfeillion,

Gweinyddodd y llythyr a dderbyniais oddiwrthych gysur nid bychan i mi. Nid oeddwn yn ammheu nad oeddych yn cydymdeimlo â mi, ac yn gweddïo drosof; ond yr oedd y mynegiad caredig o hyny fel balm i fy ysbryd; ac yn fwy felly am nad oeddwn wedi dysgwyl dim o'r fath beth.

Nid anghof o honoch chwithau oedd yr achos na buaswn wedi ysgrifenu i'ch cyfarch er ys talm bellach; ond yr hyn yn benaf a'm lluddiodd oedd teimlo nad oedd yn rhaid i chwi wrth ddim a allwn i ei ddywedyd, am fod genych gyflawnder o bob math o freintiau,—yr efengyl yn cael ei phregethu yn ei phurdeb, a chyda mesur o nerth, i chwi bob Sabboth,—eich cyfarfodydd eglwysig yn cael eu cynnal yn gyson, i chwi gael adeiladu eich gilydd ar eich sancteiddiaf ffydd; ac y mae hefyd, yr wyf yn cwbl gredu, y Dysgawdwr mawr, a all arwain i bob gwirionedd, yn trigo yn eich plith. Yr ystyriaethau hyn a'm lluddiodd, ac nid diffyg teimlad cynhes atoch; oblegid beth bynag a fu y cysylltiad *hannerog* sydd rhyngwyf â chwi fel eglwys, er ys blynyddoedd bellach, i chwi, y mae wedi bod i mi yn gysur ac yn fendith hefyd; a gallaf gyda phob gonestrwydd ddywedyd fy mod yn teimlo yn dra rhwymedig i chwi am gyd-ddwyn â mi lawer gwaith. Bum yn eich plith yn fynych mewn ofn a gwendid; bum yn euog o ymddwyn lawer gwaith yn y fath fodd ag y gallasech yn naturiol ddiystyru fy ieuenctyd; ond yn lle hyny taflasoch fantell cariad dros fy holl ddiffygion; derbyniasoch air y cynghor genyf, pan y buasai yn fwy cydunol â'm teimladau, fel â'm hoedran, ac â'm cyrhaeddiadau crefyddol, i mi eistedd wrth draed llawer o honoch chwi sydd wedi penwynu yn y gwasanaeth; ac os cefais y fraint o fod o ryw les i rai o honoch, dymunwn briodoli hyny oll i Un arall.

Nis gwn a gâf eto y fraint o weithio yn y winllan ai peidio: y mae ei Harglwydd hi, yr hwn sydd yn dywedyd wrth hwn, Dos, wrth arall, Tyred, ac wrth ei was, Gwna hyn, wedi gorchymyn i mi fyned o'r neilldu. Y mae genym oll ryw wersi i'w dysgu, nad ellir eu dysgu yn dda heb fyned o ganol y twrw o'r neilldu, megys yr aeth Moses gynt o'r Aipht i'r anialwch; ac yr wyf yn gobeithio y câf finnau y fraint o ddysgu rhai pethau yn y neillduaeth hwn nad oedd sefyllfa gyhoeddus nemawr fantais i hyny; ac o ran dim sydd yn ymddangos yn awr nis gallaf obeithio cael eich gweled am fisoedd, os byth ar y ddaear; ond yr wyf yn hyderu y cawn gydgyfarfod o flaen gorsedd gras bob dydd.

Y mae eglwys, o'ch nifer chwi, yn fyd bychan ynddi ei hun. Y mae yn eich plith bob amser yr holl amrywiaeth sydd yn y byd naturiol neu foesol. Y mae hi yn hâf ar rai, tra y mae hi yn auaf ar y lleill. Profiad rhai o honoch ydyw, "Dyfnder a eilw ar ddyfnder, . . dy holl dònau a'th lifeiriaint a aethant drosof." Ond y mae eraill yn eich plith yn ddigon esmwyth arnynt i allu canu Salmau. Y mae hyn yn peri fod yn anhawdd dywedyd dim a fyddai yn "air yn yn ei bryd" wrth bawb. Ond gellir dywedyd hyn wrthych oll, gan nad beth yw eich amgylchiadau, Gwyliwch rhag colli y teimlad gwastadol o'ch hymddibyniad ar Ysbryd Duw, neu yn iaith y Testament Newydd, ar yr Ysbryd Glân, am bob peth crefydd. Nid wyf yn meddwl fod neb o honoch yn gwadu y gwirionedd hwn fel pwnc; ond gellir ei ddal, ac eto ei golli o'r teimlad; a phan y collir y gwirionedd hwn o'r teimlad, bydd hyny yn arwydd sicr fod y Person mawr wedi cilio i raddau. Yna fe ä y Bibl yn llyfr seliedig, oblegid Efe ydyw ei esboniwr mawr; ä y byd yn anialwch mawr ac ofnadwy; dyrysir yr enaid ynddo; oblegid Efe ydyw Cyfarwyddwr y pererinion; fe gollir y dyddanwch sydd yn Nghrist, oblegid Efe yn unig a all gymeryd o'i eiddo Ef i'w fynegi i'r enaid. Hebddo ä y Cristion naill ai yn alarus trwy orthrymder y gelyn, neu ynte fe gefna ar y tŷ mewn gwrthgiliad; a bydd raid ei ddwyn i deimlo ei werth drachefn â mieri ac â drain profedigaethau. Am hyny er mwyn eich cynnydd, eich cynnaliaeth, a'ch cysur, fel er mwyn gogoniant Duw, "llanwer chwi â'r Ysbryd Glân;" a thuag at eich cael fel eglwys yn llawn o hono, bydd yn rhaid eich cael yn bersonol felly. Gydag Ef nid yw o nemawr bwys beth a fydd yr hin yn rhagluniaeth Duw, neu pa freintiau a gewch eu mwynhâu. Hebddo nid yw o bwys pa mor enwog y gall yr

**offerynau a fydd yn gweini i chwi fod; pe byddent yn Paul, ac yn Apolos, ni byddai hyn oll yn llesâu dim i chwi.**

**Wrth derfynu dymunwn i chwi barhâu i weddïo drosof, am i mi gael yr hyn a fydd fwyaf o fendith i fy ysbryd fy hun; os cystudd ydyw hyny, gwell i mi a gwell i eraill ydyw iddo barhâu, na phe cawn fy adferu i'm hiechyd cynnefin, heb dderbyn bendith cystudd. Ac yn ngeiriau yr Apostol, "Yr awrhon, frodyr, yr ydwyf yn eich gorchymyn i Dduw ac i air ei ras Ef, yr hwn a all adeiladu ychwaneg, a rhoddi i chwi etifeddiaeth ymhlith y rhai a sancteiddiwyd."**

**Yr eiddoch yn ffyddlon,**
**yn rhwymau yr Efengyl,**
**EDWARD MORGAN.**

Am rai blynyddoedd wedi hyn (1849), nid oedd un gweinidog perthynol i'r Cyfarfod Misol yn alwedig gan unrhyw eglwys. Rhoddai y gweinidogion eu gwasanaeth yn rhad yn yr eglwysi yr oeddynt yn aelodau o honynt; a gwneid hebddynt oreu y gellid yn eglwysi y cymydogaethau nad oedd un gweinidog yn dygwydd preswylio. Trwy garedigrwydd y Parchedig Robert Owen, M.A., Pennal, ysgrifenydd presennol y Cyfarfod Misol, yr ydym wedi derbyn dyfyniadau o'r cofnodau am y gwahanol drafodaethau ynghylch Bugeiliaeth Eglwysig. Yn Nghyfarfod Misol yr Abermaw, Ebrill 1, 2, 1852, ceir fod y mater wedi bod dan sylw. Cymerasai ymweliad â'r eglwysi le yn ddiweddar, ac mewn cysylltiad â'r Adroddiad gwneir y sylw canlynol:—"Gyda golwg ar eglwysi Abergeirw, Bontddu, Llanelltyd, ac eraill, dywedwyd fod yn rhaid i'r eglwysi cryfion ddyfod allan i gynnorthwyo y rhai hyn a'u cyffelyb, a bod mawr eisieu anfon brodyr o ddawn yno i ymweled â hwy yn awr ac eilwaith." Ar yr un dyddiau cynnelid y Gymdeithasfa yn y Trallwm. Yr oedd tair cenadwri wedi eu hanfon yno gan Gyfarfod Misol Sir Drefaldwyn; ac wele un o honynt:—"Dymunid cael sylw ar y moddion goreu i gadw ac amddiffyn yr achos crefyddol mewn lleoedd gweiniaid." Cafwyd ymdrniaeth ar y mater mewn cysylltiad â'r Adroddiad am ansawdd yr achos yn y Sir. Dyma y cofnodiad yn Nghylchlythyr y Gymdeithasfa:—"Cafwyd adroddiadau am ansawdd yr achos crefyddol yn Sir Drefaldwyn, a dangoswyd y mawr angen sydd am rywbeth effeithiol tuag at ymgeleddu eglwysi gweiniaid. Cymhellwyd fod trafodaeth fanwl ar y mater hwn ymhob Cyfarfod Misol, ynghyd ag yn y Cymdeithasfäoedd dyfodol." Yn Nghyfarfod Misol Penrhyndeudraeth, Mai 3 a'r 4, daeth y mater ger bron, a gwneir y cofnodiad canlynol am yr ymdriniaeth:—"Gwnaed sylw ar ddymuniad Cymdeithasfa y Trallwm ar yr angen am ryw lwybr priodol i fugeilio y mân eglwysi sydd ar hyd y wlad. Mynegwyd am gynllun yr oeddid newydd ysgogi gydag ef ymhen draw ein Sir, sef fod i bob eglwys geisio cymhorth un pregethwr atynt un *Society* o bob mis, ac yn amlach os dewisir: fod iddynt ddewis y neb a fynont hwy, ond fod y neb a ddewiser i barhâu yn y swydd am flwyddyn. Cydsyniwyd i dreio cael hyn yn y pen yma."—Yn y Cyfarfod Misol dilynol yn Llanegryn, Mai 24 a 25, daeth yr un pwnc dan sylw eto, a cheir y cofnodiad canlynol:—"Gwnaed sylw ar y mater a nodwyd yn Nghyfarfod Misol y Penrhyn, ynghylch bugeiliaeth yr eglwysi, sef fod i bob eglwys alw rhyw frawd i'w chynnorthwyo i gadw *Society*, ac i lygadu ar sefyllfa yr achos yn gyffredinol yn y lle. Dangoswyd yr angenrheidrwydd mawr sydd am hyn y dyddiau

presennol yn ngwyneb ymosodiad grymus a wneir ar y wlad gan Babyddion, Puseyaid, &c." Yn Nghymdeithasfa Mehefin, 1852, yn Llangefni, daeth yr achos dan sylw drachefn. Wele ddyfyniad o'r Cylchlythyr:—"Ymholwyd â'r Siroedd pa ymdriniaeth a wnaed â'r mater a fu dan sylw yn Nghymdeithasfa y Trallwm, am yr angenrheidrwydd o ymgeleddu eglwysi gweiniaid. Cafwyd fod Sir Feirionydd wedi gosod trefniadau gweithredol ar droed tuag at gyrhaedd yr amcan. Ac annogwyd y Cyfarfodydd Misol eraill i gymeryd y mater dan eu sylw manylaf." Yn ei anerchiad yn Nghymdeithasfa Dolgellau, Mehefin, 1870, ni anghofiodd Mr. Morgan wneyd y sylw canlynol am y Fugeiliaeth:—"O'r pen dwyreiniol i'r sir y daeth goleuni ar hyn, fel ar lawer peth arall, i'r pen gorllewinol." Oddiwrth y dyfyniadau uchod gwelir pa fodd y dechreuodd Bugeiliaeth Eglwysig. Ofer ydyw ymdroi i gymeryd sylw o'r ymosodiadau a wneir arni yn bresennol, o herwydd nad ydyw eto ond ychydig gyda deng mlwydd ar hugain oed; gan fod yn amlwg nad oedd y symudiad a gychwynwyd yn 1852, ond cynllun newydd i gario ymlaen yn effeithiol yr "arolygiaeth" dros yr eglwysi yr amcanai tadau cyntaf Methodistiaeth ei sicrhâu.—Fel hyn y dywedir yn Adroddiad yr Athrofa (1856): "Mae yn hawdd profi fod y Methodistiaid cyntaf yn cadw golwg ar y rheol, ac yn ymestyn hyd y gallent i gydffurfio â hi. Yr oeddynt hwy yn gofalu am yr eglwysi, a'r eglwysi yn ol eu gallu yn gofalu am danynt hwythau." Darllen *Methodistiaeth Cymru* yn unig sydd yn angenrheidiol i weled hyn. A phe buasai yr hyn a wneid gan y tadau boreuaf wedi cael ei barhâu am yr hanner canrif gyntaf o'r ganrif bresennol, buasai yn ddiau wedd amgenach ar Fethodistiaeth nag ydoedd yn 1850. Gydag adgyfodiad yr arolygiaeth, bydd i Ddwyrain a Gorllewin Meirionydd a Threfaldwyn le parchus ac anrhydeddus. Dwyrain Meirionydd a ddarganfyddodd y cynllun; Trefaldwyn a ddŷg achos yr eglwysi gweiniaid i'r Gymdeithasfa; ond Gorllewin Meirionydd a ddangosodd y gwroldeb a'r penderfyniad mwyaf i ddwyn y gwaith ymlaen yn wyneb pob anhawsderau.

Yn Nghyfarfod Misol Maentwrog, Awst 2, 3, 1852, "Gwnaed sylw ar gynnygiad Cyfeisteddfod Cymdeithasfa Llangefni ynghylch y modd i ddefnyddio arian Eisteddleoedd y Capeli diddyled. Dygodd y Parchedig Edward Morgan ei gynllun gyda golwg ar y pen yma i'r Sir i sylw, sef, Fod £3 i gael eu rhoddi ar gyfer pob eglwys fel eu gilydd i'r pregethwr a elwir ganddynt i'w bugeilio; a bod yr arian hyn i ddyfod oddiwrth eisteddleoedd y gwahanol gapeli,—rhai fwy a rhai lai, yn ol eu maintioli a'u cryfder,—yr eglwysi cryfaf i roddi £5 yr un i'r *Fund*, eraill £4, eraill £3, eraill £2, a rhai £1 10s. neu lai, yn ol fel y cytunid ar hyn rhagllaw; fod yr eglwysi cryfion yn y wedd hon i ddyfod allan i gynnorthwyo y rhai gweiniaid. A phenderfynwyd myned â hyn i Bwllheli yn fynegiad o'r modd y bwriadwn ni weithredu y ffordd hyn." Yn Nghylchlythyr y Gymdeithasfa hono ceir yr hyn a ganlyn:—"Wedi sylwadau ar y mater, yn benaf gan frodyr o ddiaconiaid, penderfynwyd yn unfryd,—Ein bod yn teimlo yr angenrheidrwydd am drefnu rhyw foddion i weinyddu ymgeledd mwy effeithiol i'r holl eglwysi, ac yn dymuno cefnogi yr ymdrech a wneir yn barod mewn rhai siroedd at gyrhaedd yr amcan hwn, a'n bod fel Cymdeithasfa yn

cyflwyno yr achos i sylw yr holl Gyfarfodydd Misol. Dysgwylir hefyd i bob Sir benodi dau frawd i ymweled â'r holl eglwysi o'i mewn er mwyn gosod y mater ger bron yr aelodau." Yn Nghyfarfod Misol Corris, Medi 2, 3, 1852, "Holwyd y gwahanol eglwysi rhwng y Ddwy Afon ynghylch y modd yr oeddynt yn gweithredu gyda golwg ar y Fugeiliaeth Eglwysig. Dangoswyd y pwys sydd yn hyn gyda golwg ar yr eglwysi eu hunain, yn gystal a chyda golwg ar y rhai a elwir gan yr eglwysi i ofalu am danynt, o dan yr enw o fugeiliaid. Gadawyd y peth i fod dan ystyriaeth yr eglwysi hyd y Cyfarfodydd Misol dilynol." Erbyn Cyfarfod Misol Ffestiniog, Hydref 8, 9, yr oedd yn amlwg fod gwrthwynebiadau yn cyfodi, o herwydd yr anhawsder i ddyfod o hyd i'r arian; ond wedi llawer o siarad "boddlonodd pawb yn y Cyfarfod hwn i roddi prawf arno." Yn ei anerchiad yn Nolgellau dywedai Mr. Morgan: "Bu genym ninnau frwydrau yn achos y fugeiliaeth, na anghofir yn fuan y manau yr ymladdwyd hwynt. Fel y mae Waterloo a Trafalgar yn cael eu cofio ynglŷn â'r brwydrau a fu yno, felly fe gofir am Towyn a'r Gwynfryn, a manau eraill, ynglŷn â brwydrau y fugeiliaeth." Yn Nghyfarfod Misol Towyn, Tachwedd 1, 2, 1852, yr ymladdwyd y gyntaf o'r rhai hyn; ond yr ydym yn gwbl barod i fyned heibio heb wneuthur unrhyw gyfeiriad pellach ati. Yr oedd yn amlwg yn y Cyfarfod Misol dilynol yn Harlech, Tachwedd 25, 26, fod Mr. Morgan wedi teimlo oddiwrthi; a thraddododd araeth gref ar y mater. Yn yr araeth hon y mae yn cymeryd i fyny ei safle ar awdurdod y Testament Newydd, ac yn dadleu yn gryf fod y gweinidog yn rhan *hanfodol* o'r eglwys. Ceir gweled y syniadau hyn yn fwy eglur yn ei areithiau ar Natur Eglwys mewn adegau diweddarach. Wedi y crynhöad o sylwadau Mr. Morgan, ä y cofnodiad ymlaen fel y canlyn:— "Ond wedi'r cwbl rhyw led ddyrys oedd hi yma gyda'r cynllun. Cwynid gan amryw oblegid maint y dreth a osodid arnynt at hyn, ac ymwrthodai cyfeillion Ffestiniog â'r rhwymiad a osodid arnynt hwy o estyn £2 i gynnorthwyo yr eglwysi gweiniaid. Nid oedd yn ymddangos eu bod am roddi y £3 eraill ychwaith i'r tri phregethwr sydd yn eu plith yn byw, pa rai yr oeddynt yn eu dewis, meddynt hwy, i arolygu arnynt. Felly rhwng pob peth, edrych yn dywyll yr oedd hi ar y peth hyd yma; a'r diwedd fu penderfynu fod Cyfeisteddfod i gyfarfod yn Nolgellau i ystyried y mater." O aelodau y Cyfeisteddfod hwnw nid oes yn awr neb yn fyw ond Mr. Griffith Jones, Towyn, a'r Parchedig John Williams, o'r Dyffryn (yn awr yn yr America). Y diweddaf ydoedd Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol ar y pryd. Nid annyddorol fydd y penderfyniadau a ffurfiwyd gan y Cyfeisteddfod:—"1. Fod gan bob eglwys hawl i ddewis y neb a ewyllysio i'w bugeilio. 2. Fod y bugail i arolygu holl achos yr eglwys, ac i fod yn gyfrifol i'r Cyfarfod Misol am yr oll a drinir yno. 3. Dysgwylir iddo fod yn bresennol yno o leiaf unwaith yn y mis, a gwneuthur ymdrech i fod yn amlach os bydd modd. 4. Fod i'r eglwys dalu swm blynyddol iddo am ei lafur. 5. Fod y Cyfarfod hwn yn rhoddi hawl i bob eglwys i ddefnyddio y swm a farnont hwy yn angenrheidiol o arian eu heisteddleoedd at ddwyn traul y fugeiliaeth. 6. Fod y lleoedd canlynol . . . . i roddi punt yn flynyddol i gynnorthwyo y lleoedd canlynol . . . ." (Yma enwir deuddeg o leoedd cryfion i gynnorthwyo deuddeg o leoedd gweiniaid.) Yn

Nghyfarfod Misol y Dyffryn, Mawrth 1, 2, 1853, gwnaed ymholiad a oedd yr holl eglwysi wedi dewis eu bugail neu eu harolygwr, ac atebwyd eu bod. Yna y mae yn canlyn yn y cofnodau restr o'r holl eglwysi, fach a mawr, ac ar gyfer pob eglwys enw y bugail oedd i ofalu am dani. A dyma gychwyniad Bugeiliaeth Eglwysig yn Ngorllewin Meirionydd; ac y mae y gwŷr da a lafuriasant i roddi bôd iddo yn deilwng o goffâd parchus. Ymlaenaf yn eu plith yr oedd y Parchedig Edward Morgan; ond cafodd gynnorthwywyr gwerthfawr yn amryw o'r gweinidogion eraill, ac yn enwedig yn y Parchedigion Robert Williams, Aberdyfi, a Richard Humphreys, ei dad yn nghyfraith. Nid ydyw coffadwriaeth y cyntaf o'r ddau hyn, fe ddichon, wedi cael y sylw a fuasai yn ddymunol. Bu yn gydlafurwr ffyddlawn ac yn gyd-ddyoddefydd amyneddgar â Mr. Morgan am flynyddoedd. Efe oedd yr un a ddewiswyd i ofalu am eglwysi Corris ac Aberllefeni; ac yr ydym yn cofio yn dda am ei ymweliadau â hwynt. Mae rhai o'i anerchiadau yn fyw yn ein meddwl hyd heddyw, ac nid oes un ammheuaeth na bu ei lafur o werth anmhrisiadwy yn y lliaws eglwysi yr ymwelai â hwynt. Nid ydym yn sicr dros ba amser y parhaodd y cynllun hwn i gael ei gario allan yn effeithiol; ond syrthiodd i'r llawr yn raddol, am fod y rhan fwyaf o'r eglwysi yn dewis y naill neu y llall o dri o weinidogion, tra na ddewisid y gweinidogion eraill ond gan ychydig mewn cymhariaeth. Yn y Gwynfryn y dywedai Mr. Morgan fod brwydr fawr arall wedi cymeryd lle; a dygwyddodd hono Mawrth 31 ac Ebrill 1, 1856. Yr oedd y Gymdeithasfa yn 1855 wedi sefydlu Cymdeithas er Cynnorthwyo Gweinidogion a Phregethwyr; ac anfonodd Gorllewin Meirionydd genadwri yno fel hyn:—"Fod y Cyfarfod Misol hwn yn cymeradwyo amcan a chynllun 'Trysorfa y Weinidogaeth,' ac yn penderfynu ymuno â hi y flwyddyn hon, ond yn gohirio y penderfyniad ar y cynllun a gymerir i gasglu yr arian hyd y Cyfarfodydd Misol nesaf." Ymddengys na chariwyd y penderfyniad hwn allan; oblegid yn Nghyfarfod Misol yr Abermaw, Mawrth 1856, penderfynwyd peidio ymuno â'r Gymdeithasfa, a gwneuthur rhywbeth yn sirol. Bu cryn drafodaeth ar y mater, a phenderfynwyd fod Mr. Humphreys i ysgrifenu anerchiad at yr eglwysi o berthynas i hyn, a bod yr holl eglwysi i gymeryd y peth i ystyriaeth ddifrifol hyd y Cyfarfod Misol dilynol. Ac yn y Gwynfryn yr oedd hwnw. Nid ydym yn gwbl sicr pa gynnygiad oedd ger bron yno, neu ymha ffurf yr oedd y mater dan ystyriaeth; ond yr oedd yr areithiau yn llymion, a'r teimladau yn tueddu at fod yn chwerwon. Clywsom gan un gweinidog dyeithr oedd yn dygwydd bod yn bresennol iddo orfod pregethu ei hun y noson gyntaf, a threulio yr holl *society* am wyth o'r gloch boreu drannoeth i siarad ar y mater gosodedig, sef, Person Crist, am nad oedd neb o'r brodyr yn teimlo eu hunain yn yr agwedd briodol i estyn iddo unrhyw gynnorthwy. Y cofnodiad yn y llyfr am y cwbl ydyw hyn:—"Bu ymddyddan maith ar y cynllun a gynnygiwyd yn Nghyfarfodydd Misol Dolgellau a'r Abermaw tuag at wneyd *Fund* er cynnorthwyo cynnaliaeth y weinidogaeth; ond oblegid diffyg cydwelediad, ni ddaethpwyd i unrhyw benderfyniad." Nid yw y cynllun wedi ei gofnodi; ond y mae yn amlwg os achlysurwyd ef gan gynllun y Gymdeithasfa gyda yr hyn a elwid "Trysorfa y Weinidogaeth," ei fod wedi ymestyn ymhellach nag amcanion y Gym-

deithasfa. Yn Ngorllewin Meirionydd yr oedd wedi ei ddwyn i gysylltiad â'r amcan o sicrhâu bugeiliaeth i'r eglwysi. Teimlodd Mr. Morgan yn ddwys oddiwrth y drafodaeth yn y Gwynfryn; ac os nad ydym yn camgymeryd, bu am beth amser yn gwrthod rhoddi ei bresennoldeb yn y Cyfarfodydd Misol. Ond aeth yr ystorm heibio; ac yn 1857 cychwynwyd y Genadaeth Sirol, yr hon a fu yn hynod lwyddiannus yno hyd gychwyniad y Drysorfa Gynnorthwyol mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa. Y diweddar Barchedig Owen Roberts oedd y gweinidog cyntaf a alwyd mewn cysylltiad â'r Genadaeth hono, ac yn Rhiwspardyn a'r eglwysi cylchynol yr oedd maes ei lafur. Edrychai Mr. Morgan ar y Genadaeth gyda hoffder tadol hyd ddiwedd ei oes, gan ei hystyried fel ei ddrychfeddwl ei hun, er y clywsom frawd arall yn dadleu gydag ef fwy nag unwaith am yr hawl i gael ei ystyried yn dad iddi. Ei hamcan oedd dwyn yr eglwysi cryfion i gynnorthwyo eglwysi gweiniaid er sicrhâu gofal gweinidogaethol; a gweithiodd yn hynod esmwyth, yn enwedig wedi i'r angen derfynu am anfon cyfran o arian yr eisteddleoedd at gynnaliaeth yr Athrofa. A chymhwysiad o'r un egwyddor, gyda rhai gwahaniaethau pwysig, a geir yn y Gronfa Gynnorthwyol mewn cysylltiad â Chymdeithasfa y Gogledd.

Yr ydym wedi manylu cryn lawer ar hanes cychwyniad y Fugeiliaeth yn Ngorllewin Meirionydd, i ryw fesur o herwydd ei ddyddordeb ynddo ei hun, ond yn benaf o herwydd mai gwrthddrych ein hysgrif oedd y prif ysgogydd yn y cwbl. Nid ydym yn ymgymeryd â'r gorchwyl o olrhain dylanwad y symudiad yno ar Siroedd eraill; a dealla ein darllenwyr nad ydym yn gwneuthur un cyfeiriad at y symudiad o gwbl yn y Dehau. Ond y mae yn angenrheidiol i ni alw sylw at rai o ymdrechion Mr. Morgan o blaid y Fugeiliaeth yn y Gymdeithasfa. Cyfeiriwn yn unig at dri amgylchiad. Galwyd ef i draddodi yr araeth ar "Natur Eglwys," yn Nghymdeithasfa Llangefni yn Mehefin, 1857; a chan nad ydym yn gwybod fod gair o'r hyn a draddodwyd ganddo yno wedi ymddangos erioed trwy y wasg, yn gystal ag o herwydd rhagoroldeb ei chynnwysiad, yr ydym yn ei rhoddi i lawr yma fel y cafwyd hi yn ei ysgrif ef ei hun:—

## YR EGLWYS.

Ar yr achlysur o neillduo rhai i swyddau yn nheyrnas nefoedd, arferir yn ein plith ni, fel gan Eglwys Crist yn gyffredinol, draethu rhyw gymaint am natur y deyrnas hono. Ond nid ydyw yn bur amlwg i fy meddwl i paham y gwneir hyn—ai er mwyn y swyddogion sydd yn cael eu hordeinio, ai ynte er mwyn yr aelodau—yr Eglwys. Gall mai nid diangenrhaid ydyw hyn er mwyn y swyddogion. Yr ydym yn cael fod yn rhaid i frenin Israel, pan yr eisteddai ar y deyrngadair, ysgrifenu iddo ei hun mewn llyfr gopi o'r gyfraith, yn ol yr hwn yr ydoedd i lywodraethu, a bod y llyfr hwnw i fod gydag ef yn wastadol, i gael ei ddarllen ganddo holl ddyddiau ei fywyd. Yn hanes gosodiad Joas ar yr orsedd, fe ddywedir i Jehoiada roddi y goron aur ar ei ben, a'r dystiolaeth yn ei law ar yr un pryd; y naill yn arwydd o'i osodiad mewn swydd, a'r llall yn rheol iddo pa fodd i'w gweinyddu. Dangosai hyn nad oedd y brenin ond goruchwyliwr—gweinyddwr deddfau, ac nid eu gwneuthurwr. Yn hyn y mae gweinidog y Testament Newydd yn debyg i frenin Israel; y mae ganddo awdurdod, ond awdurdod i weinyddu deddfau y deyrnas, ac nid i'w ffurfio ydyw hono. Ac wrth ei osod yn ei swydd nid anmhriodol ydyw galw ei sylw at natur y deyrnas y mae yn swyddwr ynddi—rhoddi megys gopi o'r dystiolaeth yn ei law wrth osod y goron ar ei ben, "fel na ddyrchafo ei galon," mwy nag un brenin Israel,

"uwchlaw ei frodyr, ac na chilio oddiwrth y gorchymyn i'r tu dehau nac i'r tu aswy."

Ac y mae mor angenrheidiol, ar yr achlysur o ordeinio i swydd, galw sylw y deiliaid at natur y deyrnas y perthynant iddi, ag ydyw galw sylw y swyddogion at hyny; oblegid gall diffyg ystyriaeth o hyn ynddynt hwy wanhâu breichiau eu swyddwyr a'u hanalluogi i wneuthur yr hyn a wnaethent pe buasai pob aelod yn cydymdrech yn ei le priodol ei hun. Nid all y cadlywydd mwyaf medrus ennill y frwydr heb gydweithrediad ffyddlawn pob milwr. Y mae i lwyddiant eglwysig ei ddeddfau, ac y mae yn anmhosibl sicrhâu y llwyddiant hwnw heb gadw y deddfau. Y mae y deddfau hyn oll yn tarddu o natur eglwys: gweddus gan hyny ydyw galw sylw yn fynych at hyn, rhag bod ein traed ni ar rai o'r deddfau, a hyny yn lluddias ein llwyddiant. Y mae i swyddogion ac aelodau iawn synied am natur teyrnas nefoedd yn tueddu i beri iddynt oll gydymdrech o blaid y ffydd.

Eglwys: pa beth, a pha fath ydyw? Ceisiwn mor fyr ag y medrwn ateb y cwestiynau yna. Gellir gwneuthur hyn naill ai trwy chwilio y Testament Newydd i gael darluniad mewn geiriau o natur cyfansoddiad yr eglwys, os oes darluniad felly ynddo; neu ynte trwy olrhain ffeithiau hanes yr eglwys, ac oddiwrth y rhai hyny gael allan beth ydyw ei natur. Ond credu yr ydym nad ellir penderfynu oddiwrth unrhyw ddarluniad mewn geiriau sydd yn y Testament Newydd pa fath sefydliad ydyw eglwys o ran ei natur a'i dyben, am nad oes mewn nac efengyl nac epistol yr un cyfansoddiad eglwysig yn cael ei ddesgrifio. Y llwybr sicraf, os nad yr unig un, i gael hyn allan ydyw sylwi ar ffeithiau hanes yr eglwys. Oddiwrth y rhai hyny gellir casglu gyda graddau o sicrwydd pa fath sefydliad ydyw eglwys o ran natur ei chyfansoddiad. Cynnwysir yr holl ffeithiau angenrheidiol hyn yn Llyfr yr Actau, a thybir gan rai beirniaid mai dyben ysgrifeniad y llyfr oedd cyflwyno y ffeithiau hyn i'r byd fel y gellid oddiwrthynt gael allan ymhob oes pa fath ydyw yr Eglwys Gristionogol.

Y mae yr ymadroddion cyntaf yn y llyfr, y rhai ydynt yn cyfeirio at yr Efengyl a ysgrifenwyd gan yr un awdwr, yn agoriad i ddeall y llyfr yn y goleuni hwn. Yn y traethawd cyntaf yr oedd Luc wedi rhoddi ger bron Theophilus y ffeithiau am yr Iesu—yr efengyl—y gwirioneddau am Iesu Grist, trwy ba rai y mae Ysbryd Duw yn cynnyrchu y bywyd ysbrydol yn enaid pechadur. Yn y traethawd hwn dengys yr awdwr y modd yr amlygwyd y bywyd ysbrydol ei hun yn y byd. "Y pethau a ddechreuodd yr Iesu eu gwneuthur a'u dysgu," oedd cynnwys y traethawd cyntaf, sef ei waith rhagbarotoawl—y gwaith mawr yr oedd raid ei wneuthur tuag at gyflawni y gwaith pwysig o achub y byd. Ac yn awr wedi rhoddi hanes y gwaith rhagbarotoawl yn yr Efengyl, y mae Luc yn myned rhagddo i roddi hanes yr Iesu yn cymeryd meddiant ar deyrnas y tywyllwch, ac yn ei gwneuthur yn deyrnas nefoedd. Os darllenir y llyfr yn fanwl yn y goleuni yma, gwelir y deyrnas yn ymffurfio yn ei law trwy ddylanwad ei Ysbryd, yn gyffelyb ag y gwelir y greadigaeth gyntaf yn dyfod i drefn a phrydferthwch yn y chwe' diwrnod yn llaw yr un Gŵr trwy ddylanwad yr un Ysbryd. Yn gyntaf gwelir hi yn cael ei dwyn i fod yn greadigaeth newydd yn Nghrist Iesu. Yn raddol y mae yn ymddadblygu yn gymdeithas drefnus fel y corff dynol, a phob aelod yn ei le ei hun, rhai yn llywodraethu, eraill yn ufuddhâu. Yna gwelir hi yn d'od i gysylltiad â'r byd—yn ymladd, ond yn gorchfygu bob tro. Y mae yn diddymu Iuddewaeth trwy sugno ei bywyd iddi ei hun; yn gorchfygu eilunaddoliaeth trwy ddwyn Duw byw, a hwnw yn Dduw yr heddwch yn Nghrist ger bron y byd; yn meddiannu Jerusalem, cartref ffurfioldeb; yn meddiannu Athen, cartref philosophi; yn meddiannu Rhufain, cartref awdurdod, moethusrwydd, a balchder y byd.

Ni oddef amser i ni enwi ond ychydig o nodweddion eglwys a gyflwynir i ni yn y llyfr hwn.

I. Y peth cyntaf sydd yn taro ein sylw ydyw, mai cymdeithas o dduwiolion, o saint, ydyw eglwys, ac o neb ond saint, wedi ymgyfammodi â'u gilydd i ymwneyd âg ordinhadau teyrnas nefoedd, a thrwy hyny i wneuthur y deyrnas yn weledig ar y ddaear. Tywalltiad yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost a roddodd fôd i'r eglwys Gristionogol. Fe ddwysbigwyd y miloedd oedd yn gwrando gan yr Ysbryd, ac fe fedyddiwyd y dysgyblion yr un pryd â'r Ysbryd; ac felly y dygwyd yr eglwys i fod gan Ysbryd Duw. Ac wrth olrhain hanes yr eglwys trwy y llyfr hwn, ni a welwn nad oedd iddi fôd mewn un man nes y byddai yno ryw rai yn credu; ond pa le bynag y credai dau neu dri byddai eglwys yn y fan hono. "Rhai a fyddent gadwedig" oedd yn cael eu wanegu ati; rhai yn credu yn yr Arglwydd oedd ei

ddeiliaid hi. Methai Saul gael derbyniad i'r eglwys yn Jerusalem am ei bod yn ofni ei fod heb gredu.

Yr oedd yr eglwys weledig a'r eglwys ddirgeledig o dan yr hen oruchwyliaeth i'w gwahaniaethu Nid ydoedd aelodau y naill o angenrheidrwydd yn aelodau y llall. Plant Abraham yn ol y cnawd oedd aelodau y weledig, ond plant Abraham trwy ffydd oedd aelodau y ddirgeledig. O dan yr oruchwyliaeth hon y mae yr eglwys weledig a'r eglwys ddirgeledig i fod yr un; a phan y prawf rhyw aelod o'r eglwys weledig nad ydyw yn y ddirgeledig, nid oes gan y weledig o'r foment y prawf ef hyn ddim awdurdod i'w oddef ynddi,—rhaid iddi ymwrthod âg ef, neu fod yn anffyddlawn i'w Brenin. Nid sefydliad pendant ydyw eglwys; y mae ordinhadau felly yn perthyn iddi, ond y mae hi ei hun yn sefydliad sydd yn bod o angenrheidrwydd. Gan fod crefydd yn y byd, y mae yn rhaid i eglwys fod ynddo, oblegid ffurf allanol y bywyd ysbrydol ydyw eglwys. Crefydd yn ei ffurf gymdeithasol ydyw, ac y mae y ffurf gymdeithasol mor hanfodol i grefydd yn y byd hwn ag ydyw hi i'r natur ddynol. Gan hyny y mae mor anmhosibl fod eglwys lle nad oes duwiolion ag ydyw bod cymdeithas lle nad oes dynion.

Dywedwyd gan un Esgob fod gan y Pabyddion eglwys heb yr un grefydd, a bod gan Ymneillduwyr grefydd heb yr un eglwys, ond fod gan Esgobaethwyr eglwys a chrefydd. Yn ol y dyb yna, nid duwiolion sydd yn gwneyd eglwys, ond swyddogion wedi eu gosod yn eu swyddau mewn rhyw ddull penodol. Am fod swyddogion yr Eglwys Babaidd wedi eu gosod felly, cydnabyddir hi yn eglwys, er nad oedd yno grefydd: am nad oedd swyddogion Ymneillduwyr wedi eu gosod felly, nid oeddynt hwy yn eglwys, meddai efe, er fod yno grefydd. Ond gwrthbrofir y dyb yma gan holl Lyfr yr Actau. Perthyna swyddogion i'r eglwys yn ei hystad bresennol, ond nid swyddogion sydd yn gwneyd eglwys; yn hytrach, eglwys sydd yn gwneyd swyddogion; oblegid fe gasglwyd amryw o'r eglwysi cyntaf gan rai na wyddom ni ddim eu bod mewn swydd o gwbl, sef gan y rhai a wasgarwyd yn erlidigaeth y merthyr Stephan. Phylip y diacon a sefydlodd Eglwys Samaria; ac er i Pedr ac Ioan ddyfod yno ar ol hyny, nid i geryddu Phylip am redeg heb ei anfon y daethant, ond i weled gras Duw. Eglwys Antiochia, gwŷr Cyprus a Cyrene, aelodau cyffredin yn Eglwys Jerusalem, a sefydlodd hono. Fe weithiodd llaw yr Arglwydd gyda hwynt fel y casglwyd eglwys liosog trwy eu llafur. Pan ddaeth y newydd i Eglwys Jerusalem, anfonwyd cenad i Antiochia, ond nid apostol na diacon a anfonwyd, eithr Barnabas. Chwanegwyd llawer at yr eglwys drachefn trwy ei lafur yntau. Aeth Barnabas o Antiochia i Tarsus i geisio Saul, yr hwn oedd yn awr yn apostol, nid i ffurfio yr eglwys yn rheolaidd gan apostol,—na, yr oedd hi wedi ei ffurfio,—ond yn hytrach i gydlafurio âg ef am fod y maes yn rhy eang iddo ef a'r llafurwyr oedd yno o'r blaen. Ni buasai Eglwys Antiochia yn cael ei chydnabod yn eglwys gan rai yn Nghymru yn y dyddiau hyn, ond cauesid hi allan i ryw "drugareddau anghyfamodol;" ond gan fod yno dduwiolion, cydnabyddid hwynt yn eglwys gan yr apostolion heb ymofyn unwaith trwy bwy yr oedd hi wedi ei sefydlu. A pha gymdeithas bynag a all fod yn hawlio iddi ei hun yr enw "eglwys," nid am fod ei haelodau yn dduwiolion, ond am fod yno swyddogion o ryw fath penodol, y mae yn cymeryd arni ei hun enw nad yw yn perthyn iddi. Hi all fod yn glwb; hi all fod yn gymdeithas i wasanaethu rhyw amcanion bydol neu wladol; ond nis gall fod yn eglwys yn ystyr y Testament Newydd i'r gair.

Edrych ar yr eglwys fel yn gynnwysedig o swyddogion a ffurfiau, ac nid o saint, a arweiniodd i Babyddiaeth. Yr un cyfeiliornad sydd yn cael ei ledaenu mor ffyddlawn ac yn rhy lwyddiannus mewn rhai ardaloedd trwy Gymru yn y dyddiau hyn. Rhoddir yr eglwys yn lle Crist, neu o'r hyn lleiaf yn unig ffordd at Grist; yn lle edrych arni, fel y dangosir hi yn y Bibl, yn effaith hyny. Nid dyfod trwy yr eglwys at Grist yr ydys, ond trwy Grist at yr eglwys.

Gan mai saint ydyw yr Eglwys, nid gorchwyl anhawdd ydyw cael allan y wir Eglwys ymhob oes, oblegyd nid oes achau yn perthyn iddi. Y mae yn yr ystyr hon heb dad ac heb fam ddaearol. Nid wyrion, gorwyrion, goresgynyddion yr Apostolion a'r Eglwysi Cyntefig ydyw yr Eglwys sydd ar y ddaear yn awr. Pe buasai felly, mor ofalus y dylesid bod i gadw llyfr yr achau—i gadw holl ddolenau cadwen yr olyniad, i brofi y berthynas, rhag dygwyddo i ryw ganghen, fel i'r offeiriaid hyny yn llyfr Ezra, y rhai a dorwyd o'r offeiriadaeth am eu bod wedi colli ysgrifen eu hachau, ac na ellid eu derbyn yn ol hyd oni chyfodai offeiriaid âg Urim a Thummim ganddo i hysbysu oddiwrth Dduw eu bod yn perthyn iddo. Yn hytrach brodyr iddynt ydym ni, plant yr un Tad. Yr ydym yn perthyn mor agos iddo a hwythau;

a phe buasai Pedr ac Ioan yn dyfod i ymweled â Chymru yn y dyddiau hyn i gael allan pa le yr oedd y wir Eglwys, nid gorchymyn i bob eglwys ddyfod â llyfr ei hachau iddynt a wnaethent, er mwyn gweled pwy oedd wedi disgyn yn rheolaidd oddiwrth yr Apostolion, ond yn hytrach edrych a wnaethent am ddelw eu Tad. Ac ar ba gynnulleidfa bynag y gwelent hono, cydnabyddent hono yn Eglwys, heb sylwi pa un mewn ai mewn *Cathedral* ai mewn Ysgubor y byddent yn ymgynnull. Lle bynag y byddai lleferydd dynion yn peri iddynt adgofio lleferydd yr Iesu, cydnabyddent y rhai hyny yn frodyr i'r Cyntafanedig ymysg brodyr lawer. Lle bynag y gwelent sancteiddrwydd yn dysgleirio, fel ar wyneb Moses, dywedent yn y fan, Dyma Eglwys. Nid oes eisieu gofalu am lyfr achau tra y bydd yr Urim a'r Thummim yn ein plith, Duw yn selio gwirionedd ein honiad ein bod yn eglwys iddo trwy osod ei ddelw arnom. Cymdeithas o saint ydyw Eglwys.

II. Ni a welwn yma hefyd fod yr eglwys yn gymdeithas sydd yn bod yn gyntaf ac yn benaf er ei mwyn ei hun. Y mae iddi ddybenion pwysig i'w cyrhaedd yn ei pherthynas â'r byd; ond yr unig ffordd i gyrnaedd y rhai hyny ydyw trwy yn gyntaf gyrhaedd y dyben mawr o'i hadeiladu ei hun. Yr oedd yr eglwys gyntaf "yn parhâu yn athrawiaeth ac yn nghymdeithas yr Apostolion, yn tori bara ac mewn gweddïau." Yr oedd a fynai yr holl bethau hyn â chryfhâu ei bywyd ysbrydol hi ei hun. Ar ol yr erlidigaeth gyntaf, fe ddywedir fod yr eglwys yn cael heddwch, yn cael ei hadeiladu, ac fel canlyniad i hyny yn cael ei hamlhâu. Am fod adeiladaeth yr eglwys yn gofyn hyny y dewiswyd y diaconiaid cyntaf. Oni buasai fod adeilad corff Crist yn galw am hyny, ni buasai nac apostol, nac efengylwr, nac athraw, na bugail, wedi ei osod yn yr eglwys; a pha beth bynag sydd yn angenrheidiol i adeiladaeth yr eglwys yn y dyddiau hyn, dylai pob peth gael ei aberthu i gyrhaedd hwnw. Os ydyw Eglwysi y Methodistiaid yn gofyn holl amser eu gweinidogion i'w bugeilio, fel y mae yn ddiau eu bod, ni ddylai dim fod yn rheswm dros oedi hyn: oblegyd os esgeulusir adeiladaeth yr Eglwys, y mae y *vital principle*, bywydolion yr eglwys, y rhai sydd yn rhoddi nerth yn ei holl ewynau, grym yn ei holl gyfansoddiad, yn cael ei esgeuluso; ac nid hir y byddys cyn gweled gwywdra a gwendid trwy ei holl gyfansoddiad yn ganlyniad i hyny. Nid all yr eglwys ddim ateb y dyben mawr gyda golwg ar y byd heb iddi gael bod yn gryf ei hun yn gyntaf; ond os caiff hi ei hadeiladu, bydd yn brydferth ac yn nerthol,—"yn deg fel y lleuad, ac yn ofnadwy fel llu banerog."

III. Gwelwn yma fod yr Eglwys yn gymdeithas, yn yr hon y mae cydraddoldeb perffaith rhwng yr aelodau, ac y mae ganddynt yr un hawliau a'u gilydd i ddewis eu swyddogion, ac i drefnu unrhyw fesurau a dueddont at adeiladaeth. Y maent oll yn brophwydi, oll yn offeiriaid, oll yn frenhinoedd; a phan y maent yn gosod un o'u nifer mewn swydd, rhoddi i fyny ei hawliau ei hun y mae pob aelod i hwnw er mwyn trefn. Y mae hyn nid yn unig yn cau allan awdurdod neb swyddogion gwladol i lywodraethu yr eglwys, ond hefyd awdurdod yr eglwys mewn un oes i wneuthur trefniadau i'r eglwys ymhob oes a ddelo ar ol hyny. Fel nad oedd yr Apostolion yn derbyn eu hawdurdod oddiwrth eu gilydd, felly y mae yr eglwys ymhob oes yn derbyn ei hawdurdod i hyn oddiwrth ei Phen mawr. Y cymhwysder i hyn ydyw preswyliad yr Ysbryd. Pe buasai unrhyw eglwys heb awdurdod i hyn, yr Eglwysi Apostolaidd a fuasai y rhai hyny; ond yr oeddynt hwy oll yn arfer yr awdurdod hon. Yr eglwys a ddewisodd y diaconiaid cyntaf; yr eglwysi yn Asia Leiaf a ddewisasant yr henuriaid y dywedir i Paul a Barnabas eu hordeinio. Wrth ddychwelyd o'u taith genadol yr ordeiniwyd hwynt gan Paul a Barnabas; a'r rheswm am hyny oedd nad oedd y teimlad o anghen am danynt, na'r cymhwysder i'w dewis, wedi addfedu cyn hyny. Gwnaeth Titus yn gyffelyb yn Creta. Y mae yr hawlfraint hon yn perthyn i'r eglwys eto; ac os ceisir dilyn llythyren rhyw drefniadau a ddisgynodd oddiwrth y tadau, yn lle gadael yr eglwys yn rhydd i ddarparu ar gyfer amgylchiadau fel y maent yn codi, byddys yn sicr o wanhâu ei nerth hi, o gyfyngu ei defnyddioldeb hi, ac o beryglu ei bywyd hi. Nid peirianwaith ydyw yr eglwys, ond bywyd; ac y mae y rhyddid hwn yn hanfodol i gynnyddu nerth y bywyd ysbrydol. Na ddyweded neb y peidiwn ni a bod yn Fethodistiaid wrth beidio dilyn llythyren rhyw hen drefniadau o eiddo y tadau. Ni a beidiwn a bod yn Eglwys, bob yn dipyn, os yspeiliwn ni y bywyd ysbrydol o'i ryddid.

IV. Gwelwn yma hefyd fod yr Eglwys yn gymdeithas nad oes ffurf benodol yn anhebgorol iddi, hyny yw, nid oes yr un ffurf wedi ei rhoddi yn y Testament Newydd i'r Eglwys Gristionogol, fel yr oedd i'r Iuddewig yn yr Hen Destament. Eto ni bydd heb ffurf; ond dylem gofio fod ei ffurf yn codi o natur ei bywyd. Tyfu

o hwnw y mae y ffurf, ac nid cael ei wneyd yn rhywbeth i hwnw gartrefu ynddo; o ganlyniad ni bydd yr eglwys ddim yn unffurf, oblegid y mae amrywiaeth yn un o nodweddion pob bywyd. Y mae ychydig bethau pendant wedi eu gosod yn yr eglwys, ond nid ydynt ond ychydig. Gadawodd y Pen mawr yr eglwys yn rhydd i egwyddorion mawrion y bywyd ysbrydol weithio eu hunain allan neu ymgorffori yn ol yr amgylchiadau. Nid oes dim i fod yn yr eglwys nad ydyw yn amlygiad o fywyd ysbrydol, neu yn wasanaethgar iddo: pa beth bynag a all fod ynddi nad ydyw yn ateb y naill neu y llall o'r dybenion hyn, fel y cryfhâ bywyd ysbrydol yr eglwys, yagydwir y peth hwnw i ffordd. Nid anhawdd, pe goddefasai amser, a fuasai profi nad oes yn y Testament Newydd yr un ffurf eglwysig yn cael ei dadguddio. 1. Gadawodd yr Apostolion y byd heb ei hysgrifenu mewn llyfr. 2. Nid oes genym hanes am ffurfiad un eglwys, nac am y dull o gario ymlaen y gwasanaeth. 3. Mae y dadleuon yn Eglwys Corinth a lleoedd eraill yn profi hyn. Yr oedd rhyddid bywyd gan yr Eglwysi Apostolaidd; ac am hyny yr oedd cryn wahaniaeth rhyngddynt. Ymgadwai yr Iuddewon crediniol at lawer o ddefodau eu hen grefydd; ac nid oedd neb yn gwahardd hyny iddynt, am nad oedd dim ynddo yn groes i egwyddorion mawrion Cristionogaeth. Addoli y Tad mewn ysbryd ac mewn gwirionedd oedd y peth mawr, ac nid addoli yn Jerusalem nac yn Gerizim; ond os byddai teml Jerusalem yn fantais i'r Iuddew i addoli, a theml Gerizim yn fantais i'r Samariaid, croesaw iddynt o honynt; ond y foment y ceisient hwy osod yr hyn oedd yn fantais iddynt hwy yn bersonol, yn ddeddf i'r Cenedloedd, gwaherddid hyny iddynt, am fod gan y Cenedloedd hawl i'r un rhyddid a hwythau.

Ond y mae yr eglwys yn rhwym o gymeryd rhyw ffurf, ac y mae rhai ffurfiau yn fwy cydweddol â'r bywyd ysbrydol nag eraill; ond ni ddylai yr un eglwys, bydded Esgobaethol, Presbyteraidd, neu Gynnulleidfäol, ddywedyd mai hi ydyw *Yr Eglwys.* Gall fod yn eglwys, ond nid *yr* Eglwys.

Drachefn, gan mai tarddu o'i bywyd hi y mae ffurf yr eglwys, fe ffurfia y bywyd hwnw, ond cael ei ryddid, y ffurf fwyaf manteisiol iddo ef ei hun i weithredu ynddi. Ofna rhai fod crefydd yn darfod ymysg y Methodistiaid, am fod ei ffurf hi yn newid ychydig; ac os na wneir deddfau i sicrhâu parhâd y teithio, a phob peth arall fel yr oeddynt o'r dechreuad, credant fod dinystr wrth y drws. Ond heb ddeall cyfansoddiad Eglwys y Testament Newydd y mae y brodyr yna; yr un bywyd sydd eto yn gweithio, er nad ydyw y corff yn gwbl yr un fath.

V. Gwelwn hefyd fod yr Eglwys yn sefydliad hollol annibynol ar bob peth tu allan iddi ei hun. Teyrnas ydyw ac nid rhaglawiaeth; nid oes iddi Frenin ond Iesu. Rhaid yw iddi ufuddhâu i Dduw; ac y mae derbyn gorchymynion gan neb heb law yr Iesu yn fesur o anffyddlondeb i'w chyfiawn Frenin.

VI. Yn olaf, Gwelwn ei bod hi yn gymdeithas, tra y ceidw hi at y pethau a enwyd, a fydd yn rhwym o gynhyrfu gwrthwynebiadau. Y mae y byd yn ei lywodraethau, yn ei grefyddau, ac yn ei ddoethineb yn ei herbyn. Ymosododd arni yn foreu yn ei lywodraethau, trwy Herod, Agrippa, a'r llywodraethwyr Rhufeinig; yn ei grefyddau, trwy yr offeiriaid Iuddewig a Phaganaidd; yn ei ddoethineb, trwy philosophyddion Groeg a Rhufain; ond nid ymroddodd yr eglwys iddo trwy ddarostyngiad, naddo dros awr. Er i philosophi a chrefydd gael cleddyf y llywodraethwr i'w pleidio, fe fethodd cleddyf Rhufain, oedd wedi darostwng pawb, fenu arni hi. A phe goddefasai amser, difyr a fuasai genym olrhain ei hanes yn y byd er ei gweled fel llestr ardderchog, yn *sport*, dybygid, i'r stormydd, yn dawnsio ar frigau y tònau, ar fyned yn ddrylliau yn nghanol y creigiau danneddog, ac eto, am fod rhyw *pilot* medrus wrth y llyw, yn cyrhaedd yr hafan dymunol wedi y cwbl.

Ond y mae yn rhaid i ni adael ar yr ychydig brif linellau hyn; a chofiwn mai i'r graddau y cedwir un o honynt yn ol, y bydd llygredigaeth yn rhwym o ddyfod i mewn i'r eglwys. Cymerer oddiar yr aelodau yr hawl i ddewis eu swyddogion, llygredigaeth mawr fydd canlyniad hyny; dalier yn dŷn fod ffurf eglwysig arbenig wedi ei rhoddi yn y Testament Newydd, ysbryd cul, rhagfarnllyd, fydd canlyniad hyny; gwader nad duwiolion ydyw yr eglwys, diluw o lygredigaeth fydd canlyniad hyny; yspeilier yr eglwys o'i rhyddid, a chylymer hi wrth draddodiadau neb tadau, ffurfioldeb difywyd a ddiwedda mewn llygredigaeth mawr fydd canlyniad hyny. Ond pe cai pob un o'r pethau hyn yr un arbenigrwydd yn awr ag yr oeddynt yn ei gael yn sefydliad cyntaf yr eglwys, O y fath nerth, y fath brydferthwch, a'r fath ddylanwad a fyddai ganddi! Pan oedd y pethau hyn yn amlwg ynddi, gorchfygodd y byd; ac nid byd o anwariaid fel trigolion Canoldir Affrica neu goedwigoedd America, ond byd wedi ei oleuo gan grefydd, wedi ei gaboli gan philosophi, wedi ei drefnu

gan gyfreithiau Rhufain—byd yr oedd ei opiniynau yn filoedd, ei sectau yn aneirif—pob gwlad ynddo yn glynu wrth ei duwiau mor llwyr fel na wybuwyd i'r un wlad newid ei duw erioed. Yr oedd Rhufain wedi newid llywodraeth pob gwlad; Groeg wedi newid ei philosophi; ond nid oedd neb yn meddwl am newid eu duw. Yn hytrach, gwyddai y Rhufeiniaid yn dda mai y ffordd oreu i gael ufudd-dod i'r llywodraeth newydd oedd bod yn bur barchus o'r hen demlau. Gwyddai y Groegiaid nad oedd ond ffawd lled sal i'w dysgwyl i'r philosophi newydd heb iddi ymgylymu o amgylch yr hen grefydd. Ond fe orchfygodd yr eglwys y duwiau, er fod yr athronydd a'r milwr yn eu hamddiffyn. Fe fethodd rhesymeg y naill a chleddyf y llall eu diogelu. Aeth yn drech na theml Jerusalem, nag Areopagus Athen, na gorsedd Rhufain. Yr oedd hi yn syrthio yn aml, ond yn concro wrth syrthio. Diwedd hanes pob ymosodiad, fel eiddo y Sanhedrim arni, ydyw: "A gair Duw a gynnyddodd, a rhifedi y dysgyblion yn Jerusalem a amlhäodd yn ddirfawr." Bydded genym ffydd gan hyny yn egwyddorion mawrion y Testament Newydd. Nac ofnwn adael iddynt weithio eu hunain allan—fe wyddai y Pen mawr pa fodd y gweithient yn well na ni. Nac ammheuwch ei ddoethineb trwy geisio gwellhâu ei waith. Os ydyw yr arch yn ysgwyd ar ambell ran go arw o'r ffordd, cofiwn fod ei Pherchen yn ddigon medrus i ofalu am dani heb i ni fyned ar draws ei orchymyn Ef i wneyd hyny. Y mae gan yr eglwys waith mawr i'w wneuthur, ond wedi ei bedyddio â'r Ysbryd Glân, ac wedi ei gwisgo â holl arfogaeth Duw, nid oes dim a saif o'i blaen hi. Os caiff ei bywyd ysbrydol hi ddigon o faeth, nid rhaid iddi ofni dim; yn hwn y mae cuddiad ei chryfder hi. Heb hwn bydd pob peth arall nid yn unig yn ddiwerth, ond yn niweidiol. Y mae talentau mawrion heb fywyd ysbrydol wedi ei hanrheithio, cyfoeth hebddo wedi ei llygru, dysgeidiaeth hebddo wedi ei harwain oddiwrth y symledd sydd yn Nghrist; ond gyda hwn y mae yr holl bethau hyn yn addurniadau iddi, fel y gwaith arian cerfiedig i'r afalau aur.

Dyben yr hyn sydd yn cael ei wneyd yma heddyw ydyw, gosod y brodyr hyn mewn cyfleusdra i feithrin y bywyd ysbrydol. Rhoddwch chwithau bob mantais iddynt i wneuthur hyny. Gadewch iddynt yn llawen fedi o'ch pethau cnawdol chwi, yr hyn sydd yn anghenrheidiol i'w cynnal yn deilwng i'w swydd, er mwyn iddynt gael mantais i hau i chwithau bethau ysbrydol. Na ddywedwn trwy'r blynyddoedd, "Ni ddaeth yr amser, yr amser i adeiladu tŷ yr Arglwydd" yn hyn o beth. A gaiff y rhai oeddynt yn ddiweddar yn fwytäwyr dynion yn Ynysoedd Môr y De roddi gwers i Fethodistiaid Cymru ar hyn? A gaiff trigolion Burmah, oedd yn plygu yn ddiweddar i foncyff o bren, gynnal eu gweinidogion, tra y parhâwn ni i ddywedyd, "Ni ddaeth yr amser, yr amser," neu ynte, "Pa le y mae y bobl i'w cynnal?" Ai nid oes llawer Barnabas yma heddyw a allai adeiladu? Ai nid oes yma lawer Timotheus ieuanc a wir ofalai pe cai, a brofai ei hun yn fuan yn weithiwr difefl pe rhoddai yr eglwys gyfle iddynt? Y mae gan Fethodistiaid Gogledd Cymru weinidogion na raid iddynt gael llythyrau cymeradwyaeth oddiwrth neb. Y mae y cyfoeth angenrheidiol i'w cynnal ganddynt hefyd. Rhodded Duw yr ewyllys i hyny iddynt yn fuan, onidê y mae yn ofnus y gwelir cysgodau yr hwyr yn gorchuddio ein ffurfafen ninnau heb fod yn hir.

Os ydym ni yn eglwys, y mae ein lle yn un pwysig, a'n cyfrifoldeb yn un mawr. Yr ydym yn ddrych i angelion a dynion. Trwy yr eglwys y mae y tywysogaethau a'r awdurdodau i ganfod mawr amryw ddoethineb Duw; a'r eglwys ydyw y Sïon allan o'r hon y mae Duw i lewyrchu ar y ddaear; ac am hyny dylai fod wedi ei chaboli yn bur uchel fel ag i adlewyrchu pelydrau y mawr ragorol ogoniant yn gywir. Pan losgwyd dinas Corinth fe ddywed y chwedl i'r holl feteloedd gwerthfawr oedd yn y ddinas gael eu toddi gan y gwres, a thrwy redeg i'w gilydd iddynt ffurfio metel werthfawrocach na'r un oedd yn y byd o'r blaen. Nid oedd dim ar y ddaear a adlewyrchai ddelw Duw hyd nes y toddodd yr Ysbryd Glân galonau rhyw nifer o ddynion â gwres cariad Crist. Felly fe gafwyd y fetel a adlewyrchai y ddelw; ond i wneyd hyny yn effeithiol rhaid ei bod wedi ei *pholishio* gan sancteiddrwydd. Allan o Sïon felly yn unig y unig y gall Duw lewyrchu.

Nid ydym yn awyddus i wneuthur unrhyw sylwadau ar yr araeth ragorol hon. Gwelir fod ei hawdwr wedi talu sylw manwl i ddysgeidiaeth y Testament Newydd ar y mater yr ymdriniai âg ef; ac y mae y syniadau a ennillodd oddiwrth ei ddysgeidiaeth yn esboniad i ryw fesur ar ei ymdrechion o blaid Bugeiliaeth Eglwysig. Edrychai ar weinidog

yn rhan hanfodol o eglwys; ac ar alwad eglwys yn hanfodol i roddi i weinidog ei safle briodol ynddi. Yn unol â'r argyhoeddiad hwn yr ymddygodd yn eglwys y Dyffryn, pan y dywedai nad oedd ond aelod cyffredin ynddi nes y gelwid ef ganddi i fod yn weinidog iddi.

Yn Nghymdeithasfa Llanrwst, yn 1864, traddododd araeth arall ar "Natur Eglwys" a barodd lawer iawn o gynhwrf ar y pryd. Nid ymddangosodd hono ychwaith erioed trwy y wasg; ond y mae genym yn awr y pleser o'i chyflwyno yn gyflawn i ddarllenwyr y TRAETHODYDD. Clywsom ef yn dywedyd iddo ysgrifenu yr hyn a fwriadai ddywedyd, a darllen pob gair o'r hyn a ysgrifenasai.

## EGLWYS: EI SWYDDOGION, A'U PERTHYNAS A'U GILYDD.

Yn y berth a welodd Moses yn Horeb yn llosgi heb ei difa, yr hon a elwir ganddo yn "weledigaeth fawr," ni a gawn ddarluniad cywir o Eglwys Dduw, nid yn unig yn ei pharhâd er pob ymdrech a wnaed i'w dinystrio, ond hefyd yn ei bodolaeth fel cymdeithas yn y byd. Y mae ei gweled hi yn bod ar y ddaear yn beth mor ddyeithr ag ydoedd gweled y berth yn llosgi yn dân heb ei difa; oblegid er ei chyfaddasder i'r natur ddynol,eto amlwg arni ydyw mai teyrnas heb fod o'r byd hwn ydyw. Y mae ei hegwyddorion a'i harferion yn ei dangos hi felly; ac wrth sylwi ar ei hanes gwelir fod ei nerth a'i bywyd yn anwahanol gysylltiedig âg iddi ymgadw felly; oblegid er pan y sefydlwyd hi y mae wedi bod yn gref neu yn wan i'r un graddau ag y mae wedi cario allan ei hegwyddorion a'i harferion priodol ei hun, heb eu cymysgu mewn dim âg eiddo y byd. Ac ar ol adeg o ddirywiad, pan yr ymgyfyd eglwys, fel y gwna hi weithiau, i ysgwyd ymaith egwyddorion llesg a thlodion y byd,—i beidio gweled y fodrwy aur, na chydnabod dim mawredd ond mawredd ysbrydol, na phlygu i un cleddyf ond cleddyf yr Ysbryd, nac i un gyfraith ond cyfraith ei Brenin,—y pryd hyny y mae hi "yn bur fel yr haul, yn deg fel y lleuad, ac yn ofnadwy fel llu banerog."

Y mae i eglwys fod yn ymwybodol yn barhâus o'i chymeriad ysbrydol yn anhebgorol i'w llwyddiant; ond y mae yn y fan hon ddau beth i'w gochel: y naill ydyw, am ei bod yn ysbrydol, gochel gwadu yn ymarferol, os nad ar eiriau, fod ffurf yn perthyn iddi,—y mae y *Plymouth Brethren* wedi cyfeiliorni yn y fan hon, a rhai Methodistiaid hefyd; y llall ydyw, am ei bod yn ysbrydol, gochel rhag ceisio gweithredu ar yr un egwyddorion ag y gwna teyrnasoedd y byd hwn. Yn y fan hon y mae Eglwys Rhufain ac eraill wedi cyfeiliorni mor fawr. Rhodio wrth olwg y mae teyrnasoedd y byd hwn; ond wrth ffydd y mae yr eglwys i rodio. Arfer teyrnasoedd y byd ydyw ymofyn beth a fedrant ei wneuthur, a chyfaddasu y gwaith at y gallu sydd ganddynt i'w gyflawni; ond cwestiwn yr Eglwys a ddylai fod, beth sydd eisieu ei wneuthur, ac nid edrych ar ei gallu ei hun; oblegid er nad ydyw i ddysgwyl gwyrthiau, eto yn y cyflawniad ffyddlawn o'i dyledswyddau, y mae i ddysgwyl yr hyn a etyb iddi hi yn awr yr un dyben ag a atebwyd gan wyrthiau y dyddiau gynt. Os ydyw Duw yn dywedyd wrthi am gerdded rhagddi, fe ofala Efe na chaiff na môr nac anialwch ei rhwystro. Fe egyr y naill rywsut, ac fe ddarpara mor wirioneddol ar gyfer y llall a phe buasai Efe yn gwlawio bara o'r nefoedd ac yn tynu dwfr o'r graig gallestr. Am hyny nid aros a ddylai eglwys heb ymaflyd yn yr hyn a ddengys y Bibl sydd yn waith iddi hyd nes y gwel hi fodd i'w gyflawni, ond ymaflyd yn y gwaith yn ddioed, gan ddysgwyl i'r modd ddyfod o le arall. Hyn ydyw rhodio wrth ffydd; a gellir dywedyd wrth eglwys bob dydd, "Yn ol dy ffydd bydded i ti."

Ond er mai cymdeithas ysbrydol ydyw eglwys, teyrnas ydyw er hyny; ac fel y cyfryw y mae yn perthyn iddi swyddogion, a deddfau, a threfn; ac y mae iddi gael ei threfn yn anhebgorol i'w nerth a'i llwyddiant mwyaf. Tybir gan rai fod absennoldeb trefn, neu *organisation*, yn yr eglwys yn sicrhâu purdeb yr eglwys, am eu bod yn gweled rhai eglwysi ag oedd yn meddu *organisation* manwl wedi myned yn dra llygredig; ond camsyniad mawr ydyw tybio fod absennoldeb trefn yn sicrhâu purdeb. Yr oedd trefn yr eglwysi hyny yn dda can belled ag yr ydoedd yn ol Gair Duw; y drwg oedd fod y bywyd, yr enaid, wedi ymadael; ond oni b'ai am yr *organi-*

*sation*, y corff oedd yno, buasai yr eglwysi hyny wedi darfod yn llwyr oddiar wyneb y ddaear; bu yr *organisation* yn foddion i'w cadw ynghyd hyd nes y daeth ysbryd y peth byw i anadlu einioes iddynt eilwaith; tra y mae genym siamplau o eglwysi mawrion o ddiffyg hyn, diffyg trefn, diffyg cyfansoddiad, wedi darfod oddiar wyneb y ddaear. Y mae lliaws o eglwysi Whitefield felly. Y mae cyfansoddiad manwl yr un peth i ffurf allanol eglwys ag ydyw *Cyffes Ffydd* i'r athrawiaeth a gredir ganddi. Mantais i'r bywyd weithredu drwyddi yw y drefn; ac os ymedy y bywyd, y mae y drefn yno yn gorff i ddysgwyl am dano eilwaith, fel y mae *Cyffes Ffydd* i'r gwirioneddau a gredir gan eglwys.

Gall nad oes yr un ffurf eglwysig yn berffaith yn ol y cynllun dwyfol; ond dyledswydd pob eglwys ydyw astudio y Testament Newydd yn fanwl i geisio deall beth ydyw y portread, ac hyd y mae hi yn ei ddeall, i wylio ar wneuthur yn ei ol; oblegid dynol fydd pob peth sydd ynddi yn groes i'r cynllun; ac y mae y dynol, pa mor ddoeth bynag y gall ymddangos ar y pryd, yn wan: y dwyfol yn unig sydd yn gryf ac yn barhâus.

Ond rhaid i mi, ar gais y Gymdeithasfa, gyfyngu yr ychydig sylwadau a wnaf ar yr eglwys at ei swyddogion, sef esgobion a diaconiaid, a'u gwaith.

Y mae swyddogion eglwys yn codi o honi ei hun. Yr oedd yr Apostolion yn swyddogion anghyffredinol; ond am bob swyddog arall perthynol iddi, ffrwyth dadblygiad yr eglwys ydyw. Amgylchiadau oedd fel yn galw am danynt, fel y gwelwn yn hanes galwad y diaconiaid cyntaf. Ond nid ydym o herwydd hyny i dybio nad ydyw y swyddau hyn yn ddwyfol, nac i dybied fod eglwys at ei rhyddid i gymeryd swyddogion neu fyw hebddynt fel y gwelo hi yn dda. Yn hytrach, y mae eu bod yn ffrwyth dadblygiad eglwys yn ddadl gref dros eu dwyfoldeb; oblegid y maent yn hyn yn dwyn delw y drefn ddwyfol gyda bron bob peth, yr hon sydd yn ymddangos yn ffrwyth naturiol amgylchiadau, ac eto yn drefn ddwyfol. Felly y mae swyddogaethau yr eglwys yn osodiadau ei Phen, er eu bod wedi eu hachlysuro gan amgylchiadau, mor wirioneddol a phe buasai Efe wedi rhoddi gorchymyn pendant yn eu cylch cyn gadael y ddaear. Y mae yr Apostolion yn eu cydnabod felly; "Efe a roddes rai yn apostolion, &c." Ac yr oedd eglwys Crist wedi dadblygu i'w llawn faint cyn i'r Apostolion adael y ddaear; ac felly y mae y Testament Newydd yn cynnwys portread cywir o'r eglwys yn ei phob peth; a pha beth bynag a all fod mewn unrhyw eglwys nad ydyw yn y Llyfr hwn, dynol ac nid dwyfol ydyw y peth hwnw.

Y mae fod swyddogion yr eglwys wedi tyfu megys o amgylchiadau yr eglwys, yn dangos fod swyddogion wedi eu gwneuthur er mwyn eglwys, ac nid eglwys er mwyn swyddogion; gan hyny y mae swyddogaeth eglwysig i gael edrych arni yn ei pherthynas â threfn ac âg adeiladaeth yr eglwys. Ei hunig ddyben ydyw "i berffeithio y saint, i adeilad corff Crist;" ac y mae gosod un mewn swydd i unrhyw amcan arall yn bechod yn erbyn Pen yr eglwys. Ac mewn gwirionedd nid oes neb yn swyddog er ei osod felly; oblegid i wneyd un yn swyddog yn yr eglwys y mae dau beth yn angenrheidiol, sef doniau ysbrydol, a dewisiad yr eglwys. Y mae y doniau ag ydynt yn gymhwysderau swydd esgob a diacon, yn cael eu rhoddi gan Ben yr eglwys: "Efe a roddes rai yn apostolion," &c. Ond nid ydyw fod un yn meddu ar y doniau ysbrydol sydd yn gymhwysderau i swydd, yn ei wneuthur yn swyddog yn yr eglwys heb iddi hi ei osod; ond os heb y doniau hyny nid ydyw yn swyddog ond mewn enw er ei ddewis. Gan hyny dylid cofio fod dewisiad yr eglwys mor anhebgorol i swyddogaeth eglwysig ag ydyw doniau Pen yr eglwys.

Y mae dewis ei swyddogion yn hawlfraint na ddylai eglwys er dim oddef i neb ei hyspeilio o honi; ond, fel pob braint, y mae rhai eglwysi yn ei chamddefnyddio, ac yn tybio gan mai hwy sydd yn dewis, mai hwy ydyw ffynnonell awdurdod y swyddog. Ond nid felly y dysg y Testament Newydd. Ffynnonell awdurdod y gwir swyddog ydyw Pen yr eglwys. Awdurdod i weinyddu deddfau, ac nid i'w gwneuthur sydd ganddo; oblegid nid oes i ni ond un Brenin, sef Iesu. Am hyny nid gweini barn yr eglwys ydyw dyledswydd swyddog, ond gweini cyfraith Crist; ac os nad ymostynga yr eglwys i'r gyfraith, bydd hyny yn bwnc iddi ei hun ei *setlo* â'i Brenin. Y mae anufudd-dod i'r swyddog yn anufudd-dod i Grist; ond os barna eglwys nad ydyw y swyddog yn gweinyddu cyfraith Crist, ei hamddiffyn hi ydyw ymwrthod â'r cyfryw swyddog.

Ond pa beth ydyw perthynas y swyddogion hyn â'u gilydd ac â'r eglwysi? Yr ydym wedi gweled fod y naill fel y llall yn ddwyfol ac yn angenrheidiol i eglwys berffaith; ond y mae y naill yn cynnwys y llall—y gweinidog neu yr esgob yn cyn-

nwys y diacon. Nid am nad oedd ganddynt hawl i "wasanaethu byrddau" yr oedd yr apostolion yn ymwrthod i fesur â'r gwaith, ond am fod gwaith mwy pwysig yn galw am eu holl amser. Ac er nodi diaconiaid at waith allanol tŷ yr Arglwydd, ni a gawn fod yr apostolion ar ol hyny yn talu sylw i'r peth. Y mae dadl yn bod ynghylch yr "henuriaid," ai nid ydyw y gair yn golygu "gweinidog," a'r hyn a elwir genym ni yn "flaenor" hefyd—*ruling and teaching elders*, fel y geilw y Presbyteriaid hwynt. Y mae lle i amrywiaeth barn ynghylch hynyna; ond nid oes cysgod o le i ddadl yn ngwyneb y Testament Newydd, nad ydyw swyddog uchaf eglwys yn cynnwys pob un arall; ac mai nid rhai i'w droi ef o'r neilldu yw y lleill, ond i'w gynnorthwyo ef i wneyd ei waith yn fwy effeithiol. Os ydynt yn ddau, y mae y ddau yn llywodraethu, a'r uchaf o honynt, yr hwn sydd yn ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth, i gael parch dauddyblyg. Nid *dau* waith ydynt, cofiwch, ond un; a dau swyddog, os ydynt yn ddau, yr isaf i gynnorthwyo yr uchaf i gyflawni y gwaith yn drwyadl, fel yr oedd y swyddogion hyny a osodwyd yn Israel ar gais Hobab, yn cynnorthwyo Moses i lywodraethu y bobl yn dda, ac nid yn troi Moses o'r neilldu.

Y mae hyn yn fy arwain yn uniongyrchol i wneuthur sylw neu ddau ar Fugeiliaeth Eglwysig; ac os deallir lle hon yn yr eglwys, fe ddeallir lle pob swydd arall.

I. Y mae Bugail i fod yn perthyn i bob eglwys, yn ol apwyntiad Pen yr Eglwys. Enwir y swydd hon yn benodol fel un a osodwyd ganddo Ef ei Hun,—bugeiliaid. Ac y mae y cyfarwyddiadau a rydd Paul i Timotheus a Titus, ynghyd a hyny o hanes yr eglwys a gawn yn Llyfr yr Actau, yn dangos mai gofal cyntaf eglwys a ddylai fod ymofyn am y swyddog hwn,—yr "esgob," fel y gelwir ef yn yr Epistol cyntaf at Timotheus; yr "henuriad," fel y gelwir ef yn yr Epistol at Titus; "bugail," fel y gelwir ef mewn lleoedd eraill. Dywedir yn benodol ei fod i gymeryd gofal tros eglwys Dduw; ac yn Epistol cyntaf Pedr fe ddywedir ei fod i fwrw golwg arnynt ac i'w porthi. Y mae hyn yn dangos mai gweinidog yr Efengyl ydyw; oblegid am y rhai sydd yn dysgu yn gyhoeddus y lleferir fel hyn. Prophwydi, o dan yr Hen Destament, oeddynt y bugeiliaid, ac wrth weinidog y Gair y dywedir yn y Newydd, "Portha fy nefaid," "Portha fy ŵyn." Y mae yntau yn y cymeriad o henuriad yn rhoddi yr un siars i'w gydhenuriaid, "Porthwch braidd Duw. "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw," neu yn ol y Saesoneg, "Meddyliwch am y rhai sydd yn eich llywodraethu." Y mae yn eglur oddiwrth y geiriau hyn fod yr hwn sydd yn traethu y Gair yn llywodraethu hefyd. Y mae, fel y dywedwyd, le i ddadl ynghylch yr "henuriaid," ai nid ydyw yn cynnwys y "gweinidog," a'r "blaenor;" ond nid oes, os cymerir y Testament Newydd yn rheol, le i ddadl pa un a ddylai eglwys fod heb y cyntaf, sef y "gweinidog." Gall fod heb yr "henuriaid llywodraethol," fel y gelwir hwynt, oblegid y mae yr hwn sydd yn ymboeni yn y Gair a'r athrawiaeth yn cynnwys hwnw. Gall fod mewn amgylchiadau heb y "diacon," oblegid y mae yr "esgob" yn cynnwys hwnw; ond nis gall, heb fod yn gwbl groes i'r cyfarwyddiadau dwyfol, fod heb weinidog. Drachefn y mae holl gyfarwyddiadau y Testament Newydd i weinidogion ac i eglwysi yn rhagdybio fod bugail yn perthyn i bob eglwys. Cynghorir ef i lywodraethu yn dda, i fwrw golwg, i gymeryd gofal dros eglwys Dduw. Cyfeirir ef at ddydd y cyfrif i gyffroi ei zel, a delir o flaen ei lygaid anniflanedig goron gogoniant yn wobr ffyddlondeb. Gelwir ar yr eglwys i ufuddhâu ac ymddarostwng iddo. Y mae yr holl bethau hyn yn ddiystyr os nad oes perthynas wirioneddol i fod rhwng eglwys a gweinidog; hyny yw, os nad oes Bugail i berthyn iddi. Dichon i eglwys fod yn rhy dlawd i gynnal ei bugail, er mai ordinhâd Pen yr Eglwys ydyw i'r hwn a ddysgwyd yn y Gair a'r athrawiaeth gyfranu â'r hwn sydd yn ei ddysgu; ond nid ydyw eglwys o herwydd tlodi i feddwl byw heb fugail. Nid oes a fyno arian ddim â'r mater. Os tlawd ydyw eglwys dylai y bugail a'r eglwys gydoddef. Nid ydyw yn ddarostyngiad arno sefyll ger ei bron a dywedyd, "Y dwylaw hyn a wasanaethasant i'm cyfreidiau i," oblegid y mae un mwy nag ef wedi gwneuthur hyny o'i flaen. Ond hyd y mae yn bosibl dylai eglwys ofalu am ei osod mewn amgylchiadau lle y gall ymroddi i weinidogaeth y Gair.

II. Nid oes yn ol y Testament Newydd neb yn Fugail i eglwys heb ei ddewis gan yr eglwys hono. Dewisiad o un tu a chydsyniad o'r tu arall sydd yn ffurfio perthynas rhwng swyddogion ac eglwys. Cydnabyddir hyn gan y Methodistiaid fel gwirionedd yn ei gysylltiad â'r blaenor. Dewisir ef trwy bleidlais yr eglwys; am hyny fe gydnabyddir ei awdurdod gan yr eglwys hono. Y mae yr un peth yn anhebgorol angenrheidiol yn ei berthynas â'r gweinidog cyn y bydd cysylltiad rhyngddo

a'r eglwys a rydd awdurdod swyddog iddo yn yr eglwys hono. Am hyny nid yw y ddamwain o fod un wedi dyfod i fyw i le penodol o angenrheidrwydd yn rhoddi iddo le gweinidog yn eglwys y fan hono; oblegid os dywedir hyn fe wedir un o hawliau gwerthfawrocaf eglwys, sef yr hawl i ddewis ei swyddogion ei hun; ac nis gall dim a fydd yn ei difuddio o'r hawlfraint hon fod yn gydunol â'r Testament Newydd. Mi a wn y dywedir wrthyf yn y fan hon fod gweinidogion y Methodistiaid wedi eu hordeinio yn weinidogion i'r holl Gorff, a bod hyny o ganlyniad yn cynnwys eu bod yn Fugeiliaid. Ond gadewch i ni edrych beth ydyw ystyr y geiriau, "ordeinio i'r holl Gorff,"—i ba beth y maent yn dyfod wrth eu cario allan yn weithredol? oblegid hyny ydyw eu gwir ystyr. Mewn dadl ar bwnc fel hyn, fe ddywedir mai eu hystyr ydyw fod yr ordeiniad yn rhoddi awdurdod i'r ordeiniedig i gyflawni gwaith gweinidog yr efengyl ymhob man o fewn i holl eglwysi y Cyfundeb. Ond beth ydyw gwaith gweinidog yr efengyl? Onid pregethu y gair a llywodraethu yr eglwys? Ond edrychwch ar y peth cyntaf—pregethu y gair. A ydyw yr ordeiniad yn rhoddi awdurdod i'r gweinidogion Methodistaidd i fyned i'r lle a fynont ac ar yr amser a fynont i bregethu? Gwyddoch oll pe ceisiai rhyw un o honom weithredu felly, nad oes yr un eglwys, pa mor ychydig bynag fyddai ei nifer, na safai dros ei hawliau. Gwadai awdurdod neb o honom i bregethu iddynt hwy, ond yn unig ar eu dewisiad hwy eu hunain. Wel, os nad oes genym, er ein hordeinio, awdurdod i bregethu heb gael ein dewis gan yr eglwys, nis gall fod genym ychwaith awdurdod i lywodraethu unrhyw eglwys neillduol, heb ein dewis gan yr eglwys hono i'r gwaith. Gan hyny, y mae ein hordeiniad ni yn dyfod i hyn—tystiolaeth ydyw, i ddangos fod un yn meddu ar y cymhwysderau a osodir yn y Testament Newydd i gyflawni gwaith gweinidog yr efengyl, os dewisir ef gan unrhyw eglwys i'r gwaith. Y mae mewn llawer o bethau yn dwyn delw y llythyrau cymeradwyaeth a roddid yn nyddiau yr apostolion, i ddangos fod brodyr ag oeddynt yn tramwyo y wlad yn gyfaddas i lafurio ymysg yr eglwysi, os caniateid iddynt. Ac nid oedd y caniatâd hwn bob amser yn cael ei roddi, fel y dengys Epistol Ioan. Ond ai hyn a olygir yn ngwyneb y Testament Newydd wrth ordeiniad, sydd bwnc arall. Ac fe allai y byddai yn anhaws nag y tybia rhai gael allan yn y Testament Newydd, fod y fath beth ag ordeiniad cyffredinol yn bod o gwbl; oblegid y mae pob ordeiniad y mae genym hanes am dano yn ordeiniad i waith penodol. Yr apostolion oeddynt yr unig swyddogion oeddynt yn dal perthynas gyffredinol â'r eglwys, ac nid oes olynwyr iddynt hwy; eto er hyn ni a welwn fod yr elfen o berthynas neillduol yn cael ei chydnabod gan yr apostolion—Pedr yn Apostol yr Enwaediad, Paul yn Apostol y Cenedloedd. At yr eglwysi a blanodd ei hun, gydag un eithriad, yr oedd Paul yn ysgrifenu ei lythyrau; â hwynt yr ydoedd yn ymweled drachefn a thrachefn. Tynai nerth i'w gynghorion iddynt o'r berthynas oedd rhyngddo a hwynt. Mewn gair yr oedd y berthynas hono yn rhoddi mantais iddo ef ragor un dyn ar y ddaear i fod yn fendith iddynt. Ond nid oes perthynas o'r fath rhwng gweinidogion y Methodistiaid a'r eglwysi. Nid ydyw y gyffredinol y sonir am dani ond peth mewn enw; i'w gwneuthur yn *reality* dylai godi o ryw un neillduol. Heb hyn nid ydyw gweinidog ond gweinidog i ryw Gorff; ond pan y ceisiwch chwi ei gysylltu â rhyw ran o hono, ni fedrwch—y mae y corff yn myned yn gorff ysbrydol, nad oes modd cael gafael arno. Nid dychymyg ydyw hyn, ond ffaith. Y mae ugeiniau o eglwysi na phetrusant wadu awdurdod gweinidog a fyddo yn dygwyddo byw yn y lle, pan heb gydweled âg ef ar bwnc eglwysig. Dywedant yn ddifloesgni, "Nid gweinidog i ni ydyw, ond gweinidog y Corff: pwy a'th osododd di yn farnwr?"

Yn y fan hon rhaid i ni dynu tri chasgliad:—

1. Fod Bugeiliaeth Eglwysig yn sefyll yn yr un berthynas â'r eglwys ag ydyw gweinidogaeth y gair. Y mae mor angenrheidiol i'w pherffeithio hi ag ydyw y llall; ac os nad ydyw gweinidogaeth y gair at ddewisiad yr eglwys, yna nis gall fod bugeiliaeth eglwysig at ei dewisiad ychwaith. Y mae y person at ei dewisiad, ond nid y peth; y Bugail, ond nid Bugeiliaeth.

2. Nad ydyw eglwys sydd heb fugeiliaeth eglwysig ond eglwys anmherffaith iawn yn ngwyneb y Testament Newydd.

3. Nad ydyw gweinidog yr efengyl sydd heb fod yn fugail yn cyflawni ond rhy brin hanner gwaith ei swydd.

Drachefn, y mae diffyg y berthynas hon yn anfantais ddirfawr i'r ddwy blaid, sef i'r eglwys ac i'r gweinidog hefyd. Y mae yn anmhosibl i'r gweinidog ei hun lafurio gyda'r un ymroddiad a than deimlad o'r un cyfrifoldeb a phe buasai perthynas wir-

ioneddol rhyngddo â'r eglwys. Mi a wn fod gan y Methodistiaid achos diolch i Dduw am ffyddlondeb ac ymroddiad nifer mawr o'n gweinidogion; ond ni phetrusaf ddywedyd y buasai yr ymroddiad yn llawer mwy pe buasai perthynas uniongyrchol rhyngddynt â'r eglwys. Ac y mae ystâd bresennol pethau yn rhoddi bôd i demtasiwn gref,—temtasiwn y mae aml i weinidog Methodistaidd yn syrthio yn ysglyfaeth iddi —sef myned yn ddilafur, yn ddiofal, ac mewn canlyniad, bob yn dipyn, golli ysbryd y weinidogaeth. Yna y mae y swydd yn troi allan yn anfantais i grefydd y dyn ei hun, ac i grefydd pobl eraill hefyd. Nid oes dyn ar y ddaear, bydded mor dduwiol ag y byddo, nad ydyw yn dda iddo gael pob mantais i ymdeimlo â'i gyfrifoldeb; ond y mae trefn bresennol y Methodistiaid yn temtio y gweinidogion i ymguddio yn nghysgod eu gilydd,—pawb yn gyfrifol, a neb yn gyfrifol; a'r achos mawr yn gwywo mewn rhan o wlad heb fod neb yn teimlo fod a fyno ef yn bersonol ddim â hyny. Cysylltwch ni â rhan benodol o'r winllan, ni a deimlwn yn gyfrifol am y rhan hono. Nid difater genym fydd gweled y rhan hono yn wywedig; bydd diffyg llwyddiant y rhan hono yn peri i ni ddyfalbarhâu mewn gweddi. Gwna ni yn fwy duwiolfrydig, a chewch chwi fel ninnau fantais ar hyny.

Nid wyf wedi edrych ar y pwnc fel mater o *expediency*,—fel peth y byddai yn dda ei gael o herwydd neillduolrwydd sydd yn yr amgylchiadau presennol. Y mae llawer o hyny wedi ei wneuthur gan eraill eisoes; ïe, gymaint o edrych wedi bod ar y pwnc yn y goleuni hwn, fel y mae wedi myned yn deimlad rhy gyffredinol mai pwnc o opiniwn ydyw. Ond yr wyf fi wedi ceisio edrych arno yn ngoleuni y Testament Newydd, a dangos beth ydyw cyfraith ein Brenin ni ar y pwnc. Buasai yn hawdd dangos ein bod fel Cyfundeb wedi cyrhaedd cyfnod nad allwn fod yn ddisylw o'r gyfraith ar hyn heb i wywdra a dirywiad ddilyn hyny; a dangos hefyd os na ymeflir o ddifrif, a hyny yn fuan, mewn bugeiliaeth eglwysig, fod un o'n hen sefydliadau da ni,—sefydliad sydd yn ein nodweddu ni fel eglwys,—ar ben y ffordd i gael ei golli o'n plith, sef y cyfarfod eglwysig. Y mae y cyfarfod hwn yn cael ei gadw mor aneffeithiol fel y mae y lliaws yn myned yn gwbl ddiawydd am ddyfod iddo; ac y mae ugeiniau os nad cannoedd o eglwysi y Methodistiaid heddyw nad oes mo'r bedwaredd ran o'r aelodau yn dyfod i'r cyfarfod eglwysig un amser. Ac erbyn clywed hanes y cyfarfodydd yn y lleoedd hyny, nid dyeithr ydyw eu habsennoldeb. Canlyniad hyn fydd i'r dosbarth ieuanc fyned i ammeu buddioldeb a chyfreithlondeb y cyfryw gyfarfodydd; a'r cam nesaf fydd gwadu y ddau, fel y bu hi gyda phregethu yn Eglwys Loegr. A gwae i Fethodistiaeth y dydd y derfydd y *seiat* brofiad! Gwaded y neb a wado, a gwawdied y neb a wawdio, hen gyfarfodydd anwyl ydynt wedi'r cwbl,—cyfarfodydd nad all crefydd Cymru ddim fforddio eu colli. Cadw y cyfarfodydd hyn yn effeithiol, ynghyd a gofalu am y pulpud, ydyw prif waith y bugail: nid ymweled â'r cleifion, nac o dŷ i dŷ, ydyw ei waith mawr, er fod hyny i'w wneuthur fel y byddo amgylchiadau yn galw; ond cadw cyfarfod eglwysig da, cyfarfod y bydd yr aelodau yn dyfod o hono wedi eu nawseiddio âg ysbryd yr efengyl. Y maent yn dyfod iddo o ganol helyntion y byd, gan ddysgwyl cael puro eu meddyliau a dyrchafu eu serchiadau; oblegid er fod trin y byd yn wasanaeth i Grist, eto y mae rhywbeth arlethol i grefydd ynddo, yn enwedigol yn y dyddiau hyn; ac os na chânt ddyfod eu hunain i fyny yn fynych, fynych, i awyr bur mynydd Duw, y mae y bywyd ysbrydol yn sicr o fyned yn dra gwywedig. A phwy sydd i fod yn offeryn i hyn ond yr hwn sydd wrth ei swydd wedi ei osod mewn amgylchiadau y gall ymroddi i weinidogaeth y Gair a gweddi, ac nad ydyw gwasanaethu dim byrddau yn anghymhwyso ei feddwl at y gwaith ysbrydol,—un sydd wrth ei swydd wedi cael mantais i fyw mewn awyr ychydig yn burach na'i frodyr ar hyd y dydd, ac felly a all ddywedyd wrth bob un o honynt, "Dring i fyny yma?"

Drachefn, y mae ystad Cymru yn ei pherthynas â'r iaith Saesoneg yn dangos y dylid yn ddioed dalu sylw i Fugeiliaeth Eglwysig, onidê fe gollir i Fethodistiaeth ardaloedd a threfydd cyfain. Paham y mae Wesleyaeth yn gallu cyfaddasu ei hun at yr amgylchiadau, ac Annibyniaeth yn gwneuthur yr un peth? Onid am fod yn yr eglwysi hyny rai wrth eu swydd yn sylwi o hyd beth a ddylai Israel ei wneuthur, tra nad oes gan y Methodistiaid neb felly; a'r canlyniad ydyw fod ardaloedd yn cael eu colli i'r un graddau ag y mae yr iaith Gymraeg yn gwywo ynddynt.

Paham nas gellir cael hyn, gan fod amgylchiadau y Methodistiaid yn galw am dano, a Gair Duw yn eglur ddangos ei fod yn apwyntiad Pen yr Eglwys? Wel, dau rwystr sydd ar y ffordd, y naill yn y blaenoriaid a'r llall yn y pregethwyr. Am yr eglwysi, y maent hwy, gydag ychydig iawn o eithriadau, yn dyheu am hyn; ac am yr

eithriadau, rhyw rai sydd wedi cymeryd mantais ar anwybodaeth yr eglwysi hyny am Annibyniaeth a Methodistiaeth i gynnyrchu rhagfarn yn eu meddyliau at Fugeiliaeth, rhag iddi hi eu gwneuthur yn Annibynwyr. Ond nid ydyw y rhagfarn yna prin yn werth sylw, oblegid y mae mor sicr o gilio pan y deallir beth ydyw Bugeiliaeth ag ydyw tywyllwch y nos i gilio o flaen cyfodiad yr haul. Nid oes yma ddim gwir rwystr ar ei ffordd; ond y mae rhwystr gwirioneddol mewn dosbarth llïosog o flaenoriaid, er nad yn mhawb o honynt. Y mae cannoedd o'n blaenoriaid goreu ni yn dyheu am weled hyn yn cymeryd lle, yn gwneuthur yr oll a'r a allant i'w ddwyn o amgylch; ond y mae eraill nad ydynt yn gweled dim ynddi ond rhywbeth fel y tybiant i drosglwyddo awdurdod o'u dwylaw hwynt i ddwylaw y gweinidogion, fel pe na buasai Eglwys Dduw ond chwareufwrdd i'r naill ddosbarth ymryson â'r llall am awdurdod. Byddai yn dda i ni oll, yn weinidogion ac yn flaenoriaid, gofio nad ydyw yr eglwys wedi ei gwneuthur er ein mwyn ni, ond ni er mwyn yr eglwys; ac os ydyw yr Achos mawr yn gwywo o herwydd nad ymostyngwn ni i gyfraith ein Brenin, nid ychydig 'yw ein cyfrifoldeb. Fe allai na ddylid cymhwyso geiriau ein Hiachawdwr at neb o honom yn y cyfryw amgylchiadau, mai "gwell a fyddai rhoddi maen melin o amgylch ein gwddf a'n bwrw i'r môr," nag i ni wneuthur hyn; ond ni phetruswn gymhwyso geiriau Caiaphas at hyn mai "buddiol ydyw marw un dyn, ac na ddyfether" Eglwys Dduw.

Y mae dosbarth rhy lïosog o bregethwyr hefyd yn erbyn hyn; ac fel hyn y dywed Dr. Owen ar y pwnc yma: "Nis gwn," medd y Doctor," "wrth ba reol y mae y rhai hyny yn rhodio y rhai sydd yn pregethu drwy y blynyddoedd, ac eto nad ydynt yn dymuno nac yn bwriadu derbyn galwad i wneuthur gwaith bugeiliaid yn yr eglwys—holl nerth eu meddwl yn cael ei roddi ar drin y byd, ac eto yn dwyn enw gweinidogion yr efengyl." Yr oedd y Doctor, er fod ganddo lygad eryraidd, yn methu gweled yn y Testament Newydd le y brodyr yna. Na, fy mrodyr, os na wnawn ni y gwaith ein hunain, na fyddwn ar ffordd eraill i'w wneuthur. Os ydyw yn well genym drin y byd—aros mewn llongau fel Dan, neu ymysg y corlanau defaid fel Reuben, nag ymaberthu i wneuthur gwaith gweinidog yr efengyl, na fyddwn ar ffordd eraill i'w wneuthur. Y mae cyflawniad y gwaith yn'gofyn hunanymwadiad mawr, oblegid y mae yr annibyniaeth sefyllfa a'r rhyddid oddiwrth lafur meddyliol caled sydd gan yr hwn sydd yn trin y byd, ac yn pregethu yn ol fel y caiff gyfleusdra, ragor yr hwn sydd wedi ymaberthu i gymeryd lle gweinidog ac i gyflawni gwaith gweinidog, yn peri fod lle y naill yn ymddangos yn lled swynol yn fynych ragor lle y llall; ïe, gymaint felly nes peri i ni deimlo weithiau mai Demas a wnaeth yn gall ac nid Paul. Ond y cwestiwn yw, Pa un o'r ddau oedd yn dilyn esiampl "yr Hwn ac Efe yn ffurf Duw . . . . . a gymerodd agwedd gwas?"

Nid ydwyf yn dysgwyl gweled hyn yn cymeryd lle heb achosi ychydig gynhwrf; ond y mae pethau gwaeth na chynhwrf. Y mae dystawrwydd a heddwch angeu yn annhraethadwy waeth na chynhwrf gwylltaf bywyd. Nid ydyw ein Cyfundeb wedi dyfod trwy unrhyw gyfnewidiad mawr heb gynhwrf. Pe buasid yn aberthu pob peth i heddwch, ni buasai genym yr un Ysgol Sabbothol heddyw; ond yr oedd Mr. Charles yn gweled fod cynhwrf yn well na heddwch felly; ac onid ydym oll yn diolch i'r Arglwydd am iddo ddewis y cynhwrf yn hytrach na'r heddwch? Pe buasid yn aberthu pob peth i heddwch ni buasai gan y Methodistiaid yr un gweinidog heddyw; ond fe farnodd Mr. Elias, Mr. Ebenezer Morris, ac eraill, fod cynhwrf yn well na heddwch felly; am hyny yr ydym trwy ras Duw yn Gyfundeb llïosog heddyw; ond pe buasid yn aberthu pob peth i heddwch, buasem cyn hyn wedi darfod oddiar wyneb y ddaear. Pe buasid yn dilyn heddwch ar unrhyw bris, ni buasai genym nac Athrofa na Chronfa i'w chynnal hi; ond am y dewiswyd y cynhwrf yn lle yr heddwch y mae y ddau genym. Os dilynir heddwch ni bydd gan ein heglwysi ddim bugeiliaid; ond a ydyw yn iawn aberthu crefydd i gadw heddwch o'r fath? Na, os na allwn ni gael yr hyn sydd yn hanfodol i'n llwyddiant heb yr ystorm, gadewch i ni gael yr ystorm. Nid ydwyf yn caru yr ystorm er ei mwyn ei hun; ond nid ydwyf yn ei hofni hi. Yr ydwyf yn credu yn yr hen lestr Fethodistaidd, am fy mod wedi ei gweled yn dal aml storm, ac erddynt oll heddyw eto â'i chyfeiriad yn deg at yr hafan dymunol. A phe yr elai hi yn ychydig o storm, nac ofnwn, y mae Perchen y llestr yn un a fedr rodio brigau y tònau, yn un a fedr ddywedyd, "Gostega, dystawa," wrth bob gwynt a môr; ac, nid hyny yn unig, ond yn un a all hefyd beri mewn canlyniad i'r oll, i'r llestr fod wrth y tir yr oeddym yn ceisio myned iddo.

Diau na buasai yr araeth hon, pe traddodasid hi yn 1884 yn creu y fath gynhwrf ag a achosodd yn 1864; ond yr ydym yn credu ei fod yn wirionedd hefyd mai nid yn hollol ar y llinellau a dorir allan yma y mae y Fugeiliaeth wedi llwyddo yn ein plith yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf. Yr angen ymarferol am y trefniant, yn hytrach nag unrhyw syniadau am le y swydd yn y Testament Newydd sydd wedi creu llwyddiant y symudiad. Ac oddiyma hefyd y mae yr arwyddion am ei llwyddiant yn y dyfodol. O hyn allan yr unig beth a ddichon ei lladd fydd ei haneffeithiolrwydd i gwblhâu y gwaith a ddysgwylir oddiwrthi. Ac os ydym yn deall yr arwyddion yn gywir, y mae mwy yn cael ei ddysgwyl yn awr nag a ddysgwylid ugain mlynedd yn ol. At Fugeiliaeth yr edrychir, nid yn unig am ymgeledd yr eglwysi yn y Cyfarfodydd Eglwysig, ond hefyd am waith cenadol ymysg esgeuluswyr. A'r cwestiwn pwysig yn awr ydyw, A wna Bugeiliaeth y gwaith hwn? Y mae genym bellach nid yn unig i gadw gafael ar ein gwrandäwyr, ond i godi llawer mewn ardaloedd poblog i fod yn wrandäwyr.

Rhaid i ni derfynu heb gyfeirio ond mewn ychydig eiriau at anerchiad Mr. Morgan yn Nghymdeithasfa Dolgellau yn Mehefin, 1870, yn yr hwn y dangosodd yn y modd mwyaf amlwg y fendith annhraethadwy a ddeilliasai i Fethodistiaeth ac i grefydd yn Ngorllewin Meirionydd oddiwrth y Fugeiliaeth. Rhoddwyd i'r anerchiad hwnw y fath gyhoeddusrwydd ar y pryd ag sydd yn gwneyd yn ddiangenrhaid ei adgynnyrchu yma. Am yr un rheswm yr ydym yn gadael allan bob cyfeiriad at yr anerchiad a barotowyd ganddo yn ei waeledd diweddaf, ac a ddarllenwyd wedi ei farwolaeth yn y Gymanfa Gyffredinol yn Liverpool, yn yr hwn y gwelwyd yn amlwg iddo barhâu yn un o wylwyr mwyaf effro y Cyfundeb hyd ei fynydau diweddaf.

Yr ydym wedi taflu golwg anmherffaith ar ranau pwysig o waith oes un oedd yn hynod anwyl genym. Gofidiwn na fuasai Bywgraffiad teilwng o hono wedi ymddangos er ys blynyddoedd; a da fyddai genym i'r ychydig sylwadau hyn fod yn foddion i greu syched yn y cyhoedd am dano. Mae yn ffodus fod i'w gael yn Ngorllewin Meirionydd weinidog yn meddu ar bob cymhwysderau i'w gynnyrchu. Galwer ef at ei waith, ac estyner iddo bob cefnogaeth ynddo.

GRIFFITH ELLIS.

## DOETHINEB RABELAIS.

*Rabelais (Foreign Classics for English Readers)* by Walter Besant, M.A. W. Blackwood & Sons.
*Readings in Rabelais*, by Walter Besant. W. Blackwood & Sons.

CREDINIAETH sydd yn myned ar gynnydd y dyddiau hyn ydyw, na fêdd y byd ddyddordeb a ddeil i'w gymharu â'r dyddordeb a deimlir yn y dynion hyny sydd wedi *byw* ynddo, a gwneyd eu hôl arno. Trŷ y meddwl heibio am yspaid i astudio ffeithiau, i fwynhâu cyflawniadau, ac i benderfynu damcaniaethau; ond cyn hir dychwel at y dynion fu yn egluro y ffeithiau, yn cyflawni y gweithiau, ac yn gosod i lawr y damcaniaethau. Wrth edrych yn ol, yr ydym yn cael mai nid trwy ddamwain y cyrhaeddodd mawrion y ddaear eu huchelfanau. Detholwyd a manwl-chwiliwŷd hwynt gan y mwyaf llygadgraff o'r holl feirniaid, nid amgen—Amser. Oes ar ol oes, syrth rhai o honynt i ddifancoll yn ol fel y bo meddwl dyn yn eu cael yn fyr o ddyddordeb parhäol, ac nid erys ar draeth y gorphenol ond y cewri yn unig. Yn ngoleuni hanesiaeth ymddengys y rhai hyn ger ein bron i gynnrychioli, un ac oll, ryw ran bwysig o feddwl a bywyd y canrifoedd a'u magodd, ac i roddi i ni yr arddangosiad uchaf yn y naill gyfeiriad neu y llall o'r gallu sydd yn gorwedd i fesur yn natur pob un o honom.

Ymhlith y cyfryw yr ydys heb betrusdod yn gosod Rabelais. Yn ddigwestiwn, ys dywed Coleridge, rhaid cyfrif yr awdwr-fynach a ysgrifenodd *Gargantua* a *Pantagruel* yn un o feddylwyr dyfnaf a mwyaf gwreiddiol y *Renaissance*—sef adfywiad mawr llenyddol yr unfed ganrif ar bymtheg. Yr un modd cydnebydd beirniad galluog arall ef fel un o archfeddylwyr y byd,—"one of the world's master-minds;" un a lywodraetha'r byd o ddyfnder bedd; oblegid perthyn y mae i'r dosbarth ag sydd iddynt "arglwyddiaeth barhâus." O'i gymharu â llenorion ei oes yn ei linell ei hun, diau y saif, o'i ysgwyddau i fyny, yn uwch na hwynt oll. Y mae ei ddysg yn ddofn, ei ddychymyg yn eang, a chyfoeth ei ymadroddiad yn ddihysbydd. O ran ffaethineb ac arabedd, nid oes, fe allai, yn holl ddalenau llenyddiaeth ond un a saif ochr yn ochr âg ef. Cymeradwyaeth helaeth yw hon, ni a addefwn, ond nid yw ond bechan o'i mesur â'r ganmoliaeth sydd o dro i dro wedi disgyn i'w ran. Ymdebyga, medd un, i Aristophanes mewn ffrwythlondeb, bywiogrwydd, a phenrhyddid, ac i Shakespeare mewn digrifwch ac arabedd. Medda holl ddysgeidiaeth Erasmus, diwylliant athronyddol Ficinus, dychymyg a darfelydd Ariosto, a naturiolder a thlysni Boccaccio. Oddiwrtho sugnodd rhai o'n prif awduron eu hysbrydoliaeth,—yn eu plith, Burton, awdwr parchus yr *Anatomy of Melancholy;* Swift, crëawdydd Lilliputia a Brobdignagia; Sterne, y gŵr a ysgrifenodd y *Sentimental Journey* a *Tristram Shandy;* a Robert Southey, awdwr "Thalaba y

Dinystrydd" a "Melldith Kehama." Ac eto i gyd y mae y dyn ei hunan yn annealladwy, a'i lyfr ymron yn anesboniadwy. Cyfuniad rhyfedd ydyw o'r aruchel a'r llygredig; gwyneb prydferth merch wedi ei osod ar gorff anghenfil; athrylith angel wedi ei gymhlethu â llygredigaeth diafol. Naturiol gan hyny ydyw ei fod ef a'i lyfr yn destun dadleu diddiwedd. Oddigerth Shakespeare, nid oes un awdwr, o bosibl, wedi bod yn achlysur o gymaint o siarad, o ysgrifenu, ac o feirniadu â Rabelais; ac nid ydym eto mewn un modd yn ngolwg y diwedd. I'r naill ochr y mae yn llawn o brydferthion llenyddol wedi eu cydwau â doethineb ymarferol; i'r ochr arall, "nid oes man glân na chyfan arno:" ni ddylid ei gyffwrdd, ni ddylid edrych arno, yn wir ni ddylid cymaint a son am dano. Ymhlith ei wrthwynebwyr gellir cyfrif Luther y diwygiwr, a Voltaire yr anffyddiwr, Calvin a Fénélon, La Bruyère a Lamartine, a lliaws o ddynion da, doeth, a dysgedig eraill. O'i blaid, o'r tu arall, rhaid nodi y Cardinal Duperron, yr hwn a edrychai ar *Pantagruel* fel llyfr y llyfrau, yr Esgob Hüet, yr hwn a adolygodd yr awdwr trwy bedwar argraffiad, Coleridge y bardd, Michelet yr hanesydd, Charles Kingsley a Victor Hugo, a llu i'w canlyn o rai a godant eu llais yn hyf ac yn uchel i edmygu y dyn ac i ganmawl ei waith. Teimla pob Ffrancwr sydd yn dyddori ei hun gyda llenyddiaeth o gwbl, fod yn ddyledswydd arno astudio ac amddiffyn Rabelais rhag pob ymosodydd; ac er fod yn naturiol i Brydeiniwr llengarol dyngu yn mlaenaf i Shakespeare, nid ydyw er hyny (fel y prawf rhestr aelodau y Gymdeithas Rabelaisaidd) yn hollol esgeuluso gŵr a ystyrir ond yn ail yn unig i'r Prif-fardd. Parhâ y ddadl fawr, dros ac yn erbyn, i fyned ymlaen; ond nid yw y cwestiwn, fel yr awgrymwyd, un gronyn nês i gael ei benderfynu. Dim ond ychydig wythnosau yn ol cafwyd ein hen gyfaill pert a pharablus, "Mr. Punch," yn colli ei dymher ac yn ymwylltio, am fod ein cydnabod syber a sych, y *Saturday Review*, wedi dygwydd dyweyd fod ffigys weithiau yn tyfu ar ddrain, ac y gallai da ddyfod hyd yn nod o Rabelais! Pan yr anghytuna doctoriaid, ofer yn wir ydyw i ddysgyblion ddadleu.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gellir casglu mai yr anhawsder cyntaf sydd yn cyfarfod yr hwn a fyno ymyryd yn gyhoeddus â Rabelais, fel y sylwa Mr. Besant, yn ei lawlyfr ar yr awdwr yn nghyfres y "Foreign Classics," ydyw fod yn rhaid iddo ymattal rhag argymhell ei ddarllenwyr, oddigerth iddynt ymgymeryd â'r gwaith o safle efrydiaeth ddifrifol, i ddilyn yr hanes a roddir am dano trwy ddarllen ei gynnyrchion yn y gwreiddiol. Mae yr hyn oedd yn anhawsder i Mr. Besant yn graig rhwystr i ni pan yn myned i geisio dyweyd ychydig am Rabelais a'i ddoethineb wrth ddarllenwyr Cymreig. Ychwanegir yr anhawsder pan y dywedir fod gorchestwaith yr awdwr yn gofyn am ei astudio fel cyfanwaith er ei iawn ddeall; tra o'r ochr arall fel cyfanwaith y mae y fath na feiddia neb ei gymeradwyo i sylw mwyafrif darllenwyr unrhyw oes. I wragedd ac i ieuenctyd pob gwlad rhaid iddo aros dros byth yn llyfr cauedig. Efrydiaeth ddifrifol, ar sail amcan cywir, yn unig a ddylai roddi agoriad i'w gloriau hyd yn nod i'r dosbarth mwyaf cyfrifol. Ni wnelai ymyraeth âg ef ond ychwanegu ffolineb yr ynfyd, a llygru yn fwyfwy yr isel ei chwaeth. Ond fel y dywed Bunyan, yn ei *Apology* i'w lyfr:—

A pearl may in a toad's head dwell,
And may be found too in an oyster shell,—

felly yma, yn nghanol sorod fe geir perlau.

Amcan uniongyrchol yr ysgrif bresennol ydyw arddangos ychydig o'r cyfryw. Yn yr amlygiad a geir drwyddynt o'r doethineb a orwedd dan yr ymddangosiad ffol a wisgir yn rhy fynych gan ein hawdwr, deuir o hyd i'r nodweddau trwy ba rai y llwydda i ennill a chadw canmoliaeth ac edmygedd cynifer sydd yn ymofyn âg ef mewn ysbryd priodol. Yn y llyfrau a nodir ar ddechreu ein hysgrif, ymrodda Mr. Walter Besant, gŵr sydd wedi ennill safle uchel ymhlith llenorion y dydd, i egluro trwy esiamplau y "ddoethineb" y cyfeiriwyd ati. I Mr. Besant gan hyny yr ydym yn ddyledus am y cynnorthwy angenrheidiol i'r gorchwyl sydd genym mewn llaw. Yn narlunlen y ddynoliaeth fel ei ceir gan Rabelais, fe ddefnyddir i'n dysgu bob math o alegori, dammeg, a chynghor. Y mae pen y dyn yn llawn synwyr, a'i galon yn drom o gydymdeimlad. Hyd yn nod pan yr ymgolla mewn syniadau ffol a gwrthun, nid anghofia yn hollol mai y "penaf peth" wedi'r cyfan yw doethineb. Ni thybia Mr. Besant y bydd i unrhyw arddangosiad o'i ddoethineb lwyddo i wneuthur Rabelais yn boblogaidd; ond hydera y gall fod yn foddion i ddangos i rai fod y doethaf a'r caredicaf o Ffrancwyr yn rhywbeth heblaw ffol-ddyn llygredig. Fel yr awgrymwyd yn barod, perl yw perl er d'od o enau llyffant, a ffol-ddyn neu beidio, y mae gan Rabelais wersi i'w dysgu sydd a fynont â'r ddynoliaeth ymhob oes, am eu bod yn cynnwys rhan o'r hyn sydd angenrheidiol er prysuro a hyrwyddo "teyrnas nefoedd ar y ddaear."

Ganwyd François Rabelais yn nhref Chinon, yn Nhalaeth Touraine, yn y flwyddyn 1483. Myn rhai, yn enwedig y rhai hyny a wnant y mab yn ddyn glwth ac yn yfwr gwin, mai tafarnwr ydoedd ei dad; ond barn yr ymchwilwyr diweddaraf ydyw mai apothecari parchus ydoedd, yn perchen gwinllan neu ystâd fechan ychydig bellder o'r dref. Mae Chinon, fel aml i ddinas arall, wedi newid llawer yn ystod yr oesau er pan anwyd Rabelais o'i mewn. Bedwar can' mlynedd yn ol, os gellir credu hanesiaeth, yr oedd yn ei sefyllfa a'i hamgylchiadau lawer o bethau cymhwys i danio dychymyg plentyn o feddwl bywiog. Mae'n amlwg iddynt adael argraff annileadwy ar feddwl ein hawdwr, oblegid parhaodd yr hyn a welodd ac a glywodd pan yn blentyn i effeithio yn ddwys arno hyd derfyn ei oes. Gosodwyd ef mor ieuanc yn nghaethiwed y mynachdŷ fel na chafodd amser i newid ei syniadau plentynaidd. Ar adgofion ei febyd y bu yn byw trwy flynyddoedd hirfaith ei fynachaeth, a'r adgofion hyny, ynghyd a'r chwedlau a'r traddodiadau oeddynt wedi ymwâu â hwynt, a gawsant y lle blaenaf yn ei feddwl pan ddaeth awr ei ryddhâd. Ag ysgrifell y dyn, fel y dywed Mr. Besant, croniclodd argraffiadau ieuenctyd. Ganwyd ef ar adeg ffodus yn hanes y byd, sef cyn i lanw mawr y *Renaissance* ddechreu troi, ond taflwyd ef fel hyn pan yn blentyn i dywyllwch y fynachgell. Yno heigiai anwybodaeth a rhagfarn, a phan ddaeth Rabelais allan o'u canol agorodd ei lygaid ar oleuni dysgleiriaf yr Adfywiad.

Anfonwyd ef yn gyntaf gan ei rieni i leiandŷ Seuilly, yr hwn oedd gyfagos i'w gartref, ond symudodd oddiyno cyn hir ac aeth i fynachdy

La Baumette, yn agos i Angers. Ynglŷn â'r sefydliad mynachaidd, yr oedd Coleg o drefniad y Brenin René o Anjou, yn cael ei gario ymlaen ar egwyddorion eang a rhyddfrydig. Yn y Coleg daeth i gyffyrddiad â chwmni o fechgyn ieuainc doeth a dysgedig, yn eu plith y brodyr Du Bellay, i gyfeillgarwch y rhai y bu yn ddyledus am nodded a chynnorthwy flynyddoedd wedi hyny. Ar ei ymadawiad o La Baumette, ymunodd yn ffurfiol â'r Eglwys Babaidd yn Fontenay-le-Comte yn Poitou, a chymerodd ei le fel mynach yn yr urdd Franciscaidd. Trôdd ei ddewisiad allan yn un hynod anffortunus; syrthiodd ei linellau mewn lleoedd tra anhyfryd. Yn llawn awydd a zel am wybodaeth, ymgymerodd âg aelodaeth yn yr urdd oedd yn anad un yn edrych yn ddigllon ar bob dysgeidiaeth. Yn ngolwg dilynwyr St. Francis, yr oedd bod yn ysgolaig ryw gymaint yn waeth na bod yn heretic! Ac nid hyny yn unig, ond yr oedd y frwydr fawr sydd yn cael ei chario ymlaen mewn rhyw ffurf neu gilydd, ymhob oes, rhwng gwybodaeth a rhagfarn, y pryd hwnw wedi cyrhaedd eithafbwynt. Ar y naill law safai nifer bychan o ddysgedigion a'u dysgyblion; ar y llaw arall, y byd anwybodus, yn cael ei gynnrychioli a'i flaenori gan y mynachod. Ymhob ymgais at gyrhaedd gwybodaeth annibynol, gwelai y rhai olaf hyn ryw amcan i ddrygu y Pab a'i weision. Yn ffodus daeth Rabelais o hyd i lyfrau, ac ni phetrusodd wneuthur ymchwiliad i'w cynnwys. O dan yr amgylchiadau darllenai bobpeth o fewn ei gyrhaedd. Ymgydnabyddodd felly, nid yn unig âg awduron ei wlad ei hun, ond hefyd âg ysgrifenwyr Lladinaidd, Groegaidd, ac Arabaidd. Gyda'i hoffder cynhenid at y dychymygol a'r digrifol, naturiol ydoedd iddo dalu sylw manwl i ffugchwedleuaeth ei ddydd, y *Chansons de Gêstes*, a'r Rhamantau Arthuraidd. Yr un pryd nid esgeulusai ddyfnion bethau gwybodaeth, eithr treiddiai i mewn i gyfrinion meddygiaeth, gwyddoniaeth, seryddiaeth, a mesuroniaeth. Yn ol arferiad ysgoleigion y *Renaissance*, amcanai wybod yr holl wybodaethau. Yn nghanol ei efrydiau lliosog cawn iddo gael amser i sicrhâu cyfeillgarwch amryw o'i gyfoedion mynachaidd, ac i ddilyn rheolau ei urdd nes cael ei hunan yn offeiriad. Ond yr oedd erbyn hyn wedi blino ar gaethiwed tywyll y mynachdŷ, a'r diwedd fu iddo ef a'i gyfaill Pierre Amy ddianc oddiyno. Unwaith y tu allan i furiau ei garchar, y mae yn d'od i oleuni dydd; yn ŵr deugain oed wele ef yn dechreu byw. Am y gweddill o'i oes ni pheidiodd a chodi ei lef yn erbyn rhagrith, twyll, a ffolineb mynachaeth. Er hyny nid ydoedd mewn sefyllfa i gadw yn hollol glir oddiwrth y drwg. Wedi sicrhâu dylanwad cryf o'i blaid, a chael cyfran o'r maddeuant y mae Rhufain mor barod i'w estyn pan fyddo rhywbeth i'w ennill, ymunodd â'r Benedictiaid, a gwnaethpwyd ef yn Canon Maillezais; ond ni ddaeth y symudiad newydd hwn â hapusrwydd i'w fynwes, a chyn pen nemawr amser newidiodd fywyd adgas y mynach am fywyd rhydd yr ysgolaig crwydrol. Ar ol astudio meddygiaeth a gwyddoniaeth naturiol o dan nawdd Geoffrey d'Estissac, Esgob Maillezais, aeth i Brifysgol Montpellier, lle y graddiodd. Yn fuan wedi hyn ni a'i cawn yn dilyn yr alwedigaeth feddygol yn yspyttai Lyons, lle hefyd y darlithiai yn gyhoeddus ar ddifyniaeth a gwyddorau eraill. Defnyddiai ei amser hamddenol i astudio henafiaethau a rheithofyddiaeth, ac i olygu amryw gyhoeddiadau ar wahanol bynciau. Yn yr

adeg hon hefyd yr ysgrifenodd ei lyfr cyntaf, "*Hippocratis et Galeni libri aliquot*," llyfr at wasanaeth efrydwyr meddygol, yr hwn a gyflwynodd i'w noddwr a'i amddiffynwr Geoffrey d'Estissac. Wedi talu ymweliad â Rhufain yn ngosgordd y Cardinal du Bellay, dychwelodd i Montpellier i gymeryd ei radd o Ddoctor, yn ddilynol i'r hyn y bu yn ymarfer fel meddyg yn amryw o ddinasoedd deheubarth Ffrainc. Cyrhaeddodd gryn raddau o lwyddiant ac enwogrwydd yn y cyfeiriad hwn, ond yr hyn yn fwyaf neillduol a'i dygodd i sylw ydoedd cyhoeddiad rhamant ddigrifol o'i eiddo, seiliedig ar un o draddodiadau poblogaidd yr oes, dan yr enw, "Croniclau y Cawr Gargantua," neu i fod yn fanwl, "*Les Grandes et Inestimables Chronicques du Grant et Enorme Géant Gargantua.*" O'r eginyn hwn y tyfodd yr enwogrwydd sydd wedi cadw ei enw yn fyw am yn agos i bedwar cant o flynyddoedd. Dywed ef ei hun iddo ysgrifenu y rhamant "tra yn bwyta ac yn yfed," er difyrwch i'r cleifion dan ei ofal. Y fath fu y lledaeniad a gafodd fel yr ychwanegai, fod mwy o gopïau o'r rhamant wedi eu gwerthu mewn naw mis nag o lyfrau gwell mewn naw mlynedd! Llwyddiant y digrifdod hwn, mae'n ddiau, a barotôdd y ffordd i waith cyflawnach a pherffeithiach y *Pantagruel*, sef yr ail ran yn ngwaith gorphenedig ein hawdwr. Pan yr ymgymerodd fel hyn âg ysgrifenu Attodiad, newidiodd Rabelais ei gynllun, os nad ei safle. Yn hytrach nag ymroddi yn hollol i ddigrif-wawd, y mae yn rhoddi lle i syniadau dwys ac ystyrlawn, er, mae'n wir, yn rhy aml ochr yn ochr â'r ffolineb mwyaf ynfyd. Yn gymysg â ffrwyth dychymyg penrhydd, yr ydym yn awr yn cael beirniadaeth ddoeth a goleuedig. Nid ydyw y cyfnewidiad yn bobpeth y gellid ei ddymuno, ond y mae yn anfesurol well na'r hyn a'i rhagflaenai, ac arweiniodd i gyfnewidiadau eraill. Er mwyn gwneuthur ei *Gargantua* yn deilwng o'i *Pantagruel*, adysgrifenodd ei Groniclau yn gyfangwbl, a rhoddodd i ni "lyfr cyntaf" newydd, yr hwn sydd lawnach o ddoethineb nag yw hyd yn nod yr ail.

Yn yr un flwyddyn â'r Croniclau, sef 1532, cyhoeddodd Rabelais y "Rhagfynegiad Pantagruelaidd," ynghyd ag Almanac o'r un natur, yr hwn y parhaodd i'w gyhoeddi am rai blynyddoedd. Yn un o'r rhai hyn cynghora ei ddarllenwyr i beidio credu mewn daroganiadau, gan ddywedyd:—

Os dêl amser da, fe ddaw nid trwy addewid y sêr; os heddwch, fe ddaw nid o ddiffyg tuedd mewn tywysogion at ryfel, ond o ddiffyg achlysur. O'm rhan fy hun dywedaf fi, os bydd i frenhinoedd, tywysogion, a gwerinlywodraethau Cristionogol dalu sylw i Air Duw, a rheoli eu hunain a'u deiliaid yn ol y Gair hwnw, ni welwyd erioed flwyddyn mwy iachus i'r corff, mwy tangnefeddus i'r enaid, a mwy ffrwythlawn er daioni, na'r un sydd ar ddechreu, a bydd gwyneb y nefoedd, rhinwedd y ddaear, a buchedd ei thrigolion yn llawen a hyfryd y tu hwnt i ddim a welwyd er ys hanner canrif.

Yn 1534 aeth eilwaith i Rufain, lle y cafodd ddefnyddiau newydd i'w ysgrifell wawdlym. Llwyddodd i gael gan y Pab Paul III. i faddeu ei grwydriadau ac i roddi iddo drwydded i ymarfer meddygaeth yn gystal ag i ddal bywoliaeth eglwysig. Yn 1535 ymddangosodd argraffiadau newyddion o'r *Gargantua* a'r *Pantagruel*, ond aeth dros ddeng mlynedd heibio cyn i ail lyfr *Pantagruel* gael ei gyhoeddi. Oddeutu chwe' blynedd yn ddiweddarach, sef yn 1552,

ychydig amser cyn marwolaeth yr awdwr, daeth y pedwerydd llyfr allan. Ni chyhoeddwyd y pummed llyfr hyd y flwyddyn 1564. Derbyniodd y gwaith gymeradwyaeth brenhinol, er i ddysgedigion y Sorbonne sefyll yn gryf yn ei erbyn. Ymddengys, fel y sylwa Mr. Besant, mai ffawd Rabelais trwy ei oes ydoedd, cael ei erlid gan fynachod a'i amddiffyn gan dywysogion. Yn 1547 bu farw y brenin Francis I., ac yn ddiatreg cyfododd gwrthwynebiad i ryddid barn. Ymosodwyd yn ffyrnig ar Rabelais, yr hwn a ddiangodd drachefn i Rufain yn nghysgod ei gyfaill y Cardinal. Tra y bu yno ganwyd mab i Henri II., a dathlwyd yr achlysur gyda llawer o rwysg yn ninas y Pab. Anfonodd Rabelais ddesgrifiad o'r llawenydd, dan y teitl *Sciomachie*, i'r Cardinal de Lorraine. Pan ymhen yspaid y dychwelodd i Paris, derbyniodd y Cardinal ef yn groesawus, a gwnaeth ef yn offeiriad Meudon. Dywedir iddo lanw y swydd er anrhydedd iddo ei hun a boddlonrwydd i'w blwyfolion. Cyn hir, fodd bynag, ac oddiar resymau nad ydynt yn hollol eglur, rhoddodd y fywoliaeth i fyny. Gallai ei fod yn teimlo rhyw gymaint o anghydnawsedd rhwng ei sefyllfa swyddogol yn yr Eglwys, a rhai o'r pennodau yn y gwaith oedd o'i flaen, ac nid ydyw yn anmhosibl ei fod yn ei hen ddyddiau wedi dyfod i weled y ffolineb, os nad i deimlo y drygioni o ymarfer â ffurfiau eglwysig nad oeddynt iddo ef ond ffurfiau gweigion mewn gwasanaeth llawn o lygriadau. Gyda'i bedwerydd llyfr allan o'r wasg, a'r pummed wedi ei orphen, ond heb ei gywiro, yn y meddiant o enw a barai i offeiriaid a mynachod wingo, a phawb arall ganmol, yn feddyliwr enwog, yn llysieuydd gwych, yn ddifynydd rhagorol, ac yn ieithyddwr di-ail, ymneillduodd Rabelais i Paris i dreulio gweddill ei oes ac i aros y diwedd. Bu farw yn y Rue des Jardins, plwyf St. Paul, a chladdwyd ef wrth droed coeden, yr hon a gadwodd ei enw yn gerfiedig am o leiaf gan' mlynedd ar ol ei farwolaeth.

Mor gynted ag yr ymadawodd, dechreuodd gelynion a chyfeillion wau a chymhwyso iddo bob math o chwedlau, nes yr aeth hanes ei fywyd yn gadwen o ystraeon ffol a disail. Dan bwys y rhai hyn y mae wedi bod am oesau, ac nid yw eto ond prin wedi ei wared oddiwrthynt trwy ymdrechion ei fywgraffwyr diweddaraf, o ba rai nid y lleiaf cymeradwy ydyw Mr. Walter Besant.

Nid ydyw yn bosibl yn y fan hon i roddi unrhyw grynodeb têg o *Gargantua* a *Pantagruel;* yn wir, gofynai amrywiaeth a chymysgedd y gweithiau gymaint o grynodeb bron a phe rhoddid y gweithiau eu hunain. Digon gan hyny fydd dyweyd mai arwyr anturiaethau wedi eu digrif-lunio ar ffurf gwrolgampau y Canol-oesoedd ydyw y cewri Gargantua a Pantagruel. Prif ddygwyddiadau y rhamant gyntaf ydynt y rhyfel rhwng Grandgousier, tad Gargantua, cynllun o'r brenin tawel a difater, a Picrochole, brenin Lerne, *ideal* y teyrn sydd â'i duedd at ryfel a'i fryd ar goncwest; a sefydliad abatty Thelema, sefydliad dychymygol yn nhrefniad pa un y gesyd Rabelais i lawr fel egwyddorion sylfaenol bobpeth ag ydoedd wrthwynebol i'r egwyddorion hyny—neu y diffyg o honynt—a lywodraethent y sefydliadau mynachaidd a adwaenai mor dda ac a gasHâi mor llwyr. Mab ydyw Pantagruel i Gargantua, a chawr fel yntau, ond nid ydyw yr eithafion a seilid ar y ffaith hon yn cael eu cadw i fyny yn yr ail ran fel yn y rhan gyntaf. Un o'r cymer-

iadau hynotaf a phwysicaf yn y *Pantagruel* ydyw Panurge. Tybia Mr. Saintsbury i Rabelais gael rhyw syniad am dano oddiwrth Cingar, Merlinus Coccaius, neu Folengo, un o feirdd Macaronaidd yr Eidal, ond ar y cyfan y mae Panurge yn gymeriad gwir wreiddiol, teilwng o sefyll ochr yn ochr â Syr John Falstaff ei hunan. Ar ol yspaid, yn nghwrs pa un y mae Pantagruel a'i gyfeillion (yn eu plith Friar John, un o gymeriadau hynod y *Gargantua*, yr hwn sydd yn gorfforiad o'r anianol mewn dyn) yn cario ymlaen ryfeloedd yn ol hen ddull rhamantus yr amser gynt, y mae chwim o eiddo Panurge yn penderfynu terfyniad y chwedl. Teimla awydd cryf i briodi, ond nid ydyw yn sicr pa un ai doeth ai annoeth ydyw iddo wneuthur hyny. Treulir un llyfr cyfan i groniclo y moddion a ddefnyddiodd i geisio atebiad i'r cwestiwn. Wedi dyhysbyddu yr holl ddyfeisiau adnabyddus, penderfyna ymgynghori âg oracl y *Dive Bouteille*. Yn y ddau lyfr olaf cawn hanes ei grwydriadau mewn gwahanol wledydd yn ei ymchwil am yr oracl; yr hwn, pan ei ceffir, a etyb gyda gair a adawa Panurge mewn cymaint o benbleth ag erioed. Ar y gair a'i ystyr cawn sylwi eto.

Fel yr awgrymwyd eisoes, y mae dadl barhâus yn myned ymlaen o barthed i ystyr ac amcan *Gargantua* a *Pantagruel*. Cymysga yr awdwr, yn fwriadol felly, blith draphlith, bersonau gwirioneddol wrth eu henwau priodol, a phersonau gwirioneddol eraill o dan enwau camarweiniol, gyda chymeriadau hollol ffugiol, ac mewn modd nas gall un dewin llenyddol, pa mor fedrus bynag, byth eu dadrys. Ar rai prydiau traetha ddoethineb gyda difrifwch; brydiau eraill llwyr ymrodda i'r ffwlbrïaeth mwyaf diystyr. Mae'n eithaf posibl, er hyny, ei fod yn gwisgo *mask* yr ynfytyn, er cael gwell mantais i ymosod yn ddigerydd ar gyfeiliornadau a llygredigaethau ei oes. O'r hyn lleiaf y mae rhai o'i feirniaid mwyaf manwl yn barod i faddeu ei golliadau, a "gormod rhysedd" ei ysgrifeniadau, yn ngwyneb y ddoethineb ymarferol a ganfyddant yn rhedeg drwyddynt. Dwy nodwedd arbenig yn ei ysgrifeniadau ydynt, yr arferiad barhâus o bentyru geiriau cyfystyr a chyfleu rhestr faith o enwau at eu gilydd, a'r defnyddiad dibaid o gyfeiriadau a desgrifiadau isel ac anghoeth. Mae'n wir nad ydoedd y pethau hyn i fesur ond dilyniad yn ffordd awduron boreuach; ar yr un pryd rhaid cydnabod eu bod hefyd yn nodweddion personol i'r awdwr. Y mae y llyfr fel cyfanwaith wedi cael llawer math o esboniad. Edrycha rhai arno fel gogan-gerdd bersonol a gwleidyddol, ac olrheiniant yn ei gymeriadau a'i ddygwyddiadau berthynas agos â hanes yr oes; eraill drachefn, ar sail tystiolaeth fewnol, a welant ynddo draethawd llafurfawr yn erbyn yr Eglwys Babaidd. Barna rhai iddo gael ei ysgrifenu fel amddiffyniad i fateroliaeth Epicurëaidd; eraill, fel ymosodiad ar holl egwyddorion moesoldeb a chrefydd; ac eraill drachefn a dybiant nad ydyw yn ddim amgen na phentwr o ddyrysni wedi ei amcanu o bwrpas i dwyllo darllenwyr. Ar y pen hwn yr ydym ni yn credu gyda Mr. Saintsbury, yr awdurdod Seisonig uchaf o bosibl ar lenyddiaeth Ffrainc, nad oes rhyw lawer o anhawsder i ddyfod o hyd i esboniad derbyniol, ond i'r esboniwr ymgadw rhag myned i chwilio am ystyron lle nad oes ystyron i'w cael. Mae yn lled amlwg i ffurf y llyfr gael ei benderfynu gan yr hen ramantau anturiaethol, ac mai ei fenthyca ac nid ei ddyfeisio a ddarfu Rabelais. Rhyfel ac ymchwil oeddynt destunau pob chwedl

o eiddo ei ragflaenwyr mewn barddoniaeth a rhyddiaith am dros bum' canrif. Ond unwaith y penderfynwyd ffurf ac y dewiswyd testun, gollyngodd Rabelais y ffrwyn ar wâr ei ddychymyg, a chymerodd ei ryddid i ddyfeisio a chymhwyso yn ol fel y gwelai ei feddwl gwreiddiol ei hun yn dda. Dylid cofio yn wastad fod ein hawdwr yn ŵr dysgedig, yn un a gymerai ddyddordeb arbenig yn mhynciau gwleidyddol ac eglwysig y dydd, ac yn barod i chwareu ei ran ar bob adeg fel "a man of the world." Yr oedd yn llawn o'r yni a'r awydd a nodweddent ddechreuad y *Renaissance* ymhob gwlad, ac yn enwedig yn Ffrainc. Am ei fod fel hyn, yr ydym yn ei gael bob amser yn afrad wrth arddangos ei wybodaeth. Yn ychwanegol at yr hyn a nodwyd, rhaid ei fod yn meddu ffraethineb ac arabedd tu hwnt i'r cyffredin. Treiddiant trwy ei holl waith, gan droi yr anturiaethau ymddangosiadol penchwiban, yn alegori wawdlym ac addysgiadol; a chadwant ei waith yn fyw ac yn newydd hyd y dydd hwn. Ymddengys fod amrywiol achosion i'r anghoethder a'r bryntni sydd yn nodweddu rhanau o hono, ac yn ei wneuthur yn annarllenadwy. Hanfod ei lyfr ydyw eithafrwydd, ac y mae yn myned i eithafion yn y peth hwn fel gyda phobpeth arall. Heblaw hyny yr oedd ei dueddiad cryf at y digrifol a math o ddigywilydd-dra, yn codi oddiar neillduolion personol yn gystal a dygiad i fyny, yn ei arwain yn naturiol i benrhyddid. Ond er gwaethaf y colliadau hyn yr oedd gan Rabelais wybodaeth o'r natur ddynol, a gallu i osod y wybodaeth hono allan nad ydynt i'w cael fe allai mewn un awdwr arall oddigerth Shakespeare. Gwir ei fod weithiau, fel y rhan fwyaf o'i frodyr, yn ymostwng at y lleol a'r amserol yn unig; ond yn hyn drachefn yr ydym ar ein mantais, am ein bod trwy hyny yn cael darlun byw o'r oes yr ysgrifenai ynddi. Er gorfod addef fod llawer o'i gymeriadau wedi eu digrif-lunio—yn bwrpasol felly—nid ydyw yn anhawdd eu dadwisgo, a dyfod o hyd i'w helfenau a'u maintioli priodol. O ran arddull lenyddol yn unig, y mae genym awdurdod Mr. Saintsbury dros ddyweyd fod yr ysgrifeniadau y cyfeirir atynt yn rhagori ar y cyfan a ymddangosodd am flynyddoedd lawer ar ol marwolaeth yr awdwr. Ac o ran mater, fel yr awgrymwyd yn barod, cynnwysant lawer o'r hyn sydd ddoeth, uchel, a da, fel yr ydym yn awr am geisio dangos.

Dechreua "Bywyd Gargantua, tad Pantagruel," gyda chyfarchiad barddonol o eiddo yr awdwr at ei ddarllenwyr, yn diweddu gyda'r sylw mai gwell yw ysgrifenu am wenau na dagrau, gan mai chwerthin sydd briodol i ddyn. Er hyny nid peri i'w ddarllenwyr chwerthin ydyw amcan mawr yr ysgrifenydd, oblegid ar ol rhaglith llawn o afradedd gwybodaeth a llawenydd llawn afiaeth, gwahodda "gwmni anrhydeddus yr ymyfwyr" i roddi yr ystyriaeth ddifrifolaf i'w lyfr a'i gynnwys. Fel y blwch diaddurn a geidw o'i fewn y nard gwerthfawr, neu fel Socrates gynt, yr hwn o dan ymddangosiad allanol gwrthun a guddiai rinweddau anmhrisiadwy, felly yntau y llyfr, o dan enw dibris, a gynnwys fater gwerth ei ystyried. Gwir fod ynddo "matters merry enough" i gyfateb i'w deitl, ond erchir hwy i ddeongl hyd yn nod y cyfryw mewn ystyr uwch nag a warantir gan eu hymddangosiad. Fel y ci gyda'r asgwrn merog, felly y dymunai weled ei ddarllenwyr yn sugno allan y meddyliau dwfn a roisai i'w cadw ar eu cyfer. Teg gan hyny ydyw i ninnau gymeryd Rabelais ar ei air, a dysgwyl dyfod o hyd

i'r amcan yn ei grechwen a'r ystyr yn ei ffolineb, neu yn ngeiriau Shakespeare y "method, in his madness." Hawdd yw i ddyn fod yn ffôl; pwnc arall ydyw bod yn ffôl i bwrpas, oblegid, ys dywed Shakespeare mewn man arall:

To play the fool,
And to do that well craves a kind of wit.

I ddychwelyd at Rabelais a'i lyfr, desgrifir Gargantua fel mab i Grandgousier a Gargamelle ei wraig, merch brenin y Parpaillos. O faintioli cawraidd, fe'i cynnysgaeddir â nodweddau aruthrol, ond treulia ei fabandod yn lled debyg i fabanod eraill, sef mewn "yfed, bwyta a chysgu; bwyta, cysgu ac yfed; a chysgu, yfed a bwyta." Fel plentyn cawn ef eto yn tebygu i blant eraill, oblegid "ymdreiglai yn y baw, pardduai ei wyneb, a sathrai ei esgidiau dan ei sodlau; miniai ei ddannedd gyda'i *slipper*, golchai ei ddwylaw yn ei botes, cribai ei wallt gyda chwpan, eisteddai rhwng dwy ystôl a syrthiai i'r llawr, cuddiai ei hun yn y dwfr rhag ofn y gwlaw, curai y ci o flaen y llew, rhoddai y gert o flaen y march, dysgwyliai ddal hedyddion pan syrthiai y wybren, ac yn fynych ystyriai raid yn rheswm,"—y cyfan wrth gwrs gyda rhyw gymaint o wahaniaeth. Gan adael heibio ddyddiau ei blentyndod, cawn yr awdwr yn gosod y cawr o'r neilldu ac yn rhoddi y dyn o dan addysg. Ar y cyntaf ymddiriedir ef i ofal y *Sophist* dysgedig, Doctor Tubal Holofernes, yr hwn mewn pum' mlynedd a chwarter a'i dysgodd i ddyweyd y wyddor yn ei gwrthol. Wedi cyrhaedd hyn o orchest, hyfforddir ef yn nghyfrinion yr hen awduron, Donat, Facet, Theodolet, Alanus, Hurtebise, Fasquin, a llu i'w canlyn; a chyda hwynt y bu, nes y galwyd Dr. Holofernes oddiwrth ei lafur at ei wobr. Canlynwyd yr un drefn gan yr athraw newydd, un Jobelin Bridé, ond effaith y cyfan ydoedd cynnyddu anwybodaeth y dysgybl. O'r diwedd cynhyrfwyd digllonrwydd y tad, ac anfonwyd Gargantua, yn nghwmni Ponocrates, athraw o safon wahanol, i Paris, i ddysgu y gwybodaethau diweddaraf. Yn y cysylltiad hwn dadblyga Rabelais ei syniad ef o'r hyn a ddylai cyfundrefn o addysg fod, ac wrth wneuthur hyny arddengys wir ddoethineb. Taflwn olwg yn gyntaf ar yr hen gyfundrefn yn ol pa un y gweithiai y Maitre Tubal Holofernes a'i olynydd. O dan hon goddefid i Gargantua barhâu ei gydnabyddiaeth â'i orweddle hyd wyth neu naw y boreu, gan nad pryd y codai yr haul. Yn wir, felly yr ordeiniasai ei athrawon iddo, a hyny ar sail Ysgrythyrol, oblegid oni ddywedodd Dafydd mai "ofer" i ddynion "fore-godi!" Wedi dyfod o'i wely, ni wastraffai amser i drwsio ei wallt (oddigerth yn y dull Germanaidd gyda'i fawd a'i fysedd), nac ychwaith i drin ei berson, eithr eisteddai i lawr fel yr ydoedd i lythu boreufwyd bras a thrymaidd. Wedi gorphen hyn o orchwyl, cyrcha i'r eglwys i wrando rhyw "chwech neu ddeg offeren ar hugain," ac i adrodd (trwy gymhorth *rosaries*) gynifer o weddïau ag a fuasent ddigon i un meudwy ar bymtheg am yr un amser. Yna hanner awr o efrydiaeth dlawd, ei lygad ar ei lyfr ond ei galon yn y gegin. Ar giniaw ymblesera mewn bwyta cymaint ag a all y corff gario, ac yfed nes y metha godi oddiar ei eistedd. Dygir cardiau i'r bwrdd, a threulir rhan helaeth o weddill y dydd gyda hapchwareuon, o ba rai yr enwa Rabelais dros ddau gant. Ar ol hyn,

mae yn rhaid cysgu dwyawr, ac os deffroir cyn pryd swper, adroddir ychwaneg o ffurfweddïau, ac eir allan i faglu cwningod. Yna drachefn at y pryd bwyd, ychwaneg o yfed a chwareu cardiau, ac yna i orweddfa anesmwyth y dyn glwth a'r yfwr gwin. Dyma ddarlun cywir, mae'n ddiammeu, o'r cwrs addysg a fernid yn fuddiol ac yn ddigonol i ŵr ieuanc o dan yr hen drefn. O flaen pobpeth telid sylw i ddyledswydd dyn tuag at yr eglwys. Er mwyn argraffu y ddyledswydd ar feddwl y dysgybl, ychwanegid at eu gilydd offerenau, paderau, a gweddïau, heb rif. Yn anwybodaeth tywysogion y gorweddai nerth y fynachaeth, am hyny cymerid gofal na oleuid hwynt. Nid yw athrawon Gargantua yn ei ddysgu hyd yn nod mewn ymarferiadau corfforol. Ni ddadblygir ei alluoedd o gwbl, eithr gadewir ef yn hollol i reddfau anifeilaidd ei natur.

Yn awr, edrychwn ar yr ochr arall i'r darlun. Wedi deall anianawd ei ddysgybl, y mae Ponocrates yn defnyddio moddion physigwrol i wneyd i ffwrdd â rhai o ddrwg effeithiau yr hen drefn o addysgiaeth. Yna cymer ef i gwmni dynion coeth a dysgedig, er mwyn cynnyrchu awydd ynddo i ymdebygu iddynt. Yn fuan gesyd o'i flaen drefn gyflawn o waith ac efrydiaeth. Cyfyd yn awr am bedwar o'r gloch y boreu. Tra o dan ddwylaw ei law-weision, darllenir yn ei glywedigaeth ran o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Offrymir gweddi syml, a rhydd ei athraw eglurhâd ar y bennod a ddarllenwyd. Wedi ei wisgo megys y gweddai i dywysog, cymerir ef i fan cyfleus i astudio arwyddion yr wybrenau. Adgoffeir iddo wersi y dydd blaenorol, y rhai drachefn a ailadroddir ganddo, gyda'i gasgliadau ymarferol oddiwrthynt. Ar ol darllen y prif awduron am deirawr, rhoddir rhyddhâd i'r meddwl trwy ymarfer y corff. Os bydd awr o hamdden cyn ciniaw, treulir hi i adgoffa gwersi y boreu. Yn yr adeg briodol eisteddir i lawr i fwyta, tra y darllena un o'r gweision hanes rhyfelwyr a rhyfeloedd y dyddiau gynt. Os ceir digon ar hyn, siaredir am elfenau y bwydydd o'u blaen, a gwneir yn hysbys ddysgeidiaeth yr henafiaid, nid amgen Pliny ac Aristotle, Galen a Polybius, Athenæus a Heliodorus, o berthynas iddynt. Wedi golchi genau a dwylaw mewn dwfr glân, a thalu caniad o ddiolch i Roddwr pob daioni am ei haelfrydedd a'i ddoniau, cymerir ychydig fynydau o seibiant. Dygir y cardiau i mewn, ond nid megys cynt i'w galluogi i ymroddi i hapchwareuaeth, eithr i ddysgu drwyddynt y gwyddorau, rhifyddiaeth a mesuroniaeth, yn y rhai y ceir mawr bleser. Yna dadgenir rhan-ganau, ac ymarferir â gwahanol fathau o offer cerdd. Wedi cael drwy hyn orphwysiad i gorff a meddwl, daw teirawr arall o efrydiaeth galed yn mhrif ganghenau gwybodaeth, yr hyn a ddilynir yn eu tro gan ymarferiadau milwrol a gorchestol. Yn ei ddesgrifiad o'r rhai hyn, rhydd Rabelais esiampl o'r wybodaeth helaeth a feddai ar faterion tu allan i gylch ysgrifenwyr cyffredin. Wedi ymlanhâu ar ol llafur y gorchestion, treulir awr dawel i astudio llysieuaeth y maes, ac i fwynhâu prydferthion natur. Mae y dydd bellach yn tynu at ei derfyn. Ar swper dilynir yr un drefn addysgiadol ag ar giniaw, a cheir rhyw gymaint ychwaneg o gerddoriaeth a chwareu, neu o fwynhâu cymdeithas teithwyr a dynion dysgedig a dyddorol eraill. Pan ddêl cysgodau y nos edrychir drachefn ar arwyddion y nef; ailgoffeir gwersi y dydd; ac yn y man ymollyngir i gysgu, "ond nid cyn

gweddïo ar Dduw eu Crëwr, a syrthio ger ei fron Ef, gan gadarnhâu eu ffydd tuag ato, a'i ogoneddu am ei ddiderfyn ddaioni, a chan roddi diolch iddo am yr amser a basiodd, cyflwyno eu hunan i'w ofal a'i drugaredd am y dyfodol."

Os dygwyddai yr hîn fod yn wrthwynebol i'r cwrs a nodwyd, defnyddid y cyfleusdra i ddysgu gwahanol grefftau, ac i ymarfer ynddynt, neu ynte i ymweled â'r gweithfäoedd gyda'r un amcan. Cyrchid hefyd i wrandaw y darlithiau cyhoeddus, dadleuon y cyfreithwyr, a phregethau yr efengylwyr; ac felly o ddydd i ddydd elai cwrs yr addysgiaeth ymlaen er dirfawr ennill i Gargantua a'i gydefrydwyr. Er fod y gwaith ar y dechreu yn anhawdd, fe ddaeth, trwy ymarferiad, mor gyfarwydd a dymunol fel yr ymddangosai yn hytrach fel difyrwch brenin nag efrydiaeth ysgolaig.

Fe welir fod yr addysgiaeth a gymeradwyir gan Rabelais yn cymeryd i mewn yr holl wybodaethau, a phob math o ymarferiadau. Nid oes unrhyw fasnach na gwaith yn rhy isel i'w dysgu na'u dilyn. Dysgyblir pob cynneddf o eiddo y corff yn gystal â'r meddwl, ac ni adewir un mynydyn o'r dydd i fyned heibio yn segur. Y mae y chwareu yn rhesymol ac o'r tu fewn i derfynau priodol, tra y mae yr efrydiaeth yn wirioneddol, ac heb fod yn ormodol. Ni wastreffir amser ar offerenau a gweddïau ffurfiol; gosodir dysgyblaeth foesol i ddibynu ar eglurhâd syml o'r Ysgrythyr a gweddi. Rhoddir o'r naill du ddadleuaeth ddifudd, yn ol ffurfiau cyfyng rhesymeg farbaraidd, ac ymroddir i ymdrin mewn modd goleuedig ar bynciau ymarferol. Anhawdd, ni dybiwn, ydyw meddwl am gyfundrefn o addysg fwy rhagorol a rhesymol na'r un a gynnygir yma. Llawer o ddadleu sydd wedi bod ynghylch y cyfundrefnau o ddyddiau Rousseau a Pestalozzi hyd yn bresennol; ond odid na chydnabyddai y dadleuwyr oll mai "the true higher Education" yw yr un sydd yn amcanu at ddadblygiad cymesurol corff, meddwl, ac ysbryd; sef perffaith addfediad dyn yn yr oll ag ydyw. Fel y gwelir, at hyn, ac nid at ddim llai, yr ymgeisiai Rabelais; ac nid ydym ni yn barod i wrthddyweyd Mr. Besant pan y sylwa nad oes un cynllun rhagorach wedi ei gynnyg eto i'r byd na'r un a geir yn *Gargantua*, ac na cheir un gwell nes y byddo i addysgwyr gydnabod egwyddorion sylfaenol addysgiaeth fel eu gosodir i lawr gan Rabelais.

Mae cwrs addysgiad Gargantua o'r diwedd yn cael ei derfynu, trwy i'r brenin Picrochole gyhoeddi rhyfel yn erbyn Grandgousier. Ynglŷn â'r dygwyddiad hwn cymer Rabelais achlysur i ddangos i'w ddarllenwyr ffolineb uchelgais, pechadurusrwydd rhyfel diachos, a'r canlyniadau dinystriol sydd yn dilyn y naill a'r llall. Breuddwydia Picrochole am goncwest gyffredinol, a thyna ddarlun prydferth o rwysg ei oresgyniad. Nid yw y darlun yn ddifrychau er hyny, oblegid, ar ei orpheniad trŷ hen filwr at y brenin a gofyna iddo, Pa beth a wna ar ol goresgyn y byd? "O, eistedd i lawr, a gorphwys," ebe Picrochole. "Onid gwell a fyddai i ni orphwys yn awr?" ychwanega yr henafgwr. Ond nid oes a wrendy, a rhuthra Picrochole a'i fyddin i'w dinystr.

Yn y rhyfel yr ydym yn dyfod i gydnabyddiaeth â mynach rhyfelgar, y *Friar* John des Entommeures, "a quick despatcher of hours, a fine hurrier of masses, and fair accomplisher of vigils," gŵr yn ol calon Gargantua a'i grëwr Rabelais. Trwy ei gynnorthwy ef a dynion

dewrion eraill try y frwydr o blaid y gwan. Dathlir y fuddugoliaeth yn nghastell Grandgousier a gwahoddir *Friar* John i'r wledd, lle yr hynoda ei hun mewn mwy nag un ystyr. Try yr ymddyddan ar fynachaeth, ac ymosoda Rabelais ar y grefft yn ddidrugaredd. "Paham," meddai un o'r cwmni, "yr ymgeidw pawb oddiwrth fynachod?" *Friar* John a'i hetyb, "Os gwyddoch paham y blinir ac y dirmygir mwnci mewn teulu, chwi ddeallwch paham y cashêir mynachod. Nid yw y mwnci yn gwylio y tŷ fel y ci; nid yw yn tynu y fèn fel yr ŷch; ni rydd wlân fel y ddafad; ac ni ddwg feichiau fel y march. . . . Felly am y mynach. Nid yw yn trin y tir fel yr amaethwr; nid yw yn amddiffyn y wlad fel y milwr; nid yw yn iachâu y cleifion fel y physygwr; nid yw yn addysgu yr anwybodus fel yr efengylwr; nid yw yn cyflenwi nwyddau fel y masnachwr." "Ond fe weddïa dros bawb," sylwa Grandgouiser. "Dim byd llai," ateba Gargantua; "ni wna ond blino'r gymydogaeth trwy ganu clychau." "Gwir iawn," ebe *Friar* John; "y mae canu cloch yr offeren cystal â hanner ei dyweyd! Am y mynachod hyn hwy adroddant doraeth o Salmau y rhai ni ddeallant, cyfrifant Baderau a Henffych Feiriau y rhai ni chredant, yr hyn yn ol fy marn i yw gwawdio, ac nid gweddïo Duw. A'u helpo, os drosom ni y gweddïant, ac nid rhag ofn colli eu seigiau breision!" Ymosodiad brwnt, fel y gwelir, a chan un a wyddai y dirgelion!

Wedi talu i'w filwyr, rhyddhâu ei garcharion, a chosbi ei wrthwynebwyr, y mae Gargantua yn cymeryd hamdden i wobrwyo ac anrhydeddu ei gyfeillion. I'r naill rhoddodd deyrnas, ac i arall rhoddodd gyfoeth, ond i *Friar* John adeiladodd Abattŷ. Prin y gellir edrych ar y *Friar* fel un cymhwys i'r fath ymddiriedaeth, ond gan mai fel arall y barnodd yr awdwr, gadawer iddo. Mae drychfeddwl y sefydliad a ddesgrifir gan Rabelais yn un o'r rhai mwyaf prydferth ac arddunol a ddaeth erioed i feddwl dyn. Ffurfia gymhar teilwng o ran harddwch a thlysni i'r cynllun arall y buwyd eisoes yn ymdrin âg ef.

Cyfansoddir Cymdeithas Thelema o bobl ieuainc yn byw yn gytun, yn rhydd oddiwrth reolau ac arferiadau cyffredin a difudd. Trwy wylio dymuniadau a gofalu am anghenion eu gilydd, y maent i ddysgu pa fodd i fyw; ymgadwant hyd y mae ynddynt rhag blinderau bywyd, a threuliant eu dyddiau i ymarfer y corff, i ddiwyllio y meddwl, ac i buro yr ysbryd. Hanfod yr Abattŷ a'r urdd a'i preswyliai ydoedd eu bod ymhob peth i wahaniaethu. Gan fod Abattai eraill wedi eu cau oddiamgylch â muriau, yr oedd Abattŷ Thelema i fod yn holl-agored; gan fod yn arferiad mewn Abattai eraill i ysgubo y lle y sangai troed merch arno, ordeiniwyd yn Thelema i ysgubo y fan y sangai troed mynach arno; gan fod rhai mynachdai yn trefnu pobpeth yn ol "yr oriau," trefnwyd nad oedd awrlais na deial i ddyfod o fewn i Thelema, ond fod pob gwaith i gael ei gario ymlaen yn ol yr achlysur a'r cyfleusdra, oblegid gwastraff ar amser yw cyfrif oriau, a ffolineb yw i ddyn reoli ei hun wrth ganiad cloch, ac nid yn ol barn a synwyr cyffredin; gan mai y cloff, yr hyll, y ffol, a'r llygredig a dderbynid i mewn i rai lleiandai, ordeiniwyd mai yr uniawn, yr hardd, y doeth, a'r pur yn unig a gaent ddyfodiad i mewn i Thelema; gan fod gorfodiad ar bwy bynag a ymunai â'r urddau eraill, ar ol blwyddyn brawf, i aros gyda'r cyfryw am y gweddill o'u hoes, trefnwyd fod cyflawn hawl i neb pwy bynag ymadael mewn

heddwch âg urdd Thelema pryd bynag y teimlai ar ei galon wneuthur hyny; a chan fod mynachod a lleianod fel rheol yn diofrydu eu hunain i dlodi, ufudd-dod, a gwyryfdod, ordeiniwyd yn Thelema fod cyfoeth yn beth i'w ennill, fod rhyddid yn beth i'w hoffi, a bod priodas yn beth i'w anrhydeddu.

Wedi penderfynu fel hyn ar yr egwyddorion oeddynt i lywodraethu y sefydliad, aethpwyd i adeiladu y tŷ. Teg ydyw dyweyd fod yr awdwr wedi gwneuthur yr adeilad yn deilwng o'i gynnwys. Y fath ydyw manylder y desgrifiad fel y dywedir fod yn bosibl ei adgynnyrchu yn gyflawn yn ol rheolau cywiraf adeiladaeth, oddiar y cynllun oedd yn meddwl yr awdwr. Wedi gorphen y tŷ, sefydlodd yr urdd ynddo, ac yno "treuliasant eu bywyd, nid yn ol deddfau a rheolau, ond yn ol yr egwyddor a gerfiwyd ar y porth—'Fay ce quê Vouldras,'—Gwnewch fel y mynoch: a hyn a wnaethant, yn gymaint a bod dyn rhydd, o briodol ddygiad i fyny, wedi ei gynnefino â chwmni anrhydeddus, yn sicr o feddu tueddiad naturiol fydd yn ei gymhell i weithredoedd rhinweddol, ac yn ei gadw rhag drwg."

Yn anffodus, nid ydyw yr awdwr, ar ol rhoddi bôd i'w ddrychfeddwl, yn ei fagu a'i feithrin megys ag y dylai. Nid ydyw yn ei weithio allan i'w ganlyniadau priodol. Syniai Rabelais yn ardderchog, ond ni pherffeithiai ei syniadau. Rhaid felly ymfoddloni ar *sketch* lle y dylesid cael cyfanwaith. Ond hyd yn nod fel y mae, erys yr amlinelliad yn un o etifeddiaethau gwerthfawrocaf llenyddiaeth. Nis gallwn wneyd yn well yn y fan hon na rhoddi ffordd i Mr. Besant i draethu ei farn arno:—

Ymddengys desgrifiad yr Abattŷ i mi (meddai) fel breuddwyd ogoneddusaf yr unfed ganrif ar bymtheg, pryd yr ymddangosai cymaint o bethau yn bosibl ac yr ymddyrchafai meddyliau dynion i'r fath uchelderau. Gweledigaeth ydoedd a ddylasai ddyfod at ryw brif-fardd i gael ei chysylltu â barddoniaeth anfarwol. Yn y sefydliad hwn (Thelema) lle y ceir y byd ar ei oreu, nid oes anaf moesol na haerwch corfforol i'w ganfod; ni chadwynir ei breswylwyr â rheolau arferiad; arweinir pob dyn gan ei gydwybod ei hun; nid oes yno gyfrif paderau a chanu clychau, eithr cymdeithasa pob un â'i Dduw yn unigrwydd ei gell; nid oes yno ymprydiau na neb yn talu ymostyngiad gwasaidd i ddeddfau dynion sydd yn blino y byd oddiallan. Cymdeithas ydyw o ysgoleigion, o efrydwyr, a chelfyddydwyr, boneid oll, yn byw yn gytûn, yn ol rheolau natur, yn cael eu cadw ar yr uniawn gan synwyr, anrhydedd, a chariad at Dduw; yn barhâus yn dysgu trwy serch ac efrydiaeth i barchu fwyfwy gyfrinion y rhyfeddod anamgyffredadwy a elwir y greadigaeth, ac yn ymgyrhaedd yn wastad ar hyd llwybr hunanymwadiad at y bywyd uchaf, yr hwn a ymddengys i ni sydd o ysbryd tywylledig, mor anghyrhaeddadwy. Y maent bob amser yn siriol, hynaws, a gofalus, y naill tuag at y llall. Nid ymroddant o gwbl i'r gwledda a'r gloddesta a wnaent y tro i lŷs Gargantua, ac i bobl gyffredin. Y mae eu bryd fel yr eiddo Rabelais pan yn ysgrifenu y pennodau hyn, ar bethau sydd uwch. Yn eu plith hwy y mae serch yn rhydd, a phriodas yn ganlyniad naturiol. Y mae pob peth yn anrhydeddus, pob peth yn ddyrchafedig, pob peth yn deilwng; ac i goroni y cyfan (o safle Rabelais) nid oes mynach nac offeiriad yn agos i'r lle.

Ysgrifenwyd "llyfr cyntaf *Pantagruel*," fel y sylwyd, o flaen y *Gargantua*, ac ar lawer cyfrif y mae yn israddol iddo, er ei fod i fesur yn tramwy ar yr un llinellau. Desgrifir genedigaeth, mabandod, a phlentyndod y tywysog ieuanc fel yn yr olaf, ond nid gyda'r un eithafrwydd digrifdod. Wedi iddo fyned dros amryw o anturiaethau

cymhwys i dywysog mor gawraidd, enfyn yr awdwr ei Pantagruel i'r ysgol yn Poitiers, ac oddiyno ar daith o ymweliad âg amryw o brifysgolion Ffrainc, megys Bordeaux, Toulouse, Montpellier, Avignon, ac Orleans, y rhai a frasddarlunir wrth fyned heibio. Yn Orleans ni a'i cawn yn cyfarfod ac yn dymchwel ysgolaig o Limousin, un o ddilynwyr Ronsard a'i gyfeillion, yr hwn a ddadwnâi iaith ei fam trwy gymysgu â hi eiriau dyeithr. Gwawdia Rabelais yr arferiad yn ei ffordd finiog ei hun, a thrwy hyny rhoddodd achlysur i Ronsard i'w gashâu. O Orleans y mae Pantagruel yn myned i Paris, "lle braf i fyw ond anghyfleus i farw ynddo." Tra yno, ymwêl â llyfrgell St. Victor, casgliad o weithiau ysgoleigion y Canol-oesoedd, y rhai a fawr ddirmygid gan yr "ysgol newydd," o'r rhai y rhydd Rabelais ddesgrifiad eithafol o ddigrif. Ymrodda Pantagruel i astudiaeth fuddiol, ac yn fuan derbynia lythyr oddiwrth ei dad, Gargantua, yn ei argymhell i hyny fwyfwy. Cynnwysa y llythyr hedyn y gyfundrefn o addysg a fu dan sylw yn barod. Fel llawer tad ar ei ol, cwyna Gargantua nas ganwyd ef i'r un manteision a'i fab.

Pan oeddwn i yn astudio, meddai, nid oedd yr adeg mor gyfleus ag ydyw yn awr, ac ni ddaeth i'm rhan i y cyflawnder o athrawon ag a gefaist ti; tywyll ydoedd yr amseroedd hyny, ac yn dyoddef i fesur oddiwrth y dinystr anhapus a ddaeth ar lenyddiaeth dda trwy y Gothiaid. Ond trwy ddaioni dwyfol, daeth goleuni ac urddas yn ol i lenyddiaeth cyn diwedd fy oes. Yr awr hon adnewyddwyd pob gwybodaeth—dysgir yr ieithoedd, y Groeg, heb yr hon cywilydd ydyw i neb alw ei hun yn ysgolor, yr Hebraeg, y Chaldaeg a'r Lladin. Y mae llyfrau cywir a choeth mewn arferiad, dyfeisiad ysbrydoliaeth ddwyfol; megys ar y llaw arall y mae arfau milwrol, o ysbrydoliaeth gythreulig. Mae y byd yn llawn o ysgoleigion a dysgawdwyr, ac o lyfrgelloedd cyfoethog, ac o hyn allan ni bydd mwyach yn bosibl dyfod o hyd mewn cwmpeini i un a fyddo heb ei hyfforddi yn ngweithdŷ Minerva. . . . Am hyny, fy mab, argymhellaf dydi i ddefnyddio dy ieuenctyd i elwa mewn gwybodaeth a rhinwedd. Amcanwyf a dymunwyf ar fod i ti ddysgu yr ieithoedd yn berffaith—yn gyntaf y Groeg megys y dymuna Quintilian; yn ail y Lladin; ac yn drydydd yr Hebraeg, er mwyn yr Ysgrythyrau Sanctaidd; y Galdaeg a'r Arabaeg yr un modd; ac er ffurfio dy arddull yn y Groeg dysg yn ol Plato, ac yn y Lladin yn ol Cicero. Na foed un hanes heb fod genyt ar gôf, ac yn hyn fe'th gynnorthwyir gan ysgrifeniadau y daearyddwyr. O'r celfau breiniol, Mesuroniaeth, Rhifyddiaeth, a Cherddoriaeth, rhoddais i ti ryw flâs pan yn blentyn. Dos rhagot ynddynt. Astudia holl reolau Seryddiaeth, ond dos heibio i Ser-ddewiniaeth, gan nad yw ddim namyn gwagedd. Gyda golwg ar y Gyfraith Wladol, mi fynwn i ti wybod y pynciau a'u cymharu â phynciau Athroniaeth. Mewn gwybodaeth o weithiau natur mynwn i ti ymroddi fel na byddo mewn môr, afon, na ffynnon, bysgodyn ar nas adwaenot; holl ehediaid y nefoedd hefyd, holl brenau y coed a phlanhigion y maes; yr holl feteloedd sydd yn nghrombil y ddaear; holl feini gwerthfawr y dehau a'r dwyrain; na fydded dim o hyn oll yn anwybyddus i ti. . . . Ac yn oriau y dydd, na fydd fyr o ymweled â'r Ysgrythyrau Sanctaidd, yn gyntaf yn y Groeg y Testament Newydd a Llythyrau yr Apostolion, a'r Hen Destament yn yr Hebraeg. Mewn gair, gad i mi weled ynot ddyfnder gwybodaeth, oblegid fel y tyfi yn ddyn bydd raid i ti adael heddwch a gorphwysdra efrydiaeth ac ymroddi i ddysgu elfenau marchofyddiaeth ac ymarferiadau milwrol, fel y'th gymhwyser yn well i amddiffyn fy nhŷ ac i gynnorthwyo ein cyfeillion yn eu hangen yn erbyn ymosodiadau y drwg weithwyr.

Mae'n amlwg oddiwrth y llythyr hwn, yn gystal ag oddiwrth y gyfundrefn a luniodd wedi hyny, fod Rabelais yn teimlo y dirfawr angen oedd am drefn newydd o addysg gyffredinol, ac mae yr un mor amlwg ei fod yn amcanu ei wybodaethau, nid yn unig i'r ysgolaig a'r

duwinydd, ond i bwy bynag oedd a wnelai â chyflawniad dyledswyddau. Am hyny y mae yn rhoddi i Gargantua a Pantagruel y cyfryw hyfforddiant ag a dueddai i'w gwneuthur y goreu â'r doethaf o dywysogion—"tywysogion o'r fath ag y mae y byd wedi bod yn dyheu am danynt er pan yn gyntaf yr ordeiniwyd brenhinoedd."

Gelwir Pantagruel o Paris gan yr angenrheidrwydd o amddiffyn tiriogaethau ei dad rhag ymosodiadau Anarchus a'i bencadben Loupgarou. Fel y mae'n weddus, ennilla fuddugoliaeth lwyr ar ei elynion, ond yn y frwydr lleddir ei athraw ffyddlawn Epistemon. Nid yw hyny o gymaint pwys ag y gellid tybio, oblegid cynnysgaeddir Panurge â'r gallu i'w fywiocâu drachefn; ac yr ydym ninnau ar ein mantais o'r dygwyddiad, gan ein bod yn cael desgrifiad newydd o Hades o enau Epistemon. Llawer yw y desgrifio sydd wedi bod ar y fangre obry o ddyddiau Virgil a Dante hyd at ddyddiau Mr. Lewis Morris o Penbryn, ac amrywiol yw y darluniau a roddir o'r gwahanol orchwylion sydd yn cael eu cario ymlaen yno. Profiad Epistemon ar y pen hwn ydyw fod purdan pob dyn yn hollol wrthgyferbyniol i ddull ei fywyd tra ar y ddaear. O hyn rhydd esiamplau sydd, a dyweyd y lleiaf, yn meddu cryn lawer o hynodrwydd.

Wedi gorchfygu Anarchus a chymeryd meddiant o'i wlad, y mae Pantagruel ymhen byr amser yn ennill hefyd ei ddeiliaid i fod yn ufudd wasanaethyddion iddo. "Am hyny sylwch yn y fan hon," medd Rabelais wrth ei ddarllenwyr, "mai yr iawn ffordd i ennill a chadw gwledydd a orchfygir ydyw, nid fel y barnodd rhai trwy anrhaith a gorfodaeth, gorthrwm a dinystr, ond yn hytrach trwy ysgafnhâu beichiau y bobl, a'u dysgu i fyw mewn tangnefedd o dan ddeddfau cyfiawn a da." Ysgrifenwyd y doeth-eiriau hyn ganrifoedd yn ol, ond y mae rhai o wleidyddwyr goleuedig y bedwaredd ganrif ar bymtheg wedi methu hyd yn nod a chanfod eu gwirionedd!

Ond wedi yr holl siarad, dygwyddiad mawr llyfr *Pantagruel* ydyw yr ymgyfarfyddiad â Panurge. Cymerodd hyn le yn Paris, pan yr oedd Pantagruel yno yn dilyn ei efrydiau. Derbyniwyd ef i dŷ a gwasanaeth y tywysog, ac o hyny allan dilynodd ffawd ei feistr. Iddo ef, fel ei gymeriad mwyaf gwreiddiol, y rhydd Rabelais o hyn i'r diwedd y lle penaf. Y drychfeddwl llywodraethol yn mhersonoliaeth Panurge ydyw anfoesoldeb, yn yr ystyr ëang a rydd Aristotle i'r gair. Y mae ynddo er hyny lawer o nodweddion sydd yn werth sylw yr efrydydd. Ni chaniatâ terfynau ein hysgrif i ni ddilyn yr anturiaethau sydd yn cael cymaint o le yn ei hanes. Boddlonwn ar roddi yr engraifft a ganlyn o'i "foesoldeb." Un o'r bobl hyny ydoedd Panurge a gyfrifant afradlonedd yn rhinwedd. Wedi iddo un tro wastraffu etifeddiaeth gyfoethog mewn ychydig ddiwrnodau, galwyd ef i gyfrif gan ei feistr. Yn lle derbyn cynghor, trodd Panurge i amddiffyn gwastraff, ac i ganmawl dyled. "Na ato neb i mi fod yn rhydd oddiwrth ddyled!" meddai. "Byth mwyach ni chawn undyn a roddai fenthyg i mi. Yr hwn ni adawo lefain dros nos, fydd brin o does boreu drannoeth. A ydych chwi mewn dyled i rywun? Efe a weddïa ar i chwi gael bywyd maith a llwyddiannus; mewn gofal am ei ddyled sieryd yn dda am danoch ymhob cwmni; dwg i chwi doraeth o echwynwyr newyddion, fel drwyddynt hwy y llanwer ei gôd ef. . . . I roddi echwyn ac

i gymeryd benthyg y crëwyd dyn. Yr wyf fi yn dal mai dyled sydd yn uno y teulu dynol; heb ddyled darfyddai hil Adda oddiar y ddaear; heb ddyled ni redai y planedau yn eu cwrs, a buan y deuai arnom gelanedd a dinystr." Engraifft eto o ddoethineb Rabelais, oblegid o dan eiriau bostfawr Panurge gorwedd gwers bwysig ar gyd-ddibyniad pob peth byw.

Yr ydym yn awr yn dyfod at y cwestiwn, chwilio am atebiad i'r hwn sydd yn cymeryd i fyny y gweddill o'r llyfr. Ar y dechreu nid ydyw ond ychydig o ammheuaeth yn meddwl Panurge, pa un ddoethaf iddo briodi ai peidio. Yn fuan y mae y cwestiwn yn ymeangu. Apelia i bob cyfeiriad am atebiad i'w gwestiwn; ymgynghora â'r beirdd, a chyrcha at ddewiniaid; ymwêl â'r oraclau, a thâl dreth i'r sibylau, ond nid oes llais na neb yn ateb. Fel y mae yr ymofyniad yn myned rhagddo, yr ydym yn gweled rhywbeth dyfnach yn meddwl yr awdwr na chywreinrwydd Panurge o berthynas i'r ystâd briodasol. Y pwnc yn awr yw, y dyfodol a'i gyfrinion. A all "y meidrol hwn" dreiddio i mewn iddo, a dwyn oddiarno ei ddirgelion? Ai nid oes o fewn natur alluoedd a deddfau, y rhai, o'u darganfod, a roddant agoriad i'r byd tu draw i hwn? Ymhlith ein helbulon a'n trafferthion, ein petrusdod a'n dyrysni, ai nid oes llais i'w gael a'n hetyb gyda sicrwydd ac a'n harweinia gydag awdurdod? Chwilia Panurge yn gyntaf am oleuni ar ei faterion bychain personol ei hun, trwy yr hen ddulliau a arferid yn fynych gan ein cyndadau, trwy ymgynghori â'r *sortes Virgilianæ*, trwy ddeongliad breuddwydion, trwy lyfrau y sybil, trwy eiddo bardd ar fin marw, trwy ddewiniaeth y sêr, a llawer math arall o ymofyn â'r goruwchnaturiol na waeth heb aros i'w henwi. Ond druan o hono, naill ai y mae yr oracl yn fud, neu ynte yn annealladwy. Oddiwrth arferion yr henafiaid try at wybodaeth doethion ei oes ei hun; ond yma drachefn y mae y duwinydd yn tywyllu y dyfodol âg "os," y physygwr yn peri iddo wneyd yn fawr o ddyddorion y presennol, a'r athronydd yn ei ddyrysu â gwag-ymresymiadau. Un cwrs yn unig a ymddengys yn agored iddo, sef ymgynghori âg oracl *la Dive Bouteille*—y Gostrel Ddwyfol. Cyn dyfod o hyd i'r oracl, rhaid wynebu peryglon ar fôr a thir, a chyfarfod myrdd a mwy o anhawsderau a'u gorchfygu. Desgrifiad o'r fordaith ryfedd hon sydd yn cymeryd i fyny y pedwerydd a'r pummed o'r llyfrau, ac yn dwyn gwaith yr awdwr i derfyniad. Anmhosibl yw i ni yn awr ddilyn y mordeithwyr gyda manylrwydd, er y cawsem drwy hyny aml i belydryn o ddoethineb i oleuo y ffordd. Rhaid boddloni ar y braslun mwyaf brysiog. Fel yr awgrymwyd, y cwestiwn mawr sydd o'r tu ol i ymofyniad Panurge ydyw, yr un sydd yn dyrysu doethion pob oes, sef, a oes cymundeb rhwng ein byd ni â'r byd anweledig? Ac a oes modd troi y cyfryw gymundeb i bwrpas ymarferol yn rheoleiddiad bywyd dynion? Ofer, fel yr ydym eisoes wedi gweled, ydyw dysgwyl gwybodaeth gan ddewiniaeth y byd. Os am wirionedd yr ydym, rhaid chwilio am dano ein hunain. Bydd rhwystrau a siomedigaethau yn sicr o'n cwrdd, ond ymlaen y mae'r Oracl. Am hyny cymerwn atom ystor o'r llysieuyn Pantagruelion (trwy yr hwn y dynoda Rabelais wroldeb, amynedd, a gobaith), ac ond odid na chyrhaeddwn rywdro Wlad y Llusernau, lle y teyrnasa goleuni ac y triga gwirionedd.

Trwy seremonïau lawer dadlenir cyfrinion y *Dive Bouteille* i Panurge a'i ddilynwyr, ac allan o geudod y Gostrel, atebir ei ymofyniad â'r un gair *Trincq!* Pa beth yw ei ystyr a pha fodd ei deonglir? Nid oedd Panurge fymryn doethach er ei gael; y cwbl a welai ynddo ydoedd archiad i yfed! Ond i ddynion mwy teilwng, mae iddo ystyr ddyfnach. Gollyngir yr ymofynwyr ymaith gan geidwad y Gostrel, yr offeiriades Bacbuc, gyda'r geiriau hyn: "Yn ein plith ni yr ydys wedi penderfynu fod y daioni penaf yn gorwedd, nid mewn cymeryd a derbyn, ond mewn rhoddi a chyfranu; a chyfrifwn ein hunain yn ddedwydd, nid pan y byddwn yn cymeryd eiddo eraill, ond yn hytrach pan yn haelfrydig yn cyfranu ein heiddo ein hunain. Ewch, gyfeillion, yn nodded y cylch meddyliol sydd â'i ganolbwynt ymhob man, yr hwn yw Duw. . . . . . Er mwyn yn sicr a diogel dramwy ffordd ddwyfol gwybodaeth, a chyrhaedd doethineb, ystyriai athronwyr y cynfyd ddau beth yn angenrheidiol, arweiniad Duw a chyfeillgarwch dynion. Yn awr ewch yn ei enw Ef, yr hwn hefyd a fyddo i chwi yn arweinydd." Yn atebiad yr Oracl a'r eglurhâd a roddir arno gan Bacbuc, canfydda Mr. Besant amlinelliad o gredo Rabelais. Yn ol hwn, y mae ymarweddiad bywyd i fod yn unol, hyd y mae'n bosibl, â deddfau natur. Dyledswydd flaenaf dyn ydyw casglu a chyfranu gwybodaeth yn ol arferiad trigolion Gwlad y Goleuni. Ni fedd y byd ddim sydd yn werth i'w ennill ond gwybodaeth. Boed i bob dyn feddiannu ei enaid mewn sirioldeb; boed iddo fwynhâu yr haulwen euraidd, a chanu a chwerthin yn nghwmni ei gyfeillion; boed iddo gymhell a chael ei gymhell i bob math o efrydiaeth fuddiol; boed iddo ymarfer ei hunan mewn amynedd, gobaith, a chariad; ac uwchlaw y cyfan, boed iddo feithrin ffydd tuag at ei Grëawdwr, yr hwn a rydd iddo ei ras i'w alluogi i garu gwybodaeth ac i garu ei gyd-ddyn. Sirioldeb, synwyr cyffredin, doethineb, a chariad, sydd i'w canfod yma yn nodweddu enw Rabelais. Mil gresyn fod yn rhaid i'r neb a'i hysgrifeno gyplysu ei enw âg esgusawd. Mae ei ddoethineb a'i athrylith yn fawr, ond mae meddwl am dano ymron yr un peth â meddwl am angel wedi syrthio.

E. VINCENT EVANS.

---

# YNYS ENLLI.

## I.

Yr enw Seisonig ar yr ynys hon ydyw *Bardsey Island*, yr hyn a olyga, "Ynys y Beirdd." Yr enw Cymreig arni ydyw, "Ynys Enlli," yr hyn a olyga, Ynys yn y Lli—i'r hyn y cyfetyb yn llythyrenol. Tybia rhai iddi dderbyn ei henw oddiwrth yr hen sant Cymreig—"Henlli." Hefyd gelwid hi gan y rhai gynt yn "Ynys y Seintiau." Ni cheisiwn benderfynu pa un sydd gywir.

Gorwedda yn yr *Irish Channel*, ar y pwynt gogleddol i *Cardigan Bay*—yn lledred 52° 45′ Gog., hydred 4° 48′ Gor.—a chyferbyn â thrwyndir Aberdaron. Rhyngddi â'r "tir mawr"—gwlad Lleyn, ceir culfor, y *sound* fel ei gelwir yn gyffredin—yn fôr dwfn, yn mesur triugain gwrhyd mewn rhai manau, ac y mae tua dwy filldir o dir i dir. Dywedir fod y *current* yn rhedeg drwodd yn ol saith milldir yn yr awr; ar y llanw rheda o'r gogledd, tua Môr yr Iwerddon, ac ar drai o'r cyfeiriad cyferbyniol, i fynwes y *Cardigan Bay*. Y ddau amser goreu i groesi drosodd ydyw, un ai ar derfyn y llanw, neu ynte derfyn y trai. Byddid drwy hyny yn osgoi grym y weilgi, yr hyn sydd yn gwneyd morio yno ar brydiau yn enbyd, os nad yn anmhosibl.

Fe geir dwy graig arbenigol yn y *sound*, pa rai ydynt o ran eu safle yn hynod dwyllodrus a pheryglus. Un ydyw y "Maen du," yr hon sydd â'i phen i fyny o'r dwfr, ac yn hynod ysgythrog ac aflawen. Y llall ydyw, "Maen Bugail," yr hon sydd oddeutu hanner milldir o'r Ynys, ac yn weledig yn unig ar drai, ac hefyd yn dra pheryglus i fordwyaeth. Pan y bydd y tywydd yn ffafriol, a'r gwynt yn fanteisiol, croesir drosodd yn gyflym. Gyda gwynt teg, gellir croesi o borthladd Aberdaron i borthladd Enlli mewn oddeutu hanner awr. Ond ar adeg anffafriol, pan fydd y môr yn gryf, a'r gwynt yn wrthwynebus, rhaid bod am oriau ar y fordaith, er tynu a rhwyfo yn galed, ac nis gwyddai neb ond y cyfarwydd pa un ai yn ôl ynte ymlaen yr elid, gan mor araf yr ymddangosai symudiad y cwch. Ac yn lled aml, bydd nid yn unig yn anhawdd croesi, ond hefyd yn gwbl anmhosibl. Aeth pregethwr un tro i'r Ynys i bregethu, yn ol yr arfer, ac wrth forio tuag adref cafodd dywydd tymhestlog dros ben, fel yr oedd y fordaith yn un wleb, annifyr, ac enbyd. Wedi cyrhaedd y "tir mawr," gofynai rhywun iddo, "Sut yr oeddych yn leicio Enlli? Beth gawsoch yno?" Yntau gan ateb a ddywedai, "Wel, mi gefais *ras* yno." "Gras o beth a gawsoch?" gofynid. "Gras o *edifeirwch*," meddai, "ac ni bydd i'r un o'm traed sengu ei daear byth yn rhagor." Yr hyn a gynnyrchodd y gras hwn ydoedd y fordaith ystormus a gafodd i groesi y *sound*. Fel y canlyn y dywed y Parch. W. T. Jones ar y mater hwn:—"Anaml y byddwn yn croesi yn y gauaf yma. Er myned drosodd yn y boreu, gan ddysgwyl

d'od yn ol y prydnawn, bydd yn fynych yn codi yn dywydd mawr, fel mai y mis wed'yn y dychwelir." Y mae llawer un, cyn hyn, wedi cael y profiad a dwyn y penyd o orfod aros ar yr Ynys yn *weather-bound* am wythnosau. A gellid yn arbenig nodi Arglwydd Newborough fel un a aeth drwy yr *ordeal* hon. Ond mewn amgylchiadau ffafriol, mae y fordaith i'r Ynys yn un fer a dymunol.

Mae yr Ynys yn ei ffurf yn debyg i bysgodyn yn meddu pen mawr, ac yn meinhâu yn raddol yn ei gorff hyd at ei gynffon. Ac er gallu ei gweled felly, rhaid edrych arni o gyfeiriad y gogledd. Ei mesuriad ydyw tua dwy filldir o hyd, a thua milldir o led yn y pen gogleddol. Yn y de, ceir ei bod yn culhâu. Mae un ran o dair o honi yn fynydd, yr hwn sydd yn gorwedd yn y pen gogledd-ddwyreiniol, ac yn wynebu at y "tir mawr," ac sydd hefyd yn gwasanaethu fel cysgod ac amddiffyn i'r Ynys a'r ynyswyr rhag ystormydd enbyd y dwyrain, a rhag rhyferthwy yr eigion cylchynol.

Y mae gwastadedd yr ynys yn dir ffrwythlawn a chynnyrchiol, a thyfir o hono haidd a cheirch rhagorol, ac amryw fathau o lysiau. Yn marchnad Pwllheli, bob amser, ymofynir yn awchus gan amaethwyr y tir mawr am "haidd hadyd Enlli," pa un yn y tymmor a ddygir yno, ac hefyd a gyrhaedda bris uchel. Ac heblaw bod yn amaethwyr llwyddiannus, y mae gwŷr Enlli hefyd yn bysgotwyr dihafal. Y maent yn hynod ddeheuig a llwyddiannus yn y gelfyddyd hono. Daliant yn eu cewyll a'u rhwydau wahanol fathau o bysgod—megys ceimychiaid, wystrysiaid, penwaig, crancod, ac amryw fathau eraill, ac anfonir hwynt drosodd i'r gwahanol farchnadoedd. Amser yn ol arferent eu cludo mewn cychod i Liverpool ac i Gaernarfon. Ond yn awr anfonir hwynt i Aberdaron, gan y ceir yno ddigon o farchnatäwyr yn dysgwyl yn bryderus am danynt, i'w dwyn i'r gwahanol farchnadoedd i'w gwerthu. A dwg y fasnach yn y tymmor gryn elw i'r pysgotwyr a'r marsiandwyr. Ac hefyd ystyrir cregyn-bysg Enlli yn wastad yn nwyddau gwerthadwy, os nad hefyd yn foethau gwerthfawr yn y farchnad.

Yr ydym, trwy garedigrwydd y Parch. W. T. Jones, yn gallu rhoddi ger bron ystadegau o'r Ynys, yr hyn sydd yn newyddbeth, ac yn cynnwys pob peth a geid arni, yn symudol ac yn ansymudol, yn fyw ac yn farw, am y flwyddyn 1880. A ganlyn ydyw y *census*:—

Nifer holl dai yr Ynys ydoedd 16, o ba rai yr oedd 10 yn ffermdai.

Mesur yr holl dir llafur ydoedd 250 o erwau, y gweddill yn fynydd.

Nifer y da corniog ydoedd 58, gan gynnwys pob rhyw a maint.

Nifer y ceffylau ydoedd 21.

Ceid yno rai ugeiniau o ddefaid, rhai degau o fôch, rhai dwsinau o ieir, ac ychydig o hwyaid.

Yr oedd ar yr Ynys 16 o gathod, a deuddeg o gŵn.

Rhif yr holl eneidiau ydoedd 72, yn cynnwys 36 o wrywod a 36 o fenywod. Gwelir fod y ddau ryw yn gyfartal mewn rhif.

Ceid yno y pryd hwnw 12 o'r meibion yn hen lanciau, a 13 o'r benywod yn hen lancesau; go gyfartal eto, onidê?

Nifer y plant ydoedd 12, ac fe'u meddiennid gan dri theulu yn unig.

Nifer yr ynyswyr y pryd hwnw, gan gymeryd yr holl eneidiau i'r cyfrif, ydoedd 72. Ond ceid y nifer yn amrywio ychydig o bryd i bryd—weithiau yn llai, ac weithiau yn fwy. Ar un adeg yn lled ddiweddar, bu yno dros gant o ddynion yn trigiannu.

Eto, rhoddwn ger bron enwau holl dai yr Ynys, gan gynnwys yr holl deuluoedd, yn benau-teuluoedd, yn wŷr a gwragedd, yn blant, ac yn weision a morwynion.

1. *Hendŷ.*—Dyma breswylfod y diweddar Barch. Robert Williams, y gweinidog, am yr hwn y cawn eto sôn. Ceid pump o deulu yma, sef Cadben Griffiths a'i wraig, yr hon sydd ferch i'r hen weinidog, ac un mab a dwy o ferched.

2. *Nant.*—Dyma dŷ Morris Williams, y blaenor, a Jane Williams ei wraig; yr oedd yma hefyd ferch a gwas, yn gwneyd pedwar o nifer.

3. *Mission House.*—Dyma dŷ y gweinidog, y Parch. W. T. Jones; ar y pryd yr oedd y preswylwyr yn bump o nifer.

4. *Tŷ Newydd.*—Yma y trigiannai Samuel Jones a'i wraig, a phump o blant. Hefyd, Thomas Jones, brawd Samuel Jones, a'i fab, yn gwneyd y nifer yn naw.

5. *Tŷ Bach.*—Yma y ceid Ann a Jane Williams, dwy o chwïorydd; hefyd, Thomas a John, dau o frodyr, a Mary merch Ann, yn gwneyd pump o deulu.

6. *Careg Bach.*—Trigai Nathanael yma, mab i'r hen weinidog, a Mary Williams ei wraig, a'u mab Thomas, oll yn dri o nifer.

7. *Careg Fawr.*—Y teulu yma ydoedd Sydney ac Ellen Jones—dwy chwaer; ac hefyd Evan Jones eu brawd, yn dri o rifedi. Dyma berthynasau y diweddar Cadben Williams, o *Mount Hazel*, Llandwrog.

8. *Plas Bach.*—Mae y fferm hon yn cynnwys chwarter yr holl Ynys, ac felly hi ydyw fferm fawr y lle. Yma y byddai Arglwydd Newborough yn cymeryd ei lettŷ pan yn dygwydd ymweled â'r Ynys. Fe geir yma ystafelloedd arbenig ar ei gyfer, y rhai a ddefnyddir yn unig gan ei Arglwyddiaeth. Gwneir y teulu i fyny o Mrs. Ann Williams—gwraig weddw, a thri o feibion, merch, a'i merch hithau, yn gwneyd y nifer yn saith.

9. *Cristin Uchaf.*—Dyma y palas brenhinol, lle y preswyliai y brenin a'r frenhines, sef John a Jane Williams. Y plant a'i cyfanneddant yn awr, sef John, Sydney, a Jane—tri.

10. *Cristin Isaf.*—Gwraig weddw o'r enw Ellen Williams, merch i'r hen weinidog, sydd yn byw yma, a'i dau fab, a merch—pedwar mewn nifer.

11. *Tŷ Pellaf.*—Dyma breswylfod yr hen batiarch Griffith Pritchard. Cymeriad hynod ydoedd efe. Yr oedd yn ei hen ddyddiau pan y daeth at grefydd, ac felly ni bu gyrfa ei broffes grefyddol ond ber. Ymunodd â'r eglwys yn Enlli, Ebrill 1af, 1876, a bu farw Ionawr 16eg, 1883. Ond bu yn hynod zelog ac ymroddgar hyd ei ddiwedd. Claddwyd ef ar yr 20fed o Ionawr yn Mynwent y Seintiau, yn Enlli. Yn adeg ei farwolaeth, dygwyddai fod y tywydd mor ddryghinog a thymhestlog, fel yr oedd yn anmhosibl croesi drosodd i ymofyn saer i wneyd arch iddo. A bu raid i'r gweinidog ddyfod ymlaen i gyfarfod â'r amgylchiadau, a gwneyd arch i'r hen bererin ei hunan. Cafodd gladdedigaeth barchus; a chan y caed tipyn o egwyl yn y tywydd, gallodd amryw o'i berthynasau groesi trosodd i fod yn bresennol. Fel y sylwyd eisoes, bu Griffith Pritchard yn nodedig o weithgar a ffyddlawn gyda'r achos bychan ar yr Ynys. Cafodd ei ddewis yn flaenor ar yr eglwys ar yr un adeg a Morris Williams. Er nad oedd ei ddawn ond bychan a phrin, eto yr oedd yn weddïwr mawr. Dywedai yn aml ymadroddion dyeithr yn ei weddïau, ac ambell un lled ddysglaer hefyd. Gweddïai yn aml am grefydd a ddaliai i gael golwg ar *hen light-house* Calfaria—am gael gafael ar y *life-buoy*—am gael ei dynu i'r *life-boat*, ac am gael ei *lansio* i hen *long fawr* yr iachawdwriaeth! Gwelir fod *ideas* yr Ynys yn gydwauedig â'i ddeisyfiadau.

12. *Dyno Goch.*—Yma y ceir chwech o deulu—Hugh a Margaret Hughes, William Hughes, brawd Hugh, a'i chwaer Ellen Hughes, a dau o'r plant.

13. *Y Lighthouse.*—Ceir yn y sefydliad hwn dri o dai, a naw o bersonau ynddynt. Yn un ceir y *principal*—sef Mr. Bowen a Mrs. Bowen, a'u tair merch. Yn y llall ceir Mr. Davies, y *lightkeeper*. Ac yn y llall Mr. Neal, y *lightkeeper*, a Mrs. Neal, ei chwaer, a phlentyn.

Dyma restr gywir am y flwyddyn 1880 o holl dai a phreswylwyr yr Ynys.

Eto gosodwn ger bron ein darllenwyr yr *Ogofäau* a geir yn Enlli, a gwelir oddiwrth y rhestr eu bod yn lled lïosog:—

1. Ogo'r Cwch Bach. 2. Ogo'r Gŵr. 3. Ogo' Dic. 4. Ogo' Trwyn yr Hwch fawr. 5. Ogo' Trwyn yr Hwch bach. 6. Ogo' Lâs. 7. Ogo'r Benddu. 8. Ogo' Hir. 9. Ogo' tan ddaear. 10. Ogo' Werbod. 11. Ogo'r Gwman. 12. Ogo'r hen

Ffrindiau. 13. Ogo'r hen Fawch. 14. Ogo' Hen. 15. Ogo'r Nant. 16. Ogo'r Esgid. 17. Ogo' Pwll Tarw. 18. Ogo' Morlais. 19. Ogo'r Pum' Ceimach. 20. Ogo' Robin. 21. Ogo' Felan Fawr. 22. Ogo' Felan Bach. 23. Ogo' Rhona. 24. Ogo'r Ellyll. 25. Ogo'r Gwalch. 26. Ogo' Shân Goch. 27. Ogo' Sgairen. 28. Ogo' Braich y Fwyall. 29. Ogo' Twll yn y Trwyn. 30. Ogo' Gron. 31. Ogo'r Barcud. 32. Ogo' Llettŷ Madain. 33. Ogo'r Gaseg. 34. Ogo' Goch. 35. Ogo' Lom. 36 Ogo'r Cafn. 37. Ogo' Morgan. 38. Ogo' Ddelas. 39. Ogo' Codsyn. 40. Ogo' Diben. 41. Ogo'r Lladron. 42. Ogo'r Stwffwl Glâs. 43. Ogo'r Tylwyth Teg. 44. Ogo' Gwman Shôn.

Dyna dyllau ac ogofäau yr Ynys, ac fe'u ceir yn y tir ac yn y môr.

Yn nesaf nodwn *Dyllau y Crancod*, pa rai a ystyrir yn sefydliadau pwysig gan y brodorion :—

1. Twll y tair Crances. 2. Twll y llaw chwith. 3. Twll ar ei ben. 4. Twll tan y gwely. 5 Twll llech y bais. 6. Twll tan y fargod. 7. Twll Cyfyng. 8. Twll Grynonog. 9. Twll y Crochan. 10. Twll y Gryniog. 11. Twll Ynys bach. 12. Twll Twm. 13. Twll y Gareg Felen. 14. Twll ffos Owen. 15. Twll tocyn Siencyn. 16. Twll tyllau'r Cwplws. 16. Twll tyllau Richard Hughes. 17. Twll Ogo' Wiail. 18. Twll Robin Ogo' ddefn. 19. Twll Gaswellt. 20. Twll Pen Gŵr. 21. Twll Philws. 22. Twll y Trwyn. 23. Twll oer. 24. Twll Casnod Glâs. 25. Twll Ogo' Barcut. 26. Twll Ebol Pen Cristin.

Dyna enwau llochesau y crancod.

Yn nesaf edrychwn ar *Ffynnonau* yr Ynys, pa rai ydynt anhebgorol at gysur y trigolion, a pha rai hefyd ydynt wedi diodi cenedlaeth ar ol cenedlaeth o'r Ynyswyr, ac yn parhâu i wneyd hyny hyd y dydd hwn :—

1. Ffynnon Corn. Hon ydyw prif bydew yr Ynys, a cheir hi yn ngodre y mynydd. 2. Ffynnon y Barfau. Ceir hon ar ben y graig. Canfyddir ynddi ddau dwll, pa rai ydynt lawnion o ddwfr glân gloew. Dywed traddodiad mai ôl traed un o'r cewri gynt ydynt, y rhai a wnaed ganddo pan yn yr *act* o neidio oddiar y mynydd drosodd i'r "Maen Bugail," yn y *sound*. Dywed traddodiad arall hefyd, y byddai y seintiau yn myned at y ffynnon hon i dori eu barfau, ac yn defnyddio y ddau dwll a'r dwfr dysglaer fel dau *looking-glass* i'r amcan ; a dywedir hefyd fod yno dwll yn ymyl er cadw yr arfau. Ond ffynnon werthfawr ydyw hon, gan ei bod yn llawn dwfr bob amser—haf a gauaf. 3. Ffynnon Owen Rolant. Nid ydyw hon neppell oddiwrth "Ffynnon y Barfau," ac fe honir iddi rinweddau meddyginiaethol. 4. Ffynnon Dolysgwydd. 5. Ffynnon Weirglodd Bach. 6. Ffynnon Uchaf. 7. Dala. 8. Ffynnon Diliarana. 9. Ffynnon Waen Cristin. 10. Ffynnon Cae Dwfr. 11. Ffynnon Careg. 12. Ffynnonau Defaid. 13. Ffynnon Tan Radell.

Fe geir amryw o geryg arbenigol ar yr Ynys a'i hamgylchoedd. Dyma rai o honynt :—

1. *Maen Du.* Ceir hwn yn y *sound*, yn agos i Parwyd. 2. *Maen Bugail.* Soniasom am hwn o'r blaen. 3. *Maen Iau.* Y mae hwn yn y môr i'r gogledd-orllewin i'r Ynys. Lle hynod ydyw am y pysgod a adwaenir fel y *red cods*, pa rai a ddelir yn y nos wrth oleuni lleuad 4. *Careg Rhona.* Gwastadedd oddeutu hanner acer o fesur ydyw hwn, ac oddeutu chwarter milldir i'r môr, ar gyfer Porth Solach, ac yn weledig yn unig ar drai. 5. *Careg Cybi.* Ceir hon yn y gogledd-orllewin i Borth Solach, ac nis gallai neb hawlio *broc* y môr a geid o fewn i derfynau hon, ond y darganfyddwr ei hun. 6. *Cwmpas.* Eir heibio i'r lle hwn wrth lànio yn y "Cafn." Ceryg ydynt wedi eu gosod ar eu gilydd yn rheolaidd ar ffurf cwmpas. 7. *Careg Coelcerth.* Dyma y llecyn uchaf ar y mynydd, a'r lle y gwneid coelcerthi er dathlu amgylchiadau pwysig. 8. *Trwyn y Fynwent.* Ceir hwn yn ymestyn allan yn ymyl y "Cafn." 9. *Careg Henafol.* Ar hon ceir ysgrifen ddyeithrol ac oedranus. Y mae llawer o ddysgedigion o dro i dro wedi bod yn ceisio ei darllen, ac yn treio ei deongli ; ac yn eu plith bu Mr. Jones Parry, A.S., Madryn, yn ceisio wneyd hyny—a dyma ydyw, fel y dywed ef—*Esilu Marchvelio*—yr hyn a olyga—Esilu Marchwiael.

Gallasem nodi hefyd yn ychwanegol y lleoedd canlynol:—*Trap Penrhyngogo—Clepian'r Gwalch—Ogo' y Gwalch—Pant y Canu—Pant yr hen ŵr—Y Singrig—Llyn Bribwll—Llyn y Felin.* Fe red y dwfr o hwn i'r borth sydd ar gyfer "Solach." Ceir olion o hen felin yn ei ymyl, a dyma y llyn yn ddiau oedd yn ei chyflenwi â dwfr. *Brynbaglau.* Byddai yr hen seintiau, fel y dywedir, yn ymolchi yn y ffynnon sydd gerllaw, ac wedi derbyn gwellhâd, yn gadael eu ffyn ar ol yn y fangre hon, yn greiriau coffadwriaethol. Dyna'r rheswm, fel y tybir, dros alw y lle ar yr enw hwn.

Mae yn perthyn i'r Ynys amryw borthfaoedd.

1. *Haigiol Borth Newydd.*—Y mae hon yn wynebu tua'r *sound.* A dyma'r unig fan, yr ochr hono, y gellir rhedeg cwch iddo am *shelter.* Ac yn ddiweddar y gwnaed hi. 2. *Porth Solach.*—Porth Solfach, fe allai. Gorwedda hon mewn lle cudd, yn ymyl yr hen fynachlog. Yn yr hen amseroedd dyma borth y *smugglers,* am ba rai y cawn son eto. Yn achlysurol y gwneir defnydd o honi yn bresennol. 3. *Y Cafn.* Dyma brif borthfa yr Ynys, yr hon sydd ar yr ochr ddeheuol, ac ar y gwastad yn nghwr y graig, ac hefyd mewn cesail glyd. Yn hon y gorphwysa yr agerddlong *Fairy* ac angerddlongau eraill, yn ystod eu hymweliadau, a cheir yno yn wastad lynges gref o gychod pysgota yn angori. 4. *Porth Fadog.* Ceir hwn yn lled agos i'r *lighthouse.*

Yn nesaf gosodwn ger bron enwau prif *Gychod* Enlli, pa rai yn y dyddiau gynt fyddent yn mordwyo i Liverpool a manau eraill.

1. *Happy.*—Bu y cwch hwn lawer gwaith yn Liverpool, a chariai bedair tunnell. 2. *Newborough.*—Bu hwn droion yn Liverpool, a chariai chwe thunnell. 3. *Fanny.*—Cariai hwn chwe thunnell, a bu yn *tradio* yn gyson i Liverpool, gan gludo pysgod, wyau, ymenyn, gwichiaid, ieir, a *samplers.* 4. *Ramphinion.*—Rhedai hwn i Liverpool yn gyson am amser, a chariai chwe thunnell. Dyna y prif gychod, á diau fod yno lawer eraill israddol.

Yn tyfu ar yr Ynys ceir amryw fathau o lysiau, ac yn eu plith rai prinion a defnyddiol. Ceir yno gyflawnder o'r "wermod lwyd," a'r "wermod wen," sypynau o ba rai a gerir drosodd gan yr ymwelwyr. Ceir yno hefyd yr hyn a elwir yn *yellow ochre,* er na wneir yr un defnydd o hono. Yn y mynydd ceir haenau o'r llechfaen a'r galchfaen, er mai ei brif ddefnydd ydyw y *fine granite*—careg gymhwys at balmantu.

Y mae yr ynyswyr, er eu bod yn wŷr annibynol mewn un golygiad, eto yn hollol ddibynol mewn golygiad arall. Nis gellid meddwl yn wir am neb yn fwy felly. Y maent yn dibynu yn gwbl am lawer o bethau angenrheidiol er cynnal eu bodolaeth o wlad arall. Ac weithiau bydd yn myned yn brinder, os nad yn newyn yn y tir, am y pethau hyny—yn enwedig os bydd y tywydd yn gwrthod caniatâu myned drosodd i'w hymofyn. Ni cheir o fewn yr holl dalaeth yr un felin na siop, yr un gôf na saer, yr un crydd na theiliwr, yr un doctor na thwrnai. Ac nid oes yn yr holl Ynys y fath beth a thafarnwr na thafarn; ac y mae hyny yn fendith. Un o anfanteision arbenigol yr Ynys ydyw prinder ei hadnoddau er cyfarfod â'r gofynion ymhob amgylchiad. Rhaid cael cyflenwad o'r "tir mawr," ac nid bob amser y gellir cael hyny yn ol yr angen. Ac un o'r amgylchiadau arbenigol hyny ydyw, pan y mae damwain, neu afiechyd peryglus yn cyfarfod âg un o'r trigolion. Gan nad oes yno yr un apothecari na meddyg yn trigianu, os bydd yr afiechyd yn un pwysig, rhaid croesi y *sound* i chwilio am ymwared. Wrth gwrs rhaid i'r tywydd fod yn ffafriol, neu nis gellid cael hyny o gwbl. Ond a chaniatâu i'r tywydd fod yn ffafriol

i groesi, bydd raid teithio wedi hyny mor bell a Nefyn cyn cael gafael ar un. A chyn y bydd i'r meddyg gyrhaedd yr Ynys, gallai y claf fod wedi marw er ys talm. Erbyn y daw afiechyd, nid ydyw yr Ynys yn lle hapus a diogel o gwbl. Dyma a ddywed Mr. Jones ar y mater hwn. "Ddechre y flwyddyn y mae amryw wedi bod yn wael yma, ac un mor wael fel y buwyd yn cyrchu meddyg ato; ond gobeithio y caiff adferiad buan. Y mae yma le hynod o ddigalon i ddyn fod yn wael ynddo. Ond o drugaredd yr Arglwydd, anaml y mae salwch peryglus yn cymeryd lle." Dylid hefyd hysbysu fod Mr. Jones ei hun yn hynod ddeheuig a chyfarwydd mewn cyfranu meddyginiaeth i anhwylderau cyffredin. Byddai ganddo gist feddygol lawn bob amser at wasanaeth y trigolion. Mewn achosion pwysig yn unig y teimlir yr anfantais.

Nid oes ar yr Ynys yr un felin i falu yr ŷd, a rhaid ei anfon drosodd i Aberdaron. A mawr y pryder—yn enwedig os bydd y stoc yn isel—am dywydd cyfaddas i'w anfon drosodd, ac hefyd i'w gael yn ol. Bu y trigolion lawer gwaith cyn hyn yn ofni newyn am fara. Ond pan y byddai yn myned yn gyfyng, byddai gwaredigaeth yn dyfod yn ei hamser. Bu yno brinder glo fwy nag unwaith. Ond y newyn mwyaf annyoddefol o'r cwbl yn hanes yr Ynys ydyw newyn tê ymhlith y gwragedd, a newyn tybacco ymhlith y meibion. Ni fyddai y newyn am lô, am ddwfr a bara, yn ddim mewn gerwinder i hwn. Arteithiau y newyn am dê a thybacco a fyddai yn ofnadwy! Dyma dystiolaeth un a fu fyw yn y cyfryw newyn:—"Yr wythnosau o'r blaen, pan oedd y môr fel crochan berwedig, mewn rhyfel fileinig â'r gwynt, natur drwyddi fel wedi ymdynghedu na cheid un math o gymundeb rhyngom â'r tir mawr, darfu i'r hyn a elwir yma "newyn tê a thybacco" wneyd ei ymddangosiad, yr hwn, bob blwyddyn, os bydd y tywydd yn dymhestlog, a deimlir genym i raddau mwy neu lai, pryd y bydd y merched heb ddim i'w yfed, a'r meibion hwythau heb ddim i'w gnoi. Bydd newyn tybacco yn gwneyd ei ymddangosiad dridiau o flaen newyn y tê; a hynod o ddifrifol fydd pethau yn debyg o fyned, os na cheir tywydd ffafriol i fyned am arlwyaeth o'r tir mawr."

Crybwyllsom eisoes am rai pethau sydd yn *conspicuous by their absence* o'r Ynys, nad ydynt i'w cael o gwbl o fewn i'w therfynau. Ac yn ychwanegol gellid nodi y creaduriaid canlynol. Yn gyntaf oll, ni cheir yno yr un mul nac asyn, o'r hyn lleiaf yr un pedwartroed. Y mae y llyffant yn absennol. Ac y mae yr Ynys mor lân oddiwrth nadrodd o bob math â'r Ynys Werdd ei hun. Ac ni cheir o fewn y tir yr un betrisen, iar goed, nac ysgyfarnog. Y peth nesaf i helwriaeth a geir yno ydyw yr wningen, yr hon sydd yn dra lliosog. Ac onid oes yno yn y pethau hyn baradwys o le i fyw? Dyma le heb yr un bwystfil gormesol na chreadur gwenwynig o'i fewn; lle heb *game*, ac heb yr un *keeper* na *game laws* i flino eneidiau y tenantiaid! Onid ydyw yn y pethau hyn yn Ynys ddedwydd?

Ond fe delir ymweliad â'r Ynys hefyd o bryd i bryd gan lawer o fodau hynod a dyeithriol, ac yn eu plith lawer o adar dyeithr. Ar amserau nodedig bydd heidiau o'r *birds of passage* yn troi i mewn i orphwys ar eu hymfudiad i wlad bell. Ac fe ymwelir â hi yn achlysurol gan aderyn arbenig, yr hwn a adwaenir wrth yr enw *Mackerel*

*cock*, aderyn tebyg i'r golomen. Bydd oernadau ac ysgrechfeydd hwn yn peri mawr ddychryn i'r Ynyswyr, ac yn eu cadw yn effro am nosweithiau. Dygwyddai y Parch. Robert Hughes, Uwchlaw'r ffynnon, fod un tro yn cysgu ar yr Ynys, pan dalwyd ymweliad â hi gan y creadur hwn; ac wrth swn y ddolef a glywai uwch ei ben, deffrodd mewn dychryndod dirfawr o'i gwsg, a dywedai y dychymygai fod wylofain holl blant Bethlehem yn y lle! Nis gall ehedeg oll, os na bydd y môr yn y golwg iddo. Pe dodid ef ar y cae, serch y byddai yn ymyl y môr, os na byddai yn ei weled, nis gallai arfer ei aden o gwbl. Hefyd gwelir ar yr Ynys y fran big-coch, yr hon, fel y dywedir, y gellir ei dysgu i siarad.

Yr oedd Enlli yn yr hen amseroedd, am yr hyn y cawn son ychwaneg eto, yn gladdfa gysegredig i'r seintiau. Cyrchent iddi o bob cŵr i farw, ac er mwyn cael eu claddu yn ei daear sanctaidd hi. Bu ar un adeg yn un gladdfa, fel y mae bob llathen o honi yn gadwrfa i werthfawr lwch yr hen bererinion. Ond ar ol hyny bu amser maith heb i neb gael ei gladdu ynddi. Ac fe ddygid pob marw drosodd oddiyno i'w claddu i fynwent Aberdaron a manau eraill.

Ymhlith papyrau yr hen weinidog, Robert Williams, cawsom y cyfrif canlynol, sef cyfrif y gôst o gludo corff marw i Gaernarfon i'w gladdu. A dodwn ef ger bron heb newid dim arno:—

Bardsey Island, July, 1824.

Account of all the expenses of what I paid to bury the Body That I *catch* out of Bardsey.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| to go to Carnarvon ... ... ... ... | 1 | 1 | 0 |
| For *catch* it ... ... ... ... ... | 0 | 5 | 0 |
| For send it cross and home back ... ... .. | 0 | 10 | 0 |
| The Clark ... ... ... ... ... | 0 | 2 | 6 |
| For liquor and ale ... ... ... ... | 0 | 3 | 0 |
| For Coffin ... .. ... ... ... | 1 | 1 | 0 |
| | £3 | 2 | 6 |

Settled July 1824
ROBERT WILLIAMS.

Diwrnod pwysig ar yr Ynys fydd diwrnod "Ffair y Cafn." Boreu y dydd hwn gwelir amryw o gychod llwythog o anifeiliaid—gwartheg, defaid, ceffylau, a moch—yn cyfeirio tua phentref Aberdaron, a cheir rhedegfa fywiog rhyngddynt, i fod yn gyntaf i gyrhaedd yr hafan. Bydd llawer o foch tewion yn cael eu gyru ymaith y pryd hwn, pa rai, fel rheol, fyddant yn rhai godidog; ac aiff yr holl frodorion allan er bod yn llygad-dystion o'r ymfudiad; ant i'w hebrwng i làn y môr, ac wedi gweled eu llwytho yn ddiogel yn y cychod, ffarweliant â hwy yn dirion a theimladol. A dysgwylir eu glaniad yn nhir Aberdaron yn aiddgar gan haid o brynwyr parod ac awyddus. Bydd y brodorion hefyd yn prynu anifeiliaid yn y wlad i'w trosglwyddo drosodd er llanw y gwagle ar yr Ynys.

Fel rheol, y mae trigolion Enlli yn gedyrn o gyfansoddiad, yn wŷr nerthol a grymus, yn gorfforol a meddyliol. Y maent oll yn abl i

ddyoddef llawer o galedi, ac i gyflawni llawer o waith. Fe ddeilliodd allan o honi linach o gadbeniaid dewrwych—oll yn ddynion tàl, lluniaidd, a grymus. Ac oddiwrth hen hanesiaeth, yn gystal ag oddiwrth ddarganfyddiadau a wnaed yn y lle, ceir fod eu henafiaid yn wŷr corffol a nerthol, os nad yn gewri mewn maintioli. Yn ddiweddar wrth gloddio ynddi daethpwyd o hyd i eirch yn cynnwys *skeletons* cyfain, ac yn mesur o saith i wyth troedfedd o hŷd. Ac y mae yr ynyswyr heddyw yn y peth hwn yn olynwyr teilwng iddynt, ac yn engreifftiau da o'r hen Frythoniaid gynt. Y maent erbyn hyn wedi arddangos llawer o gynnydd mewn gwareiddiad a moesau. Daliant gymhariaeth ffafriol â'u cymydogion ar yr ochr arall i'r dwfr yn hyn. Mae y plant yn derbyn addysg a hyfforddiant, yn fydol a chrefyddol; ac y mae yr holl frodorion, oddigerth ychydig eithriadau, yn ymagweddu yn addas a gweddaidd. Y mae y mwyafrif o honynt yn gymedrol a sobr, ac amryw yn eu plith yn llwyrymwrthodwyr. Mae y fasnach anghyfreithlawn mewn gwirodydd, yr hon a ddygid ymlaen flynyddoedd yn ol, erbyn hyn ymhlith y pethau fu. Gwir fod yno ychydig o feddwon cyhoeddus, pa rai a ddilynant eu harferion, yn enwedig pan drosodd yn y wlad, ac felly yn rhoddi anair i'r Ynys. Ond ychydig ydynt, ac y mae y nifer yn lleihâu. Ymhob golygiad y mae gwelliant mawr wedi cymeryd lle yn muchedd ac ymarweddiad y trigolion, ac y mae hyny i'w briodoli i ddylanwad yr Efengyl.

Y maent hefyd, yn ddiweddar, wedi gwneyd llawer o gynnydd mewn gwybodaeth a dealltwriaeth. O'r blaen ni cheid neb ar yr Ynys a fyddai yn darllen ond y nesaf peth i ddim; ambell i un yn darllen ychydig ar y Bibl, ac ychydig a fyddai hyny. Ond yn bresennol ceir yn eu plith amryw o ddarllenwyr lled fawr. Darllenant eu Biblau yn gyson, nid yn unig yn yr Ysgol Sabbothol, ond hefyd yn eu tai. Ac y mae amryw o honynt yn meddu esboniadau er eu cynnorthwyo i'w ddeall. Y mae amryw o newyddiaduron yn medru eu ffordd yn bresennol drosodd i'r Ynys, megys *Y Goleuad*, *Y Genedl*, ac hefyd rai o'r papyrau Seisonig. Hefyd y mae y ddwy *Drysorfa* yn croesi drosodd i'w plith, ac amryw gylchgronau eraill. Yn y pethau hyn y mae cryn gyfnewidiad wedi cymeryd lle. Yn wir, gellid dyweyd fod yr Ynys fechan hon, yn ddiweddar, wedi myned trwy gwrs o drawsffurfiad pendant ac amlwg. Y mae yma bob peth yn newydd—y tai a'r holl adeiladau yn newyddion, a bywyd y preswylwyr mewn ystyr foesol hefyd yn newydd yr un modd. Ac ni a obeithiwn y bydd cynnydd parhaol yn hyn, ac y daw y trigolion yn bobl gyfiawn oll, a'r Ynys i gyfateb i'w hen enw, yn "Ynys y Seintiau"—yn gynllun o Ynys, ac na fydd yr un Canaanead i'w gael o fewn y tir.

Y mae gwŷr yr Ynys yn ddiarebol am eu llettŷgarwch a'u caredigrwydd. Nid oes dim yn ormod ganddynt ei wneyd i'w gilydd, ac hefyd i ddyeithriaid. Y maent yn hynod gymwynasgar y naill i'r llall, yn enwedig mewn tlodi ac afiechyd. Mae yr Ynys yn cadw ei thlodion, er mai anaml y ceir neb o'r dosbarth hwn arni. Pan y dygwyddo fod un o honynt mewn tlodi ac afiechyd, byddant oll am y goreu i ddangos pob help a chydymdeimlad. Yn ymarferol, y maent oll yn gymdeithasol gydradd, ac yn aelodau i'w gilydd. Pan y bydd un yn dyoddef y maent oll yn cyd-ddyoddef. Fel y canlyn y dywed Mr. Jones ar

hyn:—"Y mae caredigrwydd yr ynyswyr yn ddiarebol. Y maent o galon yn cyflwyno eu rhoddion; a phan y bydd un teulu neu berson mewn caledi a salwch, a'r cyffelyb, bydd yma bawb yn cydymdeimlo, ie, fel un teulu." Ac y maent hefyd yn arfer dangos yr un caredigrwydd i ddyeithriaid. Nid ydynt wedi anghofio llettŷgarwch, ac yn enwedig dangosant hyn i bregethwr. Nid oes dim yn ormod ganddynt wneuthur erddo, yn enwedig os bydd efe i fyny â'u safon hwy. A gellir dyweyd mai nid pob pregethwr, yn enwedig yn yr hen amser, a fyddai yn cyfateb i'w safon ymhob peth—megys mewn toriad a gwisg, er fod eu syniadau hwythau wedi cyfnewid ar bethau felly. Yn yr hen amser nis gallent mewn un modd ddygymmod â phregethwr os dygwyddai droi ei wallt, neu feddu "llyfiad buwch," fel y galwent hwy hyny. Gwyddom am un gŵr ieuanc o bregethwr a aeth yno i efengylu, ac yr oedd yn ŵr ieuanc digon llednais a dirodres, ac hefyd yn bregethwr cymeradwy. Ond o herwydd fod arwydd "llyfiad y buwch" ar ei ben, yr hyn oedd gyfystyr â nôd y bwystfil, collodd ei weinidogaeth bob awdurdod arnynt. Ond y mae eu syniadau a'u chwaeth hwythau wedi newid llawer yn ddiweddar mewn pethau o'r fath.

Hefyd y maent oll, oddigerth ychydig eithriadau, mewn ystyr wleidyddol, yn Rhyddfrydwyr zelog. Gwir nad oes gan yr un o honynt bleidlais, a hyny o herwydd fod yr Ynys yn anfreiniol. Ond er hyny eu credo politicaidd ydyw Rhyddfrydiaeth. Ond fe allai fel rheol, mai ychydig o egwyddor a gwybodaeth sydd yn eu zel wleidyddol, fel llawer eraill, ond eu bod yn codi yn hytrach oddiar awydd myned yr un ffordd â'r "meistr." Ond beth bynag am y cymhelliadau, ymddangosent yn hynod frwdfrydig o blaid llwyddiant yr ymgeiswyr Rhyddfrydig yn yr etholiadau diweddar. Fel y canlyn yr ysgrifenai Mr. Jones ar hyny: —"Yr ydym yn awr wedi derbyn y newydd am oruchafiaeth Watkin Williams. Nis gall yr un byw ddychymygu ein sefyllfa pan am ddyddiau yn dysgwyl y newydd, ac yn gwylied rhyw foddion er cael allan pwy oedd wedi gorchfygu. Gwelem goelcerthi mawrion yn fflamio ar ochrau Aberdaron ar y nos Fercher fythgofiadwy, ond nis gallem ni yn Enlli ddeall er hyny pwy oedd y gorchfygwr. Ymhen tipyn y mae cwch bychan yn cyfeirio at yr Ynys o Aberdaron, a mawr oedd ein dysgwyliad am weled y rhai oedd ynddo yn glanio. Pan ddaeth i'r lan, gwelem mai cwch Rhyddfrydwr trwyadl ydoedd, yr hwn yn y fan a anfonodd *signal* i ben y *store-rooom*, ac yna aeth y newydd fel gwefr am y fuddugoliaeth drwy yr Ynys. Yn yr hwyr cynneuwyd coelcerth mawr ar ben y mynydd yn goffadwriaeth am yr amgylchiad, a bloeddid am oriau Watkin Williams am byth! a Lord Newborough am byth! A gwnaed peth tebyg hefyd yn muddugoliaeh Mr. Rathbone." Y mae enw Mr. Gladstone yn anwyl iawn ganddynt oll. Dyma fel y dywed y gweinidog ar hyn eto:—"Yr oedd yma ocheneidio pan ddeallwyd fod y dyn anwyl hwn, Mr. Gladstone, yn wael; a mawr lawenydd pan ddeallwyd nad oedd y clefyd i farwolaeth."

Perchenog presennol yr Ynys ydyw Arglwydd Newborough. Dywed Pennant yn ei lyfr, *Tours in Wales*, ddarfod iddi ar y cyntaf gael ei rhoddi gan Edward VI. i'w ewythr, Syr Thomas Seymour, ac ar ei ol ef i John, Iarll Warwick. Ac ar ol iddi fyned trwy gyfnewidiau, a

disgyn trwy amryw ddwylaw, prynwyd hi gan y diweddar Syr John Wynn oddiwrth ŵr parchedig o'r enw Dr. Wilson o Newark. Dyna ddarnodiad o'r cwrs trwy ba un y daeth i feddiant teulu urddasol Glynllifon.

Ond fe ddywedir yn un o gyfrolau y *Transactions of the Cymmrodorion* y darfu i Edward VI. ei rhoddi hi a'r Cwrt, yn mhlwyf Aberdaron, i John Wynne ap Hugh, o deulu Bodfel, am ei wasanaeth fel Lluman-ddygiedydd (*Standard Bearer*), yn mrwydr fawr Norwich. Bu hwn yn uchelsirydd Sir Gaernarfon yn y flwyddyn 1551.

Ond er nas gellir olrhain ei gyrfa gyntefig yn ei holl fanylion, eto eglur ydyw mai ei meddiannydd presennol ydyw Arglwydd Newborough; ac y mae ei Arglwyddiaeth yn teimlo dyddordeb dwfn ac arbenigol yn ei etifeddiaeth ynysig hon. Yn ddiweddar y mae holl adeiladau yr Ynys wedi eu gwneyd yn newyddion ganddo ef. Ac fe geir yma nifer o dai ffermydd, ac adeiladau perthynol iddynt, na cheir eu rhagorach mewn unrhyw wlad, a'r cwbl wedi eu gwneyd ar draul y perchenog. Mae ei Arglwyddiaeth hefyd wedi adeiladu synagog iddynt—capel rhyfeddol o brydferth, a thŷ eang a chymhwys i'r gweinidog—am ba rai y cawn sôn eto. Cyfanswm ardreth yr Ynys ydyw £120 yn y flwyddyn. Y mae y "Meistr tir" yn wir benaeth yr Ynys, yn barchus ac yn uchel iawn yn syniadau y trigolion; a hyd yn ddiweddar byddai yn arfer talu ymweliad â hwynt, ac yn gwneyd ei hunan yn gartrefol yn eu plith. Mewn gair, ei Arglwyddiaeth ydyw eu harwr, os nad eu heilun. Fe ddywedir gan bobl y "tir mawr" mai dau feistr yn unig sydd ar bobl Enlli, sef Angeu ac Arglwydd Newborough!

Y mae un arbenigrwydd perthynol i'r llanerch hon o'r ddaear —ac nis gwyddom a oes llanerch gyfanneddol arall ar ei gwyneb yn debyg iddi—sef, nad oes yno dreth na degwm i flino y preswylwyr. Nid oes yno na threth y tlodion, treth y cŵn, na threth eglwys, nac ychwaith dreth i'r un Bwrdd ar y ddaear. Wedi iddynt dalu y rhent i'r meistr tir, dyna eu holl gyfrifoldeb ar ben, a gallent herio holl awdurdodau goruchel Sir Gaernarfon a Sir Benfro hefyd i'w gosod hwy dan unrhyw ddormach. Gallant ddyweyd, "Gwŷr rhyddion ydym ni." Y mae yn ffaith yn eu hanes hefyd y bu llawer ymgais o bryd i bryd i geisio eu trethu, ond yn aflwyddiannus hyd yn hyn. Gwnaed ymgais felly yn amser Edward II., yr hyn a drodd allan yn fethiant. A bu mwy nag un ymgais yn y blynyddoedd diweddaf, ond oll yn aflwyddiannus. Ychydig flynyddoedd yn ol bu gwŷs allan yn erbyn y Parch. Robert Williams, fel cynnrychiolydd yr Ynys, am dreth y tlodion. Ond er ceisio, methwyd yn lân a'i wasanaethu â hi, gan y llwyddai i ddianc i'w lochesau rhag golygon y swyddog. Unwaith pan yn pregethu ar foreu Sabboth yn Nghapel Penycaerau, eisteddai y ceisbwl o'i flaen a'r wŷs yn ei logell, a phenderfynai ei wasanaethu â hi ar ddiwedd y cwrdd. Ond rywfodd, gan rywun, fe'i perswadiwyd ef i ohirio y weithred hyd drannoeth, gan ddadleu na fuasai hyny yn gyson â sancteiddrwydd y diwrnod, ac y caffai gyfleusdra rhagorol i wneyd ei waith bore drannoeth wrth i'r pregethwr ddychwelyd adref. Ond erbyn trannoeth nid oedd y gŵr ar gael, gan ei fod wedi gofalu am ddianc ymaith yn ddigon plygeiniol i un o'i ddirgel-fanau. Ac yno y bu yn llechu nes y daeth yn ddigon

clir a diberygl. Bu y trethiad yn bwnc pwysig a chynhyrfiol am amser maith, ond cyfryngodd Arglwydd Newborough yn y mater, a mynegodd y ddeddf, os codid treth ar yr Ynyswyr, y byddai hawl ganddynt hwythau i godi tâl gan bawb a'r a ymwelai â'r Ynys, a dywedai y deuai hyny i'r un peth yn ymarferol. Ac felly y dybenodd yr ysgarmes. A hyd yn hyn, beth bynag, er gwaethaf pob ymgais, y mae Enlli yn wlad rydd oddiwrth y deyrnged.

Ac y mae y brodorion, fel y gallesid tybied, bob amser yn hynod ammheus ac eiddigeddus ar bwnc y dreth. Byddant yn edrych yn hynod ammheus ar bob gŵr dyeithr a ymwêl â hwynt, rhag ofn y gallai fod yn un o swyddogion y dollfa. Ac ni fynant gludo neb drosodd heb ei adnabod, a chael pob sicrwydd nad ydyw yn meddu un gyfathrach â'r publicanod. Yn lled ddiweddar yr oedd ar un o Arholwyr yr Ysgolion Elfenol awydd croesi drosodd er arholi yr ysgol fechan sydd yno, a gwneyd adroddiad am ei sefyllfa arbenigol i'r Cynghor Addysg. Ond ni fynent ef i'r cwch ar un cyfrif, rhag ofn mai un o'r teulu ammheus ydoedd, ac mai treth fuasai y canlyniad. Ac ar y làn y bu, yn synu am iddynt ei adael yno mor ddiseremoni! Ac mae'r ysgol heb ei harholi eto. Ac yn wir pa feili neu drethwr a fentrai i'r cwch gyda hwynt i'r *sound?* Byddai y gŵr cyn cyrhaedd y làn—os cyrhaedd y làn hefyd, wedi cael profiad o lawer llewygfa, ac wedi derbyn bedydd dwfr i "edifeirwch" fwy nag unwaith, a byddai yn sicr o ddychwelyd heb ei neges.

Ystyrid yr Ynys yn deyrnas amser yn ol, a cheid arni frenin neu frenhines, yn ol fel y byddai yr amgylchiadau. Y teulu brenhinol a choronog ydoedd, ac ydyw, teulu "Cristin Uchaf." Mae y brenin a'r frenhines wedi marw er ys talm; y plant, tri mewn nifer, sydd yn aros, ac yn eu meddiant hwy y mae y *regalia*, sef *coron* a *snuff box*. Yn amser ewythr i'r Arglwydd Newborough presennol, bu coroniad ffurfiol ar "John Williams, Cristin," yn frenin ar yr holl Ynys, ac yr oedd cryn rialtwch ynglŷn â'r seremoni. Cymerodd y ddefod le yn yr awyr agored wrth y "Cafn." Rhoddwyd y brenin etholedig i sefyll ar gadair, pan y rhoddwyd y goron ar ei ben, ac yna bloeddid Hwrê gan yr holl wyddfodolion nes rhwygo yr awyr. Yr oedd cynifer a deuddeg o *yachts* yn llawnion o foneddigesau a boneddigion yn gorwedd gerllaw, ac wedi dyfod yno ar gyfer yr amgylchiad. Ac er dathlu y coroniad, saethid o'r magnelau yn barhâus, lluchid tân gwyllt drwy y nos o'r llongau, a rhenid arian ymhlith yr ynyswyr. Yr oedd y diwrnod yn ddydd o lawen chwedl yn yr Ynys. Ac mae y frenhiniaeth yn aros yn nheulu "Cristin Uchaf" hyd heddyw, er nad oes frenin na brenhines swyddogol a choronog. Mae y *regalia* ar gael yno, ac fe'u dangosir gyda llonder a boddhâd i'r ymwelwyr.

Ceir hefyd yr edrychid ar y diweddar Robert Williams, ar y "tir mawr," nid yn unig fel esgob, ond hefyd fel brenin yr Ynys. Byddai y Parch. W. T. Jones hefyd, ar brydiau, yn cael ei alw yn frenin, yn gystal âg yn esgob Enlli. Ond cawn yr hen esgob yn hòni hyn iddo ei hun unwaith. Pan yn areithio ar Ddirwest yn Bettws-y-coed, dywedai yn ei araeth:—"Y mae y brenin a'r frenhines yn y wlad lle yr ydwyf fi yn byw wedi *signio* Dirwest, ac y maent ill dau yn ddirweswyr zelog." Synai y gwrandäwyr at hyny, ac yn fwy fyth pan

ddeallasant mai Enlli ydoedd y wlad hono, ac mai yr areithiwr ydoedd y brenin, ac mai Sian Williams ei wraig ydoedd y frenhines. Fe brawf hyn yr edrychai arno ei hun, pan oddicartref, fel gwir gynnrychiolydd a Melchisedec yr Ynys. Ac fe ddengys yr hanesyn canlynol yr edrychid arno felly hefyd gan eraill. Pan oedd y diweddar Dr. William Rees un tro yn pregethu mewn Cyfarfod Misol yn Llithfaen, a Robert Williams yn pregethu o'i flaen, wedi diolch i'r brodyr am gael pregethu yn eu capel ac yn y Cyfarfod Misol, ychwanegai, "A dyma y fraint fwyaf a gefais erioed yn fy oes, sef cael pregethu *ar ol y brenin!*" Cyfeiriai, wrth gwrs, at y pregethwr cyntaf fel y brenin hwnw. Ond y *royal family*, y wir olyniaeth frenhinol, ydyw teulu "Crispin Uchaf," ac nid ydyw pawb eraill ond ymhonwyr a *pretenders*. Iddynt hwy, yn eu henafiaid, y rhoed yr anrhydedd hwn, ac yn eu meddiant hwy y ceir yr hen *relics*, fel profion o hyny.

Sefydliad pwysig a bendithiol iawn ar yr Ynys ydyw y *Lighthouse*, a'r pethau cysylltiedig âg ef. Saif yn y pen deheuol, a cheir yno dri thŷ i'r *light-keepers* a'u teuluoedd, am ba rai y soniasom o'r blaen. Adeiladwyd ef gan y Llywodraeth yn y flwyddyn 1821. Clywsom y bu tad y brodyr enwog o Liverpool, sef y ddau Ddr. Thomas a'u brawd, yn gweithio ar yr adeilad. Ac y mae bellach er ys blynyddoedd yn taflu goleu clir ar lwybrau peryglus y dyfroedd dyfnion, ac yn cadw llawer llestr rhag syrthio i ddinystr a cholledigaeth.

Hefyd yn yr un sefydliad, ac yn gwasanaethu i'r un amcan, ceir y creadur rhyfedd a elwir y *Fog Horn*—y "Niwl Gorn"—udiadau aflaflar yr hwn sydd i gyfarwyddo y llestri yn y niwl. Gorphenwyd y peiriant hwn yn y flwyddyn 1877. Fel hyn y dywed Mr. Jones am dano: "Oddifewn," sef oddifewn i'r adeilad, "y mae dau beiriant, y rhai a weithiant ar unwaith, o nerth chwech o geffylau, ac yn gweithio trwy dwymno awyr, heb ddim dwfr—yr hon a yrir i ddau *cylinder* mawr, nes crynhoi yno ddeugain pwys o awyr, yr hwn a weithir i fyny trwy bibell gopr dair modfedd o dryfesur Ar ol gwneyd dwy fil a phedwar cant o droadau mewn un mynyd, daw allan trwy y *trumpet* yn fath o sŵn dychrynllyd, nes bod yn glywadwy am ddeng milldir o bellder, a hyny yn erbyn awel gymedrol gref. Gwneir y sŵn bob pum' mynyd, a pharhâ bob tro am saith eiliad. Pan y clywid ei sain anhynod gyntaf, yr oedd yr anifeiliaid, ac yn enwedig y ceffylau, yn methu yn lân a deall y mater, yn codi eu penau, yn moeli eu clustiau, ac yn nacâu gweithio. Ond erbyn hyn y maent wedi cynnefino, a phob peth fel o'r blaen." Dyna ddesgrifiad *graphic* o'r *Fog Horn*.

Pan y bydd rhywun o ochr "y tir mawr" eisieu croesi drosodd i'r Ynys, rhaid yn gyntaf oll dynu sylw yr Ynyswyr, a'u galw i'w ymofyn, a gwneir hyny trwy oleuo tân oddiar ochr Aberdaron. Ac ar ol gweled y ffagl oleu ar yr uchelfeydd yr ochr arall i'r dwfr, atebant hi—hyny yw, atebant hi, os ewyllysiant, ac os gallant gan y tywydd groesi drosodd i ymofyn y *passenger*—neu ni wneir dim. Ac yna yn ddiymaros gwelir y cwch yn cychwyn, yn prysuro ymlaen, ac yn dynesu at y tir, ac yn cael ei feddiannu gan wŷr grymus a medrus. Ac yn ddiatreg eir â'r teithiwr drosodd.

Rheol sefydlog—er nad ysgrifenedig—y *signals* tanllyd hyn, ac ni wiw i neb ei throseddu, ydyw *un* tân i berson cyffredin, *dau* dân i wŷr y

*Trinity*, ac i bregethwr, a *thri* thân mewn achos o afiechyd neu farwolaeth. A gwae fydd i'r neb a droseddo y ddeddf hon trwy roddi *signal* heb neges, neu trwy roddi mwy o nifer na'r rheol ddealledig! Os eid â'r troseddwr drosodd o gwbl, nid yn y dull mwyaf hawddgar a grasusol y gwneid hyny. Clywsom am fenyw un tro wedi cynneu *tri* thân, pan yr atebwyd ef yn ebrwydd gan yr Ynyswyr, gan dybied fod rhywbeth pwysig wedi cymeryd lle. Ac wele hwynt yn y fan yn cychwyn, yn morio yn gyflym, ac yn prysuro i groesi drosodd. Ond wedi cyrhaedd yr hafan, yr hyn welent yn dyfod atynt oedd benyw a chydaid o *gooseberries* ar ei chefn, yn edrych yn rhadlon ddigon, ac yn dyweyd wrthynt ei bod am fyned drosodd i'w gwerthu, ac yn eu canmawl fel rhai rhagorol! Gellid dychymygu nerth eu cynddaredd wrth y fath *sell!* Ond ymaith â hwy ar ffrwst, ac heb y fenyw dirion!

JOHN JONES

---

# LUTHER.

## II.

*Martin Luther: Student, Monk, Reformer.* By JOHN RAE, LL.D., F.S.A. With Six Illustrations by J. A. VINTER. London: Hodder and Stoughton.

CYHOEDDWYD y llyfr uchod ychydig wythnosau yn ol, ac yn ychwanegol at y gweithiau eraill ar Luther y galwasom sylw atynt yn ein herthygl flaenorol, mae yn dda genym gael cyfleustra i gyflwyno y gyfrol hon hefyd i sylw ein darllenwyr. Y mae wedi ei hysgrifenu yn rhagorol, ac yn rhoddi hanes y Diwygiwr mewn dull cryno a thra darllenadwy. Nid ydyw yr awdwr yn ymdrafferthu ynghylch y cwestiynau o berthynas iddo ag y mae ymchwiliadau diweddar wedi gosod y fath arbenigrwydd arnynt, ac y mae braidd yn hynod fod llyfr o'r fath ar Luther yn cael ei gyhoeddi yn 1884 heb gynnwys yr un cyfeiriad at lafur Köstlin; ond y mae Dr. Rae wedi astudio yn dda yr awdurdodau goreu o'r dyddiau gynt, ac y mae yr hanes yn cael ei osod ganddo o'n blaen gyda medr a ffyddlondeb a bâr i ni deimlo ein bod yn cael cyfleusdra gwerthfawr i ymgydnabyddu â'r Diwygiwr. Nid arno ef y bydd y bai os na thueddir ni i ogoneddu Duw yn y gwaith rhyfeddol a gyflawnwyd trwyddo. Mae yr *illustrations* gan Vinter yn dda iawn, ac y mae y gyfrol brydferth wedi ei chyflwyno i Iarll

Shaftesbury. Y mae yn agos i 500 o du dalenau, a'i phris ydyw 7s. 6c.

Y mae bywyd Luther yn un o gyfnodau mwyaf pwysig hanesyddiaeth. Yr ydym yn ei hanes yn cael golwg ar ddyfnder y dirywiad ag yr oedd y byd Cristionogol wedi suddo iddo pan yr oedd pobl, "a chanddynt rith duwioldeb eithr wedi gwadu ei grym hi," yn gallu ymdroi yn y llygredigaethau mwyaf ysgeler, a hyny dan broffes o'r crefydd-older mwyaf dyrchafedig. I'r rhai a ddylasent fod yn arweinwyr, yr oedd "chwedl" yr efengyl, fel y galwent hi, yn werthfawr yn unig am yr elw a ddygai. Ac yr oedd y werin yn tawelu eu cydwybod i fyw mewn anwiredd, gan ystyried eu bod trwy yr arian a dalent a'r penydiau a osodid arnynt yn gwneyd iawn digonol am y cwbl. Fe ddangosir i ni hefyd yn amlwg yn hanes y dyn rhyfeddol hwn fel y mae y Brenin Mawr yn gallu peri i oleuni gyfodi yn y tywyllwch, ac yn troi cysgod angeu yn foreuddydd. Y mae gwersi y dyddiau rhyfedd hyny yn daranau i'r oesoedd am y mawr berygl o ymollwng mewn ffurfioldeb i ymfoddloni ar rith, yn lle ymaflyd yn egnïol yn ngwirionedd Duw; ac y maent yn dangos yn bur amlwg mai yr unig bosibilrwydd i gadw bywyd crefydd, pa un bynag ai yn y Cristion unigol ai mewn cymundeb o Gristionogion, ydyw trwy gredu yn barhâus ac yn ddibetrus y "dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab," a thrwy ymlyniad ffyddiog a chariadlawn wrth Berson y Gwaredwr. Fe arweiniwyd meddwl Luther, fel y gwelsom, mewn dull tra hynod, ac yn sicr trwy "ymdrech mawr o helbulon," i ddeall ac i brofi y pethau hyn; ond wedi iddo gael ei ddwyn o dan eu Dwyfol nerth, ymgysegrodd i wasanaeth yr Arglwydd ynddynt yn y fath fodd ag a brofodd, trwy ras Duw, yn fendith sydd yn parhâu hyd y dydd hwn, ac yn ymdaenu yn ddaioni dros yr holl ddaear.

Yn ein hysgrif flaenorol, wedi galw sylw at nifer o lyfrau a gyhoeddasid ar y Cyfandir ac yn y deyrnas hon ynglŷn â phedwar-canmlwyddiad genedigaeth Luther, a dangos ychydig o'r dygn dywyllwch a thrueni a orchuddiai y gwledydd a broffesent fod yn Gristionogol cyn ei ymddangosiad ef, rhoddasom fras adroddiad o'i hanes, o'i enedigaeth hyd ei ymosodiad nerthol a diarbed ar athrawiaeth y maddeuon a bregethid gyda'r fath rwysg a llwyddiant gan Tetzel. O ddechreuad isel a thlawd, yr ydoedd, trwy nodded tirion Rhagluniaeth, wedi cael addysg dda; ac yn arbenig yr ydoedd, trwy Ddwyfol ras, wedi ei oleuo am drefn ogoneddus yr Efengyl i gyfiawnhâu pechadur trwy ffydd yn Nghrist yn unig, heb weithredoedd y ddeddf. Yr ydoedd wedi cyrhaedd hyny trwy ingoedd mawrion, ac fe brofodd y gwirionedd iddo yn fywyd o farwolaeth. O'r goleuni clir ag oedd bellach yn llewyrchu ar ei ysbryd, nid allai lai na dwfn anghymeradwyo llawer o ffieidd-derau y Babaeth a ddelent o dan ei sylw; ond yn y teimlad o'i wendid a'i annheilyngdod, ni ryfygai i feddwl am fynyd y gallasai ei fod wedi dasgyn i'w ran ef i'w dynoethi, ac i geisio dwyn oddiamgylch ddiwygiad. Yn neillduol yr oedd clywed am Tetzel yn myned oddiamgylch i werthu maddeuant pechodau am arian, yn cynhyrfu ei holl enaid. A phan ddaeth i Wittenberg, ac y cafodd fod y bobl pan yn dyfod ato ef i gyffesu, ar ol bod gyda Tetzel, yn teimlo eu bod yn rhyddion oddiwrth eu pechodau, heb fod angen hyd yn nod am iddynt edifarhâu o'u plegid, fe deimlodd fod yn rhaid iddo godi ei lais yn

erbyn anfadrwydd mor felldigedig. Fe bregethodd yn gryf yn ei erbyn o'r pulpud, ac fe hoeliodd ei osodiadau, ei *theses*, ar ddrws yr Eglwys, yn condemnio yr holl athrawiaeth, ac yn dadgan yn glir a diammwys drefn Duw i faddeu a chyfiawnhâu. Wrth reswm nid ymddangosodd neb yn ei erbyn i ddadleu, ac fe ledaenwyd y gosodiadau dros Ewrop gyda chyflymdra, ac ystyried amgylchiadau y dyddiau hyny, sydd ymron yn anhygoel. Nid rhyfedd i Myconius ddyweyd eu bod yn cael eu gwasgaru "fel pe buasai yr angelion eu hunain yn negeswyr iddynt ac wedi eu gosod o flaen llygaid pawb." Tila iawn ydoedd ymdrech Tetzel i ymosod arnynt yn Frankfort. Cafodd Luther gyfle da y flwyddyn ganlynol, 1518, i osod ei olygiadau o flaen cynnulliad o'i frodyr Augustinaidd yn Heidelberg, lle y caed dadl gyfeillgar, ac y llwyddodd yntau, mewn ysbryd rhagorol, i ddysgu y gwirionedd yn y fath fodd fel ag i ennill llawer, yn enwedig o'r rhai ieuengaf, i fod yn ffafriol iddo.

Ond fe ddeuai i deimlo yn fwyfwy fod yr Eglwys eisieu ei diwygio, a galwai sylw ei gydwladwyr yn neillduol at hyny. Proffesai barch i Leo X. y Pab, ac ysgrifenodd lythyr rhagorol ato yn galw ei sylw at athrawiaeth y maddeuon fel peth newydd a dyeithr, ac fel peth oedd yn achlysuro gwarth a thramgwydd; a chyda dwfn ostyngeiddrwydd rhoddai ei hun yn gwbl yn ei law. Ond cyn hyny, yr oedd Rhufain wedi cyhoeddi ei hun yn ei erbyn. Ysgrifenasai Cardinal Raphael yn enw y Pab at Frederic, yn ei osod ar ei wyliadwriaeth rhag amddiffyn Luther. Anfonodd Frederic yn ol: "Ni bydd genyf byth un dymuniad amgen nag i ddangos fy ymostyngiad i'r Eglwys Gyffredinol. Am hyny ni amddiffyniais erioed nac ysgrifeniadau na phregethau Doctor Martin Luther. Yr wyf yn deall, heblaw hyny, ei fod ef bob amser wedi cynnyg ymddangos dan deithnodded, o flaen barnwyr teg, dysgedig a Christionogol i amddiffyn ei athrawiaeth, ac i ymostwng, os profir o'r Ysgrythyrau ei bod yn gyfeiliornus." Yr oedd Leo hyd yn hyn wedi gadael i bethau gymeryd eu cwrs; ond wedi ei gynhyrfu gan ddadwrdd y duwinyddion a'r mynachod, yr oedd bellach wedi penodi ddirprwyaeth eglwysig yn Rhufain i brofi Luther, yn yr hwn yr oedd Pierio, gelyn mawr y Diwygiwr, ar yr un pryd yn gyhuddwr ac yn farnwr. Tra yn tawel ddysgwyl atebiad i'w lythyr at y Pab, ac ymhen deuddydd wedi anfoniad llythyr Frederic, derbyniodd Luther wŷs y frawdle Rufeinig. "Y foment," meddai, "pan oeddwn yn dysgwyl bendith, mi welais y daranfollt yn disgyn arnaf. Myfi oedd yr oen a gymysgasai y dwfr a yfai y blaidd. Diangodd Tetzel, a myfi oedd i gael fy nhraflyncu." Ond trwy lais cryf oddiwrth awdurdodau uchel, fe fu raid i'r Pab ganiatâu i'r prawf hwnw gymeryd lle yn Germany. Yr oedd y fradwriaeth waethaf wedi ei gosod ar droed yn erbyn Luther, ond eto yr oedd amgylchiadau yn gwneyd yn angenrheidiol peidio tynu yn groes i Frederic. Yr oedd y prawf i gymeryd lle yn Augsburg, o flaen y Cardinal Cajetan, cenad y Pab. Teimlai holl gyfeillion Luther yn dra phryderus, a mynent ganddo beidio myned. Ond yn dawel a gwrol, penderfynai efe fyned. "Yr ydwyf fel Jeremiah," meddai, "yn ŵr o gynhen ac yn ŵr o ymryson; ond po fwyaf y cynnydda eu bygythion mwyaf ydyw fy llawenydd." Wedi ei foddhâu yn fawr trwy ymweliad o eiddo Frederic, addawsai Cajetan,

os ymddangosai y mynach o'i flaen, y gwrandawai arno mewn modd tadol, ac yr anfonai ef ymaith yn dirion. Wedi i'r Diwygiwr gyrhaedd Augsburg, derbynid ef yn garedig gan gynghorwyr ac eraill y cyflwynasid ef iddynt gan yr Etholwr, a thrwy eu cynghor hwy gwrthododd ymddangos ger bron cenad y Pab heb *safe conduct*, neu deithnodded. Yr oedd cenadon Cajetan â'u geneuau yn llyfnach nag olew, eisieu iddo ymddiried ei hun i'w garedigrwydd. "Y mae efe yn dad tra thrugarog," ebai un o honynt; ond un arall a ddynesai ato gan sibrwd yn ei glust, "Na chred yr hyn a ddywedant wrthyt; nid yw byth yn cadw ei air." O'r diwedd caed y teithnodded. Nid oed efe trwy ei hawlio yn pwyso ar fraich o gnawd, oblegid gwyddai nad oedd hyny wedi cadw Huss rhag merthyrdod; ond dymunai wrando ar gais cyfeillion ei feistr, yr Etholwr. Meddyliai y *legate* na fyddai nemawr drafferth i ŵr o'i urddas a'i ddysgeidiaeth ef i berswadio y mynach tlawd i alw ei eiriau yn ol; a theimlai yn fwy hyderus fyth wrth weled ymostyngiad tra pharchedig Luther pan, gydag ychydig o'i gyfeillion, yr ymddangosodd ger ei fron. Ond anobeithiol iawn oedd i ddim daioni ddyfod oddiwrth eu cyfarfyddiad. Ni fynai Cajetan ddim ond cael gan Luther dynu y cwbl yn ol. Yr oedd arno yntau eisieu gwybod pa beth y gelwid arno i'w dynu yn ol, a phaham. Wedi hir helynt, nodwyd dau beth: yr hyn a ddysgai am athrawiaeth y maddeuon, a'r angenrheidrwydd anhebgorol am ffydd yn y cyfranogiad o'r swper sanctaidd. Ond ar y pethau hyny yr oedd mor anhawdd ei syflyd ef ag a fuasai syflyd sylfeini y mynyddoedd. Nid oedd urddas y Cardinal ond fel dim yn y drafodaeth; ac ni chydnabyddid mwy na hyny benderfyniadau y Pabau; ac ar bob tir arall nid oedd y gŵr mawr ond blewyn yn llaw y mynach. "Nid allaf ddadleu yn hwy," meddai, "â'r bwystfil hwn; mae ganddo gwpl o lygaid drygionus a meddyliau rhyfeddol yn ei ben." Wedi tri chyfarfyddiad, torodd y cwbl i fyny trwy waith y Cardinal yn gwaeddi, "Galw yn ol neu paid a dychwelyd," ac i Luther ei gymeryd ar ei air. Yn ychwanegol at ddadganiad parchus a chlir o'i olygiadau ar y cwestiynau mewn dadl a roisai mewn ysgrifen i Cajetan, fe ysgrifenodd ato drachefn; a chan na chawsai atebiad, fe dynodd i fyny apêl at y Pab ei hun—"Oddiwrth y sancteiddiaf dad y Pab, gyda gwybodaeth anmherffaith, at y sancteiddiaf arglwydd a thad yn Nghrist, Leo X. trwy ras Duw, yn gwybod yn well,"—a chefnodd ar Augsburg.

Yr oedd iddo allu dianc, wedi bod yno am ddeng niwrnod yn llaw Rhufain, yn beth rhyfedd iawn. Yr oedd y Cardinal yn wallgof; yr achos oedd i ddwyn iddo y fath ogoniant yn ngwasanaeth yr Eglwys, wedi troi y fath fethiant, a'r mynach yn gwbl o'i afael! "Fe fynasai y Cardinal," medd Luther, "fy nghael yn ei ddwylaw i'm hanfon i Rufain. Mae yn ddig, mae yn ddiau, fy mod wedi dianc. Dychymygai fy mod yn ei afael yn Augsburg; meddyliai fy mod ganddo; ond yr oedd yn dal llŵysen wrth ei chynffon. Onid yw yn warthus fod y bobl hyn yn gosod y fath bris uchel arnaf? Rhoddent bentwr o goronau i'm cael i'w crafangau, tra y gwerthwyd ein Harglwydd Iesu Grist am ddeg darn ar hugain o arian." Fel y gallesid dysgwyl, ysgrifenodd y Cardinal at Frederic, yn pwyso yn fawr arno anfon Luther i Rufain; ond wedi i Luther gael cyfle trwy lythyr gwych i adrodd iddo yr hyn oll a gymerasai le yn Augsburg, atebodd yr Etholwr,

"Gan fod Doctor Martin wedi ymddangos o'ch blaen yn Augsburg, dylech fod yn foddlawn. Ni ddysgwyliem y buasech yn ceisio ganddo dynu yn ol heb ei argyhoeddi o'i gyfeiliornadau. Nid oes neb o'r gwŷr dysgedig yn ein tywysogaeth wedi fy hysbysu i fod athrawiaeth Martin yn annuwiol, anghristionogol, neu hereticaidd." Ni raid dyweyd fod llawenydd mawr yn Wittenberg am ei ddychweliad. Yr oedd ei groesaw yn y Brifysgol yn dra chynhes. A iawn y gallasai, canys yr ydoedd ei enwogrwydd wedi ei dyrchafu goruwch yr holl Athrofeydd. Deuai efrydwyr yno o bob parth ar Germany, a phan welent binaclau y ddinas o bell, safent a chodent eu dwylaw i'r nefoedd, gan fendithio Duw am beri i oleuni gwirionedd lewyrchu o honi fel o Sïon gynt, ac ymdaenu i'r gwledydd pellaf. Yr oedd Melanchthon yno bellach er ys rhai blynyddau, yr hwn a brofodd yn gyfaill o'r fath anwylaf i Luther, ac oedd fel yntau yn llwyddiannus ryfeddol fel Athraw. "Mae ein hefrydwyr yma," ysgrifenai Luther," mor brysur â morgrug."

Yr oedd yr adeg ar bob llaw, er hyny, yn dra phryderus. Elai pob math o furmuron o amgylch am amcanion Rhufain gyda golwg arno. Anfonodd Frederic am iddo ymadael o Wittenberg; a thrachefn anfonodd i ofyn paham yr oedai cyhyd; ond pan ydoedd ar fyned, ac heb wybod i ba le i droi, cafodd air drachefn yn dyweyd fod llysgenadwr newydd y Pab yn meddwl y gellid trefnu pobpeth trwy gynnadledd, ac am hyny iddo aros lle yr ydoedd. Yr oedd Cajetan dan gwmwl yn Rhufain, fel un oedd wedi methu yn waradwyddus. Gofynid iddo paham y cythruddasai Luther trwy sarhâd a bygythion, yn lle ei ddenu trwy addewid am esgobaeth gyfoethog, neu hyd yn nod het Cardinal? Wrth reswm nid oedd dim allai sefyll y swynion nerthol hyny! Cyhoeddodd y Pab trwy ei lysgenadwr *bull* yn cadarnhâu athrawiaeth maddeuon. Dysgwylid trwy hyny y buasai Luther yn ymostwng, neu yn tori allan yn gyhoeddus fel aflonyddydd ar heddwch yr eglwys, ac yn diystyru yr esgobaeth apostolaidd. Sut bynag y tröai pethau, tybid y ceid daioni i Rufain. Ond drwg mawr a ddaeth. Dywed hanesydd Rhufeinig fod y bobl "yn meddwl fod y *bull* hwn wedi ei roi allan yn unig er mwyn y Pab a'r mynachod, y rhai oeddent yn dechreu gweled na phrynai neb eu maddeuon." Am Luther, anfonodd allan wrthdystiad cryf yn ei erbyn, i'r hwn, trwy awydd llyfrwerthydd i wneyd ennill, y rhoddwyd ar unwaith ledaeniad ëang,—ac apeliai am gyngher cyffredinol o'r holl eglwys. Yn nghanol penbleth y Babaeth ac amgylchiadau anesmwyth yr amseroedd, yr oedd Luther yn dawel yn ymddiried yn Nuw; ac wrth ddarllen Ordeiniadau y Pabau, ysgrifenai at Spalatin, gan sibrwd, medd efe, yn ei glust: "Ni wn pa un a yw y Pab yn Anghrist ei hunan, neu ei apostol; i'r fath raddau, y mae Crist yn cael ei gamddarlunio a'i groeshoelio ganddynt." Eto daliai nad oedd efe wedi gadael Rhufain, ond mai Rhufain oedd wedi cefnu ar ffydd yr Eglwys Gatholig, ac felly wneyd yn anmhosibl iddo aros gyda hi. Danfonwyd y "rhosyn euraidd" gan y Pab yn anrheg i Frederic, —yr anrhydedd uchaf a ellid roddi ar dywysog; ond chwedl Luther, "yn rhy ddiweddar." Nid oedd efe, mwy na'r mynach, bellach, yn teimlo dychryn Rhufain, ac ni fyddai yn offeryn i gario allan ei bradwriaeth. Yr oedd gwaith y Diwygiad, trwy y cwbl, yn myned rhagddo yn nerthol. "Prin y gall ein tref," meddai Luther, "gynnwys y

rhai sydd yn heidio iddi." A thrachefn, "Mae nifer yr efrydwyr yn cynnyddu yn fawr, fel afon orlifol." Ac ymledai y cynhwrf trwy Ewrop.

Yn Germany ei hunan, sut bynag, yr oedd pethau yn dechreu tawelu, nes y darfu i Eck—gŵr oedd yn ymlyngar wrth y Babaeth, ac ydoedd, yn ol arfer yr amseroedd, wedi ennill enwogrwydd mawr fel dadleuydd—ail godi y cyffro. Yr oedd peth croesi cleddyfau wedi bod rhyngddo ef â Carlstadt, ac yn awyddus uwchlaw pobpeth am ennill enwogrwydd trwy orchfygu Luther, taflodd faneg i lawr drachefn. Yr oedd ei gyfeillion a duwinyddion Leipzig—y rhai a deimlent hefyd eiddigedd am fod Athrofa Wittenberg yn taflu yr eiddynt hwy i'r cysgod—yn cytuno i fwrw pob dirmyg ar Luther, gan feddwl ei gythruddo i ymdrech a fuasai, dybygent, yn rhwym o brofi y fath ddarostyngiad iddo. Yr oedd Tetzel eto yn fyw, ond wrth gofio am a fuasai, dywedir iddo ddeffro i waeddi o ddyfnder ei neillduedd, "Y diafol sydd yn eu gyru ymlaen i'r ymdrechfa yma." Gwelai Luther yn amlwg fod gosodiadau Eck yn annelu ato ef; ond cydsyniasai i fod yn dawel. Cipiodd Carlstadt yr her, a chyfarfuant yn Leipzig yn Mehefin, 1519. Deuai Eck i'r ddinas mewn rhwysg mawr, a dygodd gydag ef wr ieuanc o Ingolstadt i gymeryd nodiadau, fel y gallai yr oesoedd weled gogoniant ei oruchafiaeth. Ymhen tridiau daeth Carlstadt yno, a chydag ef Luther a Melanchthon, a chyfeillion eraill o Wittenberg, ynghyd a rhyw ddau gant o efrydwyr, y rhai oeddynt wedi gosod eu hunain dan arfau, i amddiffyn eu hathrawon. Parhaodd y ddadl rhwng Eck a Carlstadt am dri diwrnod ar ewyllys rydd, ac wrth reswm hawlid y fuddugoliaeth gan y naill ochr a'r llall. O'r diwedd llusgwyd Luther i'r ddadl, a dechreuodd yr ymgyrch rhyngddo ef ac Eck ar y 4ydd o Orphenaf, a pharhaodd hyd y 14eg. Yr oedd Eck yn alluog a hyawdl ac uchelgeisiol, a gwnaeth yr oll oedd yn ei allu tuag at amddiffyn pethau fel yr oeddynt. Yr oedd Luther, o'r ochr arall, yn gryf mewn nerth na wyddai ei wrthwynebydd nemawr am dano,—argyhoeddiad o fawredd gwirionedd, ymddibyniad ar Dduw, ac ymwybodolrwydd ei fod yn ymladd rhyfel yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd ei hyfder yn fawr. Daliai nad oedd ffydd yn uchafiaeth Eglwys Rhufain yn angenrheidiol er iachawdwriaeth; nad oedd gan neb hawl i orfodi Cristion i addef unrhyw beth nad ydoedd i'w gael yn yr Ysgrythyr; ac am y waith gyntaf, haerai fod llawer o'r erthyglau am ba rai y condemniwyd Huss yn Nghynghor Constans yn 1414, yn gyson â'r Ysgrythyrau, er fod Huss y pryd hyny trwy Germany oll yn cael ei gyfrif fel heretic. Daliai Luther ymhellach fod awdurdod yr Ysgrythyrau yn uwch nag eiddo yr Eglwys a'r Tadau, a gwrthodai gydnabod fel yn ysbrydoledig lyfrau yr Apocrypha. Am y maddeuon, fe wnaed byr waith arnynt. Cydnabyddai Eck ei hun, "pe na fuasai wedi dadleu â Dr. Martin ar uchafiaeth y Pab, y buasai ymron yn cytuno âg ef." Gellid dyweyd fod geiriau Luther ar derfyn y ddadl yn ddangoseg o ysbryd y ddadl oll: "Mae y Doctor parchedig yn dianc rhag yr Ysgrythyrau, fel y mae y diafol yn dianc rhag y groes. Am danaf fi, gyda phob dyledus barch i'r Tadau, yr wyf yn dewis yn hytrach awdurdod y Gair Sanctaidd, ac mi argymhellwn y prawf-faen hwn, i'r rhai a fyddant yn ein barnu." Parhaodd y drafodaeth hon

am ugain niwrnod, a chynhyrfai yr holl wlad. Ac er fod cyfeillion y Babaeth yn groch yn eu condemniadau o'r "heretic," eto mae yn sicr fod y Babaeth ei hunan wedi derbyn trwy yr helynt ddirfawr niwed. Yr oedd ysgariad Luther oddiwrthi bellach yn anadferadwy; yr oedd Melanchthon wedi teimlo yr alwad i waith mawr ei oes fel duwinydd y Diwygiad; ac yr oedd gwirionedd Duw, ymhob cyfeiriad, yn myned rhagddo, "yn gorchfygu, ac i orchfygu."

Nid oedd Eck yn foddlawn ar ei fuddugoliaeth dybiedig, ond sychedai am ddial. "Gadewch i ni," meddai, "lwyr-ddifa y pryfed hyn cyn iddynt amlhâu y tu hwnt i bob terfynau." Daw i'w ran y gwynfyd o gael ei anfon gan y Duc George i Rufain, i wasgu ar y Pab yr angenrheidrwydd o weithredu ar unwaith mewn ffordd o ddarostwng yr heresi. Wedi deall fod Charles, oedd newydd gael ei wneyd yn Ymherawdwr, wedi dangos ei duedd trwy orchymyn llosgi ysgrifeniadau Luther yn yr Iseldiroedd, tybiai ei Sancteiddrwydd y gallai fentro gwneyd fel yr annogid ef gan Eck. Felly ar y 16eg o Fehefin, 1520, anfonodd allan y Pab-archiad neu y *bull* hynod "yn erbyn y baedd gwyllt oedd wedi tori i fewn i winllan yr Arglwydd." Condemniai un a deugain o osodiadau Luther fel yn anghristionogol, yn warthus, a llygredig,—er eu bod oll yn ol yr Ysgrythyrau. Cynnyrchodd y *bull* ffieidd-dod mawr yn Germany, a gommeddid mewn llawer o fanau ei gyhoeddi. Efrydwyr Erfurt a dorent y papyr yn ddarnau ac a'i taflent i'r afon, gan ddyweyd, mewn ffordd o chwareu ar amwysedd y gair Lladin, *bulla*, "Bwrlwm ydyw, nofied yn y dwfr." Cyhoeddodd y marchog enwog, Ulrich von Hutten, y Pab-archiad gyda nodiadau coeglyd, ac ysgrifenodd lythyr cryf at Etholwr Saxony. Luther a gymerai arno haeru na ddaethai o dan law y Pab, ac mai dichell gelwyddog o eiddo Eck ydoedd. Ysgrifenodd "yn erbyn *bull* Anghrist," ac yn fwy beiddgar fyth, ar y 10fed o Ragfyr, 1520, cyhoeddodd trwy hysbyslen y byddai iddo am naw o'r gloch bore drannoeth losgi papyrau y Pab. Daeth nifer mawr o ddoctoriaid ac efrydwyr gydag ef at borth Elster, lle yr oedd y weithred i gael ei chyflawni. Un o athrawon hynaf y Brifysgol a gynneuodd y goelcerth, a phan oedd y fflamau yn llosgi yn uchel, taflodd Luther i'r tân ordeiniadau a *bull* y Pab, gan ddyweyd, "Am i ti flino Sanct yr Arglwydd, bydded i'r tân tragywyddol dy flino a'th ysu di." Yr oedd yr efrydwyr, pan oedd y papyrau yn llosgi, yn canu y *Te Deum*—"Ti, Dduw, a folwn." Myn y Pabyddion mai efe ei hun a olygai wrth "Sanct yr Arglwydd." Casglai Köstlin yn naturiol oddiwrth eiriau Janssen ei fod yntau yn golygu felly; a phan ymddyheurai yntau nad oedd ei eiriau yn cynnwys hyny, eto daliai fod Luther yn caniatâu ei arddangos fel "Sanct yr Arglwydd," ac apeliai at y ffaith fod darlun Luther mewn amryw o'i ysgrifeniadau a gyhoeddwyd ar ol 1520, a'r *halo* neu y cylch goleu o amgylch ei ben, neu gyda'r Ysbryd Glân fel yn disgyn arno. Atebai Köstlin nad oedd hyny yn yr un o'r argraffiadau a gyhoeddwyd yn Wittenberg, dan olygiad Luther ei hun, ac nad allai wrth a wnelid gan ei edmygwyr ar eu cyfrifoldeb eu hunain. Cyfeiriai Janssen at argraffiad yn dwyn yr enw "Wittenberg" ar y wynebddalen; ond profai Köstlin drachefn oddiwrth *imprimatur* yr argraffwyr mai yn Strassburg yr oedd hwnw wedi ei argraffu. Ni allasai fod dim yn fwy afresymol

na thybied neu geisio haeru fod gŵr o'r fath ddwfn ostyngeiddrwydd a chrefyddolder a Luther yn priodoli iddo ei hun y fath eiriau. "Sanct yr Arglwydd," ganddo ef, mae yn ddiammeu, oedd CRIST. Ac wrth edrych ar y weithred fel arwydd o'i ffyddlondeb iddo Ef, y mae yn fawr ac arddunol. Dywed ei fod yn crynu cyn cyflawni y weithred feiddgar, ond wedi ei gwneyd ei fod yn cael ei foddhâu ynddi yn well nag unrhyw weithred yn ei fywyd. Ysgrifenai at Staupitz, yr hwn a deimlai y pryder dyfnaf wrth weled fel yr oedd pethau yn myned ymlaen: "Nid ydyw yr holl helynt hyd yma wedi bod yn ddim ond chwareu; . . mae yr ystorm yn dyfod yn fwy fwy ystormus, ac ni ymddengys i mi fod yn bosibl ei thawelu, oddieithr yn y dydd olaf." Y mae dros dri chant o flynyddoedd wedi profi gwirionedd ei air.

Yr oedd y cynhwrf erbyn hyn yn ofnadwy. Dyna oedd yn ngenau pawb, ac yr oedd yr argraffwasg yn bwrw allan doraeth o ysgrifeniadau ag oedd ymhob ffurf yn cymeryd y mater i fyny, ac yn tueddu at chwyddo a chryfhâu y dymhestl. "Wylwch ac udwch," ebe Ulrich von Hutten wrth wŷr Rhufain. Ac wrth y Germaniaid, a phob gwir Gristionogion dywedai: "Byddwch lawen a hyfryd. Mae maglau deddfau ac ordeiniadau dynol yn y rhai y delid ni, trwy ewyllys Duw a'i gymhorth, wedi eu dryllio megys â bwyell lem. Diolch i Dduw, yr ydym wedi ein rhyddhâu oddiwrthynt. Yn awr fe all dyfroedd iachäol y ddeddf Ddwyfol, a gynhyrfwyd ac a wenwynwyd cyhyd gan gors aflan y gosodiadau Rhufeinig a'r ordeiniadau Pabaidd, redeg yn bur drachefn. Yn awr fe ellir llefaru y gwirionedd yn rhydd ac yn ddiofn. Yn awr ni a allwn yn ddiofn fod yn Gristionogion. Mae y nefoedd eto wedi agor uwch ein pen trwy ddaioni a thrugaredd Duw. Mae taranfolltau esgymundeb Pabaidd wedi eu tori yn deilchion fel gwydr. Arglwydd, pâr iddynt orphwys yn dragywyddol." Yn Rhufain yr oedd y digofaint yn ddifesur, a phrin yr oedd y dychryn yn llai. Dywedai gwŷr y llys mewn marwol fraw y naill wrth y llall, fod y mynach o Wittenberg, fel Attila arall, yn dyfod gyda 70,000 o farbariaid i anrheithio y Ddinas Sanctaidd. Ond ni allai dim fod yn bellach oddiwrth ei feddwl ef na defnyddio moddion felly. Pan ofynai y creadur gwych gan Ulrich von Hutten, ar y pryd "heb wybod o ba ysbryd yr ydoedd," am ei ganiatâd i gynhyrfu rhyfel sanctaidd yn erbyn y Babaeth, ei ateb ardderchog ydoedd: "Nid wyf yn dymuno bod neb yn ymryson gyda nerth a llofruddiaeth o blaid yr Efengyl. Trwy y Gair y mae y byd i gael ei orchfygu; trwy y Gair y mae yr eglwys i gael ei chynnal; ïe, hyd yn nod Anghrist, fel y dechreuodd heb y dwrn, felly hefyd heb y dwrn y dryllir ef yn ddarnau gan y Gair." Ond atebiad y Pab i hyn oll oedd anfon allan ar y 4ydd o Ionawr, 1521, Bab-archiad arall yn esgymuno Luther a'i ganlynwyr, ac yn gwneuthur yn anghyfreithlawn eu llochi mewn unrhyw le.

Ni yngan͏odd Frederic y Doeth air, ac ymofynai pawb beth a wnelai Charles V., yr Ymherawdwr newydd-etholedig. Yr oedd *Diet*, neu Eisteddiad Tywysogion yr Ymherodraeth i gyfarfod yn mis Ebrill y flwyddyn hono, 1521, yn Worms, a galwodd Charles Luther i ymddangos ynddi. Yr oedd yn rhaid i'r wŷs ddyfod trwy ei dywysog, yr Etholwr Frederic, a chafodd yntau gan Charles deithnodded iddo. Nid oedd hyny y peth a fynasai Rhufain. Yr ydoedd Luther wedi ei

esgymuno, ac ystyriai pob Pabydd da yn bechod fod dim a wnelai âg ef. Ac eto dyma efe yn cael ei wysio i ymddangos ac i gael ei arholi o flaen Charles a'r tywysogion yn y *Diet*, a *safe-conduct* ymherodrol yn cael ei roddi iddo. Ond os nad oedd hyny yn gymaint ag a fynasai Rhufain ofyn, mae yn debyg fod Charles yn gweled ei fod, dan yr amgylchiadau, yn gymaint ag a allasai efe ganiatâu. Eto yr oedd amgylchiadau y fath ag a barai i gyfeillion Luther ddirfawr bryder. Ni allent lai na chofio fod Huss wedi cael ei lofruddio *er* y teithnodded, ac fod Rhufain yn alluog i gyfiawnhâu unrhyw anfadrwydd a fynai gyflawni. Ond yr oedd y Diwygiwr ei hun mewn hunan-feddiant rhyfedd. Yr ychydig obaith oedd ganddo oedd oddiwrth eiriau yn y wŷs a sonient am wneuthur ymchwiliad yn ei gylch *(scrutinium de te sumere)*, ond teimlai nad ydoedd ond pur ychydig. Er y cwbl nid oedd arno ddim ofn. "Mi a af," meddai, "os rhaid fy nghario yn glaf yn fy ngwely. Fe'm gelwir gan yr Arglwydd pan eilw yr Ymherawdwr fi. Yr wyf yn hyderu yn unig na fydd i Ymherawdwr Germany ddechreu ei deyrnasiad trwy dywallt gwaed gwirion. Mi ddewiswn yn hytrach gael fy llofruddio gan bobl Rhufain." Mynai Melanchthon, rhyngddo â'r hwn y tyfasai cyfeillgarwch fel yr eiddo Dafydd a Jonathan, fyned gydag ef, ond ni oddefai Luther iddo. Dywedai wrth ffarwelio âg ef, "Os na ddychwelaf, ac os bydd i'm gelynion fy llofruddio, yr wyf yn dy dynghedu di, anwyl frawd, na fo i ti beidio dysgu a sefyll o du y gwirionedd. Gweithia yn y cyfamser drosof finnau hefyd, oblegid ni allaf fod yma; gelli di wneyd yn well na mi. Nid yw o nemawr bwys beth a ddaw o honof fi, os byddi di yn aros. Mae gan yr Arglwydd ryfelwr dysgedig wedi ei adael ynot ti." Rhwygodd ei hun oddiwrth ei gyfeillion yn Wittenberg, heb gymeryd gydag ef ond Nicholas Amsdorff, Jerome Schurff, y cyfreithiwr dysgedig, un boneddwr, a James ei frawd; a chychwynasant mewn math o wagen orchuddiedig tua Worms. Yr oedd yr herald ymherodrol, Casper Sturm, yn ei wisgoedd swyddol, gan ddwyn yr eryr ymherodrol, gyda'i was, yn marchogaeth o flaen Luther a'i gymdeithion.

Dyma yr adeg fwyaf arddunol yn holl fywyd y Diwygiwr. Yr ydoedd dan felldith Rhufain, ac yn myned i sefyll prawf ger bron nifer llïosog o fawrion, y rhai, er yn meddu amryw gwynion yn erbyn y Pab, oeddent, gan mwyaf o lawer, yn wrthwynebol iddo ef. Yr oedd peryglon ei holl yrfa anturiaethus hyd hyny, yn yr helynt fawr hono, megys wedi eu crynhoi i bwynt. Ond yr oedd ei nerth a'i wroldeb yntau yn gyfatebol. Yr ydoedd, fel Moses, yn "ymwroli fel un yn gweled yr anweledig." Yr oedd dwfn gydymdeimlad y bobl âg ef yn cael ei ddangos ymhob man, ac yr oedd ei siwrnai ymron fel gorymdaith buddugoliaeth. Wrth roddi hanes y daith dywed Myconius: "Pan ddeuai i fewn i dref fe dyrai y bobl ynghyd i weled y dyn rhyfedd oedd mor wrol, a'r hwn a feiddiai sefyll yn erbyn y Pab a'r holl fyd a ddaliai ei fod yn Dduw mewn gwrthwynebiad i Grist. Rhai a roddent iddo gysur tlawd, ac a ddywedent, gan fod cynifer o gardinaliaid ac esgobion yn Worms yn y *Diet*, y llosgid ef yn lludw yn union, fel Huss yn Constans. Ond atebai Luther y fath ddynion gan ddywedyd: "A phe'r adeiladent dân rhwng Wittenberg a Worms a gyrhaeddai hyd y nefoedd, yn enw yr Arglwydd mi a ymddangoswn, a cherddwn i enau Behemoth, rhwng ei ddannedd

mawrion, a chyffeswn Grist, gan adael iddo Ef wneuthur ei ewyllys." Cyfarfu Bucer âg ef yn Oppenheim, yr hwn oedd yn ngwasanaeth y Marchog von Sickingen, a chynnygiai ei gastell ef, yr Ebernburg, iddo fel noddfa, ac ychwanegai y gallai yno ddyfod i gyd-ddealltwriaeth â Glapio, cyffeswr yr Ymherawdwr, yr hwn oedd mewn awdurdod i siarad âg ef, heb fod yn angenrheidiol iddo fyned i Worms. Ar bob llaw yr oedd ei fyned yno yn beth na ellid bod yn awyddus am dano! Ond atebai Luther: "Mi a af ymlaen; os oes gan gyffeswr yr Ymherawdwr rywbeth i'w ddyweyd wrthyf fi, fe all ei ddyweyd yn Worms." Anfonodd Spalatin hefyd, caplan Etholwr Saxony, a chyfaill mynwesol iddo yntau, trwy genad arbenig, nad oedd wiw iddo fyned i Worms. Dyna pan lefarodd yntau y geiriau bythgofiadwy: "A phe byddai cynifer o ddiafliaid yn Worms ag sydd o lechi ar benau y tai, mi awn yno." Ac nid oedd yn dyweyd hyn mewn ymffrost nac anystyriaeth, ond yn yr ymwybodolrwydd tawel o'r nerth a roisid iddo gan Dduw i ddwyn tystiolaeth drosto. Gan gyfeirio at hyn mewn adeg ddiweddarach, ysgrifenai: "Yr oeddwn yn eofn, ac heb fod arnaf ofn dim. Mae Duw yn abl, mae yn ddiammeu genyf, i wneyd dyn mor wallgof hyderus. Ni wn a fyddwn mor eofn yn awr." Am ddeg o'r gloch boreu yr 16eg o Ebrill, 1521, aeth Luther i fewn i Worms. Yr oedd amryw uchelwyr wedi ei gyfarfod y tu allan i'r ddinas, ac yr oedd y rhai a'i dilynent i'w lettŷ dros 2000 o nifer. "Fel hyn," meddai, "gyda'm cwcwll am fy mhen, aethum i fewn i Worms mewn gwagen agored. Yr holl bobl a ddylifent i'r heol, yn awyddus i weled Dr. Martin, y mynach."

Y boreu wedi ei ddyfodiad, gwysiwyd ef gan ringyll yr ymherodraeth, Pappenheim, i ymddangos ger bron yr Eisteddiad cynnulledig. Wedi iddo adael ei ystafell, syrthiodd Luther ar ei liniau a gweddïodd: "Dduw, Duw, O fy Nuw! tyred Di yn gymhorth i mi, ac amddiffyn fy achos a'r eiddot Tithau yn erbyn doethineb y byd. Caniatâ i mi y deisyfiad hwn; Ti yn unig all wneyd. Dy achos Di ydyw, O fy Nuw, nid fy achos i; Tydi sydd i fy amddiffyn rhag mawrion y ddaear. Dy achos Di ydyw, achos cyfiawnder a thragywyddoldeb. Duw amser oll, tyred yn gymhorth i mi; dyro y cymhorth nad all neb dynion ei roddi. Cnawd sydd gnawd, dyn sydd greadur tlawd, gwan, methedig, llesg. O fy Nuw, a oes genyt glustiau? Ai nid wyt yn fy nghlywed? A ydwyt wedi marw? Na, ni elli Di farw. Gan hyny, O fy Nuw, cymhorth fi yn enw dy anwyl Fab Iesu Grist, fy nerth a'm cynnorthwy, fy nghastell a'm hamddiffynfa. Pa le yr ydwyt, O fy Nuw, pa le yr ydwyt; Tyred, tyred! Yr wyf yn barod i roddi fy mywyd i fyny fel oen. Achos cyfiawnder ydyw; dy achos Di; ac ni ysgaraf fy hun oddiwrthyt Ti. Ni all y byd orchfygu; a phe byddai yn meddiant lleng fwy o ddiafliaid, hyd yn nod pe byddai i waith dy ddwylaw Di ymollwng, ac i'r ddaear agor ei cheufäoedd o'm blaen, arosaf yn ddiysgog; fy enaid sydd eiddot Ti, a chyda Thi i dragywyddoldeb. Amen. O fy Nuw, cymhorth fi. Amen." Nid rhyfedd fod gŵr a allai weddïo fel yna yn gryf. Galwodd Pappenheim am dano bedwar o'r gloch y prydnawn, ac aeth o'i flaen, gyda yr herald ymherodrol. Yr oedd ganddynt i weithio eu ffordd trwy dyrfa anferth o bobl y rhai a lanwent yr heolydd, a gorfodid hwy yn fynych i fyned trwy y gerddi oedd gerllaw i gyrhaedd y "tŷ

barn," fel y galwai Luther y lle yr oedd y *Diet* yn eistedd. Wrth ddrws y neuadd, yr oedd y gwron briglwyd, Freundsberg, wedi ei osod. Rhoddodd hwn ffat ar ysgwydd Luther wrth iddo fyned i mewn, a dywedai yn garedig, "Fynach bach, fynach bach, yr wyt yn awr yn myned i sefyll ymgyrch na wybuwyd erioed am ei chyffelyb na chenyf fi fy hun na chan lawer cadlywydd arall yn nydd y frwydr boethaf. Os wyt ar yr iawn ac yn sicr o'th achos, dos ymlaen, yn enw Duw, a bydd galonog, oblegid ni wrthyd Efe di." "Ai tydi ydyw, anwyl Freundsberg?" ebe Luther, gan wasgu llaw y cadben gonest; "mae genyf i ddiolch i ti am air yn ei amser." Wedi myned i fewn yr oedd yr olygfa yn newydd iawn iddo. Yr oedd yr Ymherawdwr yno yn ei ogoniant ar ei deyrngadair, a cherllaw iddo yr Archdduc Ferdinand ei frawd; yr oedd yno hefyd chwech o dywysogion etholiadol, wyth ar hugain o dduciaid, deg ar hugain o breladiaid, nifer o dirieirll ac o ardalyddion, archesgobion, esgobion, abadau, cynnrychiolwyr dinasoedd, a llysgenadon o ymron holl deyrnasoedd Ewrop, yn gwneyd cynnulliad o tua 200 o wŷr urddasol. Yr oedd dau genad y Pab, Caraccioli ac Aleander, hefyd yn bresennol. Yr oedd amryw filoedd o bobl hyd y mynedfeydd i'r neuadd, yr heolydd cylchynol, ac o amgylch y ffenestri. Ar fwrdd yn nghanol y neuadd, gorweddai llyfrau Luther. Gofynai John von Eck, canghellydd Archesgob Treves — nid y dadleuydd o Ingolstadt, fel yn amryfus y tybiai Froude, gan ei alw "ei hen elyn," —a oedd efe yn cydnabod y llyfrau hyny fel yn eiddo ef? Atebai Luther ei fod. Yna gofynid iddo a wnai efe eu galw yn ol? Gofynai yntau am amser i ystyried y cwestiwn hwnw. Caniatäwyd ei gais, a thybid yn sicr ei fod yn myned i wneyd yr hyn a geisid ganddo. Drannoeth drachefn daethpwyd i ymofyn am dano am bedwar o'r gloch, ond gan faint y dorf yr ydoedd yn chwech cyn y cyrhaeddasant neuadd yr Eisteddiad. Pan roed cenad iddo siarad, dechreuai trwy ymesgusodi gyda llawer o wylder am unrhyw drosedd o ran ffurf a allai gyflawni yn ei anerchiad, neu am unrhyw gamgymeriad a allai wneyd gyda golwg ar deitlau y rhai y safai yn eu gwydd, "gan nad ydoedd efe wedi ei ddwyn i fyny mewn llysoedd, ond mewn mynachdai, ac am hyny yn anghynnnefin â siarad o flaen arglwyddi mawrion." Am ei lyfrau, dangosai fod yn anmhosibl iddo alw yr un o honynt yn ol, can belled ag yr oedd hanfod eu cynnwys yn myned, er y cydnabyddai y gallai ei fod yn awr ac yn y man wedi defnyddio ymadroddion mwy tanllyd nag oedd yn gweddu i'w sefyllfa. "Ond," ychwanegai, "ni allaf fi, nad wyf ond dyn, helpu nac amddiffyn fy llyfrau truain mewn un ffordd amgen nag a ddefnyddid gan fy Arglwydd a'm Gwaredwr gyda golwg ar ei athrawiaeth. Pan holid ef gan yr archoffeiriad Annas am ei athrawiaeth, ac wedi iddo gaél ei daro gan was yr archoffeiriad, Efe a ddywedodd, 'Os drwg y dywedais, tystiolaetha o'r drwg;' yn awr os nad oedd yr Arglwydd, oedd yn gwybod na allai gyfeiliorni, yn gwrthod gwrando tystiolaeth yn erbyn ei athrawiaeth, hyd yn nod oddiwrth wasanaethydd isel a dirmygedig, pa faint mwy y dylwn i, nad wyf ond llwch a lludw, a thueddol i gyfeiliorni, ofyn am dystiolaeth yn erbyn fy athrawiaeth? Am hyny, trwy drugaredd Duw, yr wyf yn erfyn ar eich uchelder ymherodrol, eich grasau etholiadol a thywysogol, neu unrhyw berson arall, boed uchel boed isel, a

feddo y gallu angenrheidiol, i ddwyn tystiolaeth yn fy erbyn, a phrofi trwy Ysgrythyrau y prophwydi a'r apostolion fy mod wedi cyfeiliorni. Os argyhoeddir fi o hyn, byddaf ewyllysgar a pharod i alw yn ol bob cyfeiliornad, a byddaf y cyntaf i daflu fy llyfrau i'r tân." Y geiriau hyn, a llawer yn ychwaneg a lefarodd Luther, yn gyntaf yn y Germanäeg, ac yna ar gais yr Ymherawdwr, yn Lladin. Cydnabyddid ei fod yn siarad yn barchus a chydag urddas tawel, ond yr oedd yr argraff a gynnyrchai ei eiriau yn annesgrifiadwy. Adgofid ef gan y Canghellydd nad atebasai y cwestiwn a roisid iddo, pa un a ydoedd yn galw ei ysgrifeniadau yn ol; ac ychwanegai nad ydoedd wedi ei gael yno i alw i gwestiwn benderfyniadau cynghorau; galwesid ef i roddi atebiad clir a diamwys, heb gyrn: a ydoedd, ai nid ydoedd yn galw yn ol? Yna atebai yntau yn gwbl ddibetrus: "Gan fod eich mawrhydi teg a'ch uchelderau dyrchafedig yn gofyn genyf atebiad clir, syml, a chryno, mi roddaf i chwi un, heb iddo na chyrn na dannedd, a dyma fe: Ni allaf ddarostwng fy ffydd i na Phab na chynghorau, oblegid y mae mor amlwg â'r dydd eu bod yn fynych wedi cyfeiliorni a gwrthddywedyd eu gilydd. Oddieithr gan hyny fy argyhoeddi trwy dystiolaeth yr Ysgrythyrau, neu y rhesymiad cliriaf, ac oddieithr iddynt felly wneyd fy nghydwybod yn rhwym trwy Air Duw, ni allaf ac ni wnaf alw yn ol, oblegid nid yw ddiogel i Gristion siarad yn erbyn ei gydwybod." Ac yna, gan edrych o amgylch ar y cynnulliad o flaen pa un y safai, a'r hwn yr oedd ei fywyd yn ei law, dywedodd y geiriau bythgofiadwy: "Yma yr wyf yn sefyll, ni allaf yn amgen; cynnorthwyed Duw fi. Amen!"

Yr ydoedd bellach yn dywyll, a chynneuasid fflamdyrch yn y neuadd cyn i'r eisteddiad derfynu. O'r diwedd danfonwyd Luther ymaith, a thybid ei fod yn cael ei gymeryd i ddaeargell, ac mae yn eithaf tebyg mai felly y bwriedid. Ond yn ffodus yr oedd gan y rhan fwyaf o'r tywysogion gwynion o'r eiddynt eu hunain yn erbyn y Pab; ac er yn wrthwynebol i Luther, nid oeddynt yn awchus i foddhâu Rhufain trwy ei gondemnio nes i'r cwynion hyny gael eu symud. Yr oedd eraill o honynt yn cydymdeimlo âg ef. Ac eraill, tra heb falio nemawr am y ddadl rhyngddo â Rhufain, eto yn teimlo cymaint oddiwrth y gwroldeb ardderchog a ddangosasai fel nad oedd yn hawdd ganddynt ei gondemnio. Wedi cael ei anadl ar ol y cyffro, dywedai yr Ymherawdwr ei hunan: "Mae y mynach yma yn siarad â chalon wrol ac â dewrder di-droi-yn-ol." Wedi cyrhaedd ei letty, taflodd y Diwygiwr ei ddwylaw i fyny, a dywedodd: "Yr ydwyf drwodd! Yr ydwyf drwodd! Pe buasai genyf fil o benau, buasai raid eu tori ymaith, y naill ar ol y llall, cyn y buaswn yn galw fy ngeiriau yn ol." Tra yr oedd Spalatin a chyfeillion eraill o'i amgylch yn diolch i Dduw ac yn ymddyddan âg ef, daeth gwas gyda fflagen arian wedi ei llanw o gwrw Eimbeck, gan ddyweyd fod ei feistr yn ei wahodd i'w adloni ei hun gyda'r dracht hwnw. "Pwy ydyw y tywysog," ebai yntau, "sydd yn fy nghofio mor dirion?" "Y Duc Eric o Brunswick. Mae ei uchelder wedi ymddarostwng i'w brofi cyn ei anfon i chwi." Yna, yn sychedig, tywalltodd beth o gwrw y Duc, ac wedi ei yfed, dywedodd: "Fel y mae y Duc Eric heddyw wedi fy nghofio i, felly bydded i'n Harglwydd Iesu Grist ei gofio yntau yn awr ei ymdrech olaf." Dywedir i'r Duc oed-

ranus, pan ddaeth yr awr hono, gofio ei eiriau, a chan gyfarch *page* ieuanc a safai wrth ei wely, iddo ddyweyd: "Cymer y Bibl a darllen ef." Darllenodd yntau, er cysur i'r hen uchelwr, y geiriau: "Canys pwy bynag a roddo i chwi gwpanaid o ddwfr oer yn fy enw i, am eich bod yn perthyn i Grist, yn wir meddaf i chwi, Ni chyll efe ei wobrwy." Yr oedd y *landgrave* ieuanc, Philip o Hesse, a ddaeth wedi hyny yn un o gyfeillion ffyddlonaf y Diwygiad, ymysg y rhai a alwent i weled Luther, a phan yn ysgwyd llaw wrth ymadael, dywedai: "Os ydych ar yr iawn, Doctor, Duw a'ch cynnorthwyo!" A'r hyn oedd bwysicach fyth iddo ef, yr oedd ei dywysog ef ei hunan, yr Etholwr Frederic, bellach wedi ei ennill drosodd yn gwbl at ei achos, a phenderfynai wneyd ei oreu o'i blaid.

Gwnaed llawer ymdrech wedi hyny yn ddirgelaidd i geisio ei gael i alw yn ol; ond nid oedd o un dyben. Gofynodd yr hybarch Archesgob Treves iddo, "Pa ymwared gan hyny a elli di enwi?" "Dim," meddai yntau, "ond geiriau Gamaliel: 'Os o ddynion y mae y gwaith, fe a ddiddymir; eithr os o Dduw y mae, nis gellwch chwi ei ddiddymu.'" Wedi bod bythefnos yn Worms fe'i gollyngwyd ymaith, gyda gorchymyn na phregethai ar ei ffordd adref. Ond gan ddyweyd fod Gair Duw yn rhydd, fe bregethodd yn Hirschfeld ac Eisenach. Ac wedi troi o'r neilldu o'r lle olaf i ymweled â rhai o'i berthynasau yn yr hen ardal Möhra, wrth iddo ddychwelyd fe ddisgynodd pump o wŷr meirch ar y cwmni, y rhai oeddynt dan fwgwd, ac yn arfog o'u pen i'w traed. Can gynted ag y gwelodd James Luther hwynt, neidiodd allan a diangodd am ei hoedl. Yr oedd y gyriedydd am wrthwynebu. "Aros!" ebai un o'r ymosodwyr mewn llais ofnadwy, gan syrthio arno a'i fwrw i'r llawr. Cymerodd un arall afael yn Amsdorff, gan ei ddal o hirbell. Yn y cyfamser ymaflodd y tri eraill yn Luther, ac heb ddyweyd gair, tynasant ef allan o'r wagen, taflasant fantell filwraidd drosto, a gosodasant ef ar geffyl a arweinid ganddynt. Gadawodd y ddau eraill Amsdorff a'r gyriedydd; neidiodd y pump i'w cyfrwyau—collodd un ei het, ond ni fu yn wiw ganddynt aros i'w chodi—ac mewn amrantiad diflanasant gyda'u carcharor i'r goedwig dywell. Nid oedd y fath amgylchiad heb fod i gryn fesur yn frawychus, a thaenid pob math o chwedlau am dyngod y Diwygiwr. Aeth y cri drwy Germany, fod Luther wedi syrthio i ddwylaw ei elynion! Ar yr 8fed o Fai, cyhoeddwyd *edict* Worms, yr hwn oedd yn ei osod dan felldith yr ymherodraeth, a'i fywyd felly yn fforfed. Ond yr oedd efe wedi diflanu mor lwyr o olwg y byd â phe buasai y ddaear wedi agor ei safn a'i lyncu, a chau am dano fel o'r blaen. Fe ddarfu i'r meirchfilwyr ei gymeryd igam-ogam hyd ffyrdd mor anhygyrch yn y goedwig, fel na buasai ond ofer meddwl am fyned ar eu hol a cheisio eu goddiweddyd. Yr oedd eu carcharor, gan ei fod yn anghynnefin â marchogaeth, yn fuan wedi blino yn fawr, a chaniateid iddo ddyfod i lawr am ychydig a gorphwys dan ffawydden, ac yfed dwfr o ffynnon, a elwir eto ar ei enw. Can gynted ag y dechreuodd dywyllu, cymerasant gyfeiriad arall, a thuag un ar ddeg o'r gloch o'r nos, daethant at droed mynydd; esgynai y ceffylau yn araf i'w ben, ac yno, yn gylchynedig o bob cyfeiriad ond yr hwn ar hyd pa un yr esgynent, gan goedwig Thuringia, yr oedd hen gastell y Wartburg. Yno fe roddwyd pob ym-

geledd i Luther, a chafodd orphwys oddiwrth ei lafur. Newidiwyd ei ddillad am wisg marchog; yr ydoedd i adael i'w farf dyfu, ac i gario ei gleddyf, ac adwaenid ef gan bawb yn y lle fel y "Marchog George." Yr oedd hyn oll wedi ei drefnu—nid heb wybodaeth yr Etholwr—mewn gofal caredig am dano; oblegid dan esgymundod y Pab a melldith yr ymherodraeth ni fuasai ei fywyd yn ddiogel yn unlle arall. Ac yr oedd yn werthfawr iddo mewn llawer ystyr gael ei gipio o ganol y dymhestl gynhyrfus y buasai ynddi cyhyd, i neillduedd y fath orphwysfa dawel, i "ymddyddan â'i galon" ac i gynnal cymundeb â Duw. Yn achlysurol cymerid ef allan i hela, ond ni allai wneyd hyny heb fod ei feddyliau yn llawn o'r pethau mawrion. Un diwrnod, yn nghanol cyffro yr helwriaeth, safai y Marchog George yn llonydd, ac wedi meddwl ychydig, gofynai: "Onid yw hyn yr un fath â'r diafol yn gosod ei gŵn—hyny yw, yr esgobion, y cynnrychiolwyr hyny o eiddo Anghrist, ac yn eu gyru ymlaen i erlyn eneidiau?" Daliwyd unwaith ysgyfarnog ieuanc, ac yn llawen o'r cyfle i'w rhyddhâu, lapiodd hi yn ei fantell a gosododd hi i lawr yn nghanol prysglwyn; ond prin yr aethai fwy nag ychydig gamrau o'r lle nad oedd y cŵn wedi ei sawru a'i lladd. Wedi tynu ei sylw gan y sŵn, a gweled yr hyn oedd wedi cymeryd lle, gwaeddai: "O Bab! ac O dithau Satan! fel hyn yr ymdrechwch ddinystrio, ïe yr eneidiau hyny a achubwyd rhag marwolaeth." Am yspaid yr oedd ei gyfeillion yn y pryder mwyaf yn ei gylch, a chyn hir yr oedd digofaint y bobl, dan yr ofnad fod ei elynion wedi ei ddinystrio, yn cynneu mor ffyrnig fel yr oedd hyd yn nod llawenydd ei elynion yn troi yn ddychryn mawr. Yr oedd hyd yn nod Aleander mewn marwol fraw. Ysgrifenai un Pabydd at Archesgob Mentz: "Yr unig ffordd i ni i'n hachub ein hunain ydyw goleu fflamdorchau a chwilio am Luther trwy yr holl fyd, er ei adfer i'r genedl sydd yn galw am dano." Dywedid "y byddai i farwolaeth Luther beri tywallt cenllifoedd o waed." Ond cyn pen nemawr yr oedd Melanchthon yn gallu sicrhâu ei gyfeillion ei fod yn ddiogel. Mae y llythyrau a anfonai y pryd hyny "o Patmos," "o'r anialwch," "o deyrnas yr awyr a'r adar," fel y galwai fangre ei neillduaeth, yn taflu goleu hynod ar ei gymeriad, ac yn dangos y mawr anhawsder a deimlai i ddygymmod â'i dynged pan oedd rhyfel yr Arglwydd yn cael ei hymladd. "Byddai yn well genyf," meddai, "gael fy ngosod ar farwor tanllyd, na gorwedd yma yn hanner marw." Yr oedd ganddo ymddiried mawr yn Melanchthon. "Os byddaf fi farw," meddai, "ni fydd i'r Efengyl golli dim; fe fydd i ti fy nilyn fel y dilynodd Eliseus Elias, gyda deuparth o'm hysbryd." Ac yr un pryd cofiai ofnusrwydd ei gyfaill, a dywedai: "Weinidog y Gair! cadw furiau a thyrau Jerusalem, nes dy daro i lawr gan y gelyn." Am dano ei hun dywed "ei fod yno ar hyd y dydd mewn seguryd a phleserau." Mae yn debyg fod y "pleserau" yn golygu y lluniaeth a osodid o'i flaen, yr hwn oedd gryn lawer yn fwy danteithiol nag a gai yn y fynachlog, ac a brofodd gymaint yn ormod felly fel y bu raid iddo ofyn am gael dychwelyd at yr ymborth mwy syml yr arferasai âg ef. Am "seguryd," er ei fod allan o gyffro y rhyfel, ac yn mwynhâu gronyn o seibiant y mynydd, ac yn cael ychydig o gymdeithas â natur, eto wrth gofio am ymdrechion ei ysbryd, a'r llafur diorphwys yr aeth drwyddo yn ystod un mis ar ddeg ei arosiad yn y Wartburg, yr oedd ei

"seguryd" yn ddiau yn un anghyffredin. Yn yr un llythyr dywed: "Yr ydwyf yn darllen y Bibl yn Hebraeg a Groeg; yr wyf yn myned i ysgrifenu traethawd yn Germanäeg ar Glust-Gyffesiad; myfi a barhâf y cyfieithiad o'r Salmau, a chyfansoddaf gyfrol o bregethau, gan gynted ag y derbyniaf yr hyn sydd arnaf eisieu o Wittenberg. Yr wyf yn ysgrifenu yn ddibaid." Ysgrifenai draethawd ar ol traethawd, ar y naill law i adeiladu a chadarnhâu, ac ar y llaw arall i chwalu a dadymchwel. Cyhoeddid y rhai hyny y naill ar ol y llall gyda'r fath gyflymdra, a darllenid hwy ar bob llaw gyda'r fath awch, fel yr oedd Luther yn neillduedd ei alltudiaeth yn peri ei deimlo ymron yr un fath â phe buasai yn nghanol yr ymgyrch. Ac yn arbenig fe lafuriodd yn dra egnïol y pryd hyny gyda y gwaith mawr o gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r Germanäeg. Dyma y cyfraniad pwysicaf o'i eiddo o'r cwbl i achos y Diwygiad. Wedi dymchwelyd awdurdod y Babaeth, fe sefydlodd yn ei lle awdurdod Gair Duw, ac fe roddes hwnw yn bur a dilwgr, ac yn yr iaith a ddeallent, yn llaw gwerin ei genedl.

Yr ydys weithiau yn edrych ar neillduaeth y Wartburg, ynglŷn â chyfieithiad yr Ysgrythyrau i'r Germanäeg, fel alltudiaeth Ioan i Patmos, lle y derbyniodd at wasanaeth yr eglwys y Dadguddiad gan Iesu Grist. Ac y mae mesur o briodoldeb yn hyny, yn gymaint ag mai yno y dechreuwyd ar y gwaith, ac fe wnaed hyny mewn ffordd mor effeithiol ag a sicrhâi, mewn amser, ei gwblhâd. Yr oedd yr amcan o osod gair Duw o flaen ei genedl yn ei hiaith ei hun, wedi llwyr feddiannu ysbryd y Diwygiwr, ac mor ddwfn oedd ei ymdeimlad o'i bwysigrwydd fel na fynai adael i ddim ei lesteirio i'w ddwyn oddiamgylch. Ond y mae myned i fewn i'r hanes yn gwneyd i ffwrdd i gryn fesur â'r rhamantrwydd ag y mae y syniad poblogaidd yn gysylltu â'r gwaith hwn. Yn lle bod y Bibl i gyd wedi ei gyfieithu yn y Wartburg, a thrwy fath o ysbrydoliaeth, fel ag a briodolir yn y chwedlau i gyfieithiad y Deg a Thriugain, ni chyfieithiwyd yno mewn gwirionedd ond y Testament Newydd a Phum' Llyfr Moses, ac o'r rhei'ny ni wnaed ond y brasysgrif neu y *draft* cyntaf. Y rhyfeddod fawr ydyw fod cymaint yn y ffordd hono wedi ei wneyd; ond yr oedd y gwaith o ddwyn y cyfieithiad o'r Ysgrythyrau i'r perffeithrwydd ag y mae Germaniaid o hyny hyd yn awr yn ymffrostio ynddo, yn llafur na chwblhäwyd hyd 1534, neu dair blynedd ar ddeg yn ddiweddarach. Fe gafodd Luther gynnorthwy tra gwerthfawr gan Melanchthon ac eraill yn y gwaith hwn, ac yr oedd y boen a gymerodd efe ei hunan gydag ef ymron yn anhygoel. Ysgrifenai yn 1528 at Wenceslaus Link fel y canlyn: "Yr ydym yn awr ar waith ar y Prophwydi, yn eu troi i'r Germanäeg. Y fath waith anferth a blinderus ydyw gorfodi yr ysgrifenwyr Hebreig i siarad Germanäeg! Fel y maent yn gwingo yn ei herbyn, ac na fynant adael eu Hebraeg i ddilyn y Germanäeg arw. Y mae yr un fath â phe ymdrechai un i wneyd i'r ëos adael heibio ei pheroriaeth felus a dynwared y gôg." A thrachefn mewn cyfeiriad at yr un anhawsderau: "Yr ydwyf wedi bod yn ymdrechu yn barhâus i drosglwyddo yr Hebraeg i Germanäeg bur a chlir, ac y mae wedi dygwydd yn fynych ein bod wedi gweithio ar un gair am ddwy, tair, a phedair wythnos, ac er hyny weithiau heb gael cyfieithiad boddhäol iddo. Yn Job, byddai Meistr Philip, Aurogelus, a minnau weithiau bedwar diwrnod yn cael dros dair llinell. Wel, yn

awr pan y mae wedi ei droi i'r Germanäeg a'i orphen, fe all y neb a fyno ei ddarllen a'i feistroli. Gallai un redeg ei lygaid dros dri neu bedwar o dudalenau heb yr un trip, ac heb ddychymygu pa nifer o greigiau a boncyffion unwaith a orweddent yno—yno lle mae yn awr mor esmwyth â bwrdd wedi ei lyfnhâu, ond lle bu raid i ni chwysu a thrafferthu. Mae yn hawdd aredig pan mae y maes wedi ei glirio." Fe ystyrir iddo fod yn hynod lwyddiannus, fel ein cyfieithwyr ni ein hunain, mewn cadw ar ganol y llwybr, rhwng gormod rhyddid mewn aralleirio ar y naill law, ac ymlyniad rhy gaeth wrth briod-ddulliau yr ieithoedd gwreiddiol ar y llaw arall. Fe wnelai yr ymdrech fwyaf egnïol i ddeall yn glir, yn y lle cyntaf, feddwl yr ysgrifenwyr sanctaidd; ac wedi gwneyd hyny, gan ei fod yn bwriadu ei gyfieithiad at wasanaeth gwerin ei wlad, fe chwiliai gyda dyfalwch mawr am yr ymadroddion a'i galluogai i'w ddwyn adref yn y modd mwyaf effeithiol at feddwl a chalon ei gydwladwyr. Er mwyn gallu dynodi yn briodol y meini gwerthfawr y sonir am danynt yn Dadguddiad xxi., fe geisiodd trwy ei gyfaill Spalatin fenthyg detholiad o'r fath emau o *cabinet* yr Etholwr. Hefyd fe fynodd wybodaeth gyflawn a manwl am enwau anifeiliaid, adar ysglyfaethus, ac ymlusgiaid y sonir am danynt yn y Bibl. Ymgymysgai yn fynych â'r bobl gyffredin yn y farchnadfa, fel y gallai gipio eu dull o lefaru hyd yn nod o'u genau, megys; ac fe roddes ei gyfeillion ar waith i geisio iddo gyflenwad o ymadroddion poblogaidd da, oblegid, meddai, "ni allaf ddefnyddio geiriau cestyll a llysoedd." Dywed Mathesius iddo ar un achlysur wneyd i gigydd ladd dafad o'i flaen ac esbonio iddo ei holl ddifyniaeth, fel y gallai ddefnyddio y termau priodol wrth gyfieithu y fath ymadroddion yn y Bibl ag sydd yn son am aberthau a rhanau mewnol anifeiliaid. Ac yn wir hyd y diwedd, fe ystyriai efe a'i gyfeillion unrhyw lafur yn ateb dyben da os tueddai i ryw fesur i berffeithio y cyfieithiad o'r Ysgrythyrau. Yr oedd amryw geisiadau wedi eu gwneyd o'r blaen i gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r Germanäeg, ond yr oedd y cyfieithiadau hyny wedi eu gwneyd o'r *Vulgate* Lladin, ac mewn dull nad allasai ddyfod adref ond i fesur bychan at feddwl a chalon y genedl, heblaw eu bod hefyd yn gostus, ac yn llafurio dan yr anfantais o ymddangos ar adegau rhy farwaidd i deimlo nemawr ddyddordeb ynddynt. Ond yr oedd y cyfieithiad hwn yn cael ei wneyd gan ysgolheigion gwych, o'r Hebraeg a'r Groeg yn uniongyrchol; yr ydoedd hefyd yn cael ei wneyd yn yr arddull fwyaf cyfaddas i gyrhaedd y werin yn eu hymadroddion neillduol hwy eu hunain; ac yr oedd ysbryd y Diwygiad wedi parotoi y bobl iddo yn y fath fodd fel nad ydoedd mor ryfedd, ac ystyried pobpeth, i Agricola ddyweyd, "Yn awr y mae Duw wedi dechreu siarad Germanäeg."

Ac yr ydoedd Luther yn hyn yn dangos cymaint o fawredd ag mewn dim yn ei holl hanes. Yr oedd y gwaith mawr yn myned rhagddo ymhob man; fe brofwyd trwy neillduaeth y Wartburg, yn arbenig, ei fod o natur a bywiolrwydd a'i codai ymhell uwchlaw dibynu ar ei ymdrech bersonol ef, er mor werthfawr ydoedd, ac er maint yr amddifadrwydd a deimlai ei gyfeillion o golli ei bresennoldeb a'i gynnorthwy. Ac fe'i harweiniwyd yntau, ac yn ddiammeu gan ddoethineb uwch na'r eiddo ef ei hun, i grynhoi ei ymadferthoedd ar wasanaeth a fyddai o fwyaf o werth mewn ffordd o sicrhâu parhâd y gwaith da. Er hyny fe gyfranai

lawer tuag at rymuso yr ymdrech ar y pryd. Fel y gwelsom, yr ydoedd o neillduedd dyeithr ei "Batmos" yn gymaint o ddychryn i elynion y gwirionedd, os nad mwy, nag ydoedd, ïe, yn Worms. Ar y pryd fe dybiodd Albert, Archesgob Mentz, fod Luther bellach wedi ei gwbl ddystewi, a chan faint ei angen am arian i gynnal i fyny rwysg ei lys a'i anferth wastraff, fe anturiodd ail gyfodi yn Halle hen fasnach y maddeuon. Ysgrifenodd Luther ar unwaith lythyr ofnadwy ato i'w rybuddio, ac os na pheidiai, y cyhoeddai lyfr a ysgrifenasai "Yn erbyn Eilun Newydd Halle." Prin y buasai taranfollt yn peri mwy o ddychryn; ac fe ymostyngodd y gŵr mawr i'r gwaseidd-dra o ysgrifenu llythyr ato yn derbyn ei gerydd ac yn ymostwng yn ddirfawr. Fe wyddai Luther mai rhagrith ydoedd y cwbl, ac ni allai lai na'i ddiystyru; ond rhoddwyd masnach warthus y maddeuon i fyny, ac yr oedd hyny iddo, wrth reswm, yn llawenydd mawr.

Cyn hir, fodd bynag, fe gododd profedigaeth o gyfeiriad arall, a barodd fwy o bryder ac a wnaeth fwy o niwed na holl ymosodiad y gelynion oddiallan. Fel yr Apostolion ar ol y Pentecost, nid oedd Luther o gwbl, oddieithr gyda heresi beryglus y maddeuon, wedi ei wneyd yn bwynt i ymosod ar y cyfeiliornadau a'r coelgrefydd ag oeddent, mewn oesoedd o ddirywiad, wedi ymgasglu o amgylch, ac i fesur helaeth wedi llethu gwirionedd yr efengyl. Ei nôd arbenig ef oedd gosod y gwirionedd ei hunan o flaen meddwl y bobl; ac wrth gadw eu meddwl yn barhâus mewn cymundeb bywiol â'r gwirionedd, fe deimlai yn gwbl hyderus i adael y canlyniadau yn llaw Duw, yr Hwn a barai i'r pethau annymunol ddiflanu megys o honynt eu hunain. Felly y dygasid oddiamgylch y chwyldröad mawr yn ei feddwl ef ei hunan; ac wrth feddwl hyny, a chofio mor araf mewn cymhariaeth y dygasid ef i weled pethau "o bell ac yn eglur," a chyda y ffydd ddiderfyn oedd ganddo yn ngallu y gwirionedd, yr ydoedd i raddau mawr yn ddiystyr o'r ymarferiadau ag y gwyddai nad ydoedd eu llwyr ddifllaniad ond cwestiwn o amser, ac amser byr. Yn debyg hefyd y teimlai Melanchthon a'r gwŷr teilwng eraill oeddynt wedi eu codi gan Dduw i gydweithio âg ef. Buont felly am gryn amser yn ymwneyd trwy rym hen arferiad â'r seremonïau Pabaidd, wedi i ffydd oleuedig yn y gwirionedd yru allan o'u meddwl, ac i gryn fesur o feddwl y bobl, bob crediniaeth yn yr athrawiaethau ag y golygid eu bod yn sylfaenedig arnynt. Yn ystod neillduad y Wartburg, fodd bynag, fe deimlodd rhai dynion zelog fod yn bryd gwneyd i ffwrdd â'r seremonïau, a diddymu yr offeren, &c. Un o'r rhai mwyaf blaenllaw yn hyn oedd Carlstadt. Yr oedd efe yn ŵr cryf ac uchelgeisiol; efe ydoedd yn gweinyddu pan wnelsid Luther yn Ddoctor mewn Duwinyddiaeth; ac nid ydoedd mewn un modd yn gallu dygymmod â'r enwogrwydd ag oedd gymaint yn fwy na'r eiddo ef a ennillasai Luther yn y ddadl âg Eck yn Leipsig, ynghyd a'r holl fawredd a osodasid ar ei enw gan yr amgylchiadau oeddynt wedi cymeryd lle ar ol hyny. Yn absennoldeb Luther, yr oedd efe yn Wittenberg yn ŵr mawr, ac fe dybiodd y gallai wneyd gwaith pwysig ac ennill iddo ei hun enw dysglaer trwy ymosod ar yr hen seremonïau. Yr oedd y bobl yn eithaf parod; ac yn anffodus fe ddarfu iddo yntau, wrth ei gael ei hun yn wron y symudiad, golli ei hunanfeddiant i'r fath raddau fel ag i ymdaflu yn gyfangwbl iddo, ac i osod ar bethau nad oeddynt

mewn gwirionedd ond pur ddibwys, y mawredd y dylasai fod yn ofalus, uwchlaw pobpeth, i'w gadw ar y pethau hanfodol. "Y mae Gair Duw," meddai Carlstadt, "wedi dyfod i fy enaid gyda'r fath fywyd, ac wedi fy llanw â'r fath benderfyniad diysgog fel nad allaf aros yn llonydd. Gwae fydd i mi oni phregethaf." A chyda Zwilling, mynach ieuanc a chaplan y fynachlog, fe aeth rhagddo gyda'r penboethni mwyaf i gondemnio yr offeren, clust-gyffesiad, galw ar y saint, addoliad delwau, ymattal oddiwrth gig ar ddyddiau ympryd, gwyryfdod yr offeiriaid, ynghyd ag athrawiaeth a dysgyblaeth Eglwys Rhufain yn gyffredinol. Wrth luchio gwreichion tanllyd felly oddiamgylch, hawdd oedd gosod meddyliau oeddynt wedi dyfod yn addfed iddynt yn oddaith; a chyda phobl ag y mae eu haddysg yn y pethau mawrion yn bur ddiffygiol, y mae gymaint yn fwy naturiol iddynt feddwl eu bod yn gwneyd pethau mawrion "mewn trwst, a dillad wedi eu trybaeddu â gwaed," na phan yn ceisio ymberffeithio mewn rhinweddau ysbrydol. Yr oedd y werin, wedi eu cynhyrfu gan Carlstadt a Zwilling, yn rhuthro, ïe, yn ystod y gwasanaeth, i Eglwys yr Holl Saint yn Wittenberg, o ba un yr oedd Carlstadt yn Archddiacon, a chan floeddio yr ail orchymyn, yn tynu i lawr y cerfluniau, y darluniau, a delwau y saint, gan eu lluchio allan a'u dinystrio. Yr oedd y fath benboethni gwallgof yn andwyol i grefyddolder, a hawdd meddwl y fath drallod a gofid a barai i'r dynion doethaf a mwyaf sanctaidd. Ysgrifenodd Melanchthon yr holl hanes at Luther, ac yr oedd ei ofid yntau, o ddeall fel yr oedd pethau yn myned ymlaen, yn ddifesur. Nid ydoedd heb ragweled, ïe, a dysgwyl, perygl o'r fath; ond yr oedd ei weled wedi dyfod yn y fath fodd, ac yn gwneyd y fath anrhaith ar waith Crist yn eneidiau dynion, yn brofedigaeth annrhaethol iddo. Ysgrifenodd lythyr doeth a charedig iawn at ei ddeadell yn Wittenberg. "Yr ydych," meddai, "yn crynhoi eich egnïon i ymosod ar yr offeren, delwau, a phethau eraill llai eu pwys; ac wrth wneyd hyny yr ydych yn gadael o'r neilldu ragoriaethau mwy y ffydd a'r cariad yr ydych yn y fath angen am danynt. Trwy eich ymddygiad llidiog, yr ydych wedi trallodi yn fawr lawer o gydwybodau duwiolfrydig. Yr ydych wedi anghofio yr hyn sydd ddyledus i'r gwan. Os rhed y rhai cryfion gyda'u cyflymdra eithaf, heb falio am eu brodyr gwanach sydd yn dyfod yn fwy araf ar eu hol, rhaid iddynt hwy ymollwng. Mae Duw wedi rhoddi i chwi fendith fawr, y Gair yn bur a dihalog. Eto nid wyf yn gweled dim mwy o gariad ynoch. Ni estynwch law o gymhorth i'r rhai na chlywsant erioed y Gair. Nid ydych yn meddwl am eich brodyr a'ch chwïorydd yn Leipsig, Meissen, a llawer o fanau eraill, y rhai yr ydych yn rhwym i'w hachub fel chwi eich hunain. Yr ydych wedi rhuthro i'ch gweithrediadau presennol gyda'ch llygaid yn nghau, a'ch penau i lawr, fel tarw, heb edrych i'r ddehau nac i'r aswy. Yr ydych yn dymuno gwasanaethu Duw; nid ydych yn ystyried nad ydych ond rhagredegwyr i'r diafol. Yr ydych yn dianrhydeddu y Gair; yr ydych yn anghofio pob ffydd a chariad." Ond nid oedd ei eiriau ond ofer. Pan ddangosodd Staupitz y llythyr i Carlstadt, atebodd gan wenu yn ddiamynedd: "Y mae yn ysgrifenedig, y dylem ufuddhâu i Dduw yn hytrach nag i ddyn." Yn wyneb holl ymliw doeth yr henafgwr parchedig, ei ateb oedd, "Tewch. Yr ydych yn anghofio yr hyn a ddywedodd Luther, Nid yw Gair yr Arglwydd yn

Air heddwch, ond cleddyf." Ac elai pethau yn waeth waeth. Yr oedd tri o ddynion yn Zwickau, Nicholas Storch, Marc Stubner, a Marc Thomas, wedi myned ymhellach fyth yn yr un cyfeiriad, ac yn hòni eu bod dan Ddwyfol ysbrydoliaeth. Dywedai Storch fod yr angel Gabriel wedi ymddangos iddo yn y nos gan ddywedyd wrtho, "Ti a gei eistedd ar yr orseddfainc." Ymunodd Thomas Munzer â hwynt, yr hwn oedd weinidog yr efengyl, a thrwy ei allu rhagorach fe brofodd yn llawer mwy peryglus. Cawsant blaid gref i'w dilyn, ac ymddangosai y greadigaeth newydd brydferth, y llawenychai Duw a dyn yn ei gogoniant, yn prysur ymollwng ac yn dychwelyd i'r tryblith yn ol. Daethant i Wittenberg, ac er nad oedd Carlstadt yn hoffi eu credo neillduol fel Ail-fedyddwyr, eto fe'i taniwyd yntau a Zwilling gan eu penboethni, a chydredasant gyda hwynt "i'r unrhyw ormod rhysedd." Yr oeddynt yn hòni gweledigaethau, a breuddwydion, a dadguddiedigaethau uniongyrchol oddiwrth Dduw, gan ddiystyru y Gair, a chynhyrfent y werin i bob gwylltineb. Dysgent fod llywodraethwyr llygredig yr Eglwys i gael eu dymchwelyd, yr offeiriaid i'w rhoddi i'r cleddyf, a'r annuwiolion i gael eu dinystrio. Wedi ei buro trwy waed, fe wnelid y byd yn Deyrnas i Grist, ac fe deyrnasai y saint. Yn y cyfamser, pregethent gydraddoldeb cyffredinol, a pherchenogiad cyffredin ar feddiannau.

Wedi deall am yr annhrefn a'r trueni oedd felly yn cael ei achosi gan ddysgeidiaeth y penboethiaid, a gweled fod pethau yn cyflymu yn y fath fodd o ddrwg i waeth fel na wyddid pa drychineb a allai ddilyn, fe benderfynodd Luther adael y Wartburg a dychwelyd drachefn i Wittenberg. Fe wyddai y byddai yr Etholwr yn anfoddlawn, oblegid yn ei olwg ef ei neillduedd oedd ei unig ddiogelwch. Ond fe deimlai Luther bellach fod llais uwch yn ei alw i ddychwelyd i'r maes lle yr oedd rhyfel ei Arglwydd yn cael ei hymladd, a'r bendithion gwerthfawrocaf mewn perygl o gael eu colli. Yr oedd Frederic yn anfoddlawn iawn iddo dynu Albert o Mentz yn ei ben yn achos y maddeuon a werthid yn Halle, ac felly aflonyddu ar heddwch y wlad; ond er maint ei barch iddo ni allai Luther, mewn achos o'r fath ddirfawr bwys, adael i'w ddymuniad sefyll ar ei ffordd. "Yr Etholwr ddim goddef!" meddai mewn llythyr at Spalatin; "a minnau hefyd ni oddefaf i'r Etholwr *beidio* caniatâu i mi ysgrifenu. Os gwrthwynebais y Pab, yr hwn a greodd eich Cardinal, paham y dylwn gilio o ffordd ei greadur? Mae yn bur wych, bid siwr, i'ch clywed yn dyweyd y rhaid i ni beidio aflonyddu ar heddwch y wlad, pan y caniatewch i heddwch tragywyddol Duw gael aflonyddu arno! Spalatin, ni chaiff fod felly! Dywysog, ni chaiff fod felly!" A'r un modd yn awr ni all oddef i bryder yr Etholwr am ei ddiogelwch ef ei lesteirio rhag dychwelyd i Wittenberg. Ar ei ffordd, yn Borna, ysgrifenodd lythyr at yr Etholwr i ddyweyd ei fod yn dychwelyd, ac i roddi ei resymau. Dangosai fod y pethau a gymerasent le yn Wittenberg wedi peri iddo y fath boen, fel oni b'ai ei fod yn sicr am wirionedd eu hachos, y buasai yn ymollwng mewn anobaith. Yr ydoedd wedi derbyn yr Efengyl o'r nefoedd, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Ac os galwasai am ddadl, fe wnaethai hyny nid o ammheuaeth, ond mewn gostyngeiddrwydd, a gobaith ennill eraill. Ond gan fod ei ostyngeiddrwydd yn cael ei droi yn erbyn yr

Efengyl, yr oedd ei gydwybod yn ei orfodi i weithredu yn wahanol. Yr oedd wedi ildio digon i'w uchelder trwy dreulio y flwyddyn hono mewn neillduedd. Fe wyddai y diafol yn dda na wnaethai hyny trwy ofn. Fe aethai i Worms pe buasai yno gynifer o ddiafliaid yn y ddinas ag oedd o lechi ar benau y bai. Ac yr oedd Duc George, â pha un y dychrynai ei uchelder ef, i'w ofni yn llawer llai nag un diafl. Pe buasai yr hyn a gymerai le yn Wittenberg yn cymeryd lle yn Leipsig (lle y trigai y Duc), fe elsai efe ar unwaith ar gefn ei geffyl ac yno, pe am naw diwrnod yn olynol y buasai yn gwlawio dim ond Duciaid George, a phob un yn naw ffyrnicach nag ydoedd ef. Beth a feddyliai wrth ymosod arno ef? A ydoedd yn cymeryd Crist ei Arglwydd fel gŵr gwellt? Dymunai i'w uchelder wybod ei fod yn dychwelyd i Wittenberg dan amddiffyn llawer uwch na'r eiddo Tywysogion ac Etholwyr. Ni cheisiai nodded ei uchelder; yn hytrach dymunai ei amddiffyn ef. Nid elai yno dan amddiffyn ei uchelder. Nid oedd gleddyf a allai wasanaethu yr achos hwnw. Rhaid i Dduw wneyd pobpeth ei hunan. Yr hwn oedd yn meddu fwyaf o ffydd oedd fwyaf abl i amddiffyn. Eithr yr oedd ei uchelder yn wan mewn ffydd. Ond os dymunai wybod beth oedd ganddo i'w wneyd, ei ateb ef gyda phob parch ydoedd, ei fod eisoes wedi gwneyd gormod, na ddylai wneyd dim. Gadawed i bethau gymeryd eu cwrs. Yr oedd ganddo ef i ymwneyd â gŵr tra gwahanol i Duc George. Yr ydoedd efe yn ei adwaen yn dda, ac yr oedd yntau yn ei adwaen yntau yn lled dda!—Effeithiodd ei lythyr yn ddwys ar yr Etholwr, a phenderfynai ei amddiffyn, os byddai raid, yn y *Diet*. Ond dywedai wrth Schurff: "Ysgrifened lythyr ataf, yn esbonio paham y mae yn dychwelyd i Wittenberg, a dyweded ei fod yn gwneyd heb fy nghaniatâd i." Felly fu.

Ysgrifenodd y llythyr o Borna, ddydd Mercher y Lludw, 1522. Y dydd Mawrth blaenorol (Mawrth Ynyd), yr ail ddydd o'i daith o Wartburg, fe ddygwyddodd amgylchiad tra dyddorol. Yr oedd dau ŵr ieuanc o Switzerland, John Kessler a chyfaill iddo, ar eu taith i Wittenberg, lle y bwriadent efrydu. Wedi eu goddiweddyd gan ystorm ofnadwy, prysurent i geisio lloches yn ninas Jena. Buont mewn cryn helbul wedi dyfod i'r ddinas, yn methu cael llettŷ, gan fod Jena ar y pryd yn llawn. O'r diwedd fe'u cyfeirwyd at y *Baedd Du*, y tu allan i'r pyrth. Yn ddigalon a lluddedig, aethant yn arafaidd tuag yno. Derbyniodd y gwesttŷwr hwy yn garedig. Eisteddasant wrth ddrws yr ystafell gyhoeddus, gan fod arnynt gywilydd o'r ystad y gadawsai yr ystorm hwynt. Wrth un o'r byrddau gwelent ŵr yn eistedd ar ei ben ei hun, yn ngwisg marchog; gorphwysai ei law ddehau ar ben ei gleddyf, a'i law aswy a ymaflai yn ei garn; ac o'i flaen yr oedd llyfr agored, yr hwn yr ymddangosai ei fod yn ei ddarllen yn dra astud. Wrth drwst dyfodiad y ddau ŵr ieuanc, cododd ei ben, cyfarchodd hwynt yn garedig, a gwahoddodd hwynt i eistedd wrth ei fwrdd ef; yna rhoddai iddynt wydriad o gwrw, ac mewn cyfeiriad at eu hacen dywedai: "Swissiaid ydych, mi welaf; ond o ba *ganton*?" "O St. Gall." "Os ydych yn myned i Wittenberg, chwi a gyfarfyddwch yno â chydwladwr, Doctor Schurff." Wedi eu calonogi gan ei garedigrwydd, gofynasant: "Syr, a allech chwi ein hysbysu pa le y mae Martin Luther yn bresennol?" "Mi wn yn sicr," ebe y marchog, "nad ydyw yn Witten-

berg; fe fydd yno yn fuan. Mae Philip Melanchthon yno. Astudiwch Roeg a Hebraeg fel y galloch ddeall yn glir yr Ysgrythyrau sanctaidd." "Os erbyd Duw ein heinioes," ebe un o honynt, "ni ddychwelwn adref heb weled a chlywed Doctor Luther; canys er ei fwyn ef y cymerasom y siwrnai faith hon. Gwyddom ei fod ef yn dymuno diddymu yr offeiriadaeth a'r offeren; a chan fod ein rhieni wedi ein bwriadu i'r offeiriadaeth o'n mebyd, ni a garem wybod·yn glir ar ba sail y gorphwysa ei gynnygiad." Wedi peth dystawrwydd, gofynai y marchog, "Pa le y buoch yn astudio hyd yma?" "Yn Basel." "A ydyw Erasmus o Rotterdam yno eto? beth mae efe yn wneyd?" Atebasant ei gwestiynau, ac yr oedd dystawrwydd drachefn. Ni wyddai y Swissiaid beth i feddwl. "Onid yw yn rhyfedd," meddylient, "fod y marchog hwn yn siarad wrthym am Schurff, Melanchthon, ac am yr angenrheidrwydd o ddysgu Hebraeg?" "Anwyl gyfeillion," meddai y gŵr dyeithr yn sydyn, "beth y maent yn feddwl o Luther yn Switzerland?" "Syr," ebe Kessler, "y mae barnau yn dra gwahanol am dano yno fel ymhob man arall. Mae rhai na allant ei ddyrchafu yn ddigon, ac eraill yn ei gondemnio fel heretic adgas." "Ho, yr offeiriaid, yn ddiammeu," ebe y gŵr dyeithr. Yr oedd ei sirioldeb yn peri i'r gwŷr ieuainc deimlo yn gartrefol gydag ef. Yn y man anturiodd un o honynt edrych beth oedd y llyfr a ddarllenai pan ddaethent i fewn, yr hwn erbyn hyny oedd wedi ei gau yn ei ymyl. Ac er mawr syndod i'r ddau, llyfr y Salmau yn Hebraeg ydoedd! Rhoddodd ef i lawr yn union, ac megys i dynu sylw oddiwrth ei hyfder yn ymaflyd ynddo, dywedai: "Mi roddwn yn ewyllysgar un o fy mysedd am wybod yr iaith yna." "Chwi gyrhaeddwch eich dymuniad," ebe y gŵr dyeithr, "os bydd i chwi yn unig gymeryd y drafferth i'w dysgu." Ymhen ychydig fynydau gwelai Kessler y gwesttŷwr yn ei alw o'r neilldu; a phan oedd y gŵr ieuanc gwŷlaidd yn ofni fod rhywbeth allan o le, dywedai wrtho: "Yr wyf yn gweled fod genych ddymuniad cryf am weled a chlywed Luther; wel, yr hwn sydd yn eistedd gyda chwi ydyw." Tybiai Kessler mai ysmalio yr ydoedd; ond wedi dychwelyd, estynodd ei ben a sibrydodd yn nghlust ei gyfaill yr hyn a ddywedasai. 'Fe allai mai Hutten a ddywedodd," ebai hwnw, "ac i ti gamgymeryd!" Ar hyny clywyd swn traed ceffylau, a daeth dau farsiandwr i fewn i geisio llettŷ. Wrth ddodi eu pethau o'r neilldu, gosododd un o honynt lyfr heb ei rwymo ar y bwrdd, yr hwn yn fuan a dynodd sylw y marchog. "Pa lyfr yw hwna?" meddai. "Esboniad ar rai o'r Efengylau a'r Epistolau gan Doctor Luther," ebe y marsiandwr; "y mae newydd ei gyhoeddi." "Mi a'i ceisiaf yn fuan," ebe y marchog. Yna dywedwyd fod swper yn barod. Y ddau efrydydd, yn ofni y draul o swpera gyda y marchog Ulrich von Hutten a dau farsiandwr cyfoethog, a ofynent i'r gwesttŷwr rhoddi rhywbeth iddynt o'r neilldu. "De'wch ymlaen, fy nghyfeillion," ebe gŵr y *Baedd Du;* "cymerwch eich lle wrth y bwrdd gerllaw y boneddwr hwn; ni roddaf arnoch ond yn rhesymol." "Deuwch ymlaen," ebe y marchog, "mi dalaf fi y cyfrif." Wrth y bwrdd, siaradai y marchog mor ragorol, fel y talai y cwmni oll lawer mwy o sylw i'w eiriau nag i'r dysglau oedd o'u blaen. Wedi ychwaneg o garedigrwydd, ar ol i'r marsiandwyr adael y bwrdd, cododd y marchog a thaflodd fantell filwraidd drosto, a chan roddi ei

law i'r efrydwyr, dywedai: "Pan gyrhaeddwch Wittenberg, anerchwch Dr. Schurff drosof." "O ewyllys calon," meddent hwythau; "ond pa enw a roddwn?" "Dywedwch wrtho yn unig," meddai yntau, "mae yr hwn sydd yn dyfod yn eich anerch." Ymadawsant gyda'r teimladau mwyaf caredig tuag ato. Ac ebe Kessler yn mhellach, wrth son am danynt wedi cyrhaedd Wittenberg: "Ddydd Sadwrn aethom i dŷ Schurff i gyflwyno ein llythyrau; ac wedi i ni gael ein cymeryd i'r ystafell, wele ni a gawsom Martin yno fel yn Jena, a chyda ef Melanchthon, Justus Jonas, Nicholas Amsdorff, a Dr. Augustin Schurff, yn adrodd iddo yr hyn a gymerasai le yn Wittenberg yn ystod ei absennoldeb. Cyfarchodd ni, a threuliasom y diwrnod gyda hwynt er hyfrydwch a boddhâd mawr i ni." Rhydd Kessler mewn llythyr ar ol hyny ddesgrifiad o'i ymddangosiad personol: "Yr ydoedd braidd yn tueddu i fod yn dew; yn sefyll yn syth; ei wyneb yn fynych yn dyrchafu tua'r nef; ei aeliau tywyll yn cysgodi dros ei lygaid dyfnion treiddgar, a lewyrchent fel sêr, i ba rai, prin y gallech edrych yn sefydlog."

Drannoeth wedi cyrhaedd Wittenberg aeth Luther i dŷ Schurff a gwelodd lythyr yr Etholwr. Atebodd ef ar unwaith. Dywedai ei fod wedi ei alw, ac yr oedd yn rhaid iddo ufuddhâu. "Yr oedd Satan, yn ei absennoldeb, wedi treiddio i'w gorlan, ac wedi gwneyd anrhaith yno nad oedd ond ei bresennoldeb ef ei hunan a allai adfer. Ni wnaethai llythyr y tro—yr oedd yn rhaid iddo wneyd defnydd o'i lygaid a'i enau ei hun i weled a llefaru. Ni oddefai ei gydwybod iddo oedi yn hwy, ac yn hytrach na gweithredu yn erbyn hono, yr oedd yn well ganddo ddigio yr Etholwr a'r holl fyd. Yr oedd pobl Wittenberg yn ddefaid iddo, y rhai a ymddiriedasai Duw i'w ofal: ei blant oeddynt yn yr Arglwydd. Er eu mwyn yr ydoedd yn barod i ddyoddef merthyrdod. Yr ydoedd yn myned, gan hyny, i gyflawni, trwy ras Duw, yr hyn a ofynai Crist gan y rhai a'i harddelent. Pe buasai ei air ysgrifenedig yn gwneyd i yru ymaith y mawr ddrwg, a dybiai efe y buasent yn anfon am dano gyda'r fath daerineb? Byddai farw yn hytrach nag oedi yn hwy; marw fel y gweddai iddo dros iachawdwriaeth ei gymydog."

Ac yr oedd y gwaith oedd ganddo i'w wneuthur yn rhyfeddol o anhawdd. Yr oedd doethineb a gallu Melanchthon a'r gwŷr da eraill wedi llwyr ballu, a theimlai y cyfan mai Luther oedd yr unig un y gellid gobeithio y byddai iddo allu ei gyflawni. Y gamp a ddysgwylir yn gyffredin oddiwrth hyawdledd ydyw ennyn teimlad mewn difrawder, a chynhyrfu dynion i weithredu mewn dull neillduol pan y maent heb unrhyw duedd at hyny, neu yn wir yn tueddu yn gryf i'r gwrthwyneb. Yr oedd yr orchest oedd y pryd hyny o flaen Luther yn gwbl wahanol, ac yn llawer anhaws. Y gwaith oedd ganddo ef i'w wneyd oedd gostegu y dymhestl oedd yn ymgynddeiriogi mor frawychus, a hyny pan ymddangosai y fath orchwyl i bawb eraill yn gwbl anobeithiol. Ond fe wynebodd efe arno, fel ar ei holl orchwylion mawrion, gan ymddibynu am nerth ac arweiniad ar y Goruchaf. Yn fuan iawn fe aeth y gair trwy Wittenberg ei fod wedi dychwelyd, a thrannoeth, yr hwn oedd yn ddydd Sabboth, gan y deallid ei fod yn debyg o bregethu, fe ymgynnullodd tyrfa anferth i'r Eglwys. Yr oeddynt dan lywodraeth llawer o gymysg deimladau mae yn sicr, ond oll yn mawrhâu y cyfleusdra

o gael gweled Luther eto yn eu plith, a chael ei wrando eto yn pregethu. Safai yntau o'u blaen gydag urddas hunan-feddiannol gŵr yn ymdeimlo â mawredd y cyfrifoldeb oedd arno, a chyfarchai hwynt mewn modd hynod o syml a charedig. Dadganai y llawenydd a deimlai o herwydd y cynnydd oeddynt wedi wneyd mewn amryw gyfeiriadau yn ystod ei absennoldeb; ac yr oedd hyny, gyda'i ddull cartrefol a charuaidd, a holl swyn ei ddylanwad personol, a'r adgofion a gyfodent yn meddyliau ei wrandäwyr am eu hen gysylltiad âg ef, a'r peryglon a wynebasai gyda'r fath ddewrder er mwyn sicrhâu iddynt wirionedd Duw, yn eu tawelu mewn modd rhyfedd i wrando arno; mewn ychydig fynydau, ac yn ddiarwybod iddynt eu hunain, yr oeddynt wedi eu gosod megys yn ei law. A chyda ffyddlondeb a doethineb ag y mae yn anhawdd gwybod pa un i'w edmygu fwyaf, fe wnaeth yntau y defnydd goreu o'r cyfleusdra i lefaru wrthynt y genadwri ag oedd yn arbenig gyfaddas i'r sefyllfa ddyeithrol ag yr oeddynt wedi eu gweithio iddo. Fel tad tirion gyda'i blant, canmolai yn garedig eu cynnydd mewn ffydd, ond adgofiai hwynt fod eisieu cariad hefyd. Yr oedd y fam yn gyntaf yn rhoddi llaeth i'r plentyn, ac yna ymborth ysgafn. Felly y dylent hwythau wneyd gyda'u brodyr. Oeddynt hwy wedi bod ddigon wrth y fron? Da. Ond bydded iddynt ganiatâu i'w brawd yfed faint a fyno. Parai iddynt sylwi ar yr haul. Yr oedd efe yn rhoddi dau beth; goleuni a gwres. Nid oedd un brenin yn ddigon cryf i droi o'r neilldu ei belydrau; deuent atom ar eu hunion; ond yr oedd gwres yn gwasgaru ac yn cael ei roddi ymhob cyfeiriad. Felly ffydd, fel goleuni, a ddylai fod yn uniawn ac anmhlygadwy; ond dylai cariad, fel gwres, wasgar ar bob llaw, a phlygu i holl anghenion a gwendidau ein brodyr. Yr oedd yr offeren yn beth drwg, ac yr oedd ei diddymiad yn ol yr Ysgrythyr. Gwyn fyd na chymerasid ei lle trwy y byd gan Swper yr Arglwydd. Ond pa fodd yr oeddynt wedi gweithredu yn y mater? Pa drefn, pa weddeidddra a ddangosasent? Dylasent weddïo, ac appelio at yr awdurdod osodedig. Os oedd y peth o Dduw, yr oedd y Gair yn ddigon. Yr oeddynt hwy i bregethu; yr oedd y gweddill yn llaw Duw. Pe buasai efe yn defnyddio nerth, beth a ennillasai? Ystum, ordeiniadau dynol, a rhagrith; buasai purdeb calon, ffydd, a chariad yn eisieu. Rhaid iddynt ennill calonau dynion; dyna nod a dyben eu holl bregethu. Trwy ei Air, fe allai Duw mewn amrantiad wneyd mwy nag allent hwy ac yntau, a'r holl fyd, trwy eu nerth unedig. Nid ydoedd am adfer yr offeren. Gan ei bod i lawr, yn enw Duw arosed yno. Ond a oedd trefn ei ddiddymiad wedi bod yn ol Gair Duw? Fe welsai St. Paul, yn Athen, allorau ar ba rai yr aberthid i dduwiau gau. Fe welodd yr anfadrwydd hyny, ond ar y pryd fe dawodd. O'r farchnadfa, fodd bynag, fe gyhoeddodd nad oedd y duwiau ond eilunod. Fe gyrhaeddodd ei eiriau galonau y bobl, ac fe syrthiodd yr eilunod heb i St. Paul eu cyffwrdd. Yr oedd yn rhaid iddo ef ei hun bregethu, perswadio, ysgrifenu; ond ni orfodai neb. Yr oedd ffydd yn wirfoddol. Galwai eu sylw at yr hyn a wnaethai efe. Safasai yn erbyn y Pab, a'r maddeuon, a'r holl lu Pabaidd. Heb drais na therfysg, pregethasai Air Duw; dyna'r cwbl. Ac eto, tra yr oedd efe yn cysgu, neu yn eistedd yn gyfeillgar wrth y bwrdd gydag Amsdorff a Melanchthon, yr oedd y Gair wedi dymchwelyd y gallu Pabaidd. Nid oedd efe wedi gwneyd dim; y Gair

a wnelsai y cyfan. Pe'r appeliasid at nerth, buasai Germany wedi ei gorchuddio â gwaed. Ond beth fuasai yn canlyn? Dinystr ac anrhaith i gorff ac enaid. Yr oedd y Gair yn rhedeg trwy y byd.

Felly, am wyth niwrnod yn olynol, ac i gynnulleidfäoedd lliosog a dderbynient gyda'r dyddordeb dyfnaf bob gair a ddeuai o'i enau, y pregethai Luther. Ni chrybwyllai unrhyw bersonau, ni chyfeiriai at y rhai oeddent wedi eu camarwain, ac ni ynganai air a dueddai i'w cythruddo, er ei fod gyda gonestrwydd mawr yn eu hargyhoeddi am y pethau a wnaethent yn groes i'r Gair; ond amcanai yn unig i'w hyfforddi yn yr Efengyl, ac felly eu dychwelyd i'w lle. Dywed Döllinger am dano: "Ni fu erioed Germaniad ydoedd yn deall ei gydwladwyr mor berffaith, a'r hwn, yn gyfnewid, a ddeallwyd mor drwyadl, ïe, ac ysbryd yr hwn a lyncwyd mor gwbl gan ei genedl, â'r mynach Augustinaidd hwn. Yr oedd meddwl ac ysbryd y Germaniaid dan ei lywodraeth fel y mae y delyn yn llaw y cerddor." Ac ni ddangoswyd hyny o gwbl yn fwy amlwg nag yn yr amgylchiad hwn. Wedi y chweched pregeth ysgrifenai Schurff at yr Etholwr: "O, y fath lawenydd y mae dychweliad Dr. Martin wedi ei ledaenu yn ein plith! Mae ei eiriau, trwy Ddwyfol drugaredd, bob dydd yn dwyn yn ol ein pobl druain oeddynt wedi myned ar gyfeiliorn, i ffordd gwirionedd. Mae mor amlwg â'r haul fod Ysbryd Duw ynddo, ac mai trwy ei Ragluniaeth arbenig Ef y dychwelodd i Wittenberg." Yr oedd Zwilling wedi ei ddystewi a'i gyfnewid. "Mae yn ymddangos i mi," meddai, "fy mod yn gwrando, nid ar lais dyn, ond llais angel." Cyn hir cydnabyddai ei fod wedi ei dwyllo. "Y mae yn ddyn arall hollol," ebe Luther. Gorfu i Carlstadt ildio, a dychwelyd at ei waith yn y Brifysgol; a gwnaed byr waith ar brophwydi Zwickau. Darostyngwyd yr aflonyddwch trwy yr holl wlad, a phlant y Diwygiad, wedi eu rhyddhâu ar y naill law oddiwrth gyfeiliornadau y Babaeth, a'u darostwng ar y llaw arall dan awdurdod y Gair, "a gawsant heddwch, ac a adeiladwyd; a chan rodio yn ofn yr Arglwydd, ac yn nyddanwch yr Ysbryd Glân, hwy a amlhäwyd." Yn mis Medi y flwyddyn hono, 1522, cyhoeddwyd y cyfieithiad Germanäeg o'r Testament Newydd mewn dwy gyfrol unplyg, a werthid am fflorin a hanner, neu tua hanner coron o'n harian ni. Gan faint yr awydd am dano fe werthwyd yr argraffiad cyntaf o 3000 o gopïau yn fuan iawn, a chyhoeddwyd ail argraffiad yn mis Rhagfyr; ac erbyn 1533, yr oedd dau argraffiad ar bymtheg wedi eu cyhoeddi yn Wittenberg, tri ar ddeg yn Augsburg, deuddeg yn Basel, un yn Erfurth, un yn Grimma, un yn Leipsig, a thri ar ddeg yn Strasburg. Ac yr oedd y cyfieithiad o'r Hen Destament, fel y crybwyllwyd, yn cael ei barotoi; ac i gyfarfod â'r awyddfryd nerthol oedd ar led i astudio Gair Duw fe'i cyhoeddid yn gyfranau. Yr oedd llafur Luther gyda hyn, a holl waith y Diwygiad ymhob man, yn anferth. Ond ymgymerai yn siriol âg ef wrth weled fod yr achos mawr yn myned rhagddo gyda'r fath nerth.

Yr oedd trallodau mawrion eraill yn dyfod ynglŷn â Rhyfel y Werin a'r Ddadl ar y Sacrament. Nid oedd Carlstadt mewn un modd yn dawel ar y modd y diffoddasid drwy Luther y tân a gynneuasai yn Wittenberg, ac o bryd i bryd pregethai yn erbyn y seremonïau, &c., gan osod ar bethau bychain bwysigrwydd a dueddai i beri i'r bobl ddychymygu eu bod yn gymeradwy gan Dduw am bethau nad oedd a fynent

mewn un modd â'u crefyddolder. Yr ydoedd wedi cael dylanwadu yn gryf arno gan ddychymygion cyfriniol a syniadau eithafol Munzer, a phenboethiaid Zwickau; a chan y gwelid nad allai ei addysg lai nag effeithio yn ddrwg, fe orfu i Luther, yn nechreu 1523, trwy gydsyniad arweinwyr y Brifysgol, wahardd iddo bregethu yn Wittenberg. Yr oedd gohebiaeth rhyngddo â Munzer, yr hwn hefyd, ac am yr un rhesymau, a alltudiasid o Saxony gan yr Etholwr. Yr oeddynt yn myned yn fwyfwy eithafol. Dywedai Munzer, mewn ffordd o ddangos mor ddiwerth oedd yr Ysgrythyrau mewn cymhariaeth i'r dadguddiedigaethau newyddion a dderbyniai efe a'i frodyr: "Ni fyddai o un lles i ddyn pe llyncai gan' mil o Fiblau." Yr oedd y dynion hyn yn gallu effeithio ar y werin yn rhyfedd, a chynhyrfent gyda'r gwylltineb mwyaf eu rhagfarnau yn erbyn y mawrion a'r awdurdodau. Ac nid oedd yn anhawdd iddynt gael digon o gynnud i'w tân, canys yr oedd y werin ymhob man y dyddiau hyny, yn dyoddef dirfawr orthrwm. Cynhyrfwyd hwynt i godi mewn gwrthryfel dan arweiniad Munzer, yr hwn a arwyddnodai bob proclamasiwn o'i eiddo, "Munzer gyda chleddyf Gideon," ac a'u cyffröai trwy appeliadau crefyddol a pholiticaidd o'r fath fwyaf tanllyd i fentro pobpeth er mwyn ysgafnhâu eu beichiau. Appelient at Luther, ond ystyriai efe mai ar waith teyrnas Dduw y dylasai grynhoi ei ymdrechion. Ond ysgrifenodd yn gryf mewn ffordd o annog y bobl i arafu, gan ddangos nad allai y peth yr oeddynt hwy yn fygwth lai na therfynu mewn anrhaith a dinystr ymhob ystyr. O'r ochr arall, appeliai yn y modd mwyaf gonest a difrifol at y mawrion i leddfu gorthrwm y werin, a chaniatâu iddynt eu ceisiadau rhesymol. Ond i ryfel yr aed, a lladdwyd ynddi, medd Raumer, ddim llai na hanner can' mil o wŷr, heblaw y difrod ofnadwy, fel y rhagwelai Luther, a achosodd mewn llawer o ffyrdd eraill. Ac ysywaeth, ni cheid, ar derfyn y trychineb, fod dim wedi ei ennill gyda golwg ar yr amcanion yr aethid i ryfel er eu mwyn! A thua'r un amser y cododd y Ddadl ar Swper yr Arglwydd. Dysgai Zwinglius a duwinyddion Zurich mai arwyddion o gorff a gwaed Crist oedd yr elfenau, ac na ellid ymborthi ar Grist ynddynt oddieithr yn ysbrydol. Ac er y buasai Luther ar adegau eraill, mae yn debyg, yn barod i fabwysiadu yr un golygiad, eto wedi gweled Carlstadt a'r penboethiaid yn gwneyd y fath hafog ar bethau cysegredig, ac wrth dori pob cymundeb âg eglwys y gorphenol yn rhedeg i'r fath eithafion o wylltineb, fe deimlai fod yn rhaid aros yn rhywle; a'r tir a gymerodd oedd yr un a adnabyddir fel cydsylweddiad, sef er nad ydyw yr elfenau yn yr ordinhâd yn peidio bod yn fara a gwin, eto eu bod hefyd yn gorff a gwaed Iesu Grist. Rhaid addef ei fod yn hyn yn llai o lawer nag y dysgwylíasem ei gael, ac fod ei wrthwynebwyr, mewn gallu i ymresymu ac mewn hunan-lywodraeth, yn tra-rhagori arno. Ond pan gofiwn "nad yw y goreu o ddynion ond dynion ar y goreu," gan ystyried hefyd yr amgylchiadau y cawsai ei hun ynddynt, a'r safle neillduol o ba un yr oedd efe yn edrych ar y mater, ni a deimlwn mai anaddas ydyw i ddynion anfesurol lai ei gyhuddo o ystyfnigrwydd, os na theimlwn hefyd ei fod, er mewn amryfusedd, yn deilwng o'n parch a'n cydymdeimlad. Ond fe ddygodd y ddadl hon lawer o chwerwder i'w gwpan; fe wnaeth ysgariad rhyngddo â rhyfelwyr pybyr y buasai yn dda iddo gael llawen-

ychu yn eu cynnorthwy yn erbyn y gelyn cyffredin; fe wanhäodd yn fawr nerth y Diwygiad; ac fe adawodd yn gynnysgaeth i'w ganlynwyr athrawiaeth am Swper yr Arglwydd, ac ynglŷn â hyny am Berson Crist, a fu yn llawer o anfantais i'w llwyddiant a'u cynnydd ysbrydol.

Ond pe buasai genym le, fe fuasai yn llawer mwy dyddorol ei ddilyn gyda'i deulu, ymysg ei gyfeillion, ac yn holl gwrs ei lafur cyffredin. Fel rhan o'r ymddattodiad mawr ar drefn flaenorol pethau a ddygwyd oddiamgylch trwy y Diwygiad, yr oedd y mynachod yn gadael eu hen ddull o fyw ac yn ymgymysgu â'u cydwladwyr; ac yr oedd y lleianod yn gadael y *convents* ac yn cymeryd y lle a drefnasid iddynt yn y gymdeithas ddynol,—yn dychwelyd at eu teuluoedd, yn priodi, neu yn ymgymeryd â chylchoedd eraill o wasanaeth. O'r rhai hyn yr oedd naw yn lleiandŷ Nimptschen yn dyheu am ryddhâd, ac ysgrifenasant at Luther gan appelio at ei gydymdeimlad, a gofyn am ei gynnorthwy i ddianc o'u carchar. Anfonodd yntau Leonhard Koppe, dinesydd parchus o Torgau, yr hwn a lwyddodd i'w gwaredu, a dygodd hwynt at Luther i Wittenberg. Gosododd yntau hwynt yma a thraw yn nheuluoedd ei gyfeillion, tra fyddai yn anfon at eu perthynasau ac yn gwneyd trefniadau eraill gogyfer â'u dyfodol. Priododd amryw. A thra yr ydoedd yn ceisio trefnu priodas rhwng un o honynt, Catherine von Bora, merch ieuanc o deulu parchus, ac efrydydd ieuanc o Nuremberg y meddyliai yn dra uchel am dano, fe ganfu fod ei ymdrech yn aflwyddiannus; ac nid yn unig hyny, ond fe roed ar ddeall iddo, pe buasai yn ceisio dadleu ei achos ei hun, y gallesid, fe allai, ei gymeryd i ystyriaeth! Yr ydoedd efe erbyn hyny wedi hen beidio a bod yn fynach, ac wedi dadleu yn gryf o blaid i weinidogion yr efengyl briodi, a rhoddi pob cefnogaeth i briodas amryw o'i gyfeillion; ac yr oedd ei hybarch dad yn gwasgu yn barhâus arno yntau i wneyd; ond er y cwbl yr oedd ei briodi ef ei hunan yn fater rhyfeddol o newydd iddo. Pa fodd bynag, ar y 13eg o Fehefin, 1525, priodwyd ef â Catherine von Bora,—efe yn 42 mlwydd oed a hithau yn 26. Ni fu priodas erioed yn fwy hapus. "Diolch i Dduw," ysgrifenai, "mae fy mhriodas wedi troi allan yn dda, canys y mae genyf wraig dduwiol a ffyddlawn, i'r hon y gallai un yn ddiogel roddi ei galon." Ac yn ddiweddarach: "Y mae Catherine, fy anwyl asen, yn eich anerch. Y mae yn berffaith iach, diolch i Dduw, yn dirion, ufudd, a charedig ymhob peth, ymhell tu hwnt i'm gobeithion. Ni newidiwn fy nhlodi gyda hi, am holl gyfoeth Crœsus hebddi." Ganwyd iddynt chwech o blant, gyda'r rhai yr ydoedd, mewn serchogrwydd ac ysmaldod, yn blentyn ei hunan. Dwfn archollwyd ei galon dyner trwy farwolaeth rhai o honynt yn dra ieuainc, ac yn hyny hefyd yr oedd yntau yn cael "ei berffeithio trwy ddyoddefiadau." Mae ei lythyr o Coburg at ei gyntafanedig Hans, pan nad oedd y gŵr bach ond pedair oed, er yn cael ei ysgrifenu yn ystod *Diet* Augsburg, ac felly mewn adeg o bryder mawr, yn gynllun o lythyr at blentyn, yn dyner ac yn brydferth odiaeth:—

Gras a heddwch yn Nghrist, fy anwyl fachgen bach. Mae yn dda genyf weled dy fod yn dysgu dy wersi yn dda, ac yn gweddïo yn dda. Dos ymlaen felly, fy anwyl fachgen, a phan ddeuaf yn ol, mi a ddygaf i ti ffeiryn tlws. Yr wyf yn gwybod am ardd deg, lle y mae plant llawen sydd yn meddu ffrociau euraidd, ac yn hel afalau ac eirin a cheirios peraidd o dan y coed, ac yn canu a dawnsio, ac yn myned ar gefn ceffylau del gyda ffrwynau aur a chyfrwyau arian. Mi holais ŵr y lle, gardd pwy

ydoedd, a phwy oedd y plant. "Dyma," meddai, "y plant sydd yn gweddïo a dysgu, ac sydd yn dda." Yna mi atebais, "Mae gen innau fachgen, a elwir Hans Luther. A all efe ddyfod i'r ardd hon, a bwyta gerllyg ac afalau, a myned ar gefn ceffyl bach a chware gyda'r lleill?" Dywedodd y gŵr, "Os ydyw yn dyweyd ei weddïau, ac yn dysgu, ac yn dda, fe all dd'od, ac fe all Lippus [bachgen Melanchthon] a Jost [bachgen Jonas] dd'od, a chânt bibau a *drums* a dwsmel a chrythau, a chânt ddawnsio a saethu gyda bwa croes bychan." Yna dangosodd i mi lawnt wastad yn yr ardd wedi ei gwneyd yn barod i ddawnsio, ac yno y mae y pibau a'r *drums* a'r bwa croes wedi eu crogi. Ond yr oedd eto yn gynnar, ac nid oedd y plant wedi ciniawa; ac ni allwn aros am y ddawns. Felly mi ddywedais, "Anwyl syr, mi af adref ar unwaith ac ysgrifenaf hyn oll at fy machgen bach: ond y mae ganddo fodryb, Lene, y rhaid iddo ddwyn gydag ef." Ac atebodd y gŵr, "Felly bydded; dos, ac ysgrifena fel y dywedi." Am hyny, fy anwyl fachgen bach, dysga a gweddïa â'th holl galon, a dywed wrth Lippus a Jost am wneyd yr un fath, ac yna chwi a ddeuwch oll i'r ardd ynghyd. Duw Hollalluog a'th gadwo. Fy serch at Modryb Lene, a rho iddi gusan drosof.—Dy serchog dad,

MARTIN LUTHER.

Y Lene uchod ydoedd Magdalen von Bora, modryb i'w briod, a fuasai fel hithau yn lleian, ac ydoedd yn aros gyda hwynt. Fe'i cerid yn fawr yn y teulu, a bu farw yn grefyddol iawn. Ychydig cyn ei hymadawiad, dywedai Luther wrthi: "Ni byddwch farw; chwi gysgwch ymaith megys mewn cryd, ac fe wawria y bore, a chwi a godwch, ac a fyddwch fyw byth."

Ymysg ei gyfeillion yr ydoedd yn un o'r rhai mwyaf cymdeithasgar a dyddan o feibion dynion. Yr ydoedd yn llawn caredigrwydd,

A'i fron yn galon i gyd;

ac yr ydoedd mor naturiol iddo siarad ag anadlu. Yn nghymdeithas cyfeillion rhagorol, y rhai a edrychent i fyny ato gyda'r fath ddwfn gariad ac edmygedd, ac a gaent yr hyfrydwch yn fynych o eistedd wrth ei fwrdd, ni fyddai dim yn gymaint boddhâd iddo â rhydd-ymddyddan, pan dywalltai o drysorfa ddihysbydd ei feddwl y fath gyfoeth o bethau da ag a wnelai fod yn ei gwmni yn wir fraint. Yn ffodus y mae amryw o honynt wedi cofnodi llawer iawn o'i sylwadau, y rhai a argraffwyd fel ei *Tischreden*, neu ei "Siarad wrth y Bwrdd," ac ydynt yn ei Weithiau a olygwyd gan Förstermann, yn llanw pedair o gyfrolau trwchus. Buasai yn dda genym allu rhoddi ychydig engreifftiau o honynt. Y maent yn cynnwys llawer iawn o wybodaeth, o feddwl, ac o farn dda; o ffraethineb, o ysmaldod, o chwedlau difyr, ac o farddoniaeth; o grefyddolder, a gwir ddoethineb,—y fath ag allesid ddysgwyl pan fyddai calon gŵr o'r fath fawredd a naturiolrwydd yn "berwi allan bethau da" yn nghwmni y rhai a garai.

Am ei waith, yr ydoedd yn ddirfawr! Yn 1522 cyhoeddodd 130 o draethodau, ac 83 yn y flwyddyn ganlynol. Mae ei ysgrifeniadau yn llanw pedair ar hugain o gyfrolau pedwarplyg, ac yn agos i ddeg a phedwar ugain o rai wythplyg. Pregethai amryw weithiau bob wythnos, a threuliai yn gyffredin dair awr bob dydd mewn gweddi a myfyrdod. Cyfansoddodd wyth a phedwar ugain o emynau, a gwnaeth dônau ar eu cyfer. Ac eto yr ydoedd yn hawdd cael gafael arno bob amser, ac yr ydoedd yn barod i wneyd pa beth bynag a ddelai yn ei ffordd: gwrthwynebu cyfeiliornadau y Babaeth, pregethu yr Efengyl, cyfarwyddo eneidiau pryderus, gofalu am yr Athrofa, darostwng terfysgoedd, meithrin caniadaeth y cysegr, sefydlu ysgolion dyddiol,

gofalu am addysg y plant—a chwareu gyda hwynt!—heblaw ei "ofal am yr holl eglwysi," ac yn wir llïaws o ofalon eraill, na ddylasai ymyraeth â hwynt, ond ei fod yn rhy wan i wrthod ymron unrhyw gais a wnelid am ei gynnorthwy; a chan y teimlai cynifer y fath ymddiried diderfyn ynddo, yr oedd ceisiadau felly yn dra llïosog. Ar y neges o heddychu cweryl y daeth yr alwad arno i'r Orphwysfa. Yr oedd rhyw ymrafael rhwng Iarllod Mansfeld a'u deiliaid, a Luther oedd raid gael i'w derfynu. Cafodd dywydd ofnadwy ar ei ffordd i Eisleben, ei hen gartref. Wedi llawer iawn o drafferth ar ol cyrhaedd, fe derfynodd yr ymrafael, ond fe gollodd ei fywyd. Ar y 14eg o Chwefror, 1546, pregethodd ei bregeth olaf, a therfynai gan ddywedyd: "Fe ellid dyweyd llawer mwy am yr efengyl; ond yr wyf yn wael, ac yn rhy wan i ddyweyd mwy; rhaid i ni adael ar hyn." Gwaelu a wnaeth. Ar yr 17eg dywedai wrth ddau o'i gyfeillion, "Yr wyf yn teimlo yn bur wan, ac y mae fy mhoenau yn waeth nag erioed." Ymhen enyd, wedi deffro o hûn a gweled amryw o'i gyfeillion yn yr ystafell, gofynai, "A ydych chwi yma eto?" "Ewch, anwyl gyfeillion, a gorphwyswch." Dywedent yr arosent gydag ef. Gan droi ei wyneb, gweddïai gyda thaerineb mawr, a dywedai: "I'th ddwylaw Di y gorchymynaf fy ysbryd; gwaredaist fi, O Arglwydd Dduw y gwirionedd." Yna troai at ei gyfeillion, a dywedai wrthynt: "Gweddïwch oll, anwyl gyfeillion, dros Efengyl ein Harglwydd. Gweddïwch am helaethu ei theyrnasiad; canys y mae Cynghor Trent a'r Pab yn bygwth ei dinystr." Syrthiodd i gwsg aflonydd am ryw awr. Pan agorodd ei lygaid, gwelai Jonas yn ei ymyl, yr hwn a ofynai sut yr ydoedd yn teimlo. "Yr wyf yn bur wael," meddai yntau yn wanaidd. "Fy anwyl Jonas, yr wyf yn meddwl yr arosaf yma yn Eisleben; yma, lle y ganed fi." Yn y man dywedai wrth ei gyfeillion, a'r ddau feddyg, a'r *Count* a'i briod, oedd erbyn hyny yn yr ystafell, "Ffryndiau, yr wyf yn marw; mi arosaf yma gyda chwi yn Eisleben." Daliai Jonas ei law. "Anwyl Jonas, yr wyf yn teimlo chwys oer, sych; ac yn myned yn waeth bob amrantiad." Yna dechreuodd weddïo drachefn: "O fy Nhad, Tydi, Duw ein Harglwydd Iesu Grist, Tydi ffynnonell pob dyddanwch, yr wyf yn diolch i Ti am ddadguddio i mi dy anwyl Fab, yn yr Hwn yr wyf yn credu, yr Hwn a bregethais ac a arddelais ac a gyhoeddais; yr Hwn a gerais ac a ganmolais, a'r Hwn y mae y Pab a'r annuwiolion yn erlid. Yr wyf yn gorchymyn fy enaid i Ti, O fy Arglwydd Iesu Grist. Yr ydwyf ar adael y corff daearol hwn, ac i ymado â'r bywyd yma, ond yr wyf yn gwybod y caf aros yn dragywyddol gyda Thi." Adroddodd deirgwaith y geiriau, "I'th ddwylaw Di y gorchymynaf fy ysbryd." Tra yn eu hadrodd y tro olaf, cauodd ei lygaid a chysgodd drachefn. Pan ymddangosai fel yn deffro, sibrydai Jonas wrtho: "Barchedig dad, a ydwyt eto yn sefyll dros Grist, a'r athrawiaeth a ddysgaist?" Agorodd Luther ei lygaid ac edrychodd ar ei gyfaill yn graff, a ddywedodd yn glir ac yn gadarn, "Ydwyf." Syrthiodd yn ol drachefn a chysgodd; a chyn pen nemawr, ymadawodd! Mae y "mynach unigol a ysgydwodd y byd," ar ol ei holl lafur a'i flinderau, yn huno yn yr Iesu.

Ei oedran ydoedd 62.

DANIEL ROWLANDS.

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Exegetical Studies.* By PATON GLOAG, D.D., Minister of Galashiels, Author of "A Commentary on the Acts of the Apostles," etc. Edinburgh: T. & T. Clark.

Y MAE Dr. Gloag wedi gwneuthur erbyn hyn amryw gyfraniadau gwerthfawr i'n llenyddiaeth dduwinyddol. Gwaith rhagorol oedd ei "Messianic Prophecies" a draddodwyd fel y *Baird Lecture* yn 1879. Galwasom sylw ar adeg ei ymddangosiad at ei "Introduction to the Pauline Epistles," gwaith llawn, clir, ac ysgolheigaidd iawn. Ac y mae ei "Critical and Exegetical Commentary on the Acts of the Apostles," yn ddwy gyfrol, yn waith hynod o werthfawr; yn ol Dr. Hackett, sydd ei hunan yn awdurdod uchel, "heb ragori arno gan unrhyw waith yn yr iaith Saesoneg," ac yn ei osod "yn y dosbarth blaenaf o esboniadau diweddar." Fe fydd y llyfr hwn hefyd yn ychwanegiad sylweddol at ei ddefnyddioldeb a'i enwogrwydd. Cynnwysa un ar bymtheg o Efrydiau ar fanau anhawdd y Testament Newydd. Yr ydym yn deall yn ol yr Apostol Pedr fod yn llythyrau ei "anwyl frawd Paul" rai pethau ag y teimlid y pryd hyny eu bod "yn anhawdd eu deall;" ac y mae ef ei hun wedi ychwanegu o leiaf un peth sydd ini mor anhawdd â dim adawodd Paul; y mae yr Apostolion eraill yr un ffunud wedi gadael anhawsderau. Ac y mae yn ddiammeu fod llawer o'r pethau sydd i ni yn dra thywyll, i'r rhai yr ysgrifenid atynt ar y pryd yn eithaf goleu. Yr oedd yr ysgrifenwyr sanctaidd lawer yn rhy alluog, a rhy glir eu golygiadau am y pethau yr ysgrifenent yn eu cylch, a rhy ddifrifol yn eu hamcan i wneyd i'r hyn a ysgrifenent ateb ei ddyben yn meddyliau eu darllenwyr i ysgrifenu yn dywyll, ac felly i fod mewn perygl o ddyrysu a chamarwain, pan y dymunent yn arbenig addysgu a chadarnhâu. Mae yn sicr fod llawer yn amgylchiadau y Cristionogion cyntefig ag oedd yn eu gosod mewn llawer gwell mantais na ni i ddeall yr ysgrifeniadau sanctaidd. Yr oeddynt wedi eu hysgrifenu mewn iaith â pha un yr oedd y rhan fwyaf o lawer o honynt yn gynnefin fel iaith eu siarad cyffredin; yr oedd pob cyfeiriad at arferion, a defodau, a dulliau neillduol o feddwl,—pa un bynag ai wrth fyned heibio ar air, ai yn fwy cyflawn mewn cyffelybiaethau,—yn ymwneyd â phethau yr oedd a fynent â hwynt bob dydd; ac yn enwedig yr oeddynt yn meddu adnabyddiaeth bersonol o'r Apostolion, ac wedi mwynhâu eu gweinidogaeth, a'u meddyliau yn llawn o'r traddodiadau, neu "y pethau a gredid yn ddiammeu yn eu plith." Mae yn sicr felly fod amryw bethau sydd i ni yn dywyll a dyrys, yn cyrhaedd eu dealltwriaeth hwy heb anhawsder yn y byd. Ac nid oes eisieu amlycach prawf o'r benbleth y mae y pethau anhawdd y cyfeiriwn atynt wedi achosi, ïe ymysg dynion o gymhwysderau uchel, na'r amrywiaeth diderfyn sydd yn y golygiadau y daethpwyd iddynt yn eu cylch. Am Gal. iii. 20, "A chyfryngwr nid yw i un," y mae Winer yn dyweyd fod y gwahanol olygiadau yn 250, tra y mae Proffeswr Jowett yn eu gwneyd yn 430. Am eiriau eraill yr un modd, bron nad oes i "bob pen ei opiniwn." Ac y mae "*plunges*," neu y neidiadau dibris a wneir gyda golwg arnynt, nid yn unig gan ambell i aelod yn yr Ysgol Sabbothol sydd yn ddigon anturiaethus i gynnyg ystyr newydd i air anhawdd, neu i wella y cyfieithiad yn ol ei ffansi ei hun, ond hefyd gan rai ag y dysgwyliasem oddiwrthynt bethau gwell, yn bur hynod, ac nid yn

anfynych yn fwy anesboniadwy na'r ymadrodd a geisir egluro. Ond y mae yr Efrydiau hyn yn dra gwahanol. Y maent yn ffrwyth meddwl "ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd:" un sydd trwy einioes o astudiaeth wedi llawn ymgydnabyddu â'r iaith, ac yn hyddysg yn mhobpeth y gwyddys am danynt a allent daflu unrhyw oleuni arni; un hefyd sydd wedi cymeryd amynedd i feistroli y golygiadau sydd o bryd i bryd wedi eu dwyn i sylw ar y materion y mae yn ymdrin â hwynt; ac un, yn enwedig, sydd yn meddu darweledigiad, a chraffder, ac ysbryd barn, ac felly yn peri i ni deimlo ei fod yn llwyddo yn rhyfedd i'n harwain at olygiadau addfed a chlir a boddhâol. Materion yr Efrydiau ydynt: Cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glân; Bendith ein Harglwydd i Pedr; Halltu â Thân; Y Gwragedd wrth y Groes; Ocheneidiad y Greadigaeth; Achub megys trwy Dân; Gwragedd yn gwisgo Gorchudd o herwydd yr Angelion; Bedyddio dros y Meirw; Swmbwl Paul yn y Cnawd; Cyfryngwr i Un; Cyflawni Dyoddefiadau Crist; Derchafiad y Tlawd a Darostyngiad y Cyfoethog; Chwant yr Ysbryd at Genfigen; Yr Ysbrydion yn Ngharchar; Perffeithrwydd Cristionogol; Y Tair Tystiolaeth. Buasai yn dda iawn genym osod ger bron ein darllenwyr y golygiadau y mae efe yn dyfod iddynt ar y materion uchod, neu ar rai o honynt. Ond nid oes genym le. Diammeu genym y bydd llawer o'n cyfeillion yn mynu y llyfr, ac y mae yn sicr y cânt ynddo lawer o oleuni ac adeiladaeth a boddhâd. Ei bris ydyw 5s.

The Foreign Theological Library.—*The Life of Christ.* By DR. BERNHARD WEISS, Counsellor of Consistory, and Professor of Theology in Berlin. Translated by M. G. HOPE. Vol. III.
*The Doctrine of Divine Love: or Outlines of the Moral Theology of the Evangelical Church.* By ERNEST SARTORIUS, Doctor of Theology, General Superintendent, Consistorial Director, and Senior Court Preacher at Königsberg. Translated by SOPHIA TAYLOR.—Edinburgh: T. & T. Clark.

DWY o gyfrolau y *Library* werthfawr hon am 1884. Soniasom o'r blaen am y ddwy gyfrol gyntaf o waith Weiss ar Fywyd Crist. Mae y drydedd, sydd yn awr o'n blaen, yn cwblhâu y gwaith, a gwaith ardderchog ydyw. Mae wedi ei ranu yn saith o lyfrau: y cyntaf am y Ffynnonellau; yr ail am y Parotöad, o'r enedigaeth hyd y briodas yn Cana; y trydydd am y Tymmor Hau, gweinidogaeth gyhoeddus Crist; y pedwerydd am y Gwrthwynebiadau Cyntaf; y pummed am yr Argyfwng, pan oedd gwrthwynebiad ei elynion yn ymgrynhoi i ddwyn oddiamgylch ei farwolaeth; y chweched am y Cyfnod yn Jerusalem; a'r seithfed am Amser ei Ddyoddefiadau. Wedi treulio ugain mlynedd lafurus yn astudio y "ffynnonellau," chwedl yntau, ac yn cyfansoddi ei waith gwych, *The Biblical Theology of the New Testament*, fe ymroddodd yr awdwr, fel yr hyn a olygai yn ganlyniad naturiol y llafur hwnw, i osod ynghyd yr Hanes am y Gwaredwr, fel ei ceir yn y cyfrolau hyn, a thrwy hyny fe wnaeth ychwanegiad ag y mae yn anhawdd ei orbrisio at lenyddiaeth Bywyd Crist. Mae eangder ei wybodaeth yn ei alluogi i daflu llawer o oleuni ar ffeithiau yr hanes, tra y mae ei graffder beirniadol, ynghyd a'i allu i'w osod ei hunan yn sefyllfa y cymeriadau y mae a fyno â hwynt, ac yn enwedig ei addolgar barchedigaeth o'r Gwrthddrych mawr y treuliodd gymaint o'i einioes i astudio ei eiriau, yn gwneyd ei waith yn gynnorthwy gwerthfawr iawn yn efrydiaeth yr Efengylau. Fe allai y teimla y darllenydd weithiau dipyn yn siomedig wrth ei weled yn priodoli y gwyrthiau, &c., nid i allu Crist fel person Dwyfol, ond i waith y Tad yn gwrando ei weddiau. Ond y mae efe yn gorfod penderfynu y rhaid fod ystyr i gynifer o eiriau eglur o eiddo Crist ei hun sydd yn dangos hyny, heblaw fod addysg y Gair am ddyfnder yr Ymwaghâd yn taflu goleuni gogoneddusach fyth ar y darostyngiad a'r ufudd-dod a ddygodd oddiamgylch ein hiachawdwriaeth.

Y mae yr ail waith a enwasom yr un ffunud yn hynod o werthfawr. Fe'i cyhoeddwyd yn Germany mewn gwahanol gyfranau rhwng y blynyddoedd 1844 ac 1856, ac y mae y lle a ennillodd iddo ei hun yn ngolwg y nifer mawr o bobl feddylgar sydd wedi bod yn ei astudio yn dra uchel. Cyfeiriai Deon Alford yn hynod o barchus ato yn ei *Sermons on Divine Love* a gyhoeddwyd gryn lawer o flynyddoedd yn ol. Ei bwnc ydyw dadganiad dwfn yr Apostol Ioan, "Duw cariad yw," ac y mae yn cael yn y gwirionedd mawr yna y dadguddiad llawnaf o ogoniant y natur Ddwyfol, ynghyd a'r esboniad goreu ar y gweithrediadau Dwyfol. Am yr oll o grefydd, pa un bynag ai fel gwirionedd a theimlad, ai fel dyledswydd a buchedd, y mae yn cael mai y "cyflawnder" mawr, yr hwn "sydd yn cyflawni oll yn oll" ydyw cariad. Mae y gwaith yn gyfoethog o feddyliau gwych, a than eneiniad o deimladau sanctaidd.

The Cambridge Bible for Schools and Colleges.—*The Book of Job, with Notes, Introduction, and Appendix.* By the REV. A. B. DAVIDSON, D.D., LL.D. Edited for the Syndics of the University Press.

*Hosea, with Notes and Introduction.* By the REV. T. K. CHEYNE, M.A., D.D., Late Fellow and Lecturer of Balliol College, Oxford, and Rector of Tendring, Essex. Edited for the Syndics of the University Press.—Cambridge: University Press.

RHYFEDD gymaint o fater da a ddirwesgir i gyfrolau y gyfres ragorol hon, y rhai hefyd ydynt mor ddestlus, hylaw, a rhadlawn. Mae gwaith Dr. Davidson ar *Job*, fel ei waith ar yr *Hebreaid* y cyfeiriasom ato dro yn ol, yn un hynod o werthfawr. Y mae yn gynnyrch astudiaeth lawn o lenyddiaeth gyfoethog y rhan yma o'r Ysgrythyr, ac yn dangos hefyd gymaint o allu i osod "trefn a dosbarth" ar y defnyddiau a gasglasai, ac o ysbryd barn a darweledigad wrth geisio penderfynu, rhwng llawer o wahanol olygiadau, pa un a allai fod yr agosaf at y gwir feddwl, fel y mae pob efrydydd yn debyg o roi mawr bris ar y cymhorth a ddyry iddo wrth astudio y llyfr. Y mae mor ffyddlawn i wir uniongrededd â'r gwŷr da sydd wedi bod mor ddyfal yn darllen i'r ymadroddion a geir yn llyfr Job y dadguddiadau llawnach a gaed trwy yr Efengyl; ac y mae mor athronyddol â'r rhai sydd, mewn trefn i fyned yn ddigon pell oddiwrth hyny, yn mynu ei ddarllen yn ngoleu rhesymoliaeth oer, ac felly yn ei amddifadu o'i holl fywyd a'i ogoniant. A'r canlyniad ydyw ei fod, wrth fyned yn ddyfnach i ysbryd y llyfr, yn cael ynddo, yn wrthgyferbyniol i'r rhesymolwyr, ysbrydolrwydd a mawredd, ac yn wrthgyferbyniol i'r esbonwyr efengylaidd, yr ysbrydolrwydd a'r mawredd sydd yn gorwedd o'i fewn ef ei hunan. Mae yr Arweiniad yn dra meistrolgar. Ni thybia, gydag un ysgol, fod yr holl lyfr i'w gymeryd fel yn fanwl hanesyddol, na chydag ysgol arall, nad ydyw o'i ddechreu i'w ddiwedd yn ddim ond barddoniaeth; ond yn hytrach gyda Luther, yr hwn a ddaliai "fod y llyfr yn wir hanes, eithr na ddarfu i bob peth ddygwydd neu gael ei wneyd fel y dywedir, ond fod rhyw ŵr cywrain, duwiol a dysgedig, wedi ei gyfansoddi fel y mae." Mae ei astudiaeth o'r gwahanol ddamcaniaethau am amser ei gyfansoddiad yn ei dueddu i beidio ei osod yn gynt na'r seithfed ganrif cyn Crist, ac fe allai yn amser y caethgludiad Babylonaidd. Fel engraifft o'i ddull o esbonio gallem gyfeirio at y geiriau hynod, pen. xix. 23—27, "O nad ysgrifenid fy ngeiriau yn awr," &c. Cyfieitha hwynt i'r ystyr yma:—

O nad ysgrifenid fy ngeiriau yn awr,
O nad ysgrifenid hwynt mewn llyfr;
Gyda phrin o haiarn ac â phlwm
Na cherfid hwynt yn y graig dros byth.

Ond myfi a wn fod fy mhrynwr yn fyw,
Ac mewn amser i ddyfod efe a saif ar y llwch,
Ac ar ol hwn, i fy nghroen gael ei ddinystrio,
A heb fy nghawd mi a gaf weled Duw:
Yr hwn a gaf weled i mi fy hun,
A'm llygaid a gânt weled ac nid arall,—
Mae fy arenau yn darfod ynof!

Nid oes son am "bryfed" na "chorff" yn y gwreiddiol. Golygiad Dr. Davidson ar y geiriau ydyw, fod Job, wrth fethu cael cydymdeimlad ei gyfeillion, yn dymuno appelio at y cenedlaethau a ddeuent am gydnabyddiaeth o'i ddiniweidrwydd; a beth bynag am danynt hwythau, fe ŵyr fod ei *göel*, ei brynwr, yr hwn a amddiffynai ei hawliau, sef Duw ei hun, yn fyw; ac mewn amser fe saif Efe fel ei amddiffynwr ar y llwch i ba un y bydd ef wedi dychwelyd; fe ŵyr ei fod i farw, ond nid yw hyny o fawr wahaniaeth,—fe gaiff weled Duw! Ac y mae hyny yn ei lanw â pherlewyg: "Mae fy arenau yn darfod ynof." (Cymharer Diar. xxiii. 16: "Ië fy arenau a grychneidiant, pan draetho dy wefusau di gyfiawnder.") Nid yw yn briodol i ni feddwl ei fod yn cyfeirio at Grist, neu yn meddwl am yr ystad y bydd efe ynddi pan yn mwynhâu y gwynfyd mawr; mae yn ddigon iddo y caiff weled Duw! O angenrheidrwydd yr oedd crefydd iddo yn rhagdybied sefyllfa ddyfodol ac anfarwoldeb; nid allai bod gyda'r Duw tragywyddol lai na phrofi yn fywyd tragywyddol; ond nid ydyw yn iawn priodoli i Job, a olygir fel yn trigiannu yn ngwlad Us ac yn yr hen amseroedd, y goleuni sydd wedi dyfod dan yr Efengyl am berson y Cyfryngwr, adgyfodiad y corff, &c. Fel y Salmydd yn Salm xvi. a manau eraill, yr oedd gweled Duw iddo ef yn fwy na digon i wneyd i fyny am ei holl drallodion, er nad oedd ganddo syniad clir am yr ystad ymha un y cai fwynhâu y fath wynfyd.

Y mae llyfr Dr. Cheyne ar *Hosea* yn dangos llawer o'r un rhagoriaethau, ac anaml iawn y troir am eglurhâd ar unrhyw ran o waith y meithaf hwn o'r "Prophwydi Byrion"—a defnyddio gair hapus y Parch. John Davies, Ietwen—na cheir, er mewn cylch cryno, eto mewn dull tra boddhâol, yr hyn yr ymofynir am dano. Y mae yr Arweiniad yn hwn hefyd yn llawn a meistrolgar, ac y mae holl ysbryd y gwaith yn deilwng o'r hyn a ga yr awdwr fel y wir elfen Gristionogol yn Hosea, sef ei "ddarweledigaeth pell-gyrhaeddol o gariad maddeuol Duw a gymerodd ffurf, megys, yn nghyflawnder yr amser yn Iesu Grist."

*Men of Invention and Industry.* By SAMUEL SMILES, LL.D., Anthor of "Lives of Engineers," "Industrial Biography," "Self-Help," etc. London: Murray.

MAE y gyfrol hon yn barhâd tra phriodol o gyfrolau dyddorol ac addysgiadol eraill a gyhoeddodd yr awdwr, megys "Lives of Engineers," "Industrial Biography," "Self-Help," &c., ac yn mawrhâu yn arbenig yr ymadferth y mae dynion galluog a phenderfynol yn ddangos i orchfygu anhawsderau, ac felly i'w profi eu hunain yn gymwynaswyr i'r oesoedd. Mae amryw o'r dyfeisiau mewn celfyddyd sydd wedi dyfod mor hynod o wasanaethgar, yn ymddangos erbyn hyn mor naturiol fel y mae ymron yn anhawdd meddwl nad oedd y byd yn cael eu gwasanaeth er ys oesoedd lawer. Ond erbyn edrych, nid ydynt ond pethau a gaed allan yn ddiweddar iawn, ac mae yr olwg a geir yn y llyfr yma ar yr ymdrechion trwy ba rai y daethpwyd o hyd iddynt ac y gweithiwyd hwynt i'w perffeithrwydd presennol, yn addysgiadol a difyrus dros ben. Mae y pennodau ar adeiladu llongau, argraffu trwy ager, a diwydrwydd yr Iwerddon yn dra dyddorol. Y mae Dr. Smiles hefyd yn ei bennod olaf,

"Astronomers and Students in Humble Life, a New Chapter in the 'Pursuit of Knowledge under Difficulties,'" yn rhoddi llawer o glod i ddau o'n cydwladwyr sydd felly wedi gorchfygu anhawsderau. Ac mae yn falch genym feddwl na fuasai ond hawdd iddo yn hanes ein hanwyl wlad gael gafael ar lïaws a wnaethant orchestion o gyffelyb natur i gyrhaedd rhagoriaeth. Ac yn awr, pan y mae ffyrdd Parnassus, chwedl Iarll Powys, wedi eu "palmantu" â'r fath gyfleusderau, hyderwn y bydd ein pobl ieuainc yn dangos yr un ysbrydiaeth o ŷni a phenderfyniad, ac felly yn cyrhaedd rhagoriaethau uwch fyth. Mae Dr. Smiles yn un sydd yn cymeryd llawer o boen wrth gasglu ei ffeithiau, ac yn cymeryd gofal a manylrwydd wrth eu gosod ger bron; ond y mae amryw amryfuseddau wedi llithro i'w gyfeiriadau Cymreig. Nid y *British and Foreign School Society* sydd yn arholi ymgeiswyr am dderbyniad i Goleg Normalaidd Bangor. Nid Mr. Bradley ydyw Mr. Bradley Jones. Os oedd yn werth rhoddi cymaint o ganmoliaeth i Chwarelwyr y Penrhyn am gasglu £508 4s. 6c. at Goleg Gogledd Cymru, y mae eu hawliau i anrhydedd o leiaf yn deirgwaith mwy pan gofir fod £1000 yn ychwaneg wedi eu cyfranu ganddynt. Ac yn wyneb dwfn anwybodaeth y Saeson am danom, nid yw mor ryfedd fe allai fod hyd yn nod gŵr fel Dr. Smiles yn priodoli parhâd yr iaith Gymraeg i "wladgarwch ac Eisteddfodau."

*Brief Notes for Temperance Teachers.* By BENJAMIN WARD RICHARDSON, M.D., F.R.S. London: National Temperance League.

MAE Dr. Richardson wedi bod o wasanaeth mawr, ac i gylch tra ëang, trwy ei ymdrechion di-ildio yn mhlaid achos sobrwydd. Fel eraill o fawrion y byd gwyddonol, yr ydoedd ar un adeg yn dra phell oddiwrth beth mor isel a gwerinaidd â Dirwest, ac fe fuasai yn gryn ysgorn ganddo, mae yn ddiammeu, feddwl y gwelsid ef byth ymysg ei phrophwydi. Ac yr ydym yn meddwl i ni ddarllen yn un o'i areithiau mai yr achlysur iddo fyned i astudio Alcohol gyda'r fath fanylrwydd ydoedd y dull eithafol, yn ei farn ef, y byddai areithwyr a chyfeillion Dirwest yn son am dano. Gydag ysbryd o ymgysegriad dwfn a phur i wyddoniaeth, fe benderfynodd chwilio yn drwyadl i'r mater, ac felly roddi bythol daw ar faldordd y siaradwyr. Nid oedd raid iddo fyned ymhell na welai fod pethau dyeithr yn dyfod i'r golwg wrth ystyried effeithiau y gwlybyroedd alcoholaidd ar y cyfansoddiad dynol; ond er hyny elai ymlaen gyda phenderfyniad di-droi-yn-ol, a mynai weled i ba le yr arweinid ef gan ei ymchwiliadau. Ac yn bur annysgwyliadwy iddo ef, fe welodd eu bod yn dysgu nad oes dim cyfaddasder mewn alcohol, mewn unrhyw ffurf, i fod yn faeth a chynnaliaeth i'n natur; ond o'r ochr arall eu bod iddi yn wenwynig a dinystriol. Fe osododd ganlyniadau ei ymchwiliad ger bron y byd yn y *Cantor Lectures* a draddododd yn 1874—5, o flaen y *Society of Arts*, a dywedai "Er ei fod wedi siarad allan yn rhydd y gwersi a ddysgasai gan natur, nad oedd unrhyw ymrwymiad yn ei ddal, ac nad oedd un gymdeithas ag oedd wedi ymrwymo i ledaenu unrhyw olygiadau neu ddaliadau neillduol yn hawlio ei ymlyniad. Yr wyf yn sefyll ger bron," ychwanegai, "yn unig fel deonglydd ffaith a deddf naturiol." Wrth fyned ymlaen yr oedd y casgliadau y daethai iddynt yn gadael eu hargraff yn fwyfwy dwfn ar ei ysbryd, a theimlai rwymau cydwybod i wneyd ei oreu i ddadwneyd y drwg ag yr oedd yr alwedigaeth feddygol wedi bod yn gymaint o achlysur i'w gynnyrchu trwy beri i ddynion feddwl fod y diodydd alcoholaidd mor fanteisiol i iechyd a nerth. Yn ystod y deng mlynedd diweddaf y mae wedi traddodi lliaws mawr o anerchiadau, ymha rai, gan gymeryd ei safle, chwedl yntau, "fel deonglydd ffaith a deddf naturiol," y mae —gyda chynnorthwy gwerthfawr amryw o feddygon dysgedig eraill o gyffelyb feddwl —wedi tywallt y fath ffrydiau cryfion o oleuni ar y mater fel mai anhawdd bellach

ydyw cael neb ag y mae iddo ddim enw yn y *profession*, a anturiai ddywedyd dim o blaid yr hen olygiadau a dderbynid mor ddibetrus am fawr rinwedd y diodydd meddwol. "Yr oeddwn," meddai, "yn unig trwy sylw arbrofiadol wedi dysgu fod y sylwedd fferyllol hwn, alcohol, yn ei effeithiau ar y corff byw, yn anmharu cyfansoddiad y gwaed; yn cynhyrfu yn anmhriodol y galon a'r anadliad; yn parlysu y mân wasdlestri; yn cynnyddu neu yn lleihâu yn ol y defnydd a wneir o hono, weithrediad y peiriannau treuliol, yr iau a'r arenau; yn tori ar reoleidd-dra gweithrediad gïeuol; yn darostwng ardymheredd anifeilaidd, ac yn lleihâu y gallu gewynol. Y fath, yn annibynol ar bob rhagfarn plaid, neu ddylanwad teimlad, ydyw dysgeidiaeth anatebadwy y cryfaf o bob tystiolaethau, tystiolaethau arbrofiad, tystiolaethau ffaith naturiol wedi eu dadguddio i ddyn trwy arbrofiadau ar ymddangosiadau naturiol. . . . Dechreua alcohol trwy ddinystrio, diwedda mewn dinystr, a phlana gyfnewidiadau cyfansoddiadol y rhai a ant rhagddynt yn annibynol ar ei bresennoldeb hyd yn nod yn y rhai sydd eto heb eu geni." Mae y llyfr hwn yn cynnwys "Nodiadau" ar ryw naw o faterion ynglŷn â diodydd alcoholaidd, y gallai rhai fo yn dysgu egwyddorion sobrwydd eu cymeryd fel arwyddion ffordd wrth ddwyn ger bron y gwersi mawrion y mae anianyddiaeth fwyaf goleuedig ein hamseroedd yn ddysgu o berthynas iddynt. Mae y llyfr yn gyforiog o ffeithiau, a gall pob un eu defnyddio yn ei ddull ei hunan er hyrwyddo yr amcan cyffredin o ddysgu dynion i fyw yn sobr; ac y maent oll yn meddu cyfaddasrwydd neillduol i'r fath amcan, oblegid y maent yn dysgu nad oes wrth lwyrymwrthod â'r holl ddiodydd hyn ddim o gwbl i'w golli, ond ar y llaw arall bobpeth i'w ennill. Pris y llyfr yw 3s. 6c.

*The Case for Disestablishment: A Handbook of Facts and Arguments in support of Religious Equality.* London: Liberation Society.

Y MAE Dadsefydliad yn dyfod yn fwy fwy "within the range of practical politics," ac fe deimlir ar bob llaw fod yr amser yn ymyl pan yr hawlia ein sylw fel prif gwestiwn y dydd. Y mae cryn amser bellach er pan aeth Deon Alford i orphwys, ac fe ddywedodd efe: "Pa nifer bynag o flynyddoedd a gymerir i gwblhâu yr ysgariad hwn rhwng yr Eglwys a'r Wladwriaeth, pa fodd bynag y dymunir yn ei erbyn, a pha fodd bynag y gwrthwynebir ef, ei gwblhâu yn sicr a wneir. Y mae Hanesyddiaeth er ys oesoedd wedi bod yn parotoi ei ffordd; mewn cyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle, y mae wedi ei ildio drachefn a thrachefn; y mae braich Duw yn ei wthio ymlaen, ac ni ddichon gallu dyn ei gadw yn ol." Ac yn wyneb yr angen a deimlir i fesur helaeth eisoes, ond a deimlir yn llawer helaethach yn fuan, am allu meistroli ffeithiau y cwestiwn, fe fuasai yn anmhosibl i Gymdeithas Rhyddhâd Crefydd wneyd dim yn well na chyhoeddi y Llawlyfr cynnwysfawr hwn. Y mae holl hanfod y ddadl yn cael ei osod o'n blaen yma mewn dull cryno a chlir; ac yn arbenig y mae y *defnyddiau* y teimlwn eu bod mor angenrheidiol i'n galluogi i ffurfio ein golygiadau ein hunain yn cael eu gosod ger bron yn fanwl a chyflawn. Ac ni raid ond am ychydig ystyriaeth na theimla y darllenydd fod grym yn y ffeithiau a osodir o'i flaen sydd yn gryfach na phob hyawdledd, ac o flaen eu hymosodiad y gofynid nerth i ddal i fyny y Sefydliad Gwladwriaethol o Grefydd nad oes un math o debygolrwydd y llwydda neb i gael gafael arno. Os sonir am y Bibl, fe geir fod Eglwys Sefydledig yn groes i'w holl addysg a'i ysbryd, ac yn niweidiol i grefydd—yn llyffeitheirio ei rhyddid, yn darostwng ei bywyd ysbrydol, yn meithrin culni ac yn attal haelioni. Am wleidyddiaeth, fe geir fod Eglwys Sefedledig yn groes i bob cynnydd a rhyddid, ac mai er gwaethaf ei gwrthwynebiad hi y cawsom bob daioni politicaidd a ddaeth i'n rhan. Fel y dywedai y *Times* ar un achlysur, ar ol nodi llawer o ddiwygiadau ag y mae pawb o honom erbyn hyn yn synu fod

erioed eisieu dyweyd gair o'u plaid, ond y gwrthwynebid hwy hyd yr eithaf gan yr Eglwys: "Yn wir, mae yn anhawdd dyweyd beth na safodd yn ei erbyn yn y ffordd o welliant." Yr un modd y mae tystiolaeth hanesyddiaeth am dani fel creadur y Wladwriaeth; yr hawl ar bu un y deil ei meddiannau; y dadguddiedigaethau a wnaed trwy yr *Ecclesiastical Commission;* yr anfadrwydd gwaradwyddus sydd yn dyfod i'r golwg ynglŷn â nawddogaeth ynddi; y profion diymwad a geir o'i methiant i ateb ei dyben fel Eglwys Wladwriaethol, tra y mae ymdrechion gwirfoddol y tu allan iddi yn gwneyd y gwaith yn llawer mwy effeithiol; y methiant hwnw yn arbenig yn Nghymru, lle, fel y dywedai Arglwydd Aberdâr, "y buasai crefydd wedi diflanu o'r wlad oni b'ai am ymdrechion yr Anghydffurfwyr;" ac yn Scotland, lle mae y gwrthuni o gynnal sect fechan fel Eglwys y Wladwriaeth wedi dyfod mor amlwg fel y mae ymron yr holl wlad yn awyddus i'w ddwyn i derfyniad; ac yn enwedig y llwyddiant mawr i'r Eglwys ei hunan, ynghyd a'r cysur cyffredinol i'r boblogaeth y tu allan iddi, sydd wedi dilyn dadsefydliad yn Iwerddon ac mewn amryw o'r Taleithiau Prydeinig, ynghyd a'r profiad bendithiol a gaed ar Grefydd Rydd yn America,—fe geir fod y cyfan yn dangos nad oes ond un ymwared i edrych ymlaen ato, ac mai yr ymwared hwnw ydyw dadsefydliad a dadwaddoliad. Y mae y cynnydd sydd wedi bod ar y teimlad yma yn y deyrnas er pan sefydlwyd Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd ddeugain mlynedd yn ol yn un o'r pethau hynotaf y gellir meddwl am danynt. Y pryd hyny fe edrychai hyd yn nod Ymneillduwyr ar y symudiad gyda phryder a gofid, ac y mae rhai o'n cydwladwyr o bryd i bryd yn cael hyfrydwch mawr mewn dal o flaen ein llygaid benderfyniad ffol a basiwyd ar gynnygiad y Parch. John Elias, mewn Cymdeithasfa yn y Bala yn yr amseroedd hyny o anwybodaeth; ond erbyn hyn y mae Eglwyswyr goleuedig wrth y miloedd—ac y mae eu nifer yn parhâus gynnyddu—yn gweled mai goreu po gyntaf i ddwyn oddiamgylch gyfnewidiad sydd mor resymol ac mor anocheladwy, tra y mae yn rhyfeddod cyfarfod unrhyw Ymneillduwr mor anghyson âg ef ei hun ag i yngan gair o'i blaid. Y mae pob helaethiad ar yr etholfraint wedi peri cryn gynnydd yn y teimlad o blaid cydraddoldeb crefyddol, ac mae yn rhyfedd os na fydd i weithrediad yr Act fawr sydd newydd ei phasio yn bresennol ddwyn yr achos yn fuan i'w fythol derfyniad.—Mae y llyfr mewn byrddau i'w gael am 2s., ond mewn papyr stiff am 1s.

*Welsh Calvinistic Methodism. A Historical Sketch of the Presbyterian Church of Wales.* By the Rev. WILLIAM WILLIAMS, Swansea. Second Edition. London: Publishing Office of the Presbyterian Church of England, 18, Paternoster Row.

MAE yn wirioneddol dda genym groesawu yr ail argraffiad prydferth hwn o lyfr rhagorol Mr. Williams o Abertawe ar Hanes y Methodistiaid Calfinaidd, gydag ychwanegiad o bennod arweiniol ar sefyllfa isel ein gwlad yn flaenorol i'r Diwygiad Methodistaidd. Mae yn ddyddorol genym ddeall fod y llyfr yn cael ei ddarllen yn ddyfal y tu allan i Gymru, oblegid mae yn anhawdd i'r ffeithiau hynod a esyd ger bron, ynghyd a'r ysbryd rhagorol sydd yn ei fywhâu, beidio ag effeithio yn dda ar bwy bynag ddelo i gyffyrddiad âg ef. Ond ymhlith y Cymry eu hunain, fe ddylai y llyfr gael derbyniad cynhes iawn. Y mae nifer ein cydwladwyr sydd yn darllen Saesoneg erbyn hyn yn lliosog; y mae llawer na thybiant yn werth ganddynt ddarllen dim arall; ac mae yn debyg fod cryn nifer, bellach, na allant wneyd nemawr o lyfr heb ei gael yn yr iaith hono. Ond i'r rhai hyny oll, dyma lyfr na allai ei ddarllen lai na rhoddi iddynt lawer o wybodaeth werthfawr, llawer o wir fwynhâd, a llawer o adeiladaeth. Nid oes ond Dic Sion Dafydd a'i wehelyth yn awchus i fawrhâu helyntion pobl eraill, gan ddychymygu nad oes ond ychydig iawn yn hanes eu cenedl eu hun a

dâl son am dano neu yn werth meddwl yn ei gylch. Fe deimla pob Cymro a Chymraes ag y mae ganddynt rywfaint o hawl i'n parch, fod hanes y Cymry yn fwy pwysig a dyddorol iddynt na hanes unrhyw genedl arall; ac nid oes yn holl hanes y Cymry ddim sydd yn fwy cyfoethog o addysg na hanes eu crefydd; ac y mae hefyd yn gwbl sicr nad oes yn hanes ein crefydd yr un gyfran sydd i'w chymharu mewn dyddordeb â hanes y Diwygiad Methodistaidd,—yn wir yn holl hanes yr Eglwys Gristionogol ychydig iawn o bennodau a geir sydd yn llawnach o addysg a dyddordeb. Dyfod i gyffyrddiad â'r ddaearen, ei fam, a wnelai Antæus yn anorchfygol. Yr un modd, pa fesurau da bynag sydd yn angenrheidiol i grefyddwyr Cymru feddwl am danynt y dyddiau hyn, mewn ffordd o ymgyfaddasu at amgylchiadau arbenig yr amseroedd, elfen hanfodol eu nerth ydyw y dwfn grefyddolder a roddes y fath ogoniant ar y Diwygiad Methodistaidd, ac a barodd ei brofi o hyny hyd yn awr yn gymaint bendith i'n gwlad. Fe allai darllen llyfr Mr. Williams brofi i lawer iawn yn foddion hynod o gyfaddas i'w dwyn i gydnabyddiaeth â'r amseroedd hynod y cyfeiriwn atynt, a phrin y gallai hyny gael ei ddwyn oddiamgylch heb iddynt brofi eu hunain yn well. Pris y gyfrol yw 3s. 6c.

*Cofiant a Phregethau y Parchedig Robert Roberts, Clynnog, a Sylwadau ar ei Nodweddion fel Pregethwr, gan y diweddar Barch. John Hughes, Liverpool, Dr. Owen Thomas, Eben Fardd, ac eraill; ynghyda Thraethawd Arweiniol gan y Golygydd.* Dau Olygiad y Parch. GRIFFITH PARRY, Aberystwyth. Penygroes: G. Lewis.

DARLLENASOM y llyfr hwn gyda gwir hyfrydwch, ac mae yn bleser genym ei gyflwyno i sylw ein cydwladwyr fel un sydd yn teilyngu oddiar eu llaw groesawiad o'r fath fwyaf calonog. Mae yn debyg mai ychydig o'r Cymry sydd nad ydynt wedi clywed am Robert Roberts o Glynnog; ond mae yn sicr nad ydyw y syniad sydd gan lawer o honynt yn ei gylch ond hynod o niwlog. Maent wedi clywed, o bosibl, ei fod yn bregethwr tanllyd yn y dyddiau gynt, ac fod y werin yn adeg y diwygiadau yn cael eu taflu dan ei weinidogaeth i gyffroadau neillduol; ond heb wybod fawr yn ychwaneg, a heb feddwl, mae yn dra thebyg, fod nemawr yn ychwaneg a allai fod yn werth ei wybod mewn perthynas iddo. Ac y mae hyn, mae yn ddiau, i'w esbonio i fesur mawr gan fychander ein cyfleusderau i ymgydnabyddu â'i hanes. Nid ydyw y *Cofiant* a gyhoeddwyd gan Michael Roberts yn 1830 yn adnabyddus ond i ychydig bellach, ac nid ydyw erthygl Eben Fardd yn y TRAETHODYDD am 1846 erbyn hyn yn adnabyddus i lawer; ac am y cyfeiriadau gwasgaredig hyd ein llenyddiaeth, a'r traddodiadau ar lafar gwlad oeddynt yma a thraw heb lwyr farw, nid allai ond ychydig iawn, y dyddiau hyn, fod nemawr well erddynt; ac am y bobl dyfodol, ni ellid dysgwyl iddynt hwy wybod dim yn eu cylch. Ond mae y gyfrol werthfawr sydd o'n blaen wedi dwyn y cwbl ynghyd, ac felly yn rhoddi cyfleusdra rhagorol i ni ffurfio syniad cywir a chyflawn am un o'r dynion goreu a mwyaf dysglaer a defnyddiol ag y gall ein cenedl ymffrostio yn ei enw. Y mae y *Cofiant* gan Michael Roberts, er yn fyr, eto fel pob peth a ddaeth o dan law y gŵr enwog hwnw, yn glir a byw; ac y mae y llythyr a gynnwysa oddiwrth y Parch. Richard Jones, y Wern, ynghyd a'r Farwnad gan frawd Robert Roberts, y Parch. John Roberts, Llangwm (tad Michael Roberts), yn hynod o werthfawr. Mae erthygl Eben Fardd, er yn dipyn mwy anystwyth a *pedantic* nag y gweddasai iddo ef, eto yn cynnwys rhai cyffyrddiadau da tuag at berffeithiad y "darlun," chwedl yntau, o Robert Roberts yn ein meddwl. Mae y dyfyniad o *Fethodistiaeth Cymru* yn dra gwerthfawr, er fod yr awdwr hybarch yn rhygnu gormod braidd ar y ffaith fod Robert Roberts yn "ŵr tlawd." Am sylwadau Dr. Thomas yn *Nghofiant y Parch. John Jones*, y maent ar ein clust ac ar ein hysbryd,

chwedl Eben Fardd ar fater arall, yn "yn troi yn llyfn mal swyn," ac yn peri nad ydym yn blino eu darllen drachefn a thrachefn. Mae y lloffion eraill a ychwanegir o sylwadau ynghylch Robert Roberts, ac o ddywediadau o'i eiddo wedi eu cofnodi gan ei edmygwyr, y fath fel na allwn lai na mawr lawenhâu am eu bod fel yma wedi eu diogelu. Am y Traethawd Arweiniol, y mae enw ei ysgrifenydd, ac yn arbenig i holl ddarllenwyr y TRAETHODYDD, yn ddigon o warant am ei allu a'i goethder, heblaw fod y cysylltiad teuluaidd rhwng ein hanwyl gyfaill a'r pregethwr dysglaer a thanllyd yn peri ei fod, o'i febyd, yn clywed son am dano, yn trysori adgofion yn ei gylch, ac yn coledd ar hyd ei oes edmygedd cariadlawn at ei enw a'i galluogai o bob cyfeiriad i gasglu ynghyd bob manylion mewn perthynas iddo. Yr ydym yn llawn gytuno â Mr. Parry yn ei fawrhâd o lafur tra neillduol Robert Roberts fel efrydydd, yn gystal ag o allu a ffrwythlonrwydd mawr ei feddwl. Yr oedd ei dduwioldeb a'i zel gyda gwaith yr Arglwydd Iesu yn angerddol, ac mae yn debyg mai dyna, yn ol y syniad allai fod gan y rhan fwyaf hyd yn nod o ddarllenwyr y TRAETHODYDD, oedd yr unig hynodrwydd arno; ond wrth ddarllen y gyfrol hon, ac yn enwedig ei ddywediadau a'i bregethau, ynghyd a dadganiadau ei gydoeswyr yn ei gylch,—er engraifft, sylw y Parch. Ebenezer Morris wrth y Parch. William Roberts, Amlwch: "A wyddoch chwi, William Roberts, pe buaswn i wedi marw heb glywed Robert Roberts o Glynnog yn pregethu, mi fuaswn wedi marw heb y syniad sydd gen' i am ogoniant gweinidogaeth yr efengyl,"—fe welir fod ganddo hefyd feddwl hynod o gryf, calon lawn o deimlad, a dychymyg ag oedd yn gyfoethog o'r farddoniaeth uchaf; ac fod y cwbl wedi eu cysegru trwy ddirfawr lafur, er yn nannedd anferth rwystrau, i wasanaeth Crist. Y mae llawer yn methu gweled mawredd meddyliol yr ysgrifenwyr ysbrydoledig gan mor lwyr y mae wedi ymgolli yn mawredd eu hymgysegriad i Dduw a gwaith ei deyrnas. Y mae rhywbeth o'r un natur i'w deimlo yn y dwfn ysbrydolrwydd â pha un yr oedd Robert Roberts yn llafurio gydag achos yr Arglwydd Iesu; ond ni allwn wrth ddarllen y llyfr hwn lai na theimlo hefyd ei fod yn "dywysog ac yn ŵr mawr," er fod ei fawredd yn dysgleirio yn gymaint gan y "gogoniant mwy rhagorol" a lewyrchai arno o'r byd arall, fel mai prin y gallai ei gydwladwyr feddwl am dano ond fel "angel yn ehedeg yn nghanol y nef a'r efengyl dragywyddol ganddo." Gallwn addaw i'n darllenwyr adeiladaeth a dwfn foddhâd wrth ddarllen y llyfr yma; ac mae yn anhawdd peidio hyderu y profa ei gyhoeddi yn fendith i ni fel cenedl. Y mae yr hanesyn a adrodda Mr. Parry am dano a glywsai pan yn blentyn gan ei rieni, yn anmhrisiadwy. Yr oedd rhyw ŵr yn pregethu yn y Capel Uchaf, ac yntau o'i wely —a brofodd ei wely angeu—yn y tŷ gerllaw yn ei wrando Ymddengys mai lled ddifater a dieffaith y pregethai y gŵr. Wedi iddo ddybenu, edrychai Robert Roberts yn llym, a dywedai wrth y rhai oedd yn yr ystafell: "O! pe byddai y gŵr yna yn y sefyllfa yr wyf fi ynddi yn awr, ac yn gweled pethau byd arall fel y maent yn ymddangos i mi o'r fan yma, nid fel yna y buasai yn pregethu!"

Pris y gyfrol yw hanner coron.

*Cofiant y Parch. Hugh Jones, D.D., Llangollen, ynghyda rhai o'i Bregethau.* Gan y Parch. H. CERNYW WILLIAMS, Corwen. Llangollen: W. Williams,

ONI b'ai mai yr Arglwydd Crist a bïa y gwaith mawr, ac fod ei lwyddiant yn llawer nês at ei galon nag y mae yn bosibl iddo fod at galon neb arall, fe'n temtiasid i feddwl ei fod yn gryn wastraff ar adnoddau i godi gŵr fel ein cyfaill teilwng Dr. Jones, a rhoddi iddo nerth i ymroddi i'w ddirfawr lafur i ymgymhwyso at waith teyrnas Dduw, a rhoddi iddo hefyd ymhellach y fath gylch pwysig o wasanaeth, a'i anrhydeddu â'r fath ddefnyddioldeb, ac wedi'r cwbl, yn anterth ei ddiwrnod, pan yn ddim ond 52 mlwydd oed, ei gymeryd ymaith. "Ei haul a fachludodd tra yr oedd hi yn ddydd." Einioes mor werthfawr yn diffodd,

And they whose hearts are dry as summer's dust
Burn to the socket!

Nid ydym yn synu fod y gangen o'r eglwys fawr a gafodd y fraint o fwynhâu ei lafur yn arbenig, wedi dyfod i'w barchu mor fawr â'i garu mor ddwfn; ac ni raid dyweyd wrth ddarllenydd y TRAETHODYDD ei fod ef hefyd wedi gwneyd llawer o waith rhagorol yn ngwasanaeth ei genedl. Ac fe fydd ei waith yn aros. Ni chaiff efe "golled" am ei lafur diwyd, gonest, a da, pan y bydd llawer o ymdrechion oeddynt, fe allai, yn fwy eu rhwysg a'u trwst, wedi darfod am danynt. Fe erys ei waith ef yn ysbrydoedd y rhai y cafodd y fraint o gyfeirio eu hwynebau tua thir y bywyd, ac y gwnaeth gymaint er eu cymhwyso i'r wlad well; fe erys mewn nifer mawr o'i hen efrydwyr, trwy y rhai hefyd y trosglwyddir dylanwad da ei gymeriad gwerthfawr, ni a hyderwn, i genedlaethau y dyfodol; ac fe erys yn ei ysgrifeniadau, y rhai, yr ydym yn gobeithio, a berchir ac a astudir gan ein cenedl am amser maith. Un o'r meibion rhagorol a fagodd Môn ydoedd Dr. Jones,—ac mewn nerth, a phwyll, a symledd, a chrefyddolder, yr ydoedd yn ffyddlawn i'w thraddodiadau goreu. Mae ein darllenwyr wedi mwynhâu yn fawr yr erthygl a gyhoeddasom yn ddiweddar arno a ysgrifenwyd gan y Parch. Owen Davies; ac y mae yn dda genym weled cyhoeddi mor brydlawn y gyfrol yma gan Mr. Cernyw Williams, yr hon sydd yn rhoddi ei hanes yn fwy cyflawn, ac wedi ei hysgrifenu yn rhagorol. Darllenasom hi gyda phleser neillduol, ac fe allai ei darllen a'i hystyried fod i lawer, yn enwedig o'n pobl ieuainc, nid yn unig yn hyfrydwch, ond hefyd yn ddaioni parhâus. Pris y gyfrol hon hefyd yw hanner coron.

*Hanes yr Eglwys Gristionogol drwy y Byd, o ddyddiau yr Apostolion hyd yn bresennol.* Gan DAVID GRIFFITH, Dolgellau. Rhanau 1, 2.

MAE yn hyfryd genym weled gŵr o allu ac addfedrwydd y Parch. David Griffith yn ymgymeryd âg ysgrifenu llyfr sydd i gynnwys rhyw ddeuddeg o ranau cyffelyb i'r rhai hyn mewn ffordd o roddi Hanes yr Eglwys. Prinion yw y cyfleusderau a estynir i'r Cymry i astudio yn eu hiaith eu hunain y gangen dra phwysig yma. Ar yr un pryd mae chwaeth lliaws o'n cydwladwyr y fath fel y gellid yn rhesymol ddysgwyl iddynt ddwfn fwynhâu y cyfryw efrydiaeth, a diammeu y derbynient, o ymgydnabyddu â helyntion Eglwys Crist trwy yr oesoedd, ac mewn gwahanol barthau o'r byd, lawer o les. Yr ydym oll yn rhy dueddol i'n cyfyngu ein hunain i gylch cul ein sect, ac i helyntion bychain y fynyd, heb ystyried ein bod yn perthyn i gorfforiaeth sydd i ddwyn yn ei mynwes dduwiolion y byd, ac fod dinas Duw yn ddinas dragywyddol. Y mae darllen Hanes yr Eglwys yn tueddu at ëangu y meddwl a'r galon; dengys fod gwirionedd Duw yn cyrhaedd lawer yn ymhellach na'r terfynau yr ydym ni yn rhy chwannog i'w gosod iddo, ac fod cymundeb y saint yn anfesurol ëangach na'r tipyn plaid y dygwyddwn ni fod wedi ein cael ein hunain ynddi. Y mae yn rhywbeth gwych a bendithiol i ddyn gael teimlo ei fod yn etifedd i dreftadaeth o ddoethineb ag y mae yr oesoedd wedi adael iddo, ac y caiff hòni brawdoliaeth â'r ysbrydoedd gwychaf a fu erioed ar y ddaear. Fe roddai hyny urddas ar ei fywyd, a gwerth ar ei lafur, a dyfnder a nerth i'w argyhoeddiadau na allai ei cyrhaedd yr un ffordd arall, ac fe'u galluogai, oddiar dyrau y ddinas sydd wedi dal rhuthr canrifoedd o ymosodiadau, i deimlo yn dawel yn wyneb pob ymosodiadau newyddion a wneler arni, am ei thragywyddol ddiogelwch. Ni allai ein cydwladwyr gael arweiniad gwell i'r efrydiaeth ddyddorol yma na llyfr Mr. Griffith. Y mae efe wedi astudio yr hanes yn dda a gofalus; dosbartha ei fater mewn dull hynod o drefnus a chlir; mae ei ysbryd yn ëang a chatholig, er ar yr un pryd mewn dwfn gyd-

nawsedd â'r pethau mawrion yr ysgrifena yn eu cylch; ac y mae ei arddull Gymreig glir, naturiol, goeth, fel y gŵyr darllenwyr y TRAETHODYDD, y fath ag a wnel ddarllen ei waith yn hyfrydwch pur. Hyderwn y bydd y Cymry yn lliaws mawr yn gwerthfawrogi y cyfleusdra rhagorol hwn a roddir iddynt i astudio Hanes yr Eglwys.

*Gemau Duwinyddol: neu Gorff Cynnwysfawr o Dduwinyddiaeth mewn Ffurf Newydd; yn cynnwys Miloedd o Sylwadau tarawiadol, wedi eu dethol gan mwyaf o'r Prif Awduron, yn neillduol yr Hen Buritaniaid.* Gan ROBERT JONES, Llanllyfni. Dinbych: Gee a'i Fab.

DA genym ddeall fod y fath dderbyniad wedi ei roddi i'r argraffiad cyntaf o'r *Gemau Duwinyddol* fel ag i alw am eu hail gyhoeddi. Mae yr argraffiad hwn, fel y dywed yr awdwr, yn un "ardderchog," a'r gyfrol ymhob ystyr wedi ei gwneyd i fyny yn dra hardd a dymunol. Mae yr ychwanegiad at fater yr argraffiad blaenorol, yr hwn a wnaed yma a thraw trwy gorff y llyfr, yn gymaint ag a lanwai tua 40 o du dalenau. Mae yn dda genym gael croesawu yr ail argraffiad o'r *Gemau*, ac yr ydym eto yn galonog yn eu hargymhell i sylw ein darllenwyr. Lleinw y gwaith dros 500 o dudalenau, ac y mae yn cynnwys miloedd lawer o'r sylwadau goreu, wedi eu dethol o weithiau y duwinyddion mwyaf cymeradwy, gyda llawer o sylwadau gwreiddiol rhagorol o eiddo y gweinidog teilwng o Lanllyfni ei hunan, a'r cyfan wedi eu gosod ynghyd mewn ffordd dra chyfleus dan y gwahanol faterion i ba rai y mae Cyrff Duwinyddiaeth yn gyffredin yn cael eu dosbarthu. Dymunol iawn ydyw cyfarfod trwy yr holl lyfr â'r fath gyfoeth o emau Cymreig. Y pris ydyw 6s.

*Cofiant y diweddar Barch. Ebenezer Williams, Aberhonddu.* Gan y Parch. THOMAS REES, Merthyr Tydfil.

YR oedd gwrthddrych y Cofiant hwn mae yn ddiau yn un o rai rhagorol y ddaear, ac y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig. Yr oedd ei ddaioni a'i ymgysegriad llwyr a llawn i wasanaeth y Gwaredwr wedi gosod mawredd arno. Bendithiwyd Cymru yn helaeth â rhai tebyg iddo, ac y mae eu gwasanaeth wedi bod iddi o werth anmhrisiadwy. Mae ieuenctyd y dyddiau hyn yn cyfodi mewn amgylchiadau tra gwahanol i'r rhai y bu raid i Mr. Ebenezer Williams a llawer iawn o'i frodyr ymfrwydro â hwynt er cyrhaedd y rhagoriaeth a'u gwnaeth mor ddefnyddiol yn eu dydd. Ond pa fanteision bynag a fwynheir, fe fyddai yn dda cofio fod y pethau a roddent y fath fawredd ar yr hen efengylwyr—cymeriad dilychwin, duwioldeb dwfn a phur, astudiaeth awchus a pharhâus o'r Ysgrythyrau, ac awyddfryd angerddol am fod o lês i'w cyd-ddynion a gogoniant i Dduw—yn anhebgorion parhâus i wasanaeth yn nheyrnas Crist. Gallwn yn galonog argymhell y gyfrol fechan hon—pris swllt—i'n darllenwyr fel un ag y gallai ei darllen brofi yn fendith iddynt.

# LLYFRAU

## *Cyhoeddedig gan P. M. EVANS & SON, Holywell.*

---

RHESTR-LYFR O AELODAU YSGOLION SABBOTHOL. Y mae y Llyfr hwn yn an-enwadol, ac wedi ei argraffu a'i linellu er cadw cyfrif manwl a threfnus o aelodau yr Ysgolion; ac y mae y derbyniad croesawgar a roddwyd iddo er ei ymddangosiad yn brawf ei fod yn cyflenwi anghen a hir deimlwyd gan Ysgrifenyddion Ysgolion Sabbothol ein gwlad.

Pris llyfr wedi ei rwymo yn gryf, yn cynnwys 100 o du dalenau, ydyw 5s.; 150, 6s. 6c.; a 200, 8s. 6c.

---

GEIRLYFR SEINIADOL (NEU GYNANIAETHOL) SAESONEG A CHYMRAEG, ynghyd ag agoriad ar Lythyriaeth yr Iaith Gymraeg, gan y diweddar THOMAS EDWARDS, Ysw. (Caerfallwch). Ail Argraffiad, gydag Ychwanegiadau, gan y diweddar BARCH. D. HUGHES, B.A., Tredegar.

Pris, yn Rhifynau, 16s. 6c.; Dwy gyfrol, croen llo, 22s. 6c.

---

CANIADAU MAES Y PLWM: sef Gweithiau Barddonol y Diweddar MR. EDWARD JONES, Maes y Plwm. Cynnwysa y Gyfrol Emynau, Carolau, Caneuon ar wahanol destynau, Englynion, Marwnadau, ac Emynau Claddedigaethol.

Pris mewn llian, 2s. 6c.

---

HOLWYDDORYDD AR HANESIAETH Y BIBL, yn cynnwys dros bedwar cant ar ddeg o Holiadau ac Atebion, ar Brif Ffeithiau Hanesyddol yr Hen Destament a'r Newydd, gan y Parch. RICHARD PRICHARD, awdwr "Diffyniad Bedydd Babanod." Gyda Rhagdraith gan y Parch. ROGER EDWARDS.

Pris mewn Llian, 2s. 6c.

---

SBRYDOLIAETH Y BIBL: gan y Parch. D. CHARLES DAVIES, M.A., Llundain.

CYNNWYSIAD: Natur y Prawf—Ystyr Ysbrydoliaeth—Perthynas Ysbrydoliaeth: 1 A chynnwysiad y Bibl; 2. A chywirdeb ac awdurdod y Bibl; 3. Ag iaith y Bibl.

Pris swllt, mewn amlen.

---

LLYFR RHENTI EISTEDDLEOEDD Wedi ei ddarparu gogfyfer â chadw cyfrif o enwau personau a gymerant Eisteddleoedd, ynghyda'r arian a dderbynir oddiwrth cyfryw.

---

COFRESTR CLADDEDIGAETHAU *(REGISTER BOOK OF BURIALS)*. Llyf wedi ei barotoi gogyfer â chadw cyfrif cywir o gladdedigaethau.

Y mae ynddo golofnau i ddodi enw y person a gleddir, ei alwedigaeth, ei oedran, y lle y bu farw, dyddiad y gladdedigaeth, pwy a wasanaethodd ar yr achlysur, y fan y claddwyd, rhif y bedd, a sylwadau.

Pris, 8s. 6c., wedi ei rwymo yn gryf.

---

LLYFR RHESTRIAD BEDYDDIADAU, cyfaddas i Eglwysi pob enwad crefyddol. Wrth anfon archebion am dano, dymunir gwybod i ba nifer o Fedyddiadau y dymunir cael y llyfr,—100, 200, 400, 600, &c.

Pris, Llyfr wedi ei rwymo yn gryf, i gynnwys 100 o enwau, 3s.; a 1s. 6c. am bob 100 ychwanegol.

P. M. EVANS & SON, Cyhoeddwyr, Treffynnon *(Holywell)*

RHIFYN CLVII.

# Y TRAETHODYDD.

## EBRILL, 1885.

### CYNNWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF GORPHENAF 1, 1885.*

TREFFYNNON:
P. M. EVANS AND SON, CYHOEDDWYR.

PRIS DEUNAW CEINIOG.

# Y TRAETHODYDD.

## DARLITHIAU Y PARCH. D. CHARLES DAVIES, M.A., AR GRISTIONOGAETH.

### AIL GYFRES.

### I.

### PERTHYNAS CRISTIONOGAETH A CHREFYDD.*

ODDEUTU dwy flynedd yn ol cyhoeddwyd llyfr yn yr iaith Saesoneg, o eiddo Proffeswr Seeley, awdwr *Ecce Homo*, dan y teitl *Natural Religion*, yr hwn a dderbyniodd gryn lawer o sylw, ac nid mwy nag yr haeddai. Yr arwyddair ar ddalen gyntaf y llyfr ydyw y geiriau hyny o eiddo Wordsworth: "We live by admiration." Ond fel y mae yn wybyddus i ddarllenwyr y bardd, yr hyn a ysgrifenodd ef yn y pedwerydd llyfr o'r *Excursion* ydoedd:

> We live by admiration, hope, and love,
> And even as these are well and wisely fixed,
> In dignity of being we ascend.

Gan na fuasai y frawddeg gyfan yn ateb i amcan y gwaith, y mae awdwr *Natural Religion* yn ei darnio, ac yn gadael allan ran bwysig o'r meddwl. Dywed Wordsworth ein bod yn byw nid trwy edmygedd yn unig, ond trwy obaith a chariad hefyd, ac ymhellach ein bod yn esgyn mewn urddas trwy feithrin y teimladau hyny, yn unig pan y sefydlir hwynt yn dda ac yn ddoeth, hyny ydyw, pan y sefydlir hwynt ar wrthddrychau teilwng. Pe dyfynasai Proffeswr Seeley yr oll, ni a gawsem feddwl y bardd yn llawn; ond buasai hyny yn dangos i ni y gwahaniaeth rhwng gwirionedd y dyfyniad ac amcan y llyfr y gosodasid ef yn arwyddair iddo. Nid pregethwyr yn unig, fel y gwelir, sydd yn

* NODIAD. Dechreua y ddarlith hon yr *ail gyfres* o ddarlithiau y Parch. D. Charles Davies, M.A., ar Gristionogaeth. Traddodwyd hi yn Nghapel Jewin Newydd ar yr 2fed o Mai, 1884. Fel y gwelir, symuda y darlithydd oddiwrth Mr. Herbert Spencer a'i *Data of Ethics* i drafod Proffeswr Seeley a'i *Natural Religion*.—E. VINCENT EVANS.

cymeryd darn o adnod yn destun, ar wahân oddiwrth ystyr ei chysylltiadau.

Yn yr ail frawddeg yn y Rhagdraeth i *Natural Religion*, dywedir mai amcan ysgrifeniad y llyfr ydoedd mesur y tir sydd yn gyffredin i Grefydd a Gwyddoniaeth. Ymddengys yn hyfdra i neb gywiro awdwr llyfr yn ngeiriad ei amcan; ond pa beth bynag allasai fod amcan Proffeswr Seeley pan yn dechreu ei waith, yr hyn a geisia ei wneuthur yn ei lyfr ydyw mesur, nid y tir sydd gyffredin i Grefydd a Gwyddoniaeth, ond y tir cyffredin i Wyddoniaeth a Christionogaeth. Yr enw a rydd ar y tir cyffredin hwnw ydyw crefydd—crefydd naturiol. Er mwyn i Gristionogion a Gwyddonwyr gyfarfod â'u gilydd ar y tir y cyfeiria ato, geilw ar y cyntaf i roddi i fyny eu cred yn y goruwchnaturiol, sef yn y Bôd o Dduw a'r byd a ddaw. Ond nid ydyw yn galw ar wyddonwyr i roddi i fyny eu damcanion a'u tybiau hwy, ac i gyfyngu eu cred at ffeithiau noethion. Prin y mae yn dêg, dybygem, i beidio galw ar yr olaf i wneuthur dim er mwyn cymmod. Tra yn ysgrifenu fel hyn, ni fyn ein hawdwr i ni gasglu ei fod ef ei hun yn gwadu y goruwchnaturiol. Yr un pryd mŷn i ni gredu nad ydyw credu y goruwchnaturiol yn hanfodol i grefydd, ac y dylid ystyried y Bôd o Dduw a'r byd a ddaw, pe byddent wir, fel gwirioneddau cymharol ddibwys, ac y gellid eu gadael allan o'n hystyriaeth er mantais i'n crefydd! Dywed wrthym fod ei syniadau ef ei hun yn Gristionogol, ac wedi eu cymeryd o'r Bibl, yr hwn lyfr a fawr ganmolir ganddo ar gyfrif ei wahanol ragoriaethau. Dengys yn amlwg ei fod wedi efrydu y llythyr at y Rhufeiniaid, ac wedi sylweddoli i fesur y cyferbyniadau rhwng ffydd a gweithredoedd, gras a deddf, yr ysbryd a'r llythyren, er nad, mae'n wir, yn eu perthynas â dyn fel pechadur, yr hyn fel y mae yn eglur oedd yn meddwl Paul pan yn eu gwneuthur. Ond y mae yn syn fod neb wedi cael can lleied â chipolwg ar egwyddorion yr Efengyl, ac ar yr un pryd heb gymaint â chydnabod y Bôd o Dduw a chyflwr dyn fel pechadur. Y mae manylrwydd ac ëangder y wybodaeth, prydferthwch y syniadau, coethder y chwaeth, symledd yr iaith, a'r ysbryd rhyddfrydig sydd yn nodweddu y llyfr, yn ei wneuthur yn ddengar dros ben, ac mor beryglus ag ydyw o ddengar, os nad yw yr athrawiaeth a ddysgir ynddo yn gywir. Y mae gan yr awdwr air da i'w ddyweyd hyd yn nod am Galfiniaeth a Phuritaniaeth. Gellir ei gymeryd yn gynnrychiolydd dosbarth galluocaf, dysgedicaf, a pharchusaf Ammheuwyr yr oes; dosbarth sydd uwchlaw gwawdio a dirmygu crefyddwyr Cristionogol pwy bynag a fyddont.

Ond er ei fod yn amlygu parch diffuant i'r hyn a eilw ef yn Gristionogaeth, yn meddwl yn uchel am y prophwydi a'r apostolion, ac yn arbenig am yr Arglwydd Iesu, barnu yr ydym ni fod ei lyfr yn myned dan wreiddiau crefydd Crist, a'i fod o herwydd ei ragoriaethau llenyddol a'r ysbryd caredig sydd yn rhedeg drwyddo yn gymhwys i ddallu meddyliau ei ddarllenwyr, fel y dallodd yr awdwr ei feddwl ei hun, i'r egwyddorion gwrth-Gristionogol sydd yn llechu yn ei olygiadau. Dygir y syniadau a amddiffynir yn y llyfr, trwy y cyhoeddiadau chwarterol a misol, a hyd yn nod trwy y newyddiaduron dyddiol, ger bron sylw dynion na fuasent byth yn debyg o ddarllen y llyfr ei hun. Os deil y syniadau i'w barnu yn ol safon gwirionedd, creder hwynt yn

ddiysgog, cyhoedder hwynt yn ddiamwys, er iddynt ddadymchwelyd ein holl syniadau blaenorol am grefydd. Ond os na ddaliant y prawf, ni ddylai athrylith na dawn nac ysbryd boneddigaidd yr awdwr eu diogelu rhag y condemniad mwyaf pendant.

Gair pwysicaf y llyfr sydd dan ein sylw ydyw Crefydd. Nid yn unig y mae yn rhan o deitl yr holl lyfr, ond y mae hefyd yn rhan o deitl bron bob pennod yn y llyfr. Gwaith blaenaf yr awdwr ydyw egluro ei syniad am natur, nodwedd, ac amcan crefydd. Yn awr, ceisiwn ninnau egluro y meddwl Cristionogol am grefydd. Rhydd hyny gyfleusdra i ni i gyferbynu y ddau olygiad ac i'w gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd. I ddechreu, pa beth ydyw gwir ystyr y gair crefydd? Nid *tarddiad* y gair mewn unrhyw iaith, ond yr *arferiad* o hono a rydd i ni syniad o'i natur. Gan fod lliaws o grefyddau yn y byd, priodol gofyn, "A oes rhyw wirionedd neu nodwedd yn gyffredin i'r oll o honynt fel eu gilydd?" Pa beth yw crefydd yr holl grefyddau? Ymha wirionedd y maent i gyd yn cyfarfod? Hwyrach yr ateba rhywun fod crêd mewn Duw ymhob un o honynt. Caniatäer ei fod; nid ydyw yr atebiad er hyny yn werth dim, oblegid fod yr enw Duw yn cynnwys syniadau hollol groes i'w gilydd mewn gwahanol wledydd a gwahanol grefyddau. Er engraifft, mewn un grefydd cynnwysa y syniadau mwyaf dyrchafedig am gariad a chyfiawnder; mewn crefydd arall golyga greulondeb a thwyll. Nid yw y duwiau mewn rhai crefyddau ond yr hyn a feddylir wrth gythreuliaid mewn crefyddau eraill. Cynnwysa y gair Duw ymhlith holl grefyddau y byd y daioni mwyaf a'r drygioni penaf, a phob gradd posibl o'r ddau a ddichon fod rhyngddynt. Pe buasid yn gadael allan bob syniad am dano ag yr amrywia gwahanol genedloedd yn eu barn yn ei gylch, ni arosai yn ol ond y *gair* Duw, wedi ei waghâu o bob ystyr; ac ni allai enw heb ystyr byth fod yn rhwymyn undeb rhwng crefyddau y byd. Ond, drachefn, gellir gofyn, Onid ydyw y syniad o Dduw ymhob gwlad a chenedl yn cynnwys *gallu*, ac onid ydyw hwnw ymhlith y mwyaf anwar yn allu ar natur ac ar glefydau? Hyd yn nod pe byddai felly, ni fyddai o unrhyw werth, o herwydd ni rydd gallu unrhyw syniad i ni am Dduw nac am yr addoliad priodol i'w dalu iddo, oni wyddom pa egwyddorion sydd yn ysgogi y gallu i weithrediad, pa un ai creulondeb ynte cariad, twyll ynte cyfiawnder.

Ymddengys i ni mai yr hyn sydd gyffredin i holl grefyddau y byd, ac yn gwlwm undeb rhyngddynt yn eu holl amrywiaeth ydyw, nid unrhyw bwnc o athrawiaeth a gynnwysir ynddynt, ond teimlad o angen cyffredinol, gydag ymgais i'w gyflenwi mewn gwahanol ffyrdd. Ni thybia hyn fod trigolion y byd yn deall achos, natur, ëangder, a dyfnder eu hanghenion; o herwydd nid yw teimlad o angen yn cynnwys ynddo ei hun allu i'w ddirnad a'i elfenu. Y teimlad, ac nid y ddirnadaeth, ydyw hanfod pob crefydd, y gwir yn gystal a'r gau.

Defnyddir y gair crefydd hefyd gan anffyddwyr galluocaf yr oes, y rhai sydd yn condemnio yr holl grefyddau a ffynant ymhlith dynion, er y gwnant hyny nid gyda dirmyg, ond gyda pharch. Arwydda hyn eu bod hwythau, fel yr oll o ddynolryw, yn brofiadol o ryw anghenion ag sydd yn galw am eu diwallu. Dengys yr arferiad cyffredinol o'r gair, yn gystal a holl hanes y byd drwy yr oesoedd, deimlad dynolryw,

o'r mwyaf diwylliedig i lawr at y mwyaf anwar, o ryw angen yn y natur, ac o ryw ymgais ac egni ar eu rhan i'w gyflenwi. Angen ydyw, nad yw y gwadiad o'r bôd o Dduw ac o'r byd a ddaw yn gwneuthur dim tuag at ei leihâu, llawer llai tuag at ei ddileu. Amcan holl ddefodau erefyddol y byd ydyw diwallu yr angen. Ond yn gymaint a bod amrywiaeth yn syniadau trigolion y byd am natur yr angen, y mae amrywiaeth cyfatebol yn eu defodau. Fe geir hefyd fod paganiaid yn ysgaru rhwng prif amcan crefydd a phrif amcan bywyd. Y canlyniad ydyw fod eu crefydd yn rhywbeth sydd yn sefyll ar wahan oddiwrth ddyledswyddau eu bywyd cyffredin. Y mae mesur helaeth o olion yr amryfusedd paganaidd hwn i'w weled yn syniadau llawer o Gristionogion proffesedig. Gan hyny, cyfyd y gofyniad, Pa beth a ddylai fod yn amcan eithaf i'r ymarferiadau a'r addysg a gynnwysir yn y gair crefydd? Natur yr amcan a benderfyna deilyngdod y moddion a ddefnyddir i'w gyrhaedd.

Yn ol addysg ddiamwys yr Ysgrythyrau Sanctaidd, amcan mawr ac eithaf pob crefydd, yn gystal a bywyd pob dyn, ydyw perffeithrwydd, sef addfedrwydd dyn "yn gwbl oll, ysbryd, enaid, a chorff," yn ei holl gynneddfau, ei holl deimladau, ei holl dueddiadau, ei holl gymhelliadau, a'i holl ymddygiadau, ac ymhob rhinwedd ag sydd yn bosibl iddo ei feddu. Os nad *yw* hyny yn amcan, fe *ddylai* fod. Cyhoeddiad mawr Cristionogaeth i'r byd ydyw, mai y grefydd oreu ydyw hono a fedr wneyd y dyn goreu. Eglurir yn y Bibl mewn ymadroddion amrywiol, a thrwy engreifftiau o bob math, elfenau a nodau perffeithrwydd, fel nad ydyw yn bosibl i ddarllenydd meddylgar gamddeall yr ystyr, oddieithr fod rhagfarn wedi dallu ei feddwl. A fedr crefydd Crist gyrhaedd yr amcan hwn sydd bwnc arall. Ei chymhwysder i'r gwaith, ac esiamplau o'i heffeithiolrwydd ar y rhai a feddiannwyd gan ei hysbryd yw y profion angenrheidiol a digonol o'r medr hwn.

Ymddengys hwyrach yn anhawdd iawn dyfalu pa wrthddadl a ddichon godi i'r sylw fod Cristionogaeth yn ein dysgu mai perffeithrwydd a ddylai fod yn brif amcan pob addysg ac ymarferiad crefyddol. Nis gellir gwadu am foment fod Cristionogaeth yn dysgu hyn. Ond cyfyd ein hawdwr er hyny wrthddadl i'n gwaith yn derbyn tystiolaeth *un* grefydd ar y pwnc, cyn ymgynghori â'r holl grefyddau sydd i'w cael ar y ddaear. Fel na wnelom gam â'i olygiadau, dyfynwn ei eiriau ef ei hun. Fel hyn y dywed (tu dal. 157, 158): "The truth is, that if we would bring out the idea of religion as such, we must take some pains to look away from Christianity. We cannot find what religion is in itself by contemplating a single religion exclusively, for we cannot abstract from a single case. And yet much is written in these days about the essential nature of religion, about what it must be, to be a religion at all, which clearly betrays that no religion but Christianity has been thought worthy of a moment's notice. Hence what is peculiar to Christianity among religions is mistakenly transferred to religion as such. Hence also . . . a wrong notion is formed of what constitutes Christianity a religion." Yn ol y frawddeg hon, gwelir y dylem ddefnyddio y drefn wyddonol o wneuthur ymchwiliad i holl grefyddau y byd, holi pob un o honynt am natur crefydd, ac yna dynu casgliad trwy eu

cymharu â'u gilydd. Y casgliad hwnw fyddai, mai yr hyn sydd gyffredin i'r oll ydyw crefydd. Nid ydyw y drefn hon yn caniatâu i ni ffurfio barn am natur crefydd oddiar yr hyn a ddylai fod yn amcan iddi, ond oddiar arferion defodol holl dylwythau y ddaear. Yn wrthwynebol i hyn ein haeriad ni ydyw, nas gall y wybodaeth berffeithiaf o syniadau llwythau barbaraidd y ddaear am grefydd, brofi dim yn aml ond iselder eu sefyllfa a phlentyndra eu hamgyffredion. Pe b'ai holl grefyddau eraill y byd âg un llais yn cyhoeddi mai rhyw amcan arall sydd i grefydd, ni a'u taflem oll o'r naill du er mwyn cydnabod yr amcan mawr a ddadguddiwyd yn nghrefydd Crist, sef, perffeithrwydd yr holl ddyn, a'n hapêl a fyddai at reswm a chydwybod pob dyn o barth teilyngdod a gorucheledd yr amcan. Er na ddarganfyddwyd yr amcan hwn gan oreugwyr y byd Paganaidd, ïe, ac na allasai dynion ei ddarganfod, nid oes dim yn haws, hyd yn nod i'r dynion lleiaf eu galluoedd, na chydnabod ei wirionedd a'i ardderchogrwydd ar ol iddo gael ei ddadguddio. Nid ofnem' alw ar holl athronwyr byd i nodi neu ddychymygu amcan arall i grefydd neu i fywyd ar y ddaear sydd yn rhagori ar hwn, ïe, mwy, yr un sydd yn gyfartal â hwn. Nid ydym yn credu yn rhagoriaeth yr amcan am fod Cristionogaeth yn ei gyhoeddi; credu yr ydym yn hytrach yn mawredd dwyfol Cristionogaeth am ei bod yn cyhoeddi amcan mor ddyrchafedig, ac ar yr un pryd mor resymol a dealladwy; amcan sydd goruwch y goreu a enwir gan yr un grefydd arall, ac i goroni y cwbl—fel yr ydym yn hyderu y gallwn ddangos o fewn cylch y ddarlith hon—goruwch yr amcan a gyflwynir i ni gan ddynion dysgedicaf yr oes a'r ganrif hon yn lle yr amcan a ddadguddiwyd yn nghrefydd Iesu Grist. Fe ffurfia yr amcan hwn y safon i farnu pob math o grefydd, ac yn eu plith Cristionogaeth ei hun. Pe na buasai yr Ysgrythyrau wedi gwneuthur dim ond dangos y safon i farnu teilyngdod crefyddau, buasai y byd trwy yr holl oesau o dan ddyled iddynt. Ond ar dir rhesymol, gellir dysgwyl i'r grefydd yn yr hon yr amlygwyd y gwirionedd mawr hwn gynnwys hefyd wirioneddau eraill o werth a mawredd cyffelyb. Cydnabyddwn ar unwaith mai ymgynghori â'r holl grefyddau a fyddai y drefn wyddonol o benderfynu y pwnc am natur crefydd, a'r drefn wleidyddol hefyd, sef rhoddi pleidlais i bob un, a rhifo y pleidleisiau a chymeryd barn y mwyafrif ar y mater. Er hyny, ni phetruswn wrthwynebu y cynllun hwn ar gyfrif ei afresymoldeb, heb son am ddim arall, i farnu gwerth a theilyngdod unrhyw grefydd wrtho.

Hwyrach y gofynir gan rywun, Onid perffeithrwydd yr holl ddyn ydyw prif amcan crefydd Buddha? Yn y grefydd hono, nid addfedrwydd dyn ymhob gallu a rhinwedd yw ei berffeithrwydd, ond ei lynciad i fyny yn Nuw, yr hyn yw diddymiad ei bersonoliaeth a dilëad o'r hyn ydyw fel creadur. Er fod adnodau yn y Bibl sydd yn darlunio sefyllfa o berffeithrwydd fel un yn yr hon y mae "Duw oll yn oll," fe ddarlunir y perffaith fel rhai sydd "ger ei fron ef mewn cariad," yr hyn a gynnwysa eu personoliaeth a'u haddfedrwydd fel dynion sanctaidd. Nid un a gollwyd ac a gollodd ei hun yn Nuw ydyw dyn perffaith y Bibl, ond un ag y cyrhaeddodd holl alluoedd a theimladau sanctaidd ei galon eu haddfedrwydd uchaf, am ei fod ef yn Nuw a Duw ynddo yntau. Os nid perffeithrwydd yw prif amcan crefydd, gofyna dyn meddylgar pa

amcan arall y gellir ei ddychymygu a ddichon gystadlu âg ef neu a ddichon ei ddisodli? Fe gynnygir un arall i'n sylw gan Proffeswr Seeley, ac eraill, dynion dysgedicaf yr oes, o dan yr enw Diwylliant. Pa beth ydyw Diwylliant? Yn nhu dalen 146 o'r "*Natural Religion*" ni a gawn yr atebiad hwn: "If we look at the modern theory of culture, we shall perceive that its characteristic feature is precisely the assertion of the religious dignity of Art and Science,"—sef urddas crefyddol celf a gwyddor. Cynnwysa hyn eangder a manylrwydd gwybodaeth am natur a dynion. Cynnwysa fod y deall wedi ei oleuo, y rheswm wedi ei ddysgyblu, a'r chwaeth wedi ei goethi, i weled ac i hoffi prydferthwch a threfn natur, yr hyn a rydd hyfrydwch dyrchafedig i'r meddwl. Pa wrthwynebiad a ddichon godi yn erbyn ystyried Diwylliant o'r fath fel prif amcan crefydd? Pa wahaniaeth o bwys sydd rhwng Diwylliant a Pherffeithrwydd? Atebwn, mai yr un gwahaniaeth ag sydd rhwng culni ac eangder, rhwng addfedrwydd rhan o ddyn ac addfedrwydd yr oll o hono. Cyfyngir ystyr y gair Diwylliant yn gyfangwbl i'r meddwl. Nid y meddwl ydyw yr oll o ddyn. Nid yw efrydiaeth o'r celfyddydau a'r gwyddorion yn gofyn am weithrediad yr holl alluoedd sydd ganddo. Nid yw Diwylliant yn cynnwys addfedrwydd teimladau tyner y galon, na gallu cydwybod i wahaniaethu rhwng drwg a da, na gallu yr ewyllys i lywodraethu y nwydau a'r blysiau, nac ymddygiad yn ol hawliau deddf foesol, na'r galluoedd, megys tosturi a hunanymwadiad, sydd yn angenrheidiol tuag at lesoli eraill. Byddai raid estyn meddwl y gair ymhell tu hwnt i'w arferiad cyffredin er mwyn iddo gynnwys yr holl deimladau hyn, o herwydd, fel y sylwyd yn barod, pan y sonir am Ddiwylliant, diwylliant y meddwl yn unig a dybir. Ond y mae Perffeithrwydd yn cynnwys holl ddiwylliant meddwl, ac y mae yn cynnwys hefyd yn ychwanegol addfedrwydd yr holl gynneddfau a'r holl deimladau; ac nid hyny ychwaith yn unig, ond hefyd addfedrwydd pob egwyddor foesol a sanctaidd yn yr holl ddyn. Ambell waith cyhuddir crefydd Crist o fod yn gul ac unochrog. Ond y mae ei hamcan mawr mor amlochrog ag ydyw dyn ei hunan. Mwy cywir fyddai ystyried y grefydd ag y cyfyngir ei phrif amcan i ddiwylliant meddyliol yn unochrog, oddieithr i ni ddyweyd mai meddwl, sef deall a rheswm, yw yr oll o ddyn.

Arweinia y gwahaniaeth rhwng perffeithrwydd a diwylliant fel prif amcan crefydd, i wahaniaeth barn ar y ddau gwestiwn, A oes byd a ddaw? Ac os oes, Ai pwysig ynte dibwys ydyw y gred o'i fod? Trwy amaethiad diwyd gellir cyrhaedd mesur helaeth iawn o ddiwylliant yn y fuchedd hon; cymaint, mae'n wir, nes llwyr foddloni y meddwl. Bychaner dyn nes ei ystyried yn gyfansoddedig o feddwl deallol yn unig; cwtoger ef o'i gydwybod a'i ewyllys, neu edrycher arnynt fel galluoedd neu wendidau anianyddol yn unig; gwneler moesoldeb yn bwnc o fuddioldeb a dim mwy, a pha *raid* a deimla dyn am fyd arall? Fe all gyrhaedd holl amcanion ei fodolaeth o fewn i'r byd hwn! Ond ymddyrchafed o ran ei syniadau oddiar ddiwylliant meddwl, at berffeithrwydd yr holl ddyn fel prif amcan bywyd, sylweddoled fawredd arddunol ei ewyllys yn ei rhyddid a'i gydwybod yn ei hawdurdod, boed iddo deimlo y ffaith fawr o'i gyfrifoldeb, a chydnabod fod dirgelion yn ei natur ei hun nas gall ei ddeall a'i reswm, pa mor ddiwylliedig bynag,

eu dirnad, ac fe'i gosodir o dan angenrheidrwydd i gredu—angenrheidrwydd nas gall ymryddhâu oddiwrth y teimlad o hono—fod byd i fod ar ol hwn, ymha un y gall obeithio y bydd wedi tyfu o blentyndra y fuchedd hon i gyflawn addfedrwydd gŵr o ran gallu, a sant o ran egwyddor, ar ddelw perffeithrwydd Duw ei hun. A phan gyrhaeddo hyn gellir bod yn sicr mai nid peth dibwys yn ei olwg a fydd credu mewn byd dyfodol.

Ar yr un pryd, cyfaddefwn fod llawer o Gristionogion wedi gwneuthur camgymeriad mewn peidio cynnwys diwylliant y meddwl yn eu syniad am berffeithrwydd; hyny yw, mewn gadael allan o'u hystyriaeth fod perffeithrwydd yr holl ddyn yn cynnwys yr holl alluoedd, o'r lleiaf o honynt i fyny hyd y mwyaf o honynt. Magodd y meudwyaid yn eu celloedd, a'r mynachod yn eu mynachlogydd, ddwys fyfyrdodau, duwiolfrydedd ac ufudd-dod; ond gwnaethant hyny ar draul crebachu, os nad dileu eu rhyddid a'u gallu i farnu drostynt eu hunain, ac ar draul esgeuluso yn gyfangwbl eu dyledswyddau fel dinaswyr. Gofala rhai dynion da am feithrin y teimladau uniongyrchol tuag at Dduw, a chyflawni y dyledswyddau moesol tuag at ddynion, ond ni feddyliasant erioed fod edmygedd o brydferthwch natur ac efrydiaeth o'i deddfau, fod hoffder at farddoniaeth a cherddoriaeth, a bod hyd yn nod awyddfryd i wybod hanes presennol y byd trwy newyddiaduron, yn dyfod o fewn tiriogaeth crefydd o gwbl. Ystyriant fod masnach, llenyddiaeth, a gwleidyddiaeth yn sefyll y tu allan i ddylanwad y ffydd sydd yn cadw yr enaid. Tra y cydnabyddant fod y berthynas agosaf yn bod rhwng crefydd a chadwedigaeth yr enaid oddiwrth bechod, ni theimlant fod perthynas, oddieithr hwyrach berthynas bell a lled ammheus, rhwng crefydd a gwareiddiad y byd, â rhyddid gwladol, âg addysg gyffredinol, ac â phleidleisiau dinaswyr mewn etholiadau. Cynnwysa perffeithrwydd yr holl ddyn, ei addfedrwydd ymhob perthynas, ac ymhob cylch y dichon iddo fod ynddo. Cynnwysa y grefydd, pa un bynag ydyw, sydd yn gymhwys i'r amcan o'i berffeithio, allu ar ddyn a fedr gyrhaedd holl ddyfnderoedd ei natur fel person unigol, ac hefyd gwmpasu dynolryw yn ei holl gysylltiadau yn y byd hwn a'r byd a ddaw. Os Cristionogaeth ydyw y grefydd hono, y mae ei dylanwad yn effeithio ar feddyliau, teimladau ac ymddygiadau ei deiliaid i ryw fesur ymhob cyfeiriad, er hwyrach yn hollol ddiarwybod iddynt hwy eu hunain. Ond fe fyddai ei heffeithiau arnynt yn llawer mwy pe credent nad ydyw Cristionogaeth yn elyniaethol i ddim sydd mewn dyn, ond ei bechod.

Pa gamgymeriadau bynag y bu Cristionogion yn euog o honynt yn y cyfeiriad hwn—ac nid ydym mewn un modd am eu cuddio—mae yn ymddangos fod rhai o lenorion ein hoes, ac yn eu plith awdwr *Natural Religion*, wedi camgymeryd llawer mwy yn y cyfeiriad gwrthwynebol. Cawn esiampl o hyn yn tu dalen 97, lle y dywedir fod gallu ac athrylith Goethe mewn undeb agos â'i grefydd, a bod ei grefydd wedi cyfranu i'w fywyd undeb ac urddas; er y dywedir yn y tu dalen nesaf, "There remains the fact that the idea of duty and self-sacrifice appears not to be very sacred to his mind, rather perhaps to be irritating, embarassing, odious to him." Ond er fod y syniad o ddyledswydd ac ymaberthiad (a'r unig ymaberthiad teilwng o'r enw yw yr un ag sydd yn codi oddiar gariad at berson neu at egwyddor) yn adgas gan Goethe, dywed ein

hawdwr ei fod yn ddyn crefyddol iawn! Byddwn yn aml yn teimlo cywilydd wrth feddwl am ddynion yn gwneuthur proffes o grefydd Crist ac yn dysgwyl i ni eu cyfrif yn ddynion crefyddol, er nad ydynt yn byw dan lywodraeth y teimlad o ddyledswydd yn eu buchedd gyffredin, ac na fynant wneuthur yr aberth lleiaf er mwyn eraill. Cyhuddir gweinidogion yr efengyl yn aml o adael allan o'u gweinidogaeth berthynas y pynciau a bregethir ganddynt â dyledswyddau bywyd. Ond pa beth a ddywedwn pan y cawn ŵr galluog yn ysgrifenu am lenor o'r athrylith uchaf, ac yn dadgan ei farn am dano ei fod yn ŵr tra chrefyddol, ac ar yr un pryd yn ei gyhuddo, nid o syrthio yn fyr o safon uchel o foesoldeb, neu o ymddwyn yn annheilwng yn ngwyneb temtasiwn gref, ond o amddifadrwydd o'r syniad o ddyledswydd, ac o fod y syniad hwnw yn ffiaidd ganddo, ac nid y syniad o ddyledswydd yn unig, ond o ymaberthiad neu gariad angerddol hefyd. Pe yr edrychem ar y golygiad hwn am grefydd o safle y perffeithrwydd a gyhoeddir gan Gristionogaeth fel gwir amcan crefydd, ein casgliad a fyddai, os oes rhai Cristionogion wedi camfarnu wrth dybied nad ydyw efrydiaeth o'r celfyddydau a'r gwyddorau yn briodol i fod o dan ddylanwad crefydd, fod awdwr *Natural Religion* wedi camfarnu llawer mwy wrth dybied nad ydyw y teimlad o ddyledswydd a'r hunan-ymaberthiad ag sydd yn gariad mewn gweithred, o angenrheidrwydd o dan ddylanwad crefydd. Er hyny y mae yr awdwr yn hollol gywir os credir mai diwylliant y meddwl ac nid perffeithrwydd yr holl ddyn yw prif amcan crefydd; o herwydd fe all y meddwl fod yn ddiwylliedig, y farn yn gywir, y chwaeth yn goeth, ac ar yr un pryd y galon yn galed, y gydwybod wedi ei serio, a'r ymddygiad yn aflan. Ymddengys i ni fod y posibilrwydd hwn yn gondemniad nid ar ddiwylliant ond ar y gyfundrefn ag sydd yn cynnwys mai diwylliant y meddwl yw amcan mawr crefydd, hyny yw, nid ar ddiwylliant crefyddol ond ar grefydd diwylliant.

Cynnwysa perffeithrwydd nid yn unig addfedrwydd yr holl gynneddfau, ond hefyd addfedrwydd pob un o honynt yn ei le priodol ei hun. Nid ydyw holl alluoedd dyn yn gydwastad neu yn ogyfuwch â'u gilydd. Awdurdod ydyw nodwedd briodol rhai o honynt, tra o'r ochr arall ufudd-dod ydyw lle priodol rhai eraill. Pan y bydd dyn yn hollol yn ei le, fe lawenycha ei nwydau a'i flysiau yn eu darostyngiad, tra yr ymhyfryda ei gydwybod a'i ewyllys yn eu dyrchafiad hwythau; o herwydd nid ydyw safleoedd y galluoedd hyn i'w penderfynu yn ol eu nerth, ond yn ol eu gwerth a'u teilyngdod. Oddiar hyn cyfyd y cwestiwn pwysig, Pa egwyddor neu ba deimlad a ddylai fod mewn llywodraeth ar ddyn? Barn bersonol Proffeswr Seeley, fel ei ceir yn nhu dalen 124 o'i lyfr ydyw, mai egwyddor foesol ydyw y gallu uchaf mewn dyn; ac eto wrth fyned ymlaen dengys nad ydyw felly yn ol crefydd diwylliant. Er dywedyd mai yr egwyddor foesol ydyw yr uchaf o fewn dyn, nid ydyw, yn ol ei addefiad ei hun, yn ei gosod mor uchel ag y gosodir hi gan y Cristionogion hyny ag sydd yn Buritaniaid. Yn nhu dalen 146 dywed, "they (Goethe a Schiller) oppose the Puritanism which sets goodness at an unapproachable distance from Beauty and Truth." Y pellder yn yr hwn y gosodir daioni moesol gan Buritaniaid uwchlaw pob gallu a theimlad arall ydyw ei fod yn haeddu yr awdurdod ar yr oll o'r lleill. Y mae pellder llywodraeth yn

"*unapproachable*," yn un nas geill y rhai sydd dan lywodraeth nesau ato, gan ei fod yn bellder natur ac nid yn bellder graddau. Os hyn ydyw Puritaniaeth, yn ol barn un sydd ymhell o fod yn Buritan ei hun, nid oes raid i neb gywilyddio o'r enw, na theimlo ei fod yn unrhyw sarhâd arno gael ei alw yn Buritan. Y sarhäwr yn hytrach a ddylai gywilyddio. Yn ol crefydd Crist, sef crefydd perffeithrwydd yr holl ddyn, yr egwyddor foesol a ddylai lywodraethu. Yn awr sylwer pa egwyddor neu deimlad a ddylai lywodraethu y lleill yn ol crefydd diwylliant? Cymerwn farn Goethe fel y gosodir hi allan yn y llyfr hwn yn atebiad i'r cwestiwn. Dosbartha Goethe (tu dal. 147) gynnwysiad diwylliant i'r tri canlynol, Prydferthwch, Gwirionedd, a Daioni, gan roddi y flaenoriaeth i Brydferthwch. Defnyddia y gair Prydferthwch i gynnwys y celfyddydau, megis Arluniaeth, Cerddoriaeth, a Barddoniaeth; y gair Gwirionedd i gynnwys yr holl wyddorau; a'r gair Daioni i gynnwys egwyddorion moesol. Un gwrthwynebiad sydd genym i'r dosbarthiad hwn ydyw ei gulni. Cyfynga Goethe brydferthwch i gelfyddyd, a gwirionedd i'r gwyddorion, gan gydnabod felly ond un math o brydferthwch ac ond un math o wirionedd. Cynnwysa yr egwyddor foesol sydd yn yr Ysgrythyrau grêd ymha bethau bynag sydd wir, cariad at ba bethau bynag sydd brydferth, yn gystal a gwneuthur pa bethau bynag sydd iawn. Cynnwysa Gwirionedd, wyddoniaeth a *llawer mwy;* cynnwysa Prydferthwch, gelfyddyd a *llawer mwy.* Ni wna Goethe gyfrif o gwbl o'r hyn sydd yn llawer mwy. Ymhellach sonia Goethe am ddaioni fel peth ar wahan oddiwrth y teimlad o ddyledswydd. Cydnebydd fod daioni yn nodwedd briodol i'w hedmygu, tra yr oedd y syniad o ddyledswydd yn ffiaidd yn ei olwg. Y daioni a ganmolir yn nghrefydd Crist yw yr un sydd yn cynnwys ynddo deimlad o awdurdod ac o rwymau dyledswydd, mewn undeb â chariad dwys, yr hyn a bâr i'r iau fod yn esmwyth a'r baich yn ysgafn. Cymharwn yn y fan hon y ddwy grefydd. Mewn Cristionogaeth, lle y gosodir perffeithrwydd yr holl ddyn fel amcan, priodolir y gallu llywodraethol i egwyddor foesol. Yn y grefydd lle y gosodir diwylliant fel yr amcan, priodolir y gallu llywodraethol i brydferthwch, a hwnw fel y sylwyd, yn gyfyngedig i brydferthwch natur a chelfyddyd.

Wrth gymharu y crefyddau hyn fe gyfyd eto ofyniad arall, sef Pa deimlad mewn dyn sydd yn angenrheidiol ei feddu a'i feithrin tuag at gyrhaedd eu gwahanol amcanion. Yn ol ein hawdwr y teimlad hwnw yn nghrefydd diwylliant ydyw, edmygedd. Yn nhu dalen 74 dywed mai ffurf elfenol crefydd ydyw edmygedd cyson a pharhâus. Ei farn ef yw mai crefydd naturiol ydyw addoliad o bob peth ag sydd yn haeddu ei addoli mewn natur ac mewn dyn, ac mai yr addoliad hwnw ydyw edmygedd—edmygedd o drefn natur mewn gwyddoniaeth, o brydferthwch natur mewn celfyddyd, ac o fawredd uchaf natur mewn dynoliaeth; o herwydd wrth ddefnyddio y gair "natur," cynnwysa ynddo ddynolryw ac hefyd y natur ddynol. Er ei holl ddiffygion cynnwysa y grefydd hon ragoriaethau ag y dylid eu cydnabod. Crefydd ydyw ag sydd yn cynnwys teimlad, a hwnw yn ffrwyth myfyrdod. Crefydd ydyw hefyd ag sydd yn cynnwys teimlad tuag at wrthddrychau tu allan ac uwchlaw mân bethau bywyd, y teimlad a

eilw yr awdwr (tu dal. 161) yn "warm unselfish interest." Crefydd ydyw hon ymha un y dyrchefir meddwl dyn oddiarno ei hun, oddiar ei gysuron anifeilaidd, oddiar ei fanteision arianol, oddiar ei amcanion hunanol, at drefn a phrydferthwch natur. Gellir dywedyd nad ydyw hyn yn ddigon uchel. Digon gwir: ond er ei fod yn rhy isel, y mae yn llawer uwch nag y mae ugeiniau o ddynion wedi ei gyrhaedd. Os caniateir mai amcan uchaf crefydd yw diwylliant meddwl, edmygedd o natur ydyw y teimlad y dylid ei fagu a'i feithrin yn benaf oll er mwyn ei gyrhaedd. Ar y dybiaeth hon gellid dywedyd yn ngeiriau Wordsworth, ein bod yn byw trwy edmygedd, gan adael gobaith a chariad allan o'r cyfrif. Yn y grefydd i'r hon y mae perffeithrwydd yr holl ddyn yn brif amcan, y teimlad elfenol ydyw "ofn yr Arglwydd;" nid ofn yn yr ystyr o fraw, ond ofn yn yr ystyr o barch. Parch ydyw i ddaioni moesol, yn gyntaf o ran amser yn ei ffrydiau mewn dynion, ond yn flaenaf o ran trefn yn ei ffynnonell yn Nuw. Dengys yr Ysgrythyr fod y daioni hwn yn weledig yn ei radd a'i ffurf uchaf, nid mewn moesoldeb yn ystyr gyffredin y gair, ond mewn ymgysegriad i lesâu eraill â'r bendithion goreu a mwyaf dyrchafedig. Yr ymgysegriad hwn oedd sancteiddiad yr Arglwydd Iesu yn ol Ioan xvii. 17, 19. Ymgysegriad y Goruchaf i'r amcan o achub dynion a'u perffeithio yw y ffurf uchaf o'i sancteiddrwydd Ef a ddadguddiwyd i ni. Hanfod teimlad crefyddol, yn ol y Bibl, ydyw parch i bob daioni moesol, yr hwn a gyrhaedda ei ffurf uchaf pan y teimlir ef tuag at y daioni a fedr ymroddi er mwyn eraill. Syniad uchaf Proffeswr Seeley am sancteiddrwydd yw yr hyn a elwir yn foesoldeb. Y mae yn amlwg na welodd y syniad uwch am dano a ddadguddiwyd gan yr Arglwydd Iesu fel brwdfrydedd calon ac egni ewyllys mewn ymgysegriad i lesâu eraill. Yn tu dalen 142 y mae yn myned mor bell a gwadu fod moesoldeb yn hanfodol i grefydd iawn. Dichon dyn feddu ar foesoldeb nacaol mewn amddifadrwydd hollol o grefydd o unrhyw fath. Ond o'r ochr arall, oni fyddai yn aumhriodol dyweyd fod ganddo grefydd gwerth yr enw os byddai yn hollol amddifad o foesoldeb nacaol? Er nad ydyw moesoldeb nacaol yn cyfansoddi crefydd, onid ydyw yn un o'r elfenau ymhlith eraill sydd mewn crefydd? Y mae'n amlwg nad oes lle hyd yn nod i'r moesoldeb nacaol isaf yn y grefydd sydd â'i hanfod mewn edmygedd o brydferthwch naturiol. Ond mewn crefydd ag y mae parch i sancteiddrwydd yn hanfodol ynddi, fe gynnwysir moesoldeb nacaol a *llawer mwy*. Gan hyny nid ydyw y ganmoliaeth a roddir gan ein hawdwr i foesoldeb yn dyfiant o'i syniad am grefydd, ond yn ychwanegiad a dderbyniodd o rhyw le arall, digon posibl oddiar ei wybodaeth a'i efrydiaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd.

Wrth gymharu edmygedd o brydferthwch naturiol a pharch i sancteiddrwydd gellir gweled un gwahaniaeth pwysig arall. Edmygedd o brydferthwch, ar un golygiad, ydyw yr eangaf o'r ddau, gan fod llawer math a ffurf o brydferthwch yn bod mewn natur a dyn. Ond os cynnwysa fwy o natur y mae yn cau allan y prydferthwch sydd yn Nuw, Creawdwr natur, am nas gall y naturiol gynnwys y goruwchnaturiol. Y mae gan yr edmygedd hwn fwy o natur, ie, os myner yr oll o natur, yn wrthddrych iddo, ond dim o Dduw! O'r ochr arall cyfyngir parch i sancteiddrwydd o angenrheidrwydd i bersonau, ac i un nodwedd berth-

ynol i bersonau. Ond nodwedd ydyw hono sydd berthynol i'r Anfeidrol yn gystal ag i ddynion. Cynnwysa lai o natur ond llawer mwy o Dduw; neu yn hytrach dim o natur (oddieithr y natur ddynol) a'r oll o Dduw. Pa rai yw terfynau edmygedd o brydferthwch? O natur i fyny at ddyn. Pa rai ydyw terfynau parch i sancteiddrwydd? O ddyn i fyny at Dduw. Y mae dyn yn gyffredin i'r ddwy grefydd. Edryched i lawr, ac fe wêl pa ardderchogrwydd bynag a berthyn i'r naill; edryched i fyny, ac fe wêl yr ardderchogrwydd a berthyn i'r llall. Er fod edmygedd o natur a pharch i sancteiddrwydd fel teimladau yn gyson ac yn gydnaws â'u gilydd, eto fel crefyddau nis gall y naill a'r llall fod yn wir: rhaid dewis un a gwrthod y llall.

Y mae y syniad Cristionogol fod parch i sancteiddrwydd yn deimlad hanfodol i grefydd dda, yn hollol groes i syniadau y Paganiaid goreu am grefydd. Yn eu defosiynau a'u haberthau cydnabydda y Paganiaid fod gallu uwch yn bod, gweithrediad pa un mewn natur sydd yn cynnyrchu dychryn yn eu mynwesau, ond tra y mae eu haddoliad fel hyn yn cynnwys dychryn, nid yw yn cynnwys y mesur lleiaf o barch. Cynnwysa yr ofn ag y mae iddo boenedigaeth, ond nid y parchedig ofn ag sydd yn cyd-drigo â chariad. Er fod rhai o'r hen Baganiaid yn ddynion rhinweddol yn ol y goleuni oedd ganddynt, ni ddychymygasant fod teimladau ac ymddygiadau rhinweddol yn perthyn i grefydd o gwbl, ac ni feddyliasant ychwaith erioed am eu priodoli i'w duwiau. Yn wir, bu bywyd rhai o honynt yn llawer rhagorach na'r syniadau a goleddent am eu duwiau. Hwy ysgarasant felly rhwng eu crefydd a'u hymddygiad. Arweinia crefydd diwylliant ei deiliaid hithau i'r un ysgariad, er nad ar hyd yr un llwybr.

Fe ddylid gwahaniaethu rhwng *addoliad* crefydd Crist, a'r *edmygedd* a deimlir tuag at ddynion o athrylith, ond llygredig eu buchedd a'u hegwyddorion, yr hwn edmygedd ambell waith a elwir yn addoliad. Gellir edmygu eu galluoedd a'u doniau fel gwaith Duw, ond nis gallwn ystyried y cyfryw edmygedd yn addoliad, am nad ydyw yn cynnwys parch. Yn marn a theimlad rhai pobl, fe all ardderchogrwydd athrylith dynion o'r fath osod urddas hyd yn nod ar eu pechodau, a chynnyrchu edmygedd o feiddgarwch digywilydd y gweithredoedd halogedig a gyflawnir ganddynt—gweithredoedd, gellir dyweyd, y buasid yn eu condemnio yn ddiarbed pe cyflawnasid hwy gan ddynion o alluoedd mwy cyffredin. Ni gsallwn ddychymygu dim a lygrai chwaeth foesol gwlad yn fwy na'r cyfryw edmygedd. Byddai y fath beth y teimlad tebycaf i addoli cythreuliaid y gwyddom ni am dano, os nad yn addoliad cythreuliaid ynddo ei hun. Y mae gan egwyddor dda ddigon o waith i ddringo i fyny yn mri dynion er derbyn pob cynnorthwy, heb yr anhawsdra ychwanegol a gynnyrchid gan yr edmygedd o brydferthwch doniau naturiol sydd yn taflu mantell o esgusodion dros fucheddau halogedig. I'r fan hon yr arweinid gwlad gan grefydd diwylliant. Dylid cydnabod, fodd bynag, fod llawer o'i dysgyblion yn rhagori ymhell ar eu dysgeidiaeth, fel i'r gwrthwyneb, ysywaeth, y mae llawer o ddysgyblion crefydd Crist yn meddwl, yn teimlo, ac yn byw yn annheilwng o'u crefydd ac yn syrthio ymhell yn ol o'r safon a amlygir ynddi.

Yn awr ceisiwn nodi ychydig o bethau yn y rhai y mae parch i sancteiddrwydd yn rhagori ar edmygedd o brydferthwch. Y rhagor-

iaeth hwnw ydyw mesur y gwahâniaeth sydd rhwng Cristionogaeth a Diwylliant fel crefydd i'r byd. Yn 1. Nis gall edmygedd o brydferthwch gynnyrchu na chryfhâu parch i sancteiddrwydd ar lwybr rhesymeg, tra y gall parch i sancteiddrwydd gryfhâu edmygedd o bob prydferthwch ar lwybr dadguddiad. Er mwyn dangos gwirionedd y gosodiad cyntaf, digon yw dyfynu y frawddeg ganlynol o waith Proffeswr Seeley (tu dal. 75): "So much in this respect has the world advanced that there is little danger of any worship we may pay to natural beauty blunting our sense of the higher reverence due to moral goodness." Yn y frawddeg hon cydnabyddir fod daioni moesol yn teilyngu mwy o barch na phrydferthwch naturiol; ond y ganmoliaeth uchaf a roddir ynddi i edmygedd o brydferthwch ydyw, na ddichon iddo leihâu parch i rinwedd, neu, o leiaf, nad oes perygl iddo wneuthur hyny. Cydnebydd pawb fod hyn yn wir; ond os hyn ydyw yr holl wir, pa hawl a pha reswm sydd gan neb i ystyried edmygedd yn grefydd? A ydyw parch i rinweddau moesol wedi cyrhaedd tir mor uchel yn ein gwlad fel mai digon ydyw gallu dywedyd am unrhyw grefydd nad ydyw yn ei leihâu? Yn hytrach, onid ydyw cydymgais mewn masnach, uchelgais am gyfoeth, safle mewn cymdeithas, dyhead am awdurdod, dylanwad ac enwogrwydd, a mwynhâd o gysuron a moethau bywyd, yn peri fod yn rhaid i ni am ryw grefydd a all, nid yn unig gadw y safon a gyrhaeddwyd mewn moesoldeb cyffredin rhag cael ei iselu, ond a all hefyd ei ddyrchafu yn llawer uwch, a hyny nid yn unig nac yn benaf yn marn dosbarthiadau isaf cymdeithas, ond hefyd yn marn y mwyaf diwylliedig? Hyd yn nod pan y mae yr amcanion yn dda ac yn ddyrchafedig, onid oes perygl parhâus i ddynion anrhydeddus ddefnyddio moddion ag sydd, a dyweyd y lleiaf, yn ammheus er mwyn eu cyrhaedd, sef trwy arfer dylanwad annhêg ar feddyliau ac ar ryddid ewyllys dynion eraill sydd dan rwymau iddynt, neu i fesur yn ddibynol arnynt? Os felly, ymddengys i ni yn afresymol i ystyried unrhyw deimlad yn grefyddol onis gellir rhoddi canmoliaeth uwch iddo na'r ganmoliaeth nacaol o ddyweyd nad yw yn lleihâu parch i foesoldeb nac yn iselu ei safon. A ddichon i edmygedd o natur gryfhâu ac addfedu egwyddorion moesol yn meddyliau a bucheddau dynion? Cydnabyddir yn y ganmoliaeth nacaol a nodwyd uchod na fedd rhesymeg dramwyfa o brydferthwch natur i sancteiddrwydd. Y rheswm am hyny ydyw, na fedd prydferthwch ddefnydd i buro, i gryfhâu, ac i ddysgyblu cydwybod i ddosbarthu drwg a da. Rhaid am gydwybod bur i allu teimlo y parch dyfnaf i ddaioni moesol. Felly y mae'n bosibl i edmygedd o bob prydferthwch mewn natur gyd-drigo â chydwybod halogedig. Ond yn yr Ysgrythyr fe ddangosodd Ysbryd Duw dramwyfa oddiar barch i sancteiddrwydd, i edmygedd o natur, trwy ddadguddio mai Bôd Anfeidrol Sanctaidd ydyw Awdwr natur, gosodwr ei ddeddfau, a chyfranydd ei holl brydferthwch. Trwy y dadguddiad hwn amlygwyd fod dolen yn cydio y sancteiddrwydd uchaf yn ei ffynnonell, â holl brydferthwch natur, ac mai y Goruchaf Dduw yw y ddolen hono. Gan hyny, gall dyn yn awr edrych ar holl ryfeddodau nefoedd a daear â llygaid wedi eu gloewi gan galon bur, nes iddynt fyned yn dryloew ger ei fron, ac iddo weled wyneb Duw trwyddynt. Nis gellir cael defnydd addoliad mewn natur am fod addoliad yn cyn-

nwys yr elfen foesol o barch; ond ar ol i deimladau addolgar gael eu hennyn trwy yr amlygiad o sancteiddrwydd yn y Gair, fe all golygfëydd arddunol natur eu dwyshâu a'u gwresogi. Parch ydyw elfen fawr sylfaenol addoliad; ond o angenrheidrwydd pan y perchir Bôd Sanctaidd, sydd hefyd yn anfeidrol ynddo ei hun, ac yn ogoneddus yn ei holl weithredoedd, y mae yr olwg ar natur ag sydd yn peri syndod, ar yr un pryd yn angerddoli y parch. Rhaid i barch i sancteiddrwydd gael y lle blaenaf, o herwydd nis gall barhâu yn ail i'r un teimlad arall. Pe gosodid ef yn ail, yn fuan fe elai yn drydydd, ac o hyny yn îs, îs, nes o'r diwedd yr ymadawai yn gwbl oll. Ond caniatäer iddo y lle blaenaf, fe ddyrchafa bob edmygedd o natur i radd uwch yn nghalon dyn, yn gymaint ag y bydd ei holl brydferthwch wedi ei gysylltu o hyny allan yn y meddwl â sancteiddrwydd dilychwin, â chyfiawnder, ac â chariad y Bôd Mawr a'i creodd ac a'i harddodd.

Yn ychwanegol at hyn, parch i sancteiddrwydd yn unig a ddiogela edmygedd o brydferthwch rhag dirywiad a llygredigaeth. Onid oes dynion yn edmygu aur ac arian, cysuron a moethau anifeilaidd bywyd? Onid natur, a natur ddynol, yw y pethau hyn? Ac yn ol ein hawdwr, onid rhaid i ni gasglu fod edmygedd o honynt hwythau hefyd yn addoliad ac yn grefydd? Nid ydyw Proffeswr Seeley yn cydnabod hyn; ond paham hyny, oddieithr fod rhyw egwyddor foesol yn ddiarwybod iddo ef ei hun wedi llithro i mewn i'w feddwl yn peri iddo wneuthur gwahaniaeth? Dywedwn wrtho ef fel y dywedodd Paul wrth athronwyr Athen, "Yr egwyddor foesol hono yr ydych chwi heb ei hadnabod yn gorfod ei chydnabod, hono yr wyf fi yn ei mynegi i chwi." Pan yr edmygir gwrthddrych annheilwng, fe lygrir yr edmygedd, a thry ymostyngiad yr addoliad yn ddarostyngiad i'r addolwr. Os oes rhaid am egwyddor foesol i ddyrchafu edmygedd ac i ddiogelu edmygedd dyrchafedig, rhaid ystyried yr egwyddor hono mewn sefyllfa o awdurdod ac o lywodraeth. Ac nis gallwn ffurfio unrhyw syniad o egwyddor foesol mewn dyn nad yw yn cynnwys mai ei helfen hanfodol ydyw parch diffuant i sancteiddrwydd mewn llywodraeth ar yr holl ddyn.

Yn 2. Nid ydyw edmygedd o brydferthwch naturiol yn cydfyned fel achos neu effaith âg argyhoeddiad y meddwl o unrhyw wirionedd moesol, tra y mae parch i sancteiddrwydd o angenrheidrwydd felly. Dywed Proffeswr Seeley (tu dal. 222) nad oes ystyr i'r ymadrodd "gwirionedd crefydd." Gallwn, meddai, son am wirionedd athroniaeth, neu wirionedd damcaniaeth, neu wirionedd unrhyw osodiad,ond nid am wirionedd crefydd, am fod crefydd yn ansawdd ar deimlad. Cydnabydddwn yn rhwydd fod crefydd yn cynnwys ansawdd teimlad, ond os ydyw yn dal perthynas â pherffeithrwydd yr holl ddyn, nis gall gau allan argyhoeddiad y meddwl o wirionedd. Y mae yr awdwr mewn amrywiol ranau o'i lyfr yn taflu anfri ar "doctrines," "dogmas," a "creeds." Yr unig gasgliad a allwn ni ei dynu oddiwrth ei sylwadau ydyw ei fod yn condemnio argyhoeddiadau y meddwl o bob gwirionedd, oddieithr y rhai a gyrhaeddir trwy ymchwiliadau gwyddonol. Nid oes ammheuaeth yn meddwl pob gwir Brotestant o hawl, a rhyddid, a dyledswydd pob dyn i ffurfio ei farn drosto ei hun, ac o ffolineb pob honiad o anffaeledigrwydd a wneir gan leygwyr yn gystal a chan

glerigwyr. Dengys hanesiaeth, er hyny, mai y dynion a adawsant eu hôl er gwell ar y byd, ydoedd y rhai galluog i gredu yn gryf, er fod cryfder eu cred yn ymddangos yn aml yn ymylu ar honiad o anffaeledigrwydd, os nad oedd ar brydiau yn fwy nag yn ymddangos ac yn fwy nag yn ymylu. Dynion oedd y rhai hyn parod i ymladd dros yr hyn a gredent oedd yn wirionedd, ac yn barod i farw drosto pe byddai raid. Rhyddfrydedd gau, hollol annheilwng o'r enw, sydd yn ystyried cyfiawnder, dyledswydd, cyfrifoldeb, drwg a da, yn bynciau agored, dibynol yn gwbl oll ar opiniynau dynion. Gwir y dywed ein hawdwr mai teimlad yn gwbl oll ydyw crefydd edmygedd. Ond onid ei diffyg ydyw hyn, ac nid ei rhagoriaeth? Ei diffyg yn sicr ydyw os perffeithrwydd yr holl ddyn yw yr amcan mewn golwg; ond ei rhagoriaeth, hwyrach, os diwylliant y meddwl mewn rhai cyfeiriadau yn unig ydyw yr holl amcan. Cyfynga ein hawdwr y geiriau credoau ac athrawiaethau at wirioneddau moesol. Tu allan i'r cylch hwn y mae ganddo yntau erthyglau yn ei gyfundrefn yn gystal a'i bynciau athrawiaethol. Dyma ychydig o honynt; yn (*a*) mai edmygedd o ragoriaeth tu allan iddo ei hun yw hanfod crefydd dyn; (*b*) mai brwdfrydedd yw ysbryd addoli; (*c*) mai addoliad yw edmygedd o natur; ac yn (*d*) nad yw credu unrhyw wirionedd moesol yn perthyn i grefydd. Nid oes unrhyw erthygl yn y gredo hon, fel y gwelir, yn cyffwrdd âg argyhoeddiad y meddwl o unrhyw egwyddor foesol; eto y mae ei feddwl yn rhan o ddyn, fel ei galon! Ond y mae credu cryf yn anwahanol gysylltiedig â pharch dwfn i sancteiddrwydd. Anmhosibl ydyw i neb feddu ar barch diffuant i'r dynion goreu ac i'r Duw sanctaidd, hebd eimlo hefyd argyhoeddiad dwfn o'r pellder anfesurol sydd rhwng drwg a da, o'i rwymau i garu daioni ac i gasâu drygioni, o'i gyfrifoldeb i Dduw ac i ddynion, nid yn unig i beidio gwneuthur drwg, ond hefyd i iawn-ddefnyddio pob gallu a gafodd i berffeithio ei hun ac i fendithio eraill. Collodd Goethe, fel y gwelwyd, yn ei edmygedd o brydferthwch bob syniad o ddyledswydd; ond fe fyddai yn anmhosibl i neb ei golli o herwydd ei barch i sancteiddrwydd. Yn hytrach, i'r graddau y dwysheid y teimlad y cynnyddai y syniad. Ni ddywedai yr un Cristion meddylgar mai argyhoeddiad o unrhyw wirionedd, pa mor ddyrchafedig bynag y byddo, sydd yn cyfansoddi crefydd, ond fe ddywedai fod perffeithrwydd yr holl ddyn, sef yr hyn a ddylai fod yn amcan crefydd, yn cynnwys argyhoeddiad meddwl o wirioneddau moesol yn gystal a dwysder teimlad, a hwnw yn deimlad o'u hawdurdod yn gystal ag o'u prydferthwch; er y cydnabyddai hefyd yn rhwydd y byddai mesur o ffaeledigrwydd yn sicr o fod yn ei gred, ac hefyd fesur o wendid llygredig yn ei deimladau goreu.

Yn 3. Y mae parch i sancteiddrwydd yn effeithio i attal a dyrchafu dyn. Sonir yn fynych yn y llyfr dan sylw am grefydd dychryn, "the religion of terror." Diffyg mawr crefydd gyfansoddedig o ddychryn yn unig ydyw, nas gall droi cyfeiriad calon yr un dyn oddiwrth ddrwg at dda, ac nas gall gynnyrchu na chryfhâu cariad at rinwedd yn yr un galon. Ond os yw yn ffaith fod canlyniadau poenus i feddwl, i gorff ac i amgylchiadau dynion, yn effaith naturiol eu llygredigaethau, nid peth afresymol yw y teimlad o arswyd yn ngwyneb darluniad bywiog o honynt. Os oes a wnelo ffeithiau o gwbl â chrefydd, amlwg yw fod

rhyw le i arswyd o'r canlyniadau sydd yn dilyn pechod ymhlith teimladau eraill. A chan nad hon yw yr unig ffaith, nid dychryn ydyw yr unig deimlad. Ac ni chyfnewidid dim ar egwyddor y pwnc pe ychwanegid y canlyniadau mewn byd ar ol hwn. Er na ddichon braw yn unig wneuthur ond ychydig o ddaioni i ddyn, dichon iddo ddylanwadu yn ddaionus ar ymddygiad dyn mewn undeb â theimladau o natur arall, pa rai a gynnyrchid gan ffeithiau eraill. Yr oll a fedr braw yn unig ei wneuthur ydyw, nid dychwelyd neu gyfnewid dyn, ond ei attal. Dyma ei ragoriaeth, ïe, mwy, ei holl ragoriaeth. Ei ddiffyg mawr ydyw, tra y mae yn attal nas gall ddyrchafu na meddwl na chalon. Y mae edmygedd o natur yn methu fel crefydd yn y cyfeiriad gwrthwynebol. Fe all ddyrchafu y meddwl mewn rhai cyfeiriadau. Cynnwysa syndod wrth syllu ar ryfeddodau natur—ar faint, ar fawredd, ar drefn ardderchog y byd a'r bydoedd, ond nis gall wneuthur dim tuag at ffrwyno y nwydau. Attal, ond heb ddyrchafu, ydyw eithaf crefydd dychryn: dyrchafu heb attal ydyw eithaf crefydd edmygedd. Fe all parch i sancteiddrwydd wneuthur y ddau, a llawer mwy na'r ddau. Pan yr ysgrifenodd Wordsworth ein bod yn byw trwy edmygedd, ni ddywedodd edmygedd o ba beth. Ni a allwn ddringo i lawer uwch urddas trwy edmygu un dyn gwir dda, ïe trwy edmygu un rhinwedd, megys gwirionedd neu gydwybodolrwydd, mewn rhai amgylchiadau, na thrwy synu uwch ben holl ryfeddodau natur. Nid oes digon o nerth yn holl fawredd ac ardderchogrwydd mynyddoedd yr Eryri i roddi yr attalfa leiaf ar lygredigaethau Siroedd Môn ac Arfon; ond yn nylanwad personol y dynion da sydd yn wasgaredig trwy y siroedd hyny, y mae digon o nerth i attal i ryw fesur, bob amser; ac nid i attal yn unig ond i ennill hefyd. Y mae'n bosibl i barch gŵr ieuanc i'w fam dduwiol wneuthur mwy tuag at loewi ei gydwybod a chryfhâu ei ewyllys i wneuthur yr hyn sydd iawn yn gystal a dyrchafu ei syniadau, na'r cyfanswm o holl arddunedd a thlysni y ddaear a'r wybren gyda'u gilydd.

Paham nas gall edmygedd o natur attal drygioni mewn dyn? Am nad yw yn cyffwrdd â'r teimladau cymdeithasol sydd ynddo, trwy ba rai, ar y naill law, yn benaf y llygrir dynion, a thrwy ba rai, ar y llaw arall, y gwaredir hwynt oddiwrth eu llygredigaethau. Rhaid i'r wir grefydd gan hyny roddi lle mawr i'r teimladau cymdeithasol. Fe all natur beri mwynhâd dirfawr i'r dyn a fedd lygaid a chalon goeth: fe all lanw ei ddychymyg â hapusrwydd digyffelyb trwy ei rhyfeddodau, fe all greu syndod dibendraw drwy ei lliwiau, ei lluniau, a'i seiniau; ond nis gall gyffwrdd â'r teimladau cymdeithasol trwy ba rai y mae dynion yn dylanwadu ar eu gilydd er da ac er drwg, a thrwy ba rai o herwydd hyny yr ennillir hwynt oddiwrth eu pechodau, ac y dyrchefir eu syniadau oddiar y mân bethau a welir, at yr egwyddorion tragywyddol y rhai ni welir. Ond yr hyn nas gall edmygedd o holl ogoniant natur ei wneuthur, a wneir trwy barch i sancteiddrwydd, yr hyn sydd yn puro, yn cryfhâu, ac yn perffeithio holl deimladau cymdeithasol dyn, heb wrthwynebu dim ag sydd ynddo ond yr hyn sydd yn annheilwng o ddyn iddo i'w feddu.

Yn 4. Nid yw prydferthwch natur yn gosod ger bron meddwl dyn yr un nod i gyrchu ato, yr hyn sydd yn angenrheidiol tuag at ei ber-

ffeithio. Er mwyn llwyddo mewn unrhyw amcan, yr hyn yn benaf ac yn amlaf sydd yn cynnyrchu gweithgarwch ac egni i'w gyrhaedd ydyw presennoliad ger bron y meddwl o ryw berson a gyrhaeddodd yr amcan hwnw. Dylai dau nodwedd neillduol berthyn i'r nod sydd yn wir amcan bywyd. Dylai, yn gyntaf, fod yn weledig ac yn gyrhaeddadwy gan bob math o ddynion, ac nid yn unig gan rhyw un dosbarth, a hwnw y mwyaf diwylliedig. Dylai, yn ail, fod yn nod cymhwys i bob dosbarth o ddynion fod fel efe, ac nid yn unig i wneuthur rhai pethau yn debyg iddo. A ydyw prydferthwch naturiol ac edmygedd o hono yn ateb i'r nodweddau hyn? Pa beth am y cyntaf? Fe all beirdd, arlunwyr, a gwyddonwyr, gael digon o amser ac o hamdden i amaethu eu meddyliau yn nghanol rhyfeddodau natur; ond pa beth am y lliaws sydd yn gorfod gweithio yn galed i gynnal eu hunain a'u teuluoedd? A ydynt hwy i fod byth yn amddifad o bob nod i gyrchu ato! Pa beth drachefn am yr ail nodwedd? Nid oes mewn natur hyd yn nod i'r dysgedigion coeth eu hunain, ond nod iddynt geisio gwneuthur yn debyg, oblegid ni fedd natur nod i neb fod yn debyg iddi o ran egwyddor. Nid oes ynddi yr amlygiad hwnw o gyfiawnder ac o gariad ag y mae yn bosibl neu yn iawn i neb geisio ymdebygoli iddo. Ond pan y rhydd crefydd Crist berffeithrwydd yn amcan i fywyd, rhydd hefyd "Ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd" yn gynllun o hono. Yn ychwanegol at hyny, dengys y Tad ger bron ein llygaid, o herwydd "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad," medd Sylfaenwr mawr ein crefydd. Trwy hyn goleuir meddwl dyn i ddirnad egwyddorion moesol pan y gwel hwynt mewn gweithrediad, a rhwymir gwasanaeth holl deimladau ei galon o blaid daioni. Yn ol Cristionogaeth, edmygedd, nid o natur ond o Grist, sydd yn diwyllio meddwl y dyn ac yn perffeithio ei holl natur. Try yr edmygedd hwnw yn addoliad calon i'r Duw-ddyn, yn grefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a dynion, ac yn barch i'r amddifaid a'r gweddwon. Ammod yr addoliad hwn, a'r unig ammod angenrheidiol yw, Ysbryd a Gwirionedd. Nid Jerusalem yw y lle i addoli ynddo mwy, ïe, nid lle o gwbl sydd i addoli ynddo bellach. Ysbryd a Gwirionedd yw ein teml ni. Dyma deml na chafwyd ei meini o gloddfeydd y ddaear, na'i thrawstiau o'i choedwigoedd, ac na cherfiwyd un rhan o honi gan gelfyddyd a dychymyg dyn. Ysbryd a Gwirionedd yw ei muriau, ei phalmant a'i chronglwyd. Ysbryd yw y Duw a addolir ynddi; cartrefle Gwirionedd erioed a byth. Ysbryd yr addolwr yw ei sanctaidd sancteiddiolaf. Pa faint bynag yw gogoniant natur, "bydd mwy gogoniant y tŷ diweddaf hwn, medd Arglwydd y lluoedd." "Llanwaf hefyd y tŷ hwn â gogoniant." Os yw teml natur yn ogoneddus—a phwy a faidd amheu hyny?—ac os yw edmygedd o'i phrydferthwch yn addoliad ac yn grefydd (ac fe all hyn fod yn grefydd well ac uwch nag y mae ugeiniau o ddynion, ïe, o'r rhai sydd yn byw yn nghanol ei golygfeydd mwyaf arddunol yn ei feddu), pa fodd yn hytrach nad yw teml o "Ysbryd a Gwirionedd," yn yr hon yr ymgrymir mewn addoliad ger bron y Goleuni a'r Cariad tragywyddol, yn rhagori mewn gogoniant? Os bu yr hyn a ddilëir yn ogoneddus, mwy o lawer y bydd yr hyn sydd yn aros yn ogoneddus.

# Y DIWEDDAR BARCH. GRIFFITH WILLIAMS, TALSARNAU.

Y MAE gogwydd cryf y blynyddoedd diweddaf hyn i roddi parch i ddynion oedd yn byw yn yr oes a'r oesoedd o'r blaen. Wedi i gant o flynyddoedd fyned heibio, gwelir a chanmolir rhinweddau a rhagoriaethau enwogion a wnaethant ddaioni i'w gwlad, ac a adawsant eu hôl ar y byd. Y mae canmlwyddiant, a dau, a thri, a phedwar canmlwyddiant yn dymmorau sydd bellach yn llawn o ystyr er coffa am wŷr a fu enwog gynt, tra mae eraill â'u hoes wedi dirwyn i'r pen yn ddiweddarach yn cael eu gadael yn fwy disylw. Yn ymyl y mynydd, yr ydys mewn anfantais i weled ei fawredd; ond wedi symud i'r pellder draw y mae gwell mantais o lawer i edrych arno. Y mae llawer wedi treulio eu hoes wrth odrau y Wyddfa heb ystyried nemawr am ardderchogrwydd y mynydd, tra mae eraill ugeiniau o filldiroedd draw yn meddwl ac yn teimlo mai y Wyddfa ydyw brenin mynyddoedd Cymru. Felly gyda dynion. Po agosaf atynt y byddwn o ran amser a lle, er i ni fod ar lawer cyfrif mewn gwell mantais i'w hadnabod, lleiaf yn y byd o glod a gânt. Draw, ymhell, y cânt y clod sydd ddyledus iddynt. Ond mewn gwirionedd, y mae llawer a fu yn cydoesi â'r oes bresennol wedi gorphen eu gyrfa, oeddynt yn meddu ar wir fawredd. Un o'r cyfryw oedd gwrthddrych yr ysgrif hon. Nid yn unig yr oedd yn un o "rai rhagorol y ddaear," ond meddai hefyd ar allu, a thalent, a chymhwysderau, y rhai a gysegrodd yn llwyr i wasanaethu ei Arglwydd ac er lles ei gyd-ddynion.

Ganwyd y Parch. Griffith Williams yn mhentref Dolwyddelen, yn y flwyddyn 1824. Ymhen ychydig flynyddoedd symudodd ei rieni i fyw i Ffestiniog, i'r Cribau, Rhiwbryfdir. Gorphenodd ei yrfa ddaearol yn Talsarnau, nos Sabboth, Hydref 23, 1881, yn 57 mlwydd oed. Felly yn y Rhan Orllewinol o Sir Feirionydd y treuliodd ef bron yr oll o'i oes, ac nid oes eisieu dyweyd i drigolion y Sir hono pwy na pha fath un oedd. Er hyny, y mae gwybod tipyn o'i hanes yn nhymmor mebyd ac ieuenctyd yn fanteisiol tuag at ei adnabod yn well yn nhymmor ei ddefnyddioldeb.

Un o deulu Dolwyddelen oedd ei dad, a'i enw yntau oedd Griffith Williams. Yr oedd yn un o un ar bymtheg o blant undad, ond nid unfam. Yr oedd yr hen bregethwr adnabyddus, John Williams, Dolwyddelen, yr hynaf o'r un ar bymtheg, a Griffith Williams yr ieuengaf ond dau. Ganwyd Griffith Williams, y tad, yn y Mur côch, Dolwyddelen. Priododd pan yn 23ain oed gydag Ellin Williams. Merch ydoedd hi i Foulk Richard, o gymydogaeth Llanrwst; daethai i ardal Dolwyddelen i wasanaethu. Yr oedd y ddau wedi cyrhaedd gwth o oedran cyn eu symud; a gellir dyweyd am danynt eu bod "ill dau yn gyfiawn." Bu farw Ellin Williams Chwefror 1, 1863, yn 79 oed; a

Medi 14, 1873, bu farw ei phriod yn 87 oed. Ganwyd iddynt chwech o feibion a thair o ferched, o ba rai nid oes yn awr ond un mab yn fyw, Mr. John Williams, Rhiw, Ffestiniog, a dwy ferch, y rhai a ymfudasant i'r America tua 40 mlynedd yn ol.

Yr oedd gwrthddrych yr ysgrif hon wedi casglu ychydig o adgofion am ei dad, ac wedi meddwl, mae yn ddiammeu, rywbryd eu cyhoeddi. Yr oedd y rhieni yn dduwiol, a chrefydd bob amser yn uchaf yn y teulu; ac yr oedd hyny yn fantais anmhrisiadwy tuag at ffurfio cymeriad y plant. Tystia y lliaws cymydogion sydd eto yn fyw, yn Dolwyddelen a'r Rhiw, fod crefydd yr hen ŵr yn un o'r iawn ryw. Wedi troi ymysg cewri o bregethwyr, sef meibion Tanycastell, a'i hanner brawd ei hun, John Williams, ynghyd a hen grefyddwyr zelog yr ardal, fe allesid dysgwyl fod crefydd wedi gwreiddio yn ei natur. Felly yr ydoedd. Wedi iddo ddyfod yn grefyddwr, daliodd ati yn dŷn hyd y diwedd. Bu yn adeg lled galed arno am rai blynyddoedd ar ol iddo briodi. Nid oedd y cyflog ond 6c. y dydd a bwyd, neu 10c. a'i fwyd ei hun. Ac yr oedd ymborth yn hynod o uchel—nid oedd pwn o beilliad i'w gael heb o £6 10s. i £7. Yn fuan wedi iddo briodi y dechreuwyd gweithio chwarel y *Welsh Slate*, neu Chwarel y Rhiw, fel y gelwir hi fynychaf. Ac ymhen wyth mis ar ol ei dechreu aeth yntau yno i weithio, sef yn y flwyddyn 1819; ac yno y bu hyd yn agos i ddiwedd ei oes—tymmor o hanner cant o flynyddoedd. Cyfarfu amryw o'i gydweithwyr â damweiniau trymion, a chafodd tri eu lladd yn ei ymyl, ac effeithiodd hyny yn fawr arno. Ymunodd â chrefydd y flwyddyn gyntaf ar ol priodi, yn Pwllterfyn, Sir Ddinbych. Un diwrnod yr oedd yn myned at ei waith rhwng un a dau o'r gloch, ac ar ganol y cae rhwng y tŷ a'r ysgubor lle yr oedd yn dyrnu, daeth y gair hwnw fel saeth i'w feddwl, "Y farn a eisteddodd, ac agorwyd y llyfrau." Dychrynwyd ef gan y geiriau hyn fel y bu am naw diwrnod heb allu bwyta, cysgu, na gweithio fel arferol. Er iddo ymuno â'r eglwys, nid aeth ystorm yr argyhoeddiad heibio hyd ryw foreu Sabboth pryd yr oedd *society* yn y capel am 8 o'r gloch, a Dafydd Cadwaladr yno yn ei chadw. Y geiriau roddodd ymwared iddo ydoedd, "A hyn fu rhai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." Pryd bynag y clywai yr hen Gristion y geiriau hyn yn cael eu hadrodd byth wed'yn, llenwid ei enaid â mawl a diolchgarwch.

Symudodd yn fuan ar ol helynt yr Argyhoeddiad o Eglwys Pwllterfyn at ei deulu i Dolwyddelen, ac yr oedd y diweddar Barch. John Jones, Talsarn, a'i frodyr yn blant yn dyweyd eu hadnodau y pryd hyny. Ymroddodd yntau yn uniongyrchol i ddysgu y plant yn yr Ysgol Sul, ac ystyriai hi yn fraint hyd ddiwedd ei oes i fod gyda'r gwaith o ddysgu yr A B C i'r plant. Cafodd y fraint o ddysgu y Wyddor i rai a ddaethant wedi hyny yn bregethwyr nerthol. Y trydydd tro y pregethodd yr enwog bregethwr, John Jones, yn nhŷ Dr. Morgan yn y Wybrnant y bu hyny, a G. Williams a'i denodd yno, trwy y byddai ef yn arfer myned i'r lle hwnw i gadw Ysgol Sul, ac aeth â John Jones yno gydag ef, a phregethodd y nos. Un o'r pethau a lonai enaid yr hen bererin, G. Williams, ydoedd gweled plant a phobl ieuainc yn dyfod yn ddefnyddiol, a gwnai yr hyn a allai bob amser i'w tynu ymlaen. Y

mae coffhâd am dano yn Llyfr Hanes yr Achos, a welir yn nhŷ y Capel yn Dolwyddelen, fel un o'r rhai a fu ffyddlonaf gyda yr Ysgol Sul yn yr ardal hono y tymmor hwn. Y pethau neillduol yn ei gymeriad oeddynt :—1. Cysondeb gyda y ddyledswydd deuluaidd; 2. Ffyddlondeb gyda moddion gras; 3. Cydymdeimlad â llwyddiant y weinidogaeth. Arferai ddyweyd nad aeth yr un Sabboth heibio yn ystod ei oes, byth wedi i'w fab Griffith ddechreu pregethu, na byddai yn myned â'i achos yn bersonol ger bron gorsedd gras. Y mae yn ffaith hefyd yn ei hanes, er ei holl gysondeb a'i ffyddlondeb yn dilyn ei orchwylion yn y chwarel am yn agos i 50 mlynedd, nad aeth ond unwaith o'r tŷ yn y boreu heb gadw dyledswydd; a'r tro hwnw wedi iddo gael hamdden ar ei ben ei hun yn y *Machine*, fe gadwodd ddyledswydd ei hunan. Trwy ei weddïau argyhoeddai hen ac ieuainc mai un yn delio â'r nefoedd ydoedd. "Dyna hen ŵr am y nefoedd," meddai un a arferai wrando arno o dan y ffenestr oddiallan. "Am bethau y ddaear y byddai B—— Ll—— yn gofyn, ond am bethau y nefoedd y byddai G. W. yn gofyn." Boreu Sul y Sulgwyn, pan oedd efe wedi pasio pedwar ugain oed, ac yn llettŷa yn Dolwyddelen, ei hen ardal enedigol, aeth allan yn foreu i ymweled â phedwar lle oeddynt yn gysegredig yn ei olwg, fel manau y buasai yn dal cymundeb â Duw ynddynt yn mlynyddoedd cyntaf ei grefydd. Cyfododd bump o'r gloch y boreu i gychwyn o'r tŷ, er mwyn dychwelyd yn ol erbyn yr odfa ddeg. "Mae arnaf eisieu myn'd," meddai wrth ei gydymaith, "i ymweled â rhyw bedwar lle eto cyn marw—lleoedd y bum i lawer gwaith ynddynt yn erfyn am fy mywyd." Dywedai wrth ei frodyr a'i chwïorydd yn yr eglwys fel un o'i gynghorion diweddaf:—"Dymunaf arnoch oll fod yn ffyddlawn gyda phob moddion o ras; mynychwch dŷ yr Arglwydd, nid ar y Sabboth yn unig, ond ganol yr wythnos hefyd; mae tŷ yr Arglwydd yn rhyw gysegr nesaf i'r Cysegr Sancteiddiolaf."

Dechreuodd Griffith, y mab, ei yrfa, fel y gwelir, heb ddim rhagolygon o hawddfyd a mwyniant bydol o'i flaen. Nid oedd dim manteision addysg na manteision bywoliaeth iddo i'w dysgwyl; bu raid iddo ymladd ei hun am y naill a'r llall. Nid yw yn hysbys iddo gael dim ysgol ddyddiol yn moreu ei oes, oblegid nid oedd yr un ysgol yn agos iddo i fyned iddi. Pan ddaeth ei dad i weithio gyntaf i Ffestiniog, yn y flwyddyn 1819, nid oedd ond chwech o dai yn Cwm y Rhiw, ac nid oedd yr un capel yn perthyn i'r Methodistiaid yn nês na'r Llan; ond pan ddaeth ei deulu yno i fyw, ychydig amser wedi geni Griffith, yr oedd Bethesda, y capel cyntaf i'r Methodistiaid yn y Blaenau, newydd gael ei agor. Nid oedd yr ardal y pryd hyn ond teneu iawn ei phoblogaeth, a'i manteision o bob natur yn brinach drachefn. Yr oedd y Cribau, cartref Griffith Williams, yn agos i'r Chwarelau, y rhai oeddynt er ys ychydig o flynyddoedd wedi dechreu cael eu gweithio. Yn ngolwg y Chwarelau, yn sŵn y gweithio, ac yn awyrgylch gymdeithasol y gweithwyr, y rhai oeddynt gan mwyaf yn ddyeithriaid a dyfodiaid, y ffurfiwyd ei syniadau cyntaf yn nyddiau ei blentyndod. Yr oedd o amgylch y Cribau ffosydd o ddwfr, ac ymddifyrai yntau—fel plentyn heb ddim rhaid arno fyned i'r ysgol, megys yn y dyddiau hyn—trwy wneuthur olwynion, cafnau, a pheiriannau i weithio gyda y dwfr yn y ffosydd. Treuliai lawer o amser yn y ffosydd a'r llynau i gyn-

K 2

llunio yr olwynion a'r peiriannau, a cheisio eu perffeithio. Cynnyrchwyd y duedd hon ynddo i ddechreu, mae yn ddigon tebyg, wrth glywed am y peiriannau dwfr yn gweithio yn y chwarelau. Er nad oedd y peiriannau i ddechreu ond pethau plentyn, yr oedd ei bleser a'i hyfrydwch ef gyda hwy, a gallai y pryd hwn wneuthur rhai pethau pur gelfydd. Meddyliodd ei fod wedi cael allan ddyfais newydd spon, sef cynllun i droi olwyn am byth gyda yr un dwfr, trwy i'r dwfr ddisgyn oddiar yr olwyn i'r cafn islaw, ac iddo gael ei droi yn ol ar hyd y cafn nes disgyn drachefn ar yr ochr uchaf i'r olwyn. Cawsai addewid am arian gan ryw gyfaill i weithio y ddyfais newydd, a mawr fu ei drafferth yn ymdrechu i ddwyn y cynllun i berffeithrwydd. Ymgasglai y bobl ynghyd y nosweithiau i lofft y tŷ, lle yr oedd ei weithdŷ, i edrych arno yn dwyn y greadigaeth newydd i fod. Yr oedd y cynllun yn dda, ond sefyll wnaeth yr olwyn, yn lle troi am byth. Yr oedd tuedd ei feddwl yn gryf at y pethau yma yn foreu iawn, ac yr oedd yr un duedd ynddo, fel y ceir gweled eto, wedi iddo dyfu i oedran. Pe buasai ganddo foddion i'w ddwyn ei hun i fyny yn beiriannwr, diammeu mai peiriannwr a fuasai.

Modd bynag, pan ddaeth i oedran i fyned i'r chwarel, i'r chwarel y cafodd fyned. Yn y blynyddoedd hyny y chwarel oedd nôd holl fechgyn yr ardal, a dyfod yn chwarelwyr oedd eu huchelgais penaf. Ond nid oedd hyn yn uchelgais gan Griffith Williams. Yr oedd allan o'i elfen yn y chwarel, oblegid at ddarllen, a myfyrio, a chynllunio yr oedd tuedd ei feddwl. Ni ragorodd fel chwarelwr, fel yr oedd yn naturiol. Eto yn ystod y tymmor y bu yn y gwaith, deuai yr elfenau oedd bob amser yn ei nodweddu i'r golwg ymhlith ei gydweithwyr. Medrai ragori arnynt hwy mewn cynllunio a dyfeisio, megys dangos y ffordd oreu i symud maen, ac i gael un arall yn rhydd pan fyddai eisieu. Un tro yr oedd yr olwyn ddwfr fawr wedi rhewi, ac wedi i bawb arall fethu medrodd ef ei chael yn rhydd i droi. Oblegid y pethau hyn yr enw a roddai y gweithwyr arno weithiau oedd "yr hen *schemer.*" Yr oedd ei ddifrifwch, a'i grefyddoldeb, a'i ffraethineb, yn fwy na'r cyffredin o'r gweithwyr. Yr oedd un dyn ieuanc a weithiai yn ei ymyl dipyn yn anystyriol a gwyllt ei dymher, a thorai allan ar brydiau i ddyweyd geiriau nad oeddynt weddus. "I beth yr wyt ti fel yna," meddai Griffith Williams wrtho, "yn dyweyd geiriau hyll o hyd am y Bôd mawr?" "Gwylltio y byddaf," ebe y dyn, "a phan fyddaf wedi gwylltio fedra i ddim peidio." "Pam ddeydi di rywbeth arall pan fyddi wedi gwylltio?" ebai Griffith Williams; "pam ddeydi di y pren mesur, neu mwrthwl, neu ordd, pan fyddi di wedi gwylltio, yn lle enwi y Brenin Mawr?" Dywedai y dyn, ymhen blynyddoedd lawer, fod y dywediad hwnw wedi bod yn foddion i beri iddo adael yr arfer ddrwg o ddyweyd geiriau anystyriol. Adroddir hanesyn am dano yn y tymmor hwn hefyd sydd yn dangos fod yr elfen ddychymygol yn gystal a'r elfen dyner yn gref yn ei natur. Daeth i'w feddwl i ymfudo i'r America, a dywedir ei fod wedi penderfynu myned. Rhyw ddiwrnod yn y chwarel, tra yr oedd yn llawn o'r ysbrydiaeth ymfudo, aeth wrtho ei hun i'r *wàl*—gweithdŷ y chwarelwr, cymerodd lechen a dechreuodd ysgrifenu llythyr dychymygol o'r wlad bell adref at ei rieni. Yn union deg wedi iddo ddechreu ysgrifenu, ac efe yn dychymygu am dano ei

hun yn y wlad bellenig, gorchfygwyd ef gan hiraeth a thorodd allan i wylo. Peidio myned i'r America a wnaeth, ac felly nid oedd raid iddo fyned i'r drafferth i ysgrifenu.

Dechreuodd crefydd Griffith Williams ddyfod i'r golwg yn gynnar. Dechreuodd weithio gyda chrefydd yn bur foreu. Y gwaith y cymerai lawer o ran ynddo oedd, holi plant, cynnal cyfarfodydd gweddi gyda hwy, ac areithio ar Ddirwest. Er na chafodd fanteision bydol trwy ei rieni, cafodd yr hyn sydd yn annhraethol bwysig i'r ieuanc—ei ddwyn i fyny ar aelwyd grefyddol a throi mewn awyrgylch grefyddol. Pan yn blentyn gyda'r plant eraill, deuai y duedd grefyddol oedd ynddo i'r golwg. Mewn hen lyfr lle mae ysgrifau o'i waith ef ei hun, y mae y Cyfammod canlynol, wedi ei ysgrifenu yn ei lawysgrif ei hun, yr hwn a wnaethid, fel y tybir, gan dri o'r plant ar ryw noswaith, pan yr oedd rhyw ffrigwd neu gilydd wedi cymeryd lle:—

Cyfammod ydym yn ei wneyd i'n tad a'n mam.—Yr ydym ni ein tri yn addaw yn ngŵydd Duw, na bydd i ni fod yn anufudd iddynt, ond y gwnawn bobpeth ar eu gair, ac ni bydd i ni o heno allan ffraeo â'n gilydd, na churo ein gilydd, ond bydd i ni fod yn blant da—caru ein gilydd, sef brodyr a chwïorydd, a'n rhieni.

Yr oedd yn areithiwr ar Ddirwest, fe ddywedir, pan yn hogyn bach, ac yn areithiwr mawr pan yn llanc deunaw oed. Nid oedd y Gymdeithas Ddirwestol y pryd hwn ond ieuanc, a byddai llawer mwy o'r plant yn areithio ar y mater nag sydd yn awr. Mae yr hen lyfr sydd ar gael wedi iddo ei ysgrifenu tua yr adeg yma, yn cynnwys ei gyfansoddiadau ef ei hun,—*Areithiau ar Ddirwest, Myfyrdodau ar Ddirwest, Myfyrdodau ar Ddrwg Pechod.* Buasai dyfyniadau o'r Areithiau yn ddyddorol, i ddangos pa fath a fyddai yr areithiau ar Ddirwest y pryd hwnw, pan oedd y Gymdeithas yn ei mabandod, ac hefyd i ddangos fod dywediadau a syniadau y llanc yn debyg i'r hyn oeddynt pan y daeth yn ddyn, ond ni roddir yma ond un dyfyniad:—

Llawer o ddyweyd sydd wedi bod er ys wyth mlynedd bellach yn erbyn y pechod o Feddwdod, ac fe allai fod rhywun yn barod i ofyn—"Paham yr ydych yn dyweyd yn erbyn meddwdod a meddwdod, a hyny ymhob cyfarfod? Onid oes pechodau eraill can waethed âg yntau?" Oes, mae pechodau eraill can waethed âg yntau o ran hyny; ond dyma un paham yr ydym yn myned ei erbyn,—Meddwdod ydyw y golofn ganol ar ba un y mae tŷ y Diafol yn sefyll, ac y mae Dirwest fel y Samson hwnw gynt wedi gafael ynddi, ac yr wyf yn credu na ollyngiff hi mo'i gafael o honi nes ei chael i lawr, a gobeithio mai dyma y gân fydd i'w chlywed cyn bo hir—"Syrthiodd, syrthiodd Babilon Fawr." Dyna pam eto yr ydym yn myned yn erbyn meddwdod, am ei fod yn ŵr mor fawr a chadarn, fel y mae yn angenrheidiol cael *power* cymdeithas i fyned yn ei erbyn. Ac y mae dau beth yn gosod mawredd arno. 1. Henafiaeth yr arferiad; 2. Cyffredinolrwydd yr arferiad.

Yr oedd yn areithiwr mor dda ar Ddirwest, ac mor barod ac ufudd gyda yr achos hwn, fel mai arno ef y byddai cyfeillion yr ardal yn syrthio pan y byddai eisieu rhoddi rhywun i ddyweyd gair ar y mater. Un adeg bu agos iddi fyned yn gymylog ar y cyfeillion yn y capel trwy golli yr areithiwr. Tybiodd rhai o'r brodyr ei fod wedi dyfod i afael dysgyblaeth, ac y byddai yn rhaid ei dori allan, &c. Yr oedd ef a chyfaill iddo wedi myned i Gaernarfon ar ddydd Sadwrn, a chan fod y ffordd yn bell yr oedd yn rhaid iddynt deithio ar hyd y nos—nos Sadwrn—er mwyn cyrhaedd adref erbyn y Sabboth. Aeth y si ar led

ei bod wedi myned yn foreu Sabboth cyn iddynt gyrhaedd adref; a chan eu bod felly wedi tori y Sabboth, bygythid eu dysgyblu. Ond sôn yn unig wnaeth y brodyr am hyn. "E. R.," meddai G. W., "os torwch chwi fi allan o'r seiat, pwy gewch chwi i areithio ar Ddirwest wed'yn?" Ond bu ef ar fedr myned allan o'r eglwys o hono ei hun tua y pryd hwn, naill ai ychydig o flaen neu ychydig ar ol y dygwyddiad uchod. Meddyliodd am wrthgilio, ac yr oedd wedi penderfynu gwneyd hyny; yr oedd digon o onestrwydd ynddo hefyd i wneyd ei fwriad yn hysbys i'r eglwys. Gan fod yr hanes am hyn yn bur neillduol, mae yn werth gwneuthur coffa am dano. Un achos o'r ysbryd gwrthgilio ynddo oedd, gormod o ysgafnder ymysg ei gydweithwyr yn y gloddfa. Ei waith ef, fel holl fechgyn y chwarelau y dyddiau hyny, oedd *rhwbela*, hyny ydyw, hel y ceryg a droid heibio gan y dynion fyddai yn dal bargeinion, ac ar ol eu casglu at eu gilydd eu gweithio yn llechau. Y ffordd o brentisio chwarelwyr oedd hyn. Byddai y dynion a weithient y bargeinion yn rhoddi ceryg, neu clytiau fel y gelwid hwy, i Griffith Williams, am rhyw droion direidus a mân driciau diniwed a wnelai â hwn a'r llall, er mwyn eu difyrwch hwy. Yr oedd direidi yn ei natur, a chan mai y dynion a'i rhoddent ar waith er mwyn eu difyrwch eu hunain, nis gallasent gael hyd i neb mwy medrus nag ef yn y cyfryw bethau. Ond nid oedd ef yn meddwl fod hyny yn weddus i broffeswyr crefydd, a thybiai mai gwell oedd iddo wrthgilio a gadael crefydd. Daeth i glustiau blaenoriaid yr eglwys fod gadael crefydd yn ei fwriad, a rhyw nos Sabboth galwyd tri o fechgyn ieuainc ymlaen o flaen yr eglwys i ddyweyd eu profiad. Yntau, yn un o'r tri, pan ofynwyd iddo am ei brofiad, a ddywedodd ei fod yn bwriadu gwrthgilio, ac nad oedd yn meddwl dyfod i'r seiat mwy. Aeth y blaenor a ofynai y cwestiynau yn rhy ddigalon i ddyweyd dim wrtho, ac eisteddodd i lawr. Yr oedd yno flaenor arall, yr hwn sydd yn aros hyd y dydd hwn, ac yn flodeuog ac iraidd ei ysbryd, a'r hwn hefyd sydd yn dra adnabyddus trwy Ogledd Cymru, Mr. William Mona Williams, Tanygrisiau. Cyfododd ef i fyny a gofynodd iddo i ba le yr oedd yn meddwl myn'd os gadawai y seiat? Rhoddodd gynghor difrifol iddo i beidio meddwl am hyny byth, a gorchymynodd iddo fyned ar ei liniau i ddiweddu y cyfarfod. Aeth yntau, ac ni soniodd am wrthgilio mwy. Adroddai yr hanesyn yma am dano ei hun yn y Gymdeithasfa, pan ymddyddenid âg ef cyn ei ordeinio, gyda graddau mawr o ddylanwad. Y mae wedi ei gofnodi hefyd ymhlith yr Hanesion yn ei Lyfr, *Bwthyn fy Nhaid Oliver*, tu dal. 120. Fel hyn yr adrodda yr hanes yno, a chofier mai efe ei hun oedd y dyn ieuanc y sonir am dano yn y trydydd person:—

Cofus genyf am un dyn ieuanc oedd yn ymyl gwrthgilio, ac wedi i'r blaenoriaid ddeall, galwyd ef a dau neu dri eraill gydag ef ar y fainc, ac ymddyddanwyd â hwy, heb roddi ar ddeall eu bod yn gwybod dim am fwriad un o honynt. Pan y gofynwyd i'r un oedd ar wrthgilio ddyweyd gair o'i deimlad, dywedodd yntau mewn tôn hollol ddidaro ei fod ef wedi gwneyd ei feddwl i fyny i adael y seiat, ac nad oedd yn meddwl y deuai yno drachefn. Darfu i ddull iach y bachgen dori calon yr hen flaenor, ac eisteddodd i lawr fel pe buasai yn methu a dyweyd dim wrtho. Yna cododd gŵr arall, llawer ieuengach, ar ei draed, a gofynodd mewn tôn lled feistrolgar, "Son am fyned allan yr wyt ti, —— ?" "Ië," ebe yntau. "Felly," ebe y blaenor, "mi garwn i wybod i ba le yr wyt ti am fyned, dywed? A oes genyt hanes

rhywle i fyned? Mi aeth Judas allan, ond mi wyddost ti allan i ba le yr aeth efe. Mi a'th gynghorwn dithau i aros yn y fan lle yr wyt ti hyd nes y cei di hanes lle gwell i fyned iddo." Clywais y dyn ieuanc yn dyweyd ei bod wedi tywyllu o flaen ei feddwl pan y gofynwyd y cwestiwn iddo, fel nad oedd yn gweled un man i fyned. Gwaredwyd ef trwy hyn, ac ni feddyliodd am adael eglwys Dduw byth ar ol hyny.

Wedi i W. M. Williams ddyfod yn ol o'r America, gofynai i wrthddrych y sylwadau hyn, "Wyt ti ddim am ddechreu pregethu bellach, Griffith?" "Yr oedd yn dda iawn genyf eich gweled chwi yn dyfod adref," atebai yntau, "i mi gael dyweyd fy meddwl wrthych." Yr oedd y teimlad ynddo, a phan gafodd gyfleusdra gollyngodd y teimlad allan. Gwyddai hefyd mai yr hwn oedd wedi bod yn foddion i'w attal rhag gwrthgilio oedd y mwyaf tebyg i fod yn gyfaill iddo ymhob amgylchiad pwysig. Felly y bu hyd ddiwedd ei oes; yr oedd ganddo barch mawr i William Williams, ac yr oeddynt ill dau bob amser yn gyfeillion mawr. Y Parch. Richard Humphreys, Dyffryn, a William Ellis, Maentwrog, oedd y cenadon dros y Cyfarfod Misol i ymddyddan âg ef, ac i gymeryd llais yr eglwys gyda golwg arno fel ymgeisydd am y Weinidogaeth. Ar ol ei holi o flaen yr eglwys yn Tanygrisiau, tröai Mr. Humphreys at y blaenor, W. Williams, a gofynai, "A ydi o yn peidio bod yn un go ddiniwed, William? Gwell gen i bregethwr yn dipyn bach o *rogue* nag un rhy ddiniwed." Traddododd ei bregeth gyntaf yn hen gapel Tanygrisiau, Mawrth 13, 1848, oddiar y geiriau yn 1 Samuel xx. 3: "Can wired a bod yr Arglwydd yn fyw, a'th enaid dithau yn fyw, nid oes ond megys cam rhyngof fi âg angeu." Un o'r dyddiau blaenorol yr oedd damwain wedi cymeryd lle, a dyn a drigai yn ymyl y capel wedi cael ei ladd. Parodd yr amgylchiad hwnw, ynghyd a'i ddifrifwch yntau ei hun, fod y bregeth hono yn rymus iawn. Rhoddodd y pennill canlynol allan i'w ganu ar y diwedd,—

Wrth weled mor fyred yw 'm dydd,
Ac angeu mor sicred o'm cwrdd,
Manylrwydd y frawdle a fydd,
A minnau tuag yno 'n myn'd ffwrdd,
A'm cartre' tragwyddol mor faith,
Dialtro, dinewid, byth yw,—
Pwy yno wynebai 'r fath daith,
Heb gael ei heddychu â Duw!

Mae y ffaith iddo gymeryd testun mor ddifrifol ar adeg yr oedd amgylchiad mor ddifrifol newydd gymeryd lle yn yr ardal, yn dangos doethineb a meddylgarwch, yn yr hyn y rhagorai bob amser. Dywed yr hen bobl hefyd fod ei ddull o draddodi yr un fath y pryd hwnw ag yr ydoedd am y gweddill o'i oes. Nid arferiad wedi ei ffurfio wedi iddo fyned i'r pulpud oedd ei ddull araf o draddodi, ond pan oedd yn llanc ieuanc yn areithio ar Ddirwest yr un fath yn union y traddodai—mewn dull difrifol ac araf deg. Meddyliai yr hen bobl yn fawr o hyn. Yn un peth, gan ei fod yn ddifrifol ac araf deg, credent fod digon o sadrwydd ynddo fel ag i'w wneuthur yn gymhwys i'w roddi yn y pulpud; credent hefyd, wrth weled dyn ieuanc yn bwyllog ac araf deg, fod ynddo fawredd yn guddiedig a ddeuai i'r golwg rywbryd.

Yn y flwyddyn 1849 aeth i Athrofa y Bala, a bu yno am bedair

blynedd, hyd ganol y flwyddyn 1853. Nid oedd yn rhaid sefyll arholiad y pryd hwnw mewn trefn i fyned i mewn i'r Athrofa; yr oedd amgylchiadau yr amseroedd yn caniatâu iddo ef, a rhai cyffelyb iddo, i fyned i mewn trwy y porth gyda phur ychydig o barotöad. Nid oedd ef wedi cael ond nesaf peth i ddim o barotöad. Ychydig o ysgol nos, yr hon yr oedd wedi ei dilyn ar ol gwaith y dydd, a thymmor byr o ysgol yn Llan Ffestiniog, gyda'i gyfaill, y Parch. Robert Parry, oedd yr oll o barotöad oedd ef wedi ei gael i fyned i'r Bala. "Y mae hanes ei arosiad yn y Bala, ei gysondeb mewn dilyn ei ddosbarth, a'i ddyfalwch gyda'i efrydiau, ei gysondeb mewn dilyn moddion gras, yr hyn oedd ganmoladwy iawn mewn efrydydd ieuanc o bregethwr, yn ychwanegu llawer at werth ei goffadwriaeth, fel y darfu iddo at ei gymeradwyaeth y pryd hyny. Ond ni bu ei yrfa athrofäol yn llwyddiannus iawn, fel yr ystyria llawer lwyddiant athrofäol. Nid oedd yn meddu ar y gallu i ddysgu ieithoedd; nis gallodd ddysgu Saesoneg yn ymarferol, fel ag i allu ei siarad, ond yn anmherffaith ac anhwylus. Yr oedd rhyw fath o wylder, neu rywbeth na wyddom yn iawn pa fodd i'w nodi, yn ei rwystro i *siarad* Saesoneg; ond llwyddodd y tu hwnt i lawer o rai eraill allent siarad Saesoneg yn weddol gywir, heb wybod paham y gallent felly, i ddeall ei hegwyddorion, a bu yn llwyddiannus yn y cymeriad o ysgolfeistr i gyfarwyddo eraill yn yr iaith. Ond fel efrydydd cyffredinol nid methiant fu ei arosiad yn Ngholeg y Bala, ond llwyddiant mawr." Fel yna yr ysgrifena un oedd yn gyd-efrydydd âg ef yn yr Athrofa, ac un fel y tybiwn oedd yn cyd-lettŷa âg ef; a phwy a allasai adrodd ei hanes yn well? Amlwg ydyw mai y rhwystr mawr ar ei ffordd i gynnyddu llawer tra yn yr Athrofa oedd ei ddiffyg gwybodaeth o'r iaith Saesoneg. Mewn canghenau eraill, megys Rhifyddiaeth, Mesuroniaeth, *Algebra*, *Trigonometry*, safai yn uchel. Er y cwbl, manteisiodd yn fawr ar fyned i'r Athrofa; tynwyd ei alluoedd ef ei hun allan trwy droi mewn cylchoedd gwahanol i'r hyn a wnaethai cyn hyny; cryfhäwyd ei gymeriad trwy gymdeithas yr athrawon a'i gyd-efrydwyr; ffurfiodd gydnabyddiaeth â gwŷr ieuainc a ddaethant wedi hyny i sefyllfäoedd uchel mewn cymdeithas a defnyddioldeb; daeth yn adnabyddus i gylch ëang o frodyr a chyfeillion a garent ac a arferent roddi cynnorthwy i wŷr ieuainc yn cychwyn gyda'r weinidogaeth. Yr oedd yn un a hoffid yn fawr iawn gan holl wŷr ieuainc yr Athrofa, yn gystal â chan drigolion tref y Bala, ar gyfrif yr elfen gymdeithasol gref oedd ynddo, ei ddigrifwch, a'i ffraethineb. Yr oedd ynddo elfenau i wneuthur pawb o'i gwmpas yn hapus. Pan y byddai yr efrydwyr yn drwmlwythog o dan bwysau eu gwaith, medrai ef, trwy ei bertrwydd naturiol, greu sirioldeb a llawenydd a ysgafnhâi eu beichiau ar unrhyw adeg. Yr oedd un boreu Llun wedi dyfod adref o'i daith yn foreu, a chyda'i wersi yn y dosbarth yn un o'r rhai cyntaf. "*Dear me*, Griffith Williams," ebai Dr. Parry; "daethoch adref yn foreu iawn; lle yr oeddych chwi ddoe?" "Yn nhaith Rhydymain," atebai yntau. "*Well done*; ddaeth rhywun i'ch danfon chwi?" "Do, fe ddaeth John Jones i'm danfon i ben y drws." Mewn cyfarfodydd dirwestol a chyfarfodydd i areithio ar ryw faterion eraill, ac yn enwedig yn y cyfarfodydd a gynnelid gyda'r efrydwyr ar ddiwedd y tymmor, elai y tu hwnt i bawb mewn poblogrwydd. "Yr oeddwn i

yn meddwl," meddai yn un o'r rhai hyn, "y buaswn yn dysgu Saesoneg rhag blaen wedi i mi ddyfod dros fynydd Migneint. Fy rheswm dros feddwl felly fyddai, y byddwn yn clywed y pregethwyr yn dyweyd wrth bregethu, 'Fel hyn y mae y peth yn yr *iaith agosaf atom*,' a thybiwn innau nad oedd dim ond pellder mynydd rhyngof â hi." Dywedai ymhellach ei fod wedi gwneyd cynnydd mawr iawn yn y Saesoneg wedi dyfod i'r Bala. Cyn hyny ychydig iawn oedd ganddo o wybodaeth o'r iaith hono, ond erbyn hyny ei fod yn breuddwydio yn Saesoneg! Teimlai rhai o'i gydefrydwyr oedd yn llettŷa yn yr un tŷ ag ef y dylent geisio cadw yr addoliad teuluaidd gyda'u gilydd yn y Saesoneg, ond nid oedd modd ei gael ef i feddwl am hyny, a phan ofynai un o honynt—Golygydd presennol y TRAETHODYDD—a ganiatäent iddo ef geisio gwneyd hyny, atebai yntau: "Wel, mi fyddwn i yn ddigon boddlon, ond mae arna i ofn, Daniel Rowlands, y bydd raid i mi gael fy *Nictionary* bach wrth law, onidê sut y gwn i pa fodd i roddi Amen ar eich dodiad diolch?" Wrth gyfeirio at y caledi yr oedd llawer o'r efrydwyr yn myned trwyddo tra yn yr Athrofa i gael bwyd a dillad, dywedai, "Yr wyf fi yn treio credu fel y clywais i am hen lanc oedd unwaith yn byw wrtho ei hun ar fyd drud iawn ar y farchnad. Dywedai rhywun wrtho ei bod yn myned yn gyfyng iawn, fod y blawd yn codi yn arw. 'Dydyw ddim gwahaniaeth gen i,' atebai hwnw; 'prynu bara yr ydw i!'" Yn un o'r cyfarfodydd hyn, pan oedd y boneddigesau caredig, Mrs. Turnbull a'i chwaer, Mrs. Jones, Tŷtandderwen, yn rhoddi tê i'r efrydwyr ar derfyn y tymmor yn yr Hen Goleg, dywedai un o'r *students*, wrth fwrw golwg ar ei yrfa athrofäol, gan fawrhâu y daioni y teimlai ei fod yn ei gael yno, ei fod wedi penderfynu myned yn ddyn mawr; ac ailadroddai y gair hwnw drachefn a thrachefn, er dirfawr ddifyrwch i'r cwmni, canys nid oeddynt yn sicr y gwelid ef byth, penderfynu neu beidio, yn ddyn mawr iawn. Pan alwyd ar Mr. G. Williams i siarad, cyfeiriai yn dra hapus at sylw ei gydefrydydd mewn perthynas i fod yn ddyn mawr, a dywedai: "Y mae rhai sydd am fod felly yn dyweyd fod pob dyn mawr yn smocio, ac y maent hwythau, er mwyn bod yn ddynion mawr, yn smocio hefyd. Yr oeddwn i yn dwad drosodd o Ffestiniog ddydd Llun, ac wrth ddyfod trwy Dalybont mi welwn hen ddynes yn eistedd ar gareg; yr ydoedd yn garpiog ac yn fudr, ac yn felen, a'i gwallt am ben ei dannedd. Un o'r Sipsiwn ydoedd; ond yr oedd hithau yn smocio. Wel, meddwn innau wrthyf fy hun, mae yn debyg fod hon hefyd am fyned yn ddyn mawr!" Ni raid dyweyd bod chwerthin lawer yn y lle wrth bob gair a ddelai o'i enau wrth ddesgrifio yr hen ddynes, ond pan gyrhaeddodd y *climax* yr ydoedd y chwerthin, fel gan Homer, ymron yn "anniffoddadwy;" ni fu erioed well *reductio ad absurdum* ar y breuddwyd o fod smocio yn dwyn mawredd. Tystiolaeth yr efrydwyr oedd yn y Bala yr un pryd ag ef ydyw ei fod yn ddyn cywir iawn, yn hawlio parch oddiar law pawb, yn hollol ddiymhongar, yn bur, ac yn ffyddlawn i'w gyfeillion.

Daeth yr adeg iddo ymadael o'r Bala, ac arweiniodd Rhagluniaeth ef i Lanarmon Dyffryn Ceiriog, i gadw ysgol. Bu yno gyda y gorchwyl hwn am yn agos i dair blynedd. Cofir am dano gan drigolion yr ardal hono fel dyn dihoced a chymydog dyddan a llawen. Yr oedd yno yn

amser yr hen flaenor enwog Richard Morris, a bu ei gymdeithas ef, a chymdeithas Methodistiaid zelog yr ardal hono, yn feithrinfa dda i'w ysbryd efengylaidd. Yr oedd ynddo lawer o fedrusrwydd i gyfranu addysg, nid trwy offerynoliaeth y wïalen, fel hen ysgolfeistriaid yr oes o'r blaen, ond trwy ddenu serch ei ysgolheigion, trwy ddoethineb, a'i allu i gynllunio rhywbeth newydd yn wastadol.

Cyfeirir yn y paragraph o flaen hwn at yr hwyrfrydigrwydd oedd ynddo i siarad yn yr iaith Saesoneg. Mae y llythyr canlynol a anfonodd ei athraw yn y Bala, y Parch. J. Parry, D.D., ato i Lanarmon yn taflu goleuni ar y mater hwn. Atebiad ydyw y llythyr, fel y gwelir, i ymofyniad ynghylch y lle goreu iddo fyned i ddysgu ychwaneg o Saesoneg. Gŵr anwyl iawn oedd Dr. Parry yn nghyfrif yr efrydwyr; o herwydd ei garedigrwydd iddynt a'i ofal mawr am eu llwyddiant mae ei goffadwriaeth yn gysegredig iawn yn eu meddyliau. Gan fod y llythyr yn fynegiad mor ragorol o hono yntau yn y cysylltiad hwn, barnwn yn briodol ei roddi i mewn yma:—

Bala, December 3rd, 1853.

My Dear Friend,

I suppose you will think I have been long in writing to you, and that I have forgotten you. I have been long in writing to you it is true, but I have not therefore forgotten you. First of all, let me ask why did you not write in English? I take it for granted that the same reason prevented you writing in English as prevented you speaking in it when you were at Bala, and that is a reluctance to do anything which you cannot do perfectly. If I tell you again, it is only what I have told you many times before, that that feeling has been a great obstacle in the way of your acquiring, by this time, a great mastery over the English language, in speaking as well as in understanding. You are afraid, I know, of being laughed at; but the question is, whether it is not worth your purchasing the ready use of a language by which you can get the means of subsistence at so cheap a cost as being the object of a little innocent laughter now and then? It is true you cannot betray your inability now as you could when at Bala; you are a teacher now, you were a scholar then, and every mistake, though it had excited laughter—though you are mistaken on that head—would have been corrected and been the means of your further progress. But you know there was no such thing as getting you to make mistakes in talking, and therefore there was no improving you—the only way to corrections is through mistakes.

*Ond waeth heb siarad am a fu!* My object in mentioning all this is, that you may learn a lesson from it, and that lesson is contained in one pithy proverb,—"Never venture never win." Only four words in it, and yet, believe me, it contains your only gospel for learning English. If you went to England and left that behind, you would come back a Welshman from Festiniog after all. And I will venture to say that with this proverb you will learn English anywhere. At the same time I don't deny that you might have advantages for speaking in England which you cannot get anywhere in Wales. But mind this, you can *make* advantages even in Llanarmon, if you *will*. You will see from the drift of this letter that I place more dependence upon a man's will than upon his circumstances, and that therefore I don't think it a matter of so much importance where you went for a short time. I would almost say the cheapest—Holt, Scarisbrick, or anywhere The only danger I see in these places is that you might meet with a Welshman, and that thereupon you would not speak English with him, although you went there purposely to speak it. Come to the Monthly Meeting, and we will talk more.

With kind regards,
JOHN PARRY.

Yn y flwyddyn 1855 ymsefydlodd yn Talsarnau, ac yn fuan ar ol hyny, yn yr un flwyddyn, priododd gyda Miss Sarah Jones, merch y diweddar Barch. Isaac Jones, Nantglyn, yr hon sydd eto yn fyw, gyda

deuddeg o blant. Ar ei sefydliad yn Nhalsarnau y flwyddyn hono y dechreuodd gadw siop, ac yma yr arosodd hyd ddiwedd ei oes, tymmor o chwe' blynedd ar hugain. Dechreuodd tymmor pwysig ei fywyd yr adeg yma, tymmor gweithio ymhob ystyr o'r gair. Yr oedd ei gymeriad crefyddol wedi ei sefydlu eisoes. Bu y symudiadau a wnaethai o flaen hyn, a'r cylchoedd cymdeithasol yr aethai trwyddynt hyd yma, yn fanteisiol iawn iddo. Ei deulu ei hun, ynghyd a'r cysylltiad oedd rhwng y teulu â hen deuluoedd Methodistiaid Dolwyddelen—yr eglwys y cychwynodd bregethu o honi—ei arosiad yn y Bala a Llanarmon—yr oedd yn naturiol i'r cylchoedd y bu fel hyn yn troi ynddynt ei wneuthur yn grefyddol, ac yn Fethodist hefyd o'r iawn ryw. O'r adeg hon ymlaen, angenrhaid bellach oedd arno i ymladd ei ffordd a'i gleddyf ac â'i fwa. Nid oedd ond prin son am Fugeiliaeth Eglwysig pan ddechreuodd ef ei yrfa fel pregethwr, ac felly yr oedd yn rhaid iddo ef, fel eraill, ymaflyd mewn rhywbeth tuag at gael modd i fyw a chadw teulu. Ond er fod rhyw gymaint o gysylltiad fel hyn rhyngddo â'r byd mewn ystyr fasnachol, achos crefydd oedd yr achos agosaf at ei galon ef bob amser: gwasanaethu crefydd yn ei eglwys gartref, gofalu am yr achos mawr yn y sir, pregethu yr efengyl—dyna oedd ei brif waith trwy dymmor pwysicaf ei oes. Gwasanaethai eglwysi y dosbarth, a gofalai am y Cyfarfodydd Ysgolion a Chyfarfodydd Llenyddol y dosbarth yn ei dro, fel y gweinidogion eraill, gyda ffyddlondeb difwlch am y chwe' blynedd ar hugain hyn. Gwnelai waith efengylwr yn ei eglwys a'i ardal ei hun heb ddim rhwymau penodol a ddygai ddim cymhorth iddo tuag at gadw ei deulu am y rhan fwyaf o'r blynyddoedd y cyfeirir atynt. Ond yr oedd ei gariad mor gryf at y Gwaredwr, a'i elfen yn gymaint yn y gwaith o wasanaethu crefydd, fel nas gallai fod yn segur. Mawrhaodd ei swydd fel pregethwr o'r cychwyn cyntaf, gan adael trafferthion y siop yn benaf i ofal ei deilwng briod. Yn araf deg y daeth ei bwysigrwydd fel swyddog a gŵr cyhoeddus i'r golwg; nid oedd ynddo awydd i chwennych y blaen, nac i ymgyrhaedd am swyddi. Megys yr oedd ei barabl yn afrwydd, yr oedd y lledneisrwydd oedd yn ei natur hefyd yn peri fod ei alluoedd yn hir yn dyfod i'r golwg. Ond beth bynag a feddyliai pobl o hono yn nechreu ei oes, cynnyddu a wnaeth yn raddol fel y dderwen, gan wneuthur pob cam a ennillai yn feddiant iddo ei hun i beidio ei golli mwy. Yr oedd yn y pethau hyn yn gwirio yr hen air Cymraeg—"Yn araf deg yr ä gŵr ymhell." Cyn hir ennillodd barch ymhlith eglwysi y sir trwy ei ddiwydrwydd, a'i ymdrechion, a'i ymddygiad siriol ymhob cylch y troai ynddo yn gymaint fel y dewiswyd ef i gael ei ordeinio, yr hyn a gymerodd le yn Nghymdeithasfa Dolgellau, yn ngwanwyn y flwyddyn 1857. Yr oedd yn cael eu hordeinio yr un adeg, o'r un Cyfarfod Misol, y Parchn. Owen Roberts, Llwyngwril; Robert Parry, Ffestiniog; ac Ebenezer Jones, Abergynolwyn. Efe a adawyd gan Ragluniaeth i aros yn ei rymusder yr hwyaf o'r pedwar.

Yr oedd yn Mr. G. Williams lawer o gymhwysderau i fod yn ddefnyddiol. Yr oedd ynddo natur dda, ac yr oedd yn ŵr cywir, yn gywir i'w egwyddorion ac i'w holl amcanion, a'i grefydd a'i dduwioldeb bob amser uwchlaw ammheuaeth. Yr oedd mor llawn o arabedd a digrifwch, a hwnw yn ddigrifwch diniwed ac adeiladol, fel yr oedd yn

gallu gwneyd cymdeithas ymhob man lle yr elai yn llawen a siriol. Fe ddywedir am ryw un o blith yr hen oeswyr fod ei lais mor swynol nes gwneyd i'r coed a'r ceryg ddawnsio o'i gwmpas. Felly am dano yntau, yr oedd ei ffraethineb mor naturiol ac mor gyrhaeddgar, ac eto mor lawn o synwyr a doethineb, nes cynnyrchu y dymher fwyaf siriol yn mhawb o'i amgylch. Pan y dygwyddai anghydwelediad ambell waith—ac y mae hyn yn bod yn fynych wrth geisio gwneuthur daioni ac ymgyrhaedd at ddiwygiad,—byddai ef yn gallu ennill pawb yr un ffordd âg ef trwy ei ddoethineb a'i ddoniau digrifol; neu os nad allai eu hennill yr un ffordd âg ef ei hun, ennillai bawb i fod yn bur fuan mewn tymher dda. Mewn cyfeisteddfod llawn o aelodau y Cyfarfod Misol unwaith yr oedd ganddo gynnygiad wedi ei ddwyn ymlaen, ac yr oedd yn dadleu yn gryf o'i blaid. Ond nid oedd dim myn'd ar ei gynnygiad; dadleuai y brodyr eraill yn ei erbyn, a gwelai yntau nad oedd obaith i'r cynnygiad gael ei fabwysiadu. "Wel," meddai, "os na fedrwch chwi weled dim byd ynddo, mi dyna' i y cynnygiad yn ol." Dro arall yr oedd wedi colli ei gynnygiad, y mwyafrif wedi codi eu llaw yn groes iddo. Cododd yntau ar ei draed a dywedodd, "Wel, wir, 'dydw i ddim yn gyfrifol am eich tw'llwch chwi." Yn y dull hwn pan y dygwyddai i bethau fyned yn groes, medrai ef yn union wneyd pawb yn gyfeillion. Bydd ei ffraethiriau, a'i ddywediadau digrifol yn aros yn fyw yn Sir Feirionydd am amser maith, cyhyd—mae yn ddigon tebyg, â diarebion Mr. Humphreys o'r Dyffryn.

Gwelir ei gymeriad addfwyn a chrefyddol yn ei gysylltiadau teuluaidd yn llawn cystal ag un man. O bob man, gartref y mae dyn i'w weled i'r fantais oreu. Yr oedd yntau i'w weled yn ei deulu fel efe ei hun. Yr oedd yn ddyn cyflawn, yn meddu natur hawddgar, ac yn ogyhyd yn ei holl rinweddau. Fel Abraham, gorchymynai i'w blant a thylwyth ei dŷ i rodio yn ffordd yr Arglwydd. Yr hyn a ddysgai yn gyhoeddus ac yn yr eglwys a ddysgai hefyd ar yr aelwyd, fel na chawsai neb le i ddyweyd wrtho, "Y meddyg, iachâ dy hun." Yr oedd tylwyth ei dŷ yn lliosog, y plant yn aml iawn eu rhifedi. Y mae llawer o bethau digrifol iawn wedi eu dyweyd gan y tad am y plant o dro i dro, yn neillduol ar gyfrif eu bod yn amlhâu. Gofynwyd iddo yn *vestry* capel Bethesda ar foreu Sabboth gan un o'r hen frodyr oedd yn bur hyf arno, "Wel, Griffith, faint o blant sydd acw bellach?" "Y person gaiff y nesaf," oedd yr ateb. Ymhen rhai blynyddau ar ol hyn, gofynwyd yr un cwestiwn iddo drachefn yn rhywle, a'r ateb a roddwyd oedd, "Yr ydym wedi dechreu 'rwan magu yr ail ddwsin." Ychydig yn gynnarach gofynasid yr un cwestiwn iddo, Pa faint o blant oedd ganddo, pan atebai: "Yn wir, dydw i ddim yn gwybod; naw oedd acw pan oeddwn i yn cychwyn oddicartref." Yr oedd hen gapel Talsarnau wedi ei droi yn dŷ, ac yn y tŷ hwnw yr oedd ef yn byw yn ystod blynyddau olaf ei oes. Yr oedd un tro yr adeg yma yn aros gyda chyfeillion bellder o ffordd oddiwrth ei gartref, y rhai ni wyddent am yr amgylchiadau, a gofynwyd y cwestiwn yno, "Faint o blant sydd acw?" "Hyn a hyn," atebai yntau. "*Dear me*, mae acw lon'd y tŷ." "Nac oes," meddai, "mae ein tŷ ni wedi ei wneyd i ddal tri chant a hanner." Yr oedd y cyfeillion hyn wedi synu yn fawr pa fodd yr oedd y fath beth yn bod! Un gofalus iawn ydoedd am ddwyn y plant i fyny, a'u

ceryddu mewn mwyneidd-dra doethineb. Yr oedd y ddau beth a geir yn ddigon anfynych mewn penteulu, i'w cael ynddo ef—tynerwch a llywodraeth. Mae hanesyn dyddorol iawn am dano yn ceryddu y plant am dori bys ei *watch*, wedi ymddangos rai blynyddau yn ol yn *Nhrysorfa y Plant*. Y mae yn debyg i hyn :—

Un boreu Sabboth pan yn cychwyn i'w gyhoeddiad, gwelodd fod bŷs ei oriadur wedi ei dori. Galwodd ato y pedwar plentyn hynaf oedd gartref ; ond gwadai yr oll o honynt. Yr oedd hyn yn gwneuthur yr amgylchiadau yn waeth, gan fod un o honynt wedi ychwanegu celwydd at ei drosedd blaenorol. Yna cymerodd y pedwar, a dododd un ymhob ystafell, ac wedi eu gadael yno am yspaid aeth atynt bob yn un. Derbyniodd y cyntaf ef yn siriol ; a'r ail yr un modd. Ond pan aeth i ystafell y trydydd, gwelai ôl crïo arno, ac wedi siarad âg ef cyfaddefodd y cyfan. Yna cymerodd y Bibl a darllenodd hanes Ananïas a Sapphira, gan gymhwyso y cyfan at y troseddwr nes dangos iddo fel yr edrychodd ac yr ymddygodd Duw at gelwydd. Yna cauodd ef am yspaid wed'yn yn yr ystafell, ac annogodd ef i weddïo am faddeuant.

Dyma ei ddull o geryddu yn wastad. Arweiniai hyn i bethau digrifol weithiau. Wedi i un o'r bechgyn wneyd rhywbeth o'i le un diwrnod, aeth âg ef i'r lloft ; ymresymodd âg ef i ddechreu ; blinodd y bachgen yn gwrando, a throdd ato yn ddifrifol a dywedodd, "Nhad, os ydach chi am fy chwipio i, gwnewch yn o fuan, wir, gael i mi fyn'd i'r ysgol." Ar hyn torodd y tad allan i chwerthin, a gollyngodd ef ymaith heb fyned ddim pellach. Yr oedd yn boenus ganddo weled y plant yn troi oddicartref, ac er mwyn cadw yr undeb teuluaidd i fyny yr oedd wedi trefnu fod y teulu oll i anrhegu y plant pan ddeuent i'w hoed. Rhoddodd y *Geiriadur* i un, a Bibl i un arall. Bwriada y teulu eto gario y cynllun hwn allan. Mae y mab hynaf, y Parch. Isaac Jones Williams, wedi ymsefydlu yn weinidog yn Llandderfel, Dwyrain Meirionydd, ac yn dechreu ar ei yrfa yn dra llwyddiannus. Pan yr oedd ef yn cyrhaedd ei 21ain mlwydd oed, yr oedd yn aros yn Nghaer, ac ar ddydd pen ei flwydd derbyniodd "ddesk" ynghyd a'r llythyr canlynol :—

ANWYL ISAAC JONES,

Yr ydwyt heddyw yn 21ain oed, ac yr ydym ninnau yn cymeryd mantais ar y cyfnod hwn o dy oes i ddangos ein serch tuag atat trwy dy anrhegu â *Writing Desk*. Nid yw ein hamgylchiadau fel teulu yn gyfryw ag y buasai yn gweddu i ni wneuthur unrhyw rïaltwch, fel a wneir ar achlysuron o'r fath, ac nid yw maint ein rhodd yn werth i'w chymharu â'r hyn a wneir gan gyfoethogion y ddaear i'w plant a'u perthynasau ar adeg fel hyn. Ond y mae un peth nad ydym ninnau am fod yn ail i neb o honynt ; mae ein cariad yn ddiragrith, a'n serch tuag atat mor bur, dwfn, a didwyll, fel nad oes arnom ofn i neb ragori arnom. Bydd i'r *Writing Desk* hon, ymhen blynyddoedd ar ol hyn, dy adgofio fod i ti pan yn 21 oed, dad a mam, saith o frodyr, a phedair o chwïorydd yn dy "gywir garu." A'n gweddi oll ar dy ran ydyw fod i'r Duw hwnw a'th gadwodd mor ddibrofedigaeth i'th deulu am yr 21 cyntaf o flynyddoedd dy einioes, dy gadw eto am weddill dy flynyddoedd, pa un bynag ai ychydig ai llawer fyddant.

Da y gwyddys am dano fel cyfaill a chymydog, nad hawdd oedd cyfarfod â neb mwy hoffus a charuaidd. Er o ymddangosiad trymaidd ei hun, yr oedd o dan yr ymddangosiad gyflawnder o serchogrwydd, ac ystôr ddihysbydd o ddefnyddiau i wneuthur y trist yn llawen. Ei sylw craff ar bethau a phersonau, ei eiriau parod, a'i ddull rhydd a diymhongar mewn cymdeithas, a'i gwnelai yn gydymaith a hoffid tu hwnt i'r cyffredin, a hyny gan bob gradd a sefyllfa o ddynion a'i

hadwaenent. Yr oedd ynddo elfenau fel dyn oedd yn tynu ato, ac nid yn peri i neb bellhâu oddiwrtho; a pho agosaf ato y deuid, goreu oll yr ymddangosai ei gymeriad. Fel y dwfr gloew, po fwyaf y syllid arno, gloewaf yn y byd yr elai. Yr oedd sefydlogrwydd ei gymeriad yn rhoddi pwysigrwydd ar ei farn a gwerth ar ei gynghor. Yn ychwanegol at y pethau hyn—y rhai a geir yn fynych mewn cymeriad o radd uchel—yr oedd ynddo ef allu anghyffredin i gadw cymdeithas yn gyfan, trwy ychwanegu at ei chysur, trwy greu dyddanwch a difyrwch ac adeiladaeth mewn ffordd yn gwbl o'i eiddo ef ei hun. Pryd bynag y deuai ei dro i siarad, siaradai nes gwneyd pawb yn llawen. Pwy bynag elai ato yn drwmlwythog ac yn bendrist, odid fawr na fyddai yn ymadael âg ef yn ysgafnach ei feddwl, oblegid byddai ef wedi dyweyd rhywbeth i'w sirioli. Mae yn wir y byddai ef ei hun yn myned yn felancolaidd ar brydiau, ac yn myned felly yn llawn amlach na llawer; ond yr hyn oedd yn rhyfedd fyddai y medrai ef yru y felancoli allan o bobl eraill yn gynt nag o hono ei hun. Man cryf ei lwyddiant yn y ffordd yma oedd ei allu i adrodd hanesion y byddai ynddynt rywbeth yn cyfateb i'r amgylchiad dan sylw. Graddau o syndod ydyw fod ganddo gynifer o hanesion parod at ei alwad i'w defnyddio ar unrhyw amgylchiad. Ond i'r rhai oedd fwyaf cydnabyddus âg ef, gwelid fod yn ei feddwl gyflymder anarferol i gymeryd i fyny bob hanesion y byddai rhywbeth tarawiadol ynddynt, a thynai allan fêl o ysgerbwd y llew pryd na ddychymygai neb arall fod dim mêl yn agos iddo. Yr oedd ganddo dalent i adrodd hanesion gyda y fath ddyddordeb nes gyru y mwyaf sobr ei ysbryd yn deilchion gan chwerthin. Mynych y gwelid ef yn gwneyd i gynnulleidfa siglo mewn syfrdandod gyda'i arabedd a'i ffraethineb, tra yr edrychai ef ei hun yn ddigon sobr a didaro. Ac yn fynych iawn pan y cyfodai ef i fyny i siarad, ar y diwedd cyn eistedd i lawr y ceid y sylw a fyddai yn cario adref rym y gwirionedd a fwriedid ganddo, er y byddai rhyw ddysgwyliadau ymwybodol yn y gwrandäwyr am y sylw. Fel yn y ddiareb Saesoneg—"All is well that ends well." Yn llawen iawn y derbynid ef i'r tai y byddai arferol a llettŷa ynddynt, gan yr edrychid ymlaen at amser ei ddyfodiad gyda sicrwydd o gael gwledd o ddyddanwch ac adeiladaeth, ac arosid i fyny yn aml i gadw ymlaen yr ymddyddan hyd oriau bach y boreu. Mae yn angenrheidiol rhoddi rhai engreifftiau o'r hyn y cyfeiriwn ato, oblegid ni byddai rhoddi hanes Mr. G. Williams heb adrodd cryn nifer o'i ddywediadau digrifol a'i sylwadau pert, ddim ond yr un fath a rhoddi desgrifiad o'r llong heb son dim am y mast a'r hwyliau.

Mewn Cyfarfod Ysgolion yn Nosbarth y Dyffryn, rhoddai annogaeth i bawb i ffurfio barn o'u heiddo eu hunain yn lle dibynu gormod ar esboniadau. "Mae esboniadau," meddai, "yn debyg iawn i'r clociau yn *shop* y *watchmaker;* mae pob un o honynt yn myn'd, ond nid oes dim un o honynt yr un fath a'u gilydd."

Un tro yr oedd y gair "gormodiaeth" yn dyfod yn ei ffordd wrth bregethu, ac ar ganol y bregeth mewn byr eiriau fe roes esboniad arno. "'Dawn i yn dyweyd 'rwan fod *pawb* o honoch chwi yn cysgu, fe fyddai hyny yn ormodiaeth; 'dydach chwi ddim i *gyd* yn cysgu."

Yr oedd yn pregethu adeg arall am "y gŵr ieuanc a syrthiodd mewn

trwmgwsg, ac a gwympodd i lawr o'r drydedd loft," neu o leiaf yr oedd ganddo achos i goffâu yr amgylchiad yn ei bregeth. "Mewn llofft yr oedd Paul yn pregethu," meddai, "ac mewn ffenestr yr eisteddai y gŵr ieuanc. Bendith fawr ydyw mai nid mewn llofft yr ydym ni yn pregethu yn y wlad yma, ac mai nid mewn ffenestr y mae y gwrandäwyr yn eistedd, onidê byddai yma lawer yn tori eu gyddfau."

Nid oedd yn hoffi y drefn sydd mewn rhai lleoedd o lettŷa pregethwyr trwy gadw "mis;" byddai yn well ganddo o'i ran ei hun fyned i'r un man bob amser. Y "system loerawl" y galwai ef y dull hwn o lettŷa. Wrth bregethu ar Mair a Martha a Lazarus yn Bethania, dywedai mai yn eu tŷ hwy y byddai Iesu Grist yn aros bob amser. "Nid cadw 'mis' yr oeddynt yn Bethania; buasai yn beth rhyfedd iawn fod Iesu Grist wedi cyrhaedd i'r pentref yn dechreu holi—'Mis pwy ydi hi 'rwan?'" Yn yr un bregeth hefyd dywedai, "Fe fu tipyn o ffrae rhwng Martha a Mair ynghylch Iesu Grist, ac o bob ffrae deuluaidd a fu erioed, hono fuaswn i yn leicio ei chlywed."

Mewn cyfarfod cystadleuol heb fod ymhell o'i gartref, yr oedd amryw o'r chwiorydd wedi ennill gwobrau. Cynghorai yntau hwy i lafurio mewn pethau buddiol felly, a dywedai fod yn dda ganddo weled y byd yn altro; mai yr hen syniad am y merched oedd nad oeddynt yn talu sylw i ddim byd ond gwisgoedd a ffasiynau; nad oeddynt yn ceisio ateb yr un cwestiwn ond hwnw,—"A pha beth yr ymddilladwn?" "Anfonwyd i mi dro yn ol," meddai, "ddarluniau o'r *Niagara Fall*, y rhaiadr mawr, yr hwn sydd yn un o brif ryfeddodau y byd. Dangosir yn y darluniau lêd a dyfnder y corff aruthrol o ddwfr sydd yn disgyn dros y dibyn serth nos a dydd yn ddidor. Yr oeddwn yn dangos y darluniau hyn i ryw chwaer unwaith. Syllai hithau ar y darluniau mewn dystawrwydd, ac ymhen amser torodd allan o'r dystawrwydd i waeddi,—'*Brensiach anwyl!* y *shawl grand* sydd am ysgwyddau y *lady* acw!'"

Yr oedd wedi dychwelyd yn ol o Lundain, mewn cyfarfod cyhoeddus yn Nhalsarnau yn egluro y "*telegraph.*" "Mae y ci," meddai, "wrth i chwi wasgu ei gynffon yn gwaeddi â'i gêg. Dychymygwch fod ci mawr hir, yn cyrhaedd oddiyma i Lundain; mae ei gynffon yma yn Nhalsarnau, a'i ben yn Llundain; dim ond i chwi gydio yn ei gynffon a rhoddi plwc arni, mi gyfartha y ci yn Llundain yr un fynyd."

Ar ol y llafur mawr yr aethai y Parch. E. Morgan drwyddo yn casglu at Athrofa y Bala, ynghyd a'i weithgarwch diflino gyda holl ranau yr achos yn y Sir, meddyliodd rhai cyfeillion am wneuthur tysteb iddo, a threfnwyd y cyfarfod noson gyntaf y Cyfarfod Misol yn y Dyffryn i'w chyflwyno. Yr oedd y cyfarfod trwy amledd yr areithiau wedi myned dipyn yn drymaidd, ond pan y cododd y Parch. G. Williams ar ei draed i siarad, ysgafnhaodd yr awyrgylch mewn ychydig fynydau. Fel hyn y dechreuodd ei sylwadau,—"Fe ofynodd rhywun i Wyddel unwaith a gymerai ef gan' punt am ganiatâd i'w ladd ef. 'Na chymeraf fi,' ebai y Gwyddel, 'ond mi gymeraf hanner can' punt am i chwi fy hanner lladd i.' Felly, yr ydym ninnau wedi hanner ladd Mr. Morgan, ac yn rhoddi tipyn o arian iddo am hyny." Ymhen rhai blynyddoedd wedi hyn yr oedd Mr. Morgan yn ymadael am ychydig fisoedd i fyned i Hastings o herwydd gwaeledd iechyd. Yn Nghyfarfod Misol

Dolgellau, yn mis Ionawr, ffarweliai â'i frodyr, gan y bwriadai fod yn absennol yn ystod misoedd y gauaf. "Yr wyf yn dysgwyl," sylwai Mr. G. Williams, "na chaiff neb wybod yn Hastings fod Mr. Morgan yn y seiat. Yr oedd ffarmwr amser yn ol yn ymadael o Arfon i Leyn, ond fe ddychwelodd yn ol ymhen chwe' mis. Gofynwyd iddo a oeddynt wedi rhoddi tipyn o waith iddo yn Lleyn. 'Naddo,' atebai yntau. 'Mi ddarfu i mi ymddwyn yn ddigon call; chafodd neb wybod yno fy mod i yn seiat.' Felly gobeithio na chaiff neb wybod yn Hastings fod Mr. Morgan yn seiat, nac yn bregethwr ychwaith—llonydd fydd arno eisieu yno."

Yn ei areithiau Dirwestol byddai gan Mr. Williams gyflawnder o hanesion a dywediadau digrifol, a thrwy eu hadrodd yn ei ffordd hamddenol ei hun, medrai hoelio pob clust i wrando arno. Areithiai yn Nhalsarnau yn lled ddiweddar ar ei oes, a galwai sylw at y ffaith fod rhai pobl yn ofalus iawn i gofio cynghor y meddyg, a'i gofio yn hir iawn. "Yr oeddwn yn llettŷa," meddai, "mewn rhyw fan flynyddau yn ol, ac yr oedd yno hen wraig mewn oedran mawr yn byw gyda y bobl lle'r oeddwn yn aros. Wrth fyned i'r gwely dywedai yr hen wraig, 'Nos da'wch, Griffith Williams.' 'Nos da'wch,' meddwn innau. 'Peidiwch a dychrynu dim, Griffith Williams, wrth weled y botel a'r glàs yma, y Doctor sydd wedi rhoddi siars arnaf, byth er pan gefais i y clefyd, i beidio myned i'r gwely heb gymeryd tropyn; peidiwch a dychrynu, Griffith Williams.' 'Na i ddim,' meddwn innau. 'Ië, welwch chwi, mae y Doctor wedi rhoddi siars arnaf i fod yn *gysaet* i gymeryd tropyn byth er pan gefais i y clefyd.' 'Er's pa bryd y cawsoch chwi y clefyd?' meddwn innau. 'Wel, rhoswch chwi, un ar bymtheg oed oeddwn i yr amser hono.'" Yn yr un araeth dywedai, "Ryw ddiwrnod yr oeddwn yn gweled dyn yn y pentre yma yn dyfod adref o'r chwarel, yn edrych yn sâl, a *shawl* fawr am ei ben yr un fath a dyn mewn salwch. Yr oedd gŵr y S—— yn ei gyfarfod, a gofynai iddo, 'Beth sydd arnat ti?' 'Sâl ydwyf, wedi cael y ddannodd neu rywbeth yn fy mhen.' 'Dos i'r tŷ, ac i dy wely, ac aros yno.' Toc, fe aeth gŵr y S—— ato at y gwely gyda llwyaid o *frandy*, ac fe'i tywalltodd i'w glustiau, ac fe'i llanwodd wed'yn yn dŷn â *wadding*. Fe gysgodd y dyn tan y bore, ac erbyn y bore yr oedd wedi mendio. Os bydd y Doctor yn cynnyg rhoddi *spirits* i chwi, gofynwch a wnaiff y tro i chwi eu rhoddi yn eich clustiau."

Pan yr oedd careg sylfaen capel Gorphwysfa, Penrhyndeudraeth, yn cael ei gosod i lawr, yr oedd Mr. Griffith Williams yn un o'r siaradwyr, ac yr oedd *myn'd* anarferol yn ei araeth y tro hwnw. Wrth annog y gynnulleidfa i gyfranu yn haelionus at y capel newydd, adroddai am gynnulleidfa yn America yn eistedd mewn ymgynghoriad o berthynas i ail-adeiladu eu capel, yr hwn nad oedd bell o ddyfod i lawr am eu penau. Ymgynghorai y rhai hyny o fewn i furiau yr hen gapel, a thra yr oedd y gweinidog yn eu hannog i gyfranu, yr oedd yno un gŵr cyfrifol yn bur hwyrfrydig i addaw, ond yn ystod yr ymdrafodaeth dyma ddarn o'r *ceiling* yn dyfod i lawr ar ben y gŵr cyfrifol; "£100 at y capel," meddai y dyn wed'yn rhag blaen; a chyda ei fod yn dyweyd hyny, dyna rywun oedd yn bresennol yn tori allan i weddïo, "O Arglwydd, taro ef eto." Adroddai hanes yr achos yn y Penrhyn o'i

gychwyniad, a dangosai y fath zel a ffyddlondeb a fu yno gydag adeiladu y capel cyntaf, a pharhâi yr un ysbryd gydag adeiladu capelau yn nheuluoedd yr ardal ag oedd yn eu tadau a'u teidiau. "Yr oedd dyn yn Ffestiniog flynyddau yn ol," meddai, "yn rhedeg adref o'r chwarel ar ganol dydd gwaith; rhedai y gwragedd i ddrysau y tai, gan ofni yn sicr fod damwain wedi cymeyd lle. 'Beth yw yr achos eich bod yn rhedeg;' gofynent; 'oes rhywun wedi brifo?' 'O nac oes,' atebai yntau; 'nac oes dim byd; yr ydw i yn arfer rhedeg, mae rhyw *drot* fel hyn yn ein teulu ni.' Gobeithio y bydd y *drot* yma yn para yn hir yn eich teuluoedd chwithau yn y Penrhyn yma."

Yr oedd gweinidog yn perthyn i'r Bedyddwyr yn byw heb fod ymhell oddiwrtho, gyda yr hwn yr oedd yn dra chydnabyddus. Cyfarfyddodd Mr. Williams ef unwaith ar ddiwrnod gwlawog wedi bod wrth y gwaith o fedyddio. "M. R.," meddai, "fydd arnoch chwi ddim cywilydd, wedi myn'd i'r nefoedd, fy ngweled i wedi cyrhaedd yno yn droedsych, a chwithau wedi bod ar hyd eich oes yn *slotian* yn y pyllau yma?" "Wel, nid oes gen i ddim ammheuaeth nad ewch chwi yno," atebai M. R., "ond 'dwn i yn y byd sut."

Yn nghyfarfod sefydliad y Parch. N. C. Jones, yn awr o Lanidloes, yn weinidog yn Nazareth, Penrhyndeudraeth, gwnaeth sylwadau tebyg i hyn:—"Bu yma weinidogion o'r blaen yn weithgar iawn gyda yr achos yn y Penrhyn yma; ond Rhagluniaeth oedd wedi dyfod â hwy yma. Dyma chwi wedi rhoddi galwad i weinidog yn rheolaidd ac anrhydeddus. Nid fel y clywais i am eglwys amser yn ol, yn *advertisio* am weinidog, ac fe ddaeth nifer mawr, un ar bymtheg, i geisio am y lle. Penodwyd noson i agor y *tenders*, ac yr oedd pawb yn bresennol; yr oedd y cybyddion yn bresennol y noson hono, a phawb yn gwrando wrth agor y llythyrau. Dywedai un y pregethai ef hyn a hyn o Sabbothau, ac y cadwai hyn a hyn o gyfarfodydd. Llythyr wed'yn yn cael ei agor, a dywedai un arall y pregethai ef fel hyn ac fel hyn, y cadwai hyn a hyn o gyfarfodydd, am hyn a hyn o gyflog, ac os bydd yn myn'd yn galed iawn mi ddyrna dipyn yn y gauaf. Ar hyny cyfodai rhywun yn nghanol y capel a dywedai—'Wel, dyna'r dyn i ni.'"

Byddai yn arferol a bod yn llawdrwm iawn ar y dosbarth henlancyddol. Mae eraill fel yntau yn hoffi bod felly, ond nid yn meddu yr un doniau ag ef i drin y mater. Yn ei ddarlith ar "Richard Humphreys a'i Foeswersi," yr oedd yn fwy llawdrwm nag arferol. Ond cyn diwedd y ddarlith tröai oddiwrth y dosbarth hwn i fod yn llawdrwm ar y rhai sydd yn priodi lawer gwaith. "Yr oeddwn i pan yn ddyn ieuanc," meddai, "yn aros mewn ardal, ac aethum i ymweled â gwraig weddw, yr hon oedd mewn gwth o oedran, wedi pasio pedwar ugain. Gofynais iddi, er's pa faint o amser yr oedd yn weddw? 'Er's hanner can' mlynedd,' ebai hithau. '*Dear me*,' meddwn innau, 'mae hyny yn amser maith i fod yn weddw.' 'Mi fu gen i ŵr arall,' ebai drachefn. 'O,' meddwn innau, 'er's pa faint yr ydych yn weddw wed'yn?' 'Er's deng mlynedd ar hugain.' 'Wel, wir, mae hyny yn amser maith i fod yn weddw.' 'Mi fu gen i ŵr arall,' atebai eto. 'O,' meddwn innau; 'Er's pa faint yr ydych yn weddw wed'yn?' 'Er's pymtheng mlynedd.' Yr oedd arnaf ofn gofyn dim ychwaneg iddi, wn i ddim faint fu ganddi."

Yr oedd ef a'r Parch. E. Morgan yn gyfeillion mawr, yn gartrefol iawn yn nghymdeithas eu gilydd, ac yn cydweithio gyda'u gilydd ymhob dim. Yr oeddynt ill dau ryw ddiwrnod yn myned trwy y Dyffryn yn ngherbyd Mr. Morgan, a'r bobl yn rhoddi *bow* iddynt fel yr elent heibio. "Gwelais i amser," ebai Mr. Morgan, "y byddai *bow* fel hyn yn beth pur brin i'w gael." "O," atebai Mr. Williams, "rhoddi *bow* i'r ceffyl a'r *gig* y maent." Pan oedd Mr. Morgan yn lluddedig ar ol bod yn casglu at yr Athrofa, wedi ei guro i lawr gan y gwaith, ac yn wael ei iechyd o'r herwydd, aeth Mr. Williams i'r Faeldref i edrych am dano, ac yn ymwybodol mai casglu at yr Athrofa oedd yr achos o'i waeledd, dywedodd wrtho, "Yr oeddwn yn meddwl wrth ddyfod yma am destun pan fydd eisieu pregethu pregeth angladdol i chwi." "Beth oedd e'?" gofynai Mr. Morgan. "A bu i'r cardotyn farw." Dro arall yr oeddynt yn nghwmni ychydig gyfeillion pan y tröai yr ymddyddan ar bregethu, ac yr oeddynt yn lled rwydd i ddyweyd diffygion y naill a'r llall. "Griffith Williams," ebai Mr. Morgan, "pam na rowch chwi dipyn o ysbrydiaeth yn eich pregethu?" "Pawb ei ddull ei hun ydyw hi, Mr. Morgan," atebai yntau; "camp i chwi bregethu yr un fath a mi." Bu y ddau ar daith gyda eu gilydd amryw weithiau, yn casglu at Gronfa Athrofa y Bala. Yn y daith yn Sir Drefaldwyn yr oeddynt yn cyfarfod â thipyn o rwystrau mewn rhai manau; nid oedd casglu a chyfranu arian yn beth poblogaidd ymhob lle, ac mewn un man ni ddaeth yr un o flaenoriaid y capel yn agos iddynt, ond daethai rhyw chwaer â chydnabyddiaeth yn ei llaw iddynt am bregethu. Gwnelai peth fel hyn Mr. Morgan yn bur ddigalon weithiau. "Welais i ddim peth fel hyn o'r blaen," meddai Mr. Williams; "ddof fi ddim i'ch canlyn chwi eto; pan fyddwn i yn dyfod y ffordd yma i bregethu o'r Bala, byddwn yn cael llon'd y capel i wrando arnaf." At y daith hon y cyfeirir gan y Parch. R. H. Morgan, M.A., yn ei ysgrif yn y DRYSORFA, am Ebrill, 1883. "Cychwynent un bore tuag adref ar ol taith led aflwyddiannus yn Sir Drefaldwyn; a theimlai Mr. Morgan yn ddigon digalon. Gwelodd Mr. Williams hyny; ac i sirioli ychydig arno, dywedai wrtho os nad oedd wedi cael llawer o arian *da* ar y daith, ei bod yn well arno nag yr oedd arno ef, gan ei fod ef wedi cael un swllt *drwg* fel cydnabyddiaeth yn rhywle. "Yr wyf fi yn cynnyg," meddai, "i ni wneyd pennill rhyngom yn goffadwriaeth am y daith." "Ni fedraf fi ddim," atebai Mr. Morgan; "ni wnes i yr un pennill erioed." "Ceisiwch," meddai Mr. Williams; "gwnewch chwi y llinell gyntaf, a mi wnaf finnau yr ail." Felly fu; dechreuodd Mr. Morgan gyda ei linell ef :—

"Derfydd teithio Sir Drefaldwyn."
"Derfydd derbyn arian drwg,"

meddai Mr. Williams; ac yno y terfynodd y pennill mewn chwerthin, a pharhaodd y sirioldeb hyd nes y cyrhaeddasant adref.

Y gallu neillduol hwn yr oedd Mr. Williams yn ei feddu mor helaeth, ynghyd a'i gymeriad pur a'i chwaeth dda, a'i ymdrechion diflino i wneuthur lles i'w gyd-ddynion, a'i gwnaeth ef yn dra derbyniol gyda phobpeth a gymerai mewn llaw yn ei gylchoedd cyhoeddus. Yr

oedd ei ddefnyddioldeb yn cyrhaedd i lawer cylch. Nid goleuni fel y seren wibiog oedd ei oleuni ef, ond goleuni mwy tebyg i'r haul yn goleuo yn wastadol. Y cylchoedd cartrefol, a'r cylchoedd agosaf i'w gartref fyddai yn cael mwyaf o'i wasanaeth, mae yn wir,—y cyfarfodydd eglwysig, ymweled â'r cleifion, ymweled âg eglwysi y sir, cyfarfodydd ysgolion y dosbarth, a chyfarfodydd llenyddol yn yr ardaloedd agosaf; byddai lle gwag yn yr holl gylchoedd hyn os na byddai ef yn ei lenwi. Byddai yn rhagofalu ar fod rhyw waith yn cael ei wneyd yn y cyffiniau yr oedd yn byw. Ac nid oedd gwell cynlluniwr i'w gael i roddi pob gwaith ar droed. Ond tybiwn y byddai yn fwy poblogaidd a llwyddiannus yn y cyfarfodydd llenyddol nag odid le, am y rheswm fod yno le mwy rhydd i'w ffraethineb ddyfod i'r golwg. Yr oedd hefyd yn Rhyddfrydwr i'r gwraidd. Yn yr holl frwydrau a fu yn Sir Feirionydd am y 25 mlynedd diweddaf i gael Rhyddfrydwr yn aelod dros y sir, gwnaeth ei ran yn gystal a neb i gario pob brwydr i fuddugoliaeth. A llawer gwaith y cafwyd ganddo yn y brwydrau hyny gawodydd o ddifyrwch, yn gystal a chyflawnder o synwyr cyffredin.

Maes arall y bu Mr. Williams yn weithiwr cyson a dewr ynddo ydoedd gyda'r achos Dirwestol. Llawer gweithiwr a weithiodd yn dda ar y maes hwn, ond gellir dyweyd am dano ef, "Ti a ragoraist arnynt oll." Os ydyw bod gydag unrhyw waith ar hyd yr oes yn brawf fod dyn o ddifrif gyda'r gwaith, cafwyd y prawf hwnw ynddo ef, oblegid treuliodd ei oes ar ei hyd yn weithiwr difefl gyda Dirwest. Dechreuodd pan yn fachgen, a pharhäodd i weithio yn ddiwyd trwy bob cyfnod ar ei fywyd hyd y diwedd. Fel pob areithiwr da ar Ddirwest, yr oedd yn gyfoethog o ffeithiau a hanesion i brofi ei bwnc, a medrai droi yr oll i bwrpas rhagorol tuag at gyrhaedd eu hamcan. Er i'w sylwadau fod yn ddifyrus, ni byddai ei chwaeth byth yn isel, ond yn dra mynych arosai yr addysg a gyfranai trwy ei areithiau yn hir yn meddyliau y gwrandäwyr. Yr oedd yn fwy gwastad a chymedrol na llawer o areithwyr gyda'r achos hwn, a chydgerddodd yn gyson â phob diwygiad Dirwestol a gymerodd le yn ei oes. Yr oedd ei amcan, yn arbenig yn mlynyddoedd olaf ei oes, i osod yr achos hwnw o dan nawdd eglwysi y wlad, gan y credai yn sicr mai dynion blaenaf yr eglwysi ydyw y dynion goreu i fod ar y blaen gyda hyn. Ffurfiodd Gymdeithas i fod dan nawdd y Cyfarfod Misol, a thynodd allan reolau, gan ystyried swyddogion yr eglwysi yn gyfrifol am ddygiad yr achos yn ei flaen. Nid yn fuan yr anghofir araeth hyawdl a doniol y diweddar Barch. Humphrey Williams, Ffestiniog, yn Nghyfarfod Misol Talsarnau, mewn cysylltiad â'r rheolau hyn. Yn yr adroddiad a barotôdd Mr. G. Williams at Gymanfa Ddirwestol Penrhyndeudraeth, Medi, 1874, mae y craffder a'r synwyr cyffredin a berthynai iddo yn dyfod i'r golwg yn amlwg iawn. Mae y dyfyniad canlynol o araeth a draddododd yn agos i ddiwedd ei oes yn ddangosiad rhagorol o hono fel areithiwr ar Ddirwest:—

Mae colli amser yn fwy o beth na cholli arian a meddiannau, a hyny am y rheswm nas gellir byth ei gael yn ol. Gellir ennill arian drachefn, a chael meddiannau eilwaith; ond am yr awr a gollwyd yn y dafarn, pa noswaith, nis gellir byth gael hono yn ol. Gallasai fod wedi ei threulio i wella y meddwl trwy ddarllen, neu addysgu y plant;

ond nid felly fu, ac mae yr awr wedi ei cholli, *ei cholli*, ïe, EI CHOLLI am byth. . . . . . . Pan oedd boneddwr gyda'i fachgen bach yn dringo y Wyddfa unwaith, dywedodd y bachgen, "Nhad, peidiwch a myned i leoedd peryglus, yr ydwyf fi yn dyfod ar eich ol chwi." Dadau, sydd yn cerdded ar hyd ymylon peryglus cymedroldeb, gwrandewch, a glywch chwi y plant bach yr ydych yn eu magu yn gwaeddi, "Peidiwch a myned ar hyd lleoedd peryglus, yr ydym ni yn dyfod ar eich ol chwi." Mae rhai yn meddwl rhoi y chwant hwn i lawr bob yn dipyn. Yr oedd dyn wedi myned ar goll mewn cymydogaeth unwaith, a pharodd drallod mawr i'r ardalwyr; cododd pawb allan, a buwyd yn chwilio yr afonydd a'r llynoedd, ond y cwbl yn ofer. Gyda'r nos yr ail ddydd, pwy ddaeth at y tŷ ond efe, a phan ofynwyd iddo paham y parasai y fath flinder iddynt, a lle buoch chwi mewn difrif? "Wel," meddai, "mi aethum i gwt y bugail, i'r mynydd i lwgu fy hun, ac mi ddaeth arnaf eiso bwyd, ac yr wyf wedi d'od i lawr i 'nol brechdan, wedi hyny mi af i fyny i orphen llwgu." Fel yna mae llawer gyda'r chwant hwn. Maent yn meddwl ei lwgu a'i borthi yr un pryd. Nid ar dir cymedroldeb y gellir ei roddi i farwolaeth.

Dylem bellach wneyd rhai sylwadau arno fel pregethwr. Yn nghanol amrywiol orchwylion ei fywyd, ni esgeulusodd ef y gwaith o bregethu. Naddo, efe a wnaeth hyn yn brif waith ei fywyd. Ni ystyrid mo hono yn bregethwr poblogaidd gan y lliaws; nid oedd defnyddiau poblogrwydd ynddo fel siaradwr yn y pulpud. Y prif reswm am hyny ydoedd afrwyddineb ei ymadrodd, anystwythder ei lais, a'i ddull arafaidd o draddodi. Gwnaeth ef ei hun y sylw canlynol ar ryw amgylchiad:—"Mae llais clir, cryf, mwyn, peraidd, yn ffortiwn i bregethwr." Da y gwyddai am werth y pethau hyn, oblegid yr oedd yn amddifad o honynt ei hun. Nid oedd ei lais ef nac yn fwyn nac yn beraidd, ond o herwydd cryfder ei gorff yr oedd ei lais yn gryf ac yn hyglyw iawn; ac ni wnai ddim rhodres yn y byd gydag ef. Anallu naturiol ynddo oedd hyn yn ddiammeu nas gallai ddim oddiwrtho. Ond gwyddai am dano gystal a neb. Meddyliai rhai mai arfer ddrwg ynddo oedd hyn, mai wedi syrthio i ddull annyben ac undonog yr oedd, wedi iddo ddechreu pregethu; ond dywed y rhai a'i hadwaenent cyn iddo ddechreu pregethu mai yr un yn hollol oedd ei ddull o siarad y pryd hwnw. Tybia eraill pe buasai yn rhoddi llawer mwy o'r *humour* a'r pertrwydd oedd ynddo yn ei bregethau, y buasai hyny yn ei wneyd yn boblogaidd. Ond mae hyny hefyd yn ammheus. Hysbys ydyw fod yr afrwyddineb oedd yn ei beiriannau ymadrodd yn gymaint fel y byddai ar brydiau yn hir iawn yn dyweyd ei feddwl mewn cylchoedd îs na'r pulpud. Heblaw hyny, yr oedd ei syniadau uchel am gysegredigrwydd y pulpud y fath fel yr ofnai wneuthur dim â thuedd ynddo at ysgafnder, ac nis gallai oddef y syniad ychwaith o dueddu yn y gradd lleiaf at wneuthur ymddangosiad o ddim heb fod yn ei feddu yn wirioneddol. Hwyrach pe buasai yn ddigon dewr i wneuthur egni pan yn ieuanc i orchfygu yr afrwyddineb hwn y gallasai lwyddo i ryw fesur. Yn ateb i hyn eto, gellir dyweyd fod gwyleidd-dra yn gryfach ynddo na dewrder, yn enwedig yn nechreu ei oes. Pan yn dechreu pregethu gobeithiai, yn enwedig mewn lleoedd o gwmpas Ffestiniog, y byddai yn wlaw neu rywbeth i rwystro y bobl ddyfod i wrando arno. Ond beth bynag am hyn, er yr holl afrwyddineb a'r anystwythder oedd yn ei ymadrodd yn y cyhoedd, yr ydoedd yn bregethwr da a sylweddol a chymeradwy iawn. Yr oedd y syniad oedd ganddo am bregethu yn dra chywir; tynai allan feddwl ei destun, syrthiai ar ryw wirionedd pwrpasol o hono, yr hwn a weithiai allan mewn modd deheuig a chryno.

Yr oedd yn feddiannol ar grebwyll a darfelydd i raddau tu hwnt i lawer; hyny ydyw, yr oedd ganddo allu cryf i ddychymygu a chreu. Ac nid llai ychwaith oedd ei allu i gymharu pethau â'u gilydd—gallu i greu cymhariaethau, a gweithio y rhai hyny allan i'r pwrpas goreu. Yr oedd elfenau cynnydd ynddo, a chynnyddu a wnaeth yn raddol a chyson hyd y diwedd, fel yr afon yn ymledu ac yn dyfnhâu yn ei chwrs wrth dreiglo tua'r môr. Yr oedd ei gynnydd hefyd tua'r diwedd yn fwy nag yn un ran arall o'i oes. Byddai ei bregethau o ran eu cynllun a'u cynnwys yn tra rhagori; yr oedd yn eglur a naturiol yn ei sylwadau, a phob amser yn amcanu at fod yn fuddiol; ac ar adegau byddai, trwy ei ddifrifwch a'i gariad at y gwirionedd, a'i bwysleisiad dwfn ar adnodau y Bibl ac athrawiaethau yr efengyl, yn cario y gynnulleidfa gydag ef, a byddai ei bregethau yn cydio mwy yn meddyliau y bobl na llawer o rai mwy rhwydd a difyr yn eu traddodiad. Pan fyddai y gwirionedd wedi cydio ynddo ef ei hun—er mai araf fyddai ei draddodiad hyd yn nod yr adegau hyny—cydiai y gwirionedd yn y gwrandäwyr, a thrwy rym y gwirionedd a grym yr efengyl byddai pawb wedi eu gweithio i ysbryd addolgar, a byddai yr odfeuon hyny yn ddylanwadol iawn. Ar rai prydiau deuai y ffraethineb oedd mor naturiol iddo i'r golwg yn ei bregethau. Yn y bregeth ar "Gwnewch i chwi byrsau y rhai ni heneiddiant," wrth sylwi beth a ddeuai o'r cyfoeth wedi ei gael, dywedai:—"Nis gellir ei ladrata. 'Lle ni chloddia lladron drwodd,' ebai Matthew; ond y mae yn well gen i eiriad Luc, 'Lle ni ddaw lleidr yn agos.' Mae Matthew yn geirio yn gryf, 'Lle ni chloddia lladron drwodd,' ond rhywbeth annymunol ydyw meddwl fod lladron am y clawdd â ni. Ond y mae Luc yn gwneyd i ffordd â hyn trwy ddyweyd, 'Lle ni ddaw lleidr yn agos.'" Yn nechreu y bregeth hon dywedai: "Mae genyf destun heddyw sy'n sicr o blesio y cybyddion; pe buasai holl gybyddion Sir Feirionydd yma buasent wrth eu bodd—'Pyrsau y rhai ni heneiddiant.'" Pregethai dro arall ar y geiriau, "Am dy weithredoedd y chwedleuaf." "Dyma oedd hoff waith y Salmydd," meddai, "chwedleua am weithredoedd Duw. Ac nid oedd arno ddim cywilydd o hyny, nac ofn i neb ei glywed. Nid fel y bydd y gwragedd yn myned o dŷ i dŷ i chwedleua, ac yn dyweyd yn union wrth gwt hyny—'Peidiwch a dyweyd wrth neb fy mod i yn dyweyd;' na, chwedleua yr oedd y Salmydd ac eisieu i bawb ei glywed yn chwedleua." Y bregeth a'i dygodd i sylw gyntaf oedd ar y geiriau yn Num. xiv. 3, 4: "Gosodwn ben arnom a dychwelwn i'r Aipht." Mater y bregeth oedd—"Y perygl o wrthgilio." Ar ol ei gwrando, dywedai cyfaill wrtho fod hono yn bregeth afaelgar. "Cefais lai o drafferth yn ei chyfansoddi na llawer un," atebai yntau. Sonir llawer am ei bregethau yn y wlad, ac fe gofir rhai o honynt yn hir. Profa hyn tu hwnt i ammheuaeth fod llawer o'i bregethau yn ddylanwadol. Mae ei bregeth ar "Fedd gwag yr Arglwydd Iesu" yn un o'r rhai mwyaf nodweddiadol o hono. Rhydd yn rhagymadrodd y bregeth hon ddesgrifiad dychymygol o'r hyn fuasai claddedigaeth yr Arglwydd Iesu pe buasai wedi cymeryd lle o dan amgylchiadau ffafriol, pwy fuasai yn y claddedigaeth, yr orymdaith, a threfn yr orymdaith, pwy yn gyntaf ac yn ail, ac yn drydydd. nes yr oedd yr orymdaith yn fawr iawn. Cyhoeddwyd y bregeth hon

flynyddau yn ol yn y *Pulpud*, gan Mr. Owen Rees, argraffydd, Dolgellau.

Llafuriodd lawer gyda'r weinidogaeth; llafuriodd lawer i gyrhaedd gwybodaeth, a llafuriodd lawer i gyfansoddi pregethau ar hyd ei oes, er dan anfanteision mawrion. Ac o herwydd y llafur a roddai ar ei bregethau, crefyddolder ei ysbryd, ei ddifrifwch, a'r eneiniad a fyddai ar y gwirionedd, byddai ei bregethau weithiau yn y traddodiad o honynt yn gorchfygu y cynnulleidfaoedd. Yr oedd yn pregethu yn amser y diwygiad yn Nghyfarfod Misol Dolgellau, am ddau o'r gloch prydnawn. Ei fater oedd—Yr Arglwydd Iesu yn gorchfygu y byd trwy ei ddyoddefiadau. "Nid trwy arfau rhyfel y mae yr Arglwydd Iesu yn gorchfygu," meddai, "ond trwy ei ddyoddefiadau, a thrwy ei groes. Y mae gan Iesu Grist feddwl mawr o'i groes, y mhobol i." Gyda hyny dyma ferch ieuanc yn tori allan i waeddi yn nghanol y gynnulleidfa, "Y mae genym ninnau feddwl mawr o'r groes." Dyna y gair olaf a gafodd y pregethwr ddyweyd; aeth yn orfoledd trwy y capel i gyd. Adeg arall yr oedd yn pregethu yn Birkenhead ar "Ddammeg y mab afradlon." Desgrifiai yn ei ddull ei hun anniolchgarwch a chyndynrwydd y mab hynaf, fel yr oedd yn tramgwyddo ac yn digio, y tad yn myned allan ac yn ymresymu âg ef—yn dangos gymaint oedd ei freintiau ef, y mab hynaf, a chymaint y llawenydd oedd yn rhaid fod o herwydd i'r mab oedd yn farw ddychwelyd yn fyw—a'r mab hynaf o hyd yn anniolchgar: "Ac yna," meddai, "mi ddychymygaf ei weled yn troi ar ei sawdl, ac yn diystyru yr hen ŵr ei dad." Ar hyny dyma ryw un o ganol y gynnulleidfa, gan dybio ei fod yn gweled y mab yn dirmygu y tad, yn tori allan yn gyhoeddus i gyhoeddi melldith ar ei ben. Yr oedd y desgrifiad o ddirmyg y mab hynaf mor fyw a tharawiodol fel y tybiodd y dyn a siaradodd yn gyhoeddus ei fod yn gweled y peth â'i lygaid. Dyma gamp uchaf areithyddiaeth, ac mae y ffaith fod y pregethwr yn gallu cynnyrchu y teimlad hwn yn ei wrandäwyr yn profi y byddai ar brydiau yn ennill goruchafiaeth arnynt i raddau pell iawn. Mae llawer o'i bregethau yn wir dda, wedi eu hysgrifenu yn gyflawn, ac yn darllen yn well nag y byddent yn fynych yn eu traddodiad. Pe cyhoeddid hwy mewn rhyw ffurf, byddent yn drysor o werth mawr i'r saint. Elem yn faith wrth roddi dyfyniadau, ond wele yn canlyn ragymadrodd y bregeth ddiweddaf a gyfansoddodd. Ysgrifenodd hi yn ei gystudd, yn ystod yr haf olaf y bu fyw, ac wedi iddo gryfhâu ychydig aeth o gwmpas, a phregethodd hi mewn rhai manau. Gan mai dyma y peth olaf a ysgrifenodd fel un math o gyfansoddiad, mae ei dyddordeb yn gymaint a hyny yn fwy. Y testun ydyw,—"Y pethau nid ysgydwir:"

Pe gofynid yr un cwestiwn gyda golwg ar y pethau hyn ag a ofynir yn llyfr Job am ddoethineb, sef, "Pa le y ceir doethineb, ac ymha le y mae trigle deall?" gellid bod yn hir yn taro ar neb yn meddu unrhyw wybodaeth am danynt. Pe gofynid i'r greadigaeth, Ai ei heiddo hi ydyw "y pethau nid ysgydwir?" ysgydwai y greadigaeth ei phen, a dywedai, Na, nid oes dim yn dwyn y nodwedd yna yn perthyn i mi. Mae yn wir y gelwir fy mynyddoedd weithiau yn fynyddoedd tragywyddol, a'm bryniau yn fryniau oesol; ond mewn ystyr cymhariaethol yn unig y maent felly. Fy hanes gwirioneddol i ydyw "myned heibio fel mŵg, a heneiddio fel dilledyn." Nid yw tragywyddoldeb fy mynyddoedd o'u cymharu â'r *tragywyddoldeb* ond pwt bŷr; nac oesau fy mynyddau yn ymyl oes yr oesau ond ychydig. Na, nid ydyw y

pethau nid ysgydwir yn perthyn dim i mi, fyddai ateb y greadigaeth. Ewch oddiwrth y greadigaeth at wahanol ffurflywodraethau y byd, a gofynwch, Ai i chwi y perthyn "y pethau nid ysgydwir?" Mae eich gallu yn fawr, eich awdurdod yn eang, a'ch enwau yn ddychryn i genedloedd y ddaear. Etyb y rhai hyn eto, nas gwyddant ddim am danynt. Nid oes dim mor ansefydlog â gorseddfeinciau y ddaear; peth digon cyffredin yw gweled brenhinoedd ac ymherawdwyr yn ffoi, gan adael eu coronau a'u gorseddfeinciau i'w malurio gan gynddaredd eu gelynion. Na, nis gwyddom ni ddim am y pethau yr ydych yn ymholi yn eu cylch. Pe gofynid yr un cwestiwn drachefn i deuluoedd a phersonau unigol, atebent hwythau yr un modd nad oes dim yn perthyn iddynt hwy sydd yn safadwy, ond pob peth yn sigledig. Mae hanes y teuluoedd enwocaf a'r personau mwyaf dylanwadol yn eu dydd, mewn ychydig oesau yn diflanu fel yr ager yn yr awyr, neu dôn yn y môr. Mewn gair nid yw hanes ein byd ni ond cyfres ddidor o gyfnewidiadau a siomedigaethau, ac nis gellir edrych ar ddim sydd yn perthyn iddo a dywedyd am dano—Dyma beth safadwy. Mae ceisio dyfod o hyd iddynt ar y ddaear yn beth mor ofer ag oedd gwaith ein hynafiaid yn ceisio dyfod o hyd i ben yr enfys er mwyn cael y crochan aur y dywedid oedd dano. Erbyn cyrhaedd pen un bryn lle yr ymddangosai yr enfys yn gorphwys, byddai wedi symud i ben un arall; ac erbyn cyrhaedd yno, byddai wedi symud drachefn. Ond os ydych wedi blino yn chwilio am "y pethau nid ysgydwir," eisteddwch i lawr wrth eiriau yr apostol, mae pen yr enfys wedi sefyll arnynt—"Fel yr arosai y pethau nid ysgydwir."

Mewn cysylltiad â swydd gweinidog yr efengyl, y mae llawer ffordd i wneuthur daioni, ac i gario dylanwad ar feddyliau dynion heblaw pregethu. Perthynai i Mr. G. Williams ddifrifwch a ennillodd iddo ddylanwad, ac a barodd fod ei wasanaeth, nid yn unig yn gymeradwy, ond yn dra defnyddiol. Nid prudd-der ac ymddangosiad difrifddwys ydym yn feddwl; ond difrifwch amcan, crefyddolder ysbryd, ac ymdeimlad o gyfrifoldeb ei swydd yn ei holl gyflawniadau crefyddol. Ymddygai ef bob amser yn weddaidd ac mewn trefn, ac y mae y gwaith a oruwchadeiladodd mewn llawer ffordd yn aros, ac felly "efe a dderbyn wobr." Clywsom am dano yn myned trwy wasanaeth y cymundeb ar fore Sabboth, yn Nhalsarnau, gyda dylanwad mawr. Y bore hwnw yr oedd yno ŵr ieuanc yn pregethu ar y geiriau, "Eithr llawenhewch, yn gymaint a'ch bod yn gyfranogion o ddyoddefiadau Crist," ac yntau yn gwrando arno. Ar ol i'r gŵr ieuanc orphen pregethu, gweinyddai efe yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd. Cymerodd y testun a mater y bregeth i siarad arnynt yn ystod y gwasanaeth, ac ail-adroddai drachefn a thrachefn y geiriau, "*Cyfranogion o ddyoddefiadau Crist.*" Yr oedd yr eneiniad a'r dylanwad ar y gwasanaeth y bore hwnw yn gymaint fel y cofir am dano yn hir gan y rhai oedd yn bresennol. Byddai yn arfer bod yn ddifrifol ac yn bwysig wrth dderbyn rhai ieuainc yn gyflawn aelodau yn yr eglwys. "Cymerwch ofal," meddai, wrth nifer o rai ieuainc oedd yn cael eu holi, a'u derbyn yn gyflawn aelodau, "i beidio dyfod at Fwrdd yr Arglwydd ac y bydd yn rhaid i ni eto eich tori allan." Adroddai merch ieuanc y geiriau hyn ychydig cyn marw y flwyddyn ddiweddaf, gan ddyweyd mai ei waith a'i ddull ef yn dywedyd y geiriau hyn pan yn cael ei derbyn a effeithiodd yn fwyaf dwys ar ei meddwl i beri iddi lynu gyda chrefydd; ac annogai ei brawd, yr hwn sydd wedi ei ddwyn i fyny i'r weinidogaeth, i gofio bod yn ddifrifol bob amser wrth dderbyn plant at Fwrdd yr Arglwydd. Yr oedd yn genad mewn eglwys, lawer o flynyddau yn ol, ac yn ymddyddan â dyn ieuanc oedd yn ymgeisydd am y weinidogaeth. "Dylech bellach, J. R.," meddai wrth y dyn ieuanc, "wybod eich bod yn dduwiol, a dylai pawb fod yn

gwybod hyny am danoch. O'r blaen, peth rhyngoch chwi a'r Arglwydd oedd eich crefydd; ond bellach mae gan Dduw a dynion hawl i wybod eich bod yn dduwiol." Glynodd y geiriau yn meddwl y dyn ieuanc. Aeth wedi hyny yn genadwr i wlad bell, i blith Paganiaid, ac mae y geiriau wedi para i lynu ac i aros yn ei feddwl yn fwy na dim byd arall yn y wlad bellenig.

Yn ddiweddar ar ei oes yr oedd Mr. G. Williams wedi troi yn ddarlithiwr, ac yr oedd wedi llwyddo i ennill cryn boblogrwydd gyda hyn. Dewisai destunau ei ddarlithiau o blith materion unol â'i chwaeth ac â'i ddawn, a thrwy y difyr a'r adeiladol y byddai yn cyrhaedd ei nod yn y maes hwn, ac nid trwy y nerthol. Y testun darlith cyntaf a fu ganddo oedd, "Y llanc Absalom." Yr oedd yr hanes wedi ei daro yn fawr, a bu yn meddwl gwneyd darlith i'r bobl ieuainc oddiwrth yr hanes, ond wedi ei dechreu fe'i gwnaeth yn bregeth. Ac mae y rhai a'i clywodd yn cofio yn dda mai pregeth afaelgar ydoedd. Ni chafodd fyw ond ychydig i draddodi ei ddarlith ddiweddaf ar "Mr. Humphreys a'i Foeswersi." Nid oedd dim pall ar ei ffraethineb a'i ddigrifwch gyda y ddarlith hon. Yr oedd ganddo ddwy ddarlith newydd ar y canol pan fu farw; un ar "Daith y Pererin," a'r llall ar "Freuddwydion y Bibl." Meddyliai wneuthur dwy darlith ar "Daith y Pererin," gan y y byddai un yn rhy faith; ac yr oedd wedi penderfynu cyhoeddi llyfr ar "Freuddwydion y Bibl," a chan fod hwn bron a'i orphen, hwyrach y cerir allan ei ddymuniad. Meddai allu arbenig i drin materion fel hyn, gan eu bod mor gydnaws â rhediad ei feddwl, ac yr oedd ei lwyddiant diweddar yn y ffordd hon fel wedi creu ysbrydiaeth ynddo i feddwl am rywbeth newydd o hyd.

Hysbys ydyw ei fod yn ysgrifenwr ac awdwr o radd uchel. Ysgrifenodd rai ysgrifau i'r *Methodist* pan yn lled ieuanc, ac amryw ysgrifau o dro i dro i'r DRYSORFA. Un o'i ysgrifau cyntaf oedd i'r *Methodist*, am 1855, tu dal. 213,—"Ymddyddan rhwng gŵr yr Hafoduchaf a'i Fab," ysgrif ddyddorol mewn dull ymddyddanol, ac mae yr ysgrif hon yr arddangosiad cyntaf o'i fedrusrwydd yn ysgrifenu yn y dull hwn. Yn ddiweddar ar ei oes hefyd y dadblygodd ei dalent fel ysgrifenwr ac awdwr. Daeth allan fel awdwr yn ei rymusder, ac ennillodd ei weithiau iddo glod ac enwogrwydd, sef, "Yr hynod William Ellis o Faentwrog;" "Cofiant y Parch. Richard Humphreys, Dyffryn; "Bwthyn fy Nhaid Oliver." Yn y gweithiau hyn mae yn dangos athrylith o radd uchel. Mae ei arddull yn goeth ac yn glir, a'i iaith yn bur, yn Gymreigaidd, a darllenadwy. Mae pobpeth a ddaeth trwy y wasg o'i eiddo â graen arno, a thuedd uniongyrchol ynddo i addysgu ac adeiladu y darllenwyr. Mae y "Bwthyn" yn cynnwys hanesion ac ymddyddanion oeddynt yn ffrwyth ei sylwadaeth a'i brofiad dros y rhan fwyaf o'i oes, a'r rhai hyny wedi eu trefnu a'u gwisgo, ar ddull o ymddyddan, mewn modd difyrus ac adeiladol dros ben; cedwir i fyny y cymeriadau yn y modd mwyaf teg a naturiol; ac mae yr hyn a eilw y Sais yn *true to nature* yn berffaith yn y llyfr drwyddo oll. Da fyddai pe cai y llyfr hwn gylchrediad cyffredinol trwy Gymru; a phe dygid ail-argraffiad o hono allan, gan fod yr argraffiad cyntaf wedi ei werthu, diammeu y gwerthfawrogid hwnw fel y cyntaf, o herwydd ei fod mor ddarllenadwy. Ymddangosodd ffrwyth ei ysgrifell lawer gwaith yn y cyfnod-

olion, ac y mae ef ei hun yn llefaru ynddynt trwy ffraetheiriau ac addysgiadau megys "geiriau y doethion a'u dammegion."

Yr ydym wedi gweled fod Mr. G. Williams yn ŵr crefyddol a duwiol iawn; yr ydoedd o'i febyd, fel Nathanael, yn "Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll." Cafwyd ynddo gryfder doethineb, ac yn cydfyned â hyny yr ydoedd harddwch cymeriad, lledneisrwydd ysbryd, a chywirdeb amcanion. Y mae rhai dynion yn y byd nad oes llawer o waith i ras yr efengyl arnynt; y maent mor debyg wrth natur i rai wedi eu cyfnewid trwy ras. Un o'r cyfryw oedd yntau—gweithiodd ei ffordd trwy einioes gan "gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Tystiolaeth y rhai a'i hadwaenai trwy ei oes ydoedd ei fod yn ddiddrwg, yn ddiddichell, yn ddiymhongar. Anfynych y gwelwyd neb yn meddu y rhinweddau hyn yn fwy amlwg nag ef. Gweithredai bob amser yn ei holl gyflawniadau crefyddol a swyddol oddiar egwyddor, a nôd ei ymgais fyddai bod o ryw ddefnydd gyda chrefydd. Dywedodd un am dano, "Ei ffyddlondeb a'i anhunanrwydd yn y cyflawniad o'i ddyledswyddau oedd dirgelwch ei barch a'i gymeradwyaeth gan yr eglwysi, a chan bawb a'i hadwaenai. Yr oedd wedi ennill iddo ei hun safle yn Nghyfarfod Misol ei Sir, nad oedd yn ail i neb o'i frodyr." Barnwn mai o fewn cylch y Cyfarfod Misol, ac yn y gwahanol orchwylion a berthynai i'r cylch hwn y bu ei ddefnyddioldeb yn fwyaf amlwg. Yr oedd wedi ei gynnysgaeddu â chymhwysderau arbenig i eistedd mewn cynghor, ac i drefnu gwahanol orchwylion cymdeithas, ac yn enwedig cymdeithas grefyddol. Ei arafwch, ei bwyll, ac addfedrwydd ei farn, ac yn arbenig ei wir ofal am les yr eglwysi, a'i gwnaeth yn arweinydd cymhwys yn y cylch yr oedd yn troi ynddo. Byddai ei bresennoldeb ymhob cyfarfod yn peri i'w frodyr deimlo yn bur dawel i ymgymeryd âg unrhyw orchwyl, pa un bynag ai hawdd ai anhawdd fyddai; ac fe fyddai ef yn bresennol, os na byddai rhwystr mawr iawn ar ei ffordd, gan ei fod wedi gwneuthur achos yr Arglwydd yn y rhan yma o'r wlad yn achos iddo ei hun. Yr oedd yn y cysylltiad hwn yn debyg iawn fel y dywedodd Glan Alun am Angell Jones, y Wyddgrug:—

Yr oedd ef i ni fel y coed,
Yn rhan o'r Capel Mawr.

Er ei fod yn un o'r rhai pellaf oddiwrth hòni a hawlio dim blaenoriaeth iddo ei hun, yn y cyfnod olaf o'i oes rhoddid iddo bob gwaith y byddai yn rhaid i rywun fod ar y blaen gydag ef. Ar adeg ei farwolaeth gwnaed y sylwadau canlynol am dano mewn newyddiadur gan ysgrifenydd yr ysgrif hon: "Yr oedd wedi dyfod er ys blynyddoedd yn un o golofnau mwyaf angenrheidiol y Cyfarfod Misol. Bu adeg pan nad oedd yn y rhan Orllewinol o'r Sir ond ychydig nifer o weinidogion. Disgynodd llawer o'r gwaith arno ef y pryd hwnw. Un arall a gymerodd ran flaenllaw iawn o'r gwaith gydag ef y rhan yma o'i oes ydoedd y diweddar Barch. R. Parry, Ffestiniog. Y mae ei enw yntau yn deilwng o goffadwriaeth. Yr oedd y ddau yn gyfeillion mawr, ac yn cydgychwyn eu hoes gyda'r gwaith. Yn y rhanau anghyhoedd, megys, o'r gwaith, yr oedd y ddau yn fedrus a ffyddlawn iawn; ond ni chafodd yntau fod ar y maes ond rhyw ddwy flynedd yn hwy na'i gyfaill Mr. Parry. Yr oedd Mr. Williams yn drefnwr rhagorol; gwelai ymhell iawn pa un oedd y ffordd oreu i

wneyd gyda phob achos, ac yr oedd ganddo ffordd well nag odid neb i gael pawb arall i weled yr un fath ag ef. Ymweled â'r eglwysi, dewis blaenoriaid, sefydlu gweinidogion ar eglwysi, gwastadhâu anghydfod mewn manau, trefnu achosion y lleoedd gweiniad—byddai yn cael ei osod i wneyd y pethau hyn yn fynych. Anfonid ef dros y Cyfarfod Misol i'r Cymdeithasfäoedd yn dra mynych, ac i gynnrychioli ar Bwyllgorau, ac yn y manau hyny yr oedd yn ddeheuig iawn i drafod pob achosion a ddygid ger bron. Yr oedd mewn Cymdeithasfa unwaith yn dadleu am help arianol at yr Achos Saesoneg yn yr Abermaw. Dywedai eu bod yno mewn angen mawr am help. 'Mae y capel wedi costio llawer,' meddai, 'ac mae y tir o tano wedi costio llawer. Mae y tir yn y Bermo yn ddrud iawn. Chwi y bobl fawr yma sydd yn meddu tiroedd, wnaech chwi ddim byd gwell na dyfod â'ch tiroedd i'r Bermo, fe gaech bris da am danynt yno.' Yr oedd ei feddwl wedi ymglymu am Achos yr Arglwydd, ac yr oedd yn eiddigeddus am ei lwyddiant ymhob man, ond yn neillduol yn ei Sir ei hun. Fe wyddai amgylchiadau a helyntion pob eglwys, fel ei eglwys gartref o'r bron; adnabyddai hefyd lïaws o bersonau unigol ymhob lle, pa un ai llwyddo ai aflwyddo y byddent gyda'u crefydd, a gallai ddyweyd yn lled gyffredin, fel y byddai yr hen bobl yn dyweyd, pa un ai dan y ddeddf ai dan ras y byddent. Yr oedd yn un o'r rhai ffyddlonaf hefyd i'w gyhoeddiadau Sabbothol, ac i fyned i holl leoedd bychain y Sir yn ei dro, fel y lleoedd mawrion. Yr oedd yr alwad am dano er ys blynyddoedd yn gyfryw fel y gallasai fyned i'r lleoedd mawr, ymhell ac yn agos; ac os ydyw gwasanaethu lleoedd mawr yn fanteisiol i rywun, fe fuasai felly iddo ef gyda theulu mor fawr yn dibynu arno. Ond yr oedd ef mor gydwybodol fel yr oedd yn myned i bob lle bach fel lle mawr yn rheolaidd. Ac y mae parch mawr iddo heddyw yn lleoedd bychain y Sir ymhob man."

Crybwyllwyd amryw weithiau am y parch a deimlir tuag ato yn y wlad, ac nid heb achos y crybwyllir am hyn fwy nag unwaith, oblegid nis gwyddom am neb ag y teimlir mwy o barch i'w goffadwriaeth nag efe. Mae hyn yn cyfodi, nid yn unig oddiar ei fod yn ddyn hynaws a hawddgar, ond o herwydd ei ffyddlondeb a'i weithgarwch, ac o herwydd ei fod wedi cysegru ei hun i wasanaethu crefydd, ac i weithio yn yr efengyl er lles yr eglwysi. Yr oedd ei golli y pryd y gwnaed yn golled fawr. Megys y dywedai ef ei hun ar ol colli Mr. Morgan, ei fod yn teimlo fod darn mawr o'r byd yma wedi myned i ffordd, felly y mae ei frodyr yn teimlo fod darn mawr o'r Sir wedi ei symud ymaith trwy ei golli yntau. Diwrnod ei angladd dywedai y Parch. D. Jones, Garegddu, "Y mae y golled ydym wedi gael yn un fawr iawn. Mae eglwys Talsarnau wedi colli mwy, fe allai, nag y mae yn feddwl. Y mae Gorllewin Meirionydd wedi colli tywysog ac arweinydd—wedi colli gŵr o dalent, a barn, a deall. Yr oedd yn y Cyfarfod Misol ac ymhob cylch arall yr oedd yn troi ynddo yn llenwi ei le yn llawn, ac y mae yn anhawdd iawn cael neb cyffelyb iddo. Bu ar y blaen am flynyddoedd fel gofalwr ac arweinydd yr eglwysi. Mae y geiriau a ddywedodd Moses am Hobab yn ddarluniad cywir iawn o hono ef, 'Canys ti a adwaenost ein gwersyllfäoedd yn yr anialwch, ac a fyddi yn lle llygaid i ni.'" Rhoddwn ddau ddyfyniad i ddangos yr hyn ydym wedi ei

ddyweyd am dano fel un yn gwir ofalu am achos yr Arglwydd yn gyffredinol yn ei wlad. Gwaith a roddwyd iddo i'w wneuthur lawer-oedd o weithiau oedd sefydlu gweinidogion ar eglwysi. Fel hyn y mae yr hyn a ddywedodd yn yr adroddiad o hanes sefydliad y Parch. W. Williams ar eglwysi Corris a Bethania, Mehefin 30, 1873 :—

Yr hen syniad am weinidog oedd ei fod yn *public property* i'r Corff—yn dal yr un berthynas â phob eglwys a berthynai i'r enwad, ac heb fod dim cysylltiad neillduol rhyngddo âg un eglwys o gwbl. Ond bellach, er ys blynyddoedd, mae ymgais yn cael ei wneyd er ffurfio perthynas ac undeb agosach rhwng y gweinidog âg eglwys neu eglwysi neillduol. Y mae yr ymdrech yma wedi llwyddo i'r fath raddau yn Sir Feirionydd fel y mae, nid yn unig gan yr eglwysi cryfaf eu bugeiliaid, ond hefyd gan y rhai gwanaf; a gellir dyweyd am Orllewin Meirionydd, fel am Judea gynt mewn ystyr arall, "Ac yr oedd yn y wlad hono fugeiliaid yn gwylied eu praidd liw nos." Edrychir arni fel gwlad y bugeiliaid; a phe byddai i'r fath beth âg erlidigaeth godi ar y bugeiliaid mewn siroedd eraill, gallent droi eu gwyneb i Sir Feirionydd am noddfa. Mae yr hyn a elwir genym yn "Genadaeth Sirol" yn gwneyd gwaith mawr, trwy fod yr eglwysi cryfaf, heblaw cadw gweinidog eu hunain, yn cynnorthwyo hefyd i estyn yr unrhyw ragorfreintiau i'w chwiorydd gweiniaid. Mae y ffaith fod siroedd eraill yn prysur ddilyn esiampl Meirion, yn profi tu hwnt i bob dadl effeith-iolrwydd y symudiad. Ni oresgynodd bugeiliaeth y tir heb lawer o rwystrau, y rhai sydd wedi eu symud o'r ffordd yn y sir hon, ond sydd yn parhâu mewn siroedd eraill eto. Dyma rai o'r rhwystrau y bu raid i'r fugeiliaeth eu gwynebu: yn gyntaf, yr oedd y syniad hwnw wedi gwreiddio yn ddwfn yn meddwl y wlad, mai peth a allesid wneyd wedi gorphen gwaith y dydd oedd gwneyd pregethau. Ond yr oedd yn bur hawdd maddeu iddynt, oblegid dyna oeddynt wedi ei weled o'r dechreuad, ac ni freuddwydient fod un cyfnewidiad i fod ar bethau. Ac nid yn unig yr oedd y Cymry yn ddwfn yn y cyfeiliornad yna, ond gallem gasglu fod y Corinthiaid—wrth weled Paul yn gwneyd pebyll trwy y dydd, ac yn athrawiaethu yn y synagogau yn yr hwyr—wedi myned i weled mai felly yr oedd pethau i fod; ac fe allai mai dyna'r paham y mae ef yn siarad mor ddifloesgni yn ei lythyr at eglwys Corinth am ddyledswydd yr eglwys i gynnal ei gweinidog. Tybiaf glywed Paul ac Acwila, wedi cadw noswyl, wrth fyned adref heibio i ryw ydlan, yn dyweyd y gair hwnw, "Na chau safn yr ych sydd yn dyrnu." Gofynai y naill i'r llall beth allasai fod dyben llefariad y gair yna—ai er mwyn yr ych, ai er mwyn rhywun mwy, yr hyn sydd yn dra thebygol. Neu gwelaf hwynt yn myned heibio i ryw winllan, a gwelent y gwinllanydd yn cael cyf-ranogi o'i ffrwyth. Neu ynte gwelent filwr yn trin ei gleddyf, tra yr oeddynt hwythau heb gael dim amser i drin "cleddyf yr Ysbryd." Ac ar yr olwg yma ar bethau, dychymygaf fod yr apostol yn gwasgu y ddyledswydd yma ar yr eglwys. Y mae llawer un yn taflu John Jones, Talsarn, i wyneb y fugeiliaeth—y byddai ef yn gweithio ei ddiwrnod gwaith, ac wedi'r cwbl yn pregethu yn fwy grymus ac effeithiol na llawer a roddasant eu holl amser at wneyd pregethau. Ond camgymeriad oedd hyn. Pe gwybuasai y rhai hyn y cwbl, casbeth Mr. Jones oedd y "shop," a bu lawer gwaith yn "siglo dau gryd" â'i droed, ac ar yr un pryd yn darllen neu yn cyfansoddi pregeth. Dengys hyn mai yn ei *study* yr oedd Mr. Jones yn dewis bod, a'i *study* a'i gwnaeth ef yr hyn ydoedd. 2. Rhwystr arall ar ffordd y fugeiliaeth oedd y dŷb mai peiriant ydoedd wedi ei ddyfeisio er gwneyd i ffwrdd â'r blaenoriaid. Nis gall hyny fod, oblegid byddant hwy—y bugeiliaid—oddicartref yn fynych; ond bydd y blaenoriaid, fel gwraig rinweddol, yn gwarchod gartref yn dda, gan ofalu cadw tŷ glân a threfnus. Na, nid galw y gweinidog i le neb y mae y fugeiliaeth; y cwbl y mae yn ei wneyd ydyw gosod y gweinidog yn ei le ei hun; a'r bugeiliaid goreu yw y rhai hyny sydd yn teimlo nas gallant wneyd dim heb y blaenor, nac heb yr aelod cyffredin. Nid yr hwn a all wneyd gwaith pawb, ond yr un a fedr gael pawb i weithio, ydyw y bugail goreu. 3. Rhwystr arall ar ffordd y fugeiliaeth oedd tlodi yr eglwysi. Ychydig oedd eu nifer ar y cyntaf, ac ychydig oedd nifer yr aelodau; eto y cyfryw oedd eu cariad at Fab Duw a'i achos, fel y meiddient goleddu y syniad am fugeiliaeth, er yn wan o ran moddion. Tyfodd y drychbeddwl am y fugeil-iaeth yn mhen Mr. Morgan; a rhyw dro, pan oedd ef a'r Parch. Rees Jones, Felinheli, yn cydfyned i Ffestiniog ar y Sabboth, penderfynasant fynu gwell chwareu teg i'r pregethwyr a'r eglwysi, gan nad oedd dim modd iddynt ffynu fel yr oeddynt. Cafodd Mr. Morgan y fraint o'i gychwyn yn y Cyfarfod Misol, a chefnogwyd ef gan

yr Hybarch Richard Humphreys a'r Parch. Robert Williams, Aberdyfi; ac er mai ef oedd y byraf o'r tri, efe oedd y cyntaf i'r dwfr bob amser.

Eto, pan yn rhoddi hanes yr achos yn y Sir yn Nghymdeithasfa Penrhyndeudraeth, Tachwedd 1873, ar ol dangos fod gwerth ein meddiannau yn y rhan yma o'r wlad yn £55,361, dywedai, "Pwy na fuasai yn falch o etifeddiaeth o'r gwerth yna, serch fod rhyw ddyled o £16,000 arni?" ac elai ymlaen:—

Yr oedd haelioni y cynnulleidfaoedd yn gweithio mewn dwy ffordd, sef trwy roddi arian, ac hefyd trwy roddi benthyg arian yn ddi-lôg. Yn Ffestiniog y dechreuodd yr arferiad dda hon tuag ugain mlynedd yn ol, ac yno y mae hi yn fwyaf llwyddiannus hyd heddyw. Rhoddwyd allan yn y modd yma, yn nosbarth Ffestiniog, ac yn neillduol yn nghymydogaeth Ffestiniog ei hun, o bryd i bryd, er pan sefydlwyd y cynllun hwn, y swm o £29,841 9s. 2c., ac yn rhanau eraill o'r sir £2536 4s. 7c., sef cyfanswm o £32,377 13s. 9c. Arian di-lôg y gelwir yr arian yma, ond nid wyf yn siwr fod yr enw yn un priodol. Mae Duw yn sylwi ar yr hyn a gyfrenir at ei achos ac yn gwobrwyo. Ni wnaeth y wraig weddw o Sarepta ddim a dalodd yn well iddi na'r deisen hono i Ŵr Duw. Fe fu yn *fortune* i Obededom i'r arch gael ei throi i'w dŷ. Ac ni chafodd Pedr erioed y fath helfa o bysgod â'r diwrnod y rhoddodd fenthyg ei long yn bulpud i Iesu Grist i bregethu allan o honi: "Canys nid yw Duw yn anghyfiawn fel yr anghofio eich gwaith a'r llafurus gariad, &c." Y mae yn Ffestiniog lawer a allant ddwyn tystiolaeth i'r bendithion a dderbyniasant eu hunain trwy roddi benthyg eu harian yn y ffordd yma ar gapelau. Yr oeddynt wedi dysgu dau beth gyda'u gilydd, sef cynnildeb a haelioni. Dywedai y diweddar Barch. Richard Humphreys os byddai i ddyn ddysgu ennill ac heb ddysgu cynnilo, yr elai yn wastraffus. O'r tu arall, os dysgai gynnilo heb roddi, elai yn gybydd. Ond yr oeddynt hwy yno wedi dysgu dau beth, cynnildeb a haelioni. Mae y cybyddion olaf yn Ffestiniog wedi eu gweithio i ffordd. Eto nid ydym wedi treulio ein holl nerth ar gapelau. Yr ydym yn rhoddi rhan i saith a hefyd i wyth. Yr ydym yn rhoddi tipyn i bawb a ddaw atom i ofyn cerdod. Yr ydym wedi cyfranu at y Genadaeth £330 4s. 6c., ac at y Weinidogaeth £2940 19s. 2c. Y mae un peth arall y dymunwn ei ddyweyd, sef fod cydymdeimlad gwirioneddol ac ymarferol rhwng yr eglwysi cryfaf a'r eglwysi gwanaf. Mae y "Genadaeth Sirol" sydd genym yn brawf o'r cydymdeimlad hwn. Mae y genadaeth hon yn perthyn yn arbenig i ni fel sir (daeth siroedd eraill i ganlyn yn hyn), oblegid ni a'i cychwynodd, a ni sydd yn ei chynnal. Trwy yr haelioni hwn mae 15 o eglwysi gweiniaid yn cael gofalu am danynt gan fugeiliaid cyflogedig. Ni buasai gan y rhai hyn y gobaith gwanaf am gymhorth oni b'ai y cydymdeimlad a ddangosir fel hyn. Nid wyf am ddyweyd llawer am y fugeiliaeth, gan mai dyna oedd baich yr anerchiad dair blynedd yn ol. Ond gallaf ddyweyd fod y fugeiliaeth o'r pryd hwnw hyd yn awr yn parhâu i fyned ymlaen. Fe deimlir gan fwyafrif eglwysi ein sir fod hyn yn un o'r pethau anhebgorol i lwyddiant a pharhâd yr achos yn ein plith. Edrychir ar y sir, a gelwir hi gan rai yn wlad y bugeiliaid, ac fe ellid meddwl fod rhyw briodoldeb yn yr enw, gan mai i'r gorlan hon y maent yn edrych pan y maent yn edrych am fugeiliaid. Fe fydd rhywrai yn siarad am lwyddiant y fugeiliaeth yn ein sir fel pe b'ai yma rywbeth mwy ffafriol i'w llwyddiant nag sydd mewn unrhyw sir arall. Beth ydyw y rhywbeth hwnw, nid oes neb yn dyweyd. Ond fe ddywed pawb fod yma rywbeth. Rhaid ynte mai rhywbeth yn ei hawyrgylch ydyw, neu yn ei mynyddoedd, neu yn ei chymoedd culion. Nid dim yn yr eglwysi ydyw. Y mae genym ni yn y sir hon yr un anhawsderau i fyned drwyddynt ag sydd yn awr i'w cael mewn siroedd eraill. Ond os dymunid cael mewn un gair ddirgelwch llwyddiant y symudiad hwn, dyna fe, y diweddar Barch. E. Morgan.

Wedi oes o weithgarwch a defnyddioldeb mawr daeth yr amser iddo gadw noswyl, a hyny yn gynnarach nag yr oedd neb wedi meddwl. Yr oedd wedi cael iechyd rhagorol trwy ei oes, ac ymddangosai o wneuthuriad cryf a chadarn, hyd o fewn y flwyddyn olaf y bu fyw. Yn nechreu y flwyddyn hono ymaflodd rhyw afiechyd ynddo, a gwanychodd ei

nerth yn bur fuan. Chwith iawn iddo oedd methu cyflawni ei ddyledswyddau, a methu myned i'w gyhoeddiadau Sabbothol. Teimlai awydd cryf i bregethu yn ystod y misoedd yr oedd ei iechyd wedi tori i lawr. Ar ol rhyw bedwar mis o waeledd, gwellhaodd ddigon yn ystod yr haf i fyned i'w deithiau; a phan y gwaethygodd drachefn, mewn pythefnos o amser wedi iddo fethu yn gwbl, daeth y diwedd. Bu adnodau y Bibl yn gysur cryf iddo yn ei gystudd, ac fel yr oedd yn cael ei gaethiwo a'i gystuddio, derbyniodd nerth a gras a'i dygodd drwyddynt yn ddirwgnach. Mae y dyfyniad canlynol o lythyr a dderbyniodd Mr. David Rowland, Pennal, oddiwrtho rywbryd tua chanol tymmor ei gystudd, yn dangos beth oedd ei deimlad a'i brofiad crefyddol yr adeg hon:—

Mae yn dda genyf allu eich hysbysu fy mod yn parhâu i ddyfod ymlaen, er yn araf deg iawn. Mae y tywydd braf yma yn hynod o ffafriol i mi. Hyderaf y byddaf yn alluog i ddyfod atoch i'r Sabboth sydd genyf yna, a bydd yn dda genyf gael llettŷa gyda chwi. Mae arnaf hiraeth am gael pregethu; ond nid wyf yn grwgnach dim; ac yn wir nid yw hyny fawr o gamp i mi, pan ystyriwyf y blynyddoedd o iechyd ydwyf wedi ei gael. Mae rhywbeth mewn cystuddiau a phrofedigaethau sydd yn rhoddi mantais i ni weled sut y bydd ein crefydd yn troi allan. Mae yn ddirgelwch i mi sut y mae annuwiolion yn gallu ymdaro wedi myned i Mara, ac heb yr un pren i bereiddio y dwfr. Ni bu fy nghystudd i yn drwm, poenus, na maith. Carcharwyd fi mae yn wir, ond *without hard labour*. Ond yr wyf wedi cael fy nghadw yn yr anialwch ddigon o hyd nes dyfod o hyd i rai tywysenau o "hen ŷd y wlad," ac y maent yn flasus. Nid wyf yn rhyfeddu dim fod yr angelion yn parhâu i edrych yn ieuainc, gan eu bod yn cael bara mor faethlawn.

Yr oedd ei ddiwedd, fel y gŵr perffaith ac uniawn, yn dangnefedd. Hynod mor debyg oedd ei bregeth olaf i'r gyntaf. Testun y gyntaf oedd—"Nid oes ond megys cam rhyngof fi âg angeu." A thestun ei bregeth olaf, yr hon a bregethodd bythefnos i'r Sul y bu farw—"Brysia, dianc yno." Mawr ac anrhydeddus iawn oedd ei angladd, canys dygwyd ef i orphwys o Talsarnau i fynwent y Methodistiaid Calfinaidd yn y Dyffryn, lle hefyd yr huna ei hoff gyfeillion, Mr. Humphreys a Mr. Morgan. Deng mlynedd o'i flaen y bu y Parch. E. Morgan farw, ac yr oedd ei hiraeth ar ei ol mor fawr, fel na wnaeth ddim am wythnosau ond hiraethu a galaru, a chyfansoddodd alargan er coffadwriaeth am dano. A phan y daeth y deng mlynedd i ben, mor neillduol o darawiadol a phwrpasol ydoedd y pennill canlynol o'r Alargan, yr hwn a adroddwyd mor effeithiol gan y Parch. D. Jones, Garegddu, wrth lân ei fedd:—

A ddarfu iti wrth daflu golwg
  Ar wâg orseddau tŷ dy Dad,
Ddim dygwyddo gwel'd fy enw
  Wedi ei ysgrifenu â gwaed?
'R wy 'n gobeithio fod fy eisteddle
  Yr agosaf un i ti;
Ac y cawn dragwyddol syllu
  Ar y Gŵr fu ar Galfari.

ROBERT OWEN.

## GOHEBIAETH RHWNG EBEN FARDD A'R PARCH. DAVID JONES.

NID oedd Eben Fardd, mwy na llawer o bobl barchus a syber eraill, ar y dechreu yn gallu teimlo yn garedig iawn at y diwygiad Dirwestol, er iddo wedi hyny ddyfod i weled ei fawr werth ac i gymeryd ëi le gyda'i frodyr a'i gyfeillion yn eu hymdrech egnïol o'i blaid. Yn nechreu 1837 ymddangosodd yr Englynion canlynol o'i eiddo yn y *Gwladgarwr*:—

**Am draul y Cymmedrolwr—nac ammeu!**
**Mae 'n gymhwys i'w gyflwr;**
**Mae cwrw 'n amgen i henwr**
**Na gormod o ddiod ddŵr.**

**Cam, drwy elwa, Cymmedrolwr—ni wna,**
**Na niwed, fel *yfwr;***
**Doethach rhoi cwrw i deithiwr**
**Na siarad am *sinsir* a dŵr.**

**Camdreulio ni wna Cymmedrolwr—ddâ**
**Am ddiod y bragwr;**
**Gwell cwrw dywydd garw i'r gŵr**
**Nag ail estyn y glasdwr.**

**Drwy alwad, os Cymmedrolwr—wna ogwydd**
**Ei neges at ddyeithrwr;**
**Gwell cwrw iach i'r masnachwr**
**Tan dô, na llymeitian dŵr.**

**Diod iach i ddyn! dod i *ŷch* ddŵr;—boed**
**I bawb ei brïod wlybwr;**
**Cwrw i fynwes gynhes gŵr,—**
**O'r afon, *march* yw 'r yfwr.**

**Od wyt eto yn *Deetotal*—o gyrhaedd**
**Gwirod yn ymattal,**
**Na newidia 'n anwadal;**
**Trwy dy oes at dy air dal.**

**Os tordyn feddwyn fyddit,—d'od eto 'n**
***Deetotal* a ddylit;**
**Yn ynfyd ŵr na foed it'**
**Ail wreiddio fel yr oeddit.**

**I'r sawl a fedr yn gymmedrol—yfed,**
**Ofer peidio 'n *hollol;***
**Nid yw ffrwyth ffydd ond *froth* ffol**
**O ryw grothell ragrithiol.**

**O medri weled Cymmedrolwr—teg,**
**Nid doeth it' godi dwndwr;**
**Pan mewn cnawd ein Hiachawdwr**
**Yfai y gwin,—oedd fwy Gŵr!**

Teilwng lwyr-ymattaliwr,—yn ddiau,
Oedd Ioan Fedyddiwr;
Ond Iesu, ei gydoeswr,
Newydd wîn a wnai o ddŵr!

A pha ryw sî Pharisëaidd—a godid
Gyda gwŷr enllibaidd!
Pawb oedd â'u parabl cablaidd
Yn ddibrin i'w dduo, braidd.

"Wele ddyn glwth, rhwth, di-rin,"—meddynt,
"Meiddia fyw 'n gyffredin;
Yf *lasiaid* o feluswin
Efo rhai gwael,—yfwr gwîn!"

Am Ioan, "Twt, twt! mae 'n *Deetotal;*"—honent
Fod gan hwnw gythra'l!
Diammeu nad oedd dim yn dal
I'w nodau mor anwadal!

Goreu modd i gau 'r meddwyn,—a chwalu
Y chwilod o'i goryn,
Yw ymattal, dal yn dŷn
Hyd farw heb un dyferyn!

Ond gwaith ffol i Gymmedrolwr—beidio
Bod o gwrw 'n yfwr;
Pa achos? nid yw fwy pechwr
Na llanc da fo 'n llyncu dŵr.

Mae yn ddiau fod yr Englynion ar y pryd yn hynod o gymeradwy, yn enwedig gan y rhai a deimlent fod pobl yr heresi newydd yn ymestyn at fod yn rhy gyfiawn. Ac y maent yn dra dyddorol eto, nid yn unig ar gyfrif eu rhagoriaeth prydyddol, ond hefyd fel y maent yn dangos y math o resymau a ystyrid y pryd hyny yn barchus a chryfion o blaid ymyfed cymmedrol, yn wrthgyferbyniol i lwyrymwrthodiad â'r diodydd meddwol. Ond mae yn hyfryd genym ymhellach, trwy garedigrwydd ein cydwladwr tirion Myrddin Fardd, allu rhoddi ger bron ein darllenwyr yr ohebiaeth ddyddorol a ganlyn, yr hon a gymerodd le mewn canlyniad i ymddangosiad yr Englynion. Ysgrifenai y Parch. David Jones, y pryd hyny o Gaernarfon, ond wedi hyny o Dreborth, fel y canlyn at y Bardd:—

Caernarfon.

ANWYL SYR,

Wrth ddarllen eich Englynion i Ddirwest yn y *Gwladgarwr*, cynhyrfodd fy awenydd, gan obeithio na thramgwyddwch wrth ei ffrwyth, ond y cymerwch hyn yn garedig oddiwrthyf, er nad wyf yn hòni i mi fy hun yr enw Bardd.

"Pan mewn cnawd ein Hiachawdwr
Yfai y gwin oedd fwy Gŵr."

I Iesu ai melyswin—a ddeuent
Yn ddiod gyffredin?
Neu ddywed, od wyt ddewin,
A fu 'r Gŵr yn yfwr gwin?

Ai gâlon Iesu goeliaist?—dywediad
Ei wawdwyr a wiriaist;
Rhyfyg noeth, mor hyf y gwnaist:
Ow ddwl—ai Iuddew welaist?

Cymeraist eu cam eiriau,—a ddeuent
I ddno ei foesau,
O ryw nwyd fel gwir nodau ;
Testyn gwawd y tystion gau.

Fe wyddom, mai 'r un fyddin—ro'i wag lef,
Gŵr glwth am ein Brenin ;
A geiriau roent mwy gerwin
Fwyhâi 'r gwarth, Mae 'n yfwr gwin !

Y gân gyhoeddaist, gwna gyhuddo,—paid
Fel pŵl ac ymddigio :
Hyd fedd, dy fuchedd a fo
A Dirwest yn cyd-daro.

Eirf dilesg Gwirf hudoliaeth,—O gochel
Rhag awch ei lywodraeth :
Rhwng dy siol a'i swynol saeth,
Dyro astalch Dirwestiaeth.

Chwefror 20fed, 1837. DAVID JONES.

I'r hyn yr atebodd Eben Fardd fel y canlyn :—

Clynnog, Chwefror 24, 1837.

BARCHEDIG SYR,

Derbyniais eich llythyr neithiwr wedi ei agor gan rywun. Y mae i chwi ryddid yn ddiau i wneyd a fynoch â fy Englynion cyhoeddedig yn y *Gwladgarwr;* ond buaswn yn dysgwyl i chwi sydd yn athraw mor enwog, ymresymu yn eu herbyn, gan ddangos rhyw brawf o gyfeiliornad yr haeriad mewn perthynas i'r Cyfryngwr bendigedig yn yfed gwin pan y byddai ar achlysuron yn myned i wledd neu giniaw lle y defnyddid y cyfryw ddiod yn gyffredin.

Mi feddyliwn ei bod mor amlwg â'r haul oddiwrth y cyd-destun am Ioan *yn peidio yfed gwin,* fod ein Harglwydd yn yfed yn achlysurol bob diodydd yn ddiwahaniaeth. Ond yr wyf yn deall eich bod chwi yn *gwadu iddo yfed gwin!* Bydded rhyngoch chwi â Duw a'ch cydwybod am hyny. Y mae i chwi gyflawn ryddid i ddal neu wadu unrhyw bwnc yn gydwybodol, ond priodol i chwi adael yr un rhyddid i eraill heb eu goganu, gan eu galw yn *ddwl,* yn *bôl* ac yn rhyfygus. Nid ymresymu w hyn, ond peth a alwn mewn iaith lygredig yn *bwlio,* heb ddwyn ymlaen un prawf pendant o blaid nac yn erbyn y pwnc mewn dadl.

Fy marn i (pe byddai o ryw bwys i chwi ei gwybod) am *Lwyrymattaliad* yw, nad ydyw yn bwnc crefyddol o un math, ac am hyny nad yw o bwys neillduol pa un a gofleidir ef ai peidio. Y pechod a waherddir yw *yfed gormod* a *meddwi;* ond y dyn yr hwn wrth yfed ychydig na chais beidio yfed gormod, mabwysiaded y cyfryw yr unig foddion *dynol* sydd yn debyg o fod yn llwyddiannus i'w sobri, sef llwyrymattal ; am eraill, megys chwi eich hun a'ch cyffelyb, nid ydyw na chynnydd crefydd, na chynnydd moesau, na chynnydd gras i chwi lwyrymattal. Ar yr un pryd nid wyf yn eich beïo am wneyd, os ydych yn ei wneyd yn gydwybodol fel o wasanaeth i Dduw. Cyfansoddais chwech o Englynion mewn ffordd o atebiad i'r eiddoch chwi, yn y rhai yr wyf yn arfer yr un hyfdra ag a gymerasoch chwithau yn eich anerch ataf.—Wyf, &c.,

EBENEZER THOMAS.

"Canys daeth Ioan heb na bwyta nac yfed . . . . Daeth Mab y Dyn yn bwyta ac yn yfed."—IESU GRIST.

"A wado hyn aed a hi
A gwaded i'r haul godi."—DEWI WYN.

O Dafydd, Dafydd ! dofa—dy ganiad
Boed gynnil, arafa !
Egnïa 'n ddewr, a gwna 'n dda,
*Na wleddodd* ein HAIL ADDA.

Am ddiodydd, meiddia wadu—gair Crist;
Y gŵr craff, gwna daeru
Na flasiodd gweflau Iesu
Na 'i enau cain o win cu!

Agor wed'yn, a gwrida,—lyfr Iesu;
Lwfr asiwr, a chryna!
Y Creawdwr, O! creda
O flaen dyn, er mai dyn da.

Prawf nad yfai; profa hyn, Dafydd!—gwel
Mai 'r gwir a ddeil beunydd:
Rheol plaid, baid, ac ni bydd
Ond Iesu 'n iawn Dywysydd.

Mae iti lwyrymattal,—groeso;
Ond gresyn it' gynnal
Gair du; onid Gwir a dâl?
Nid gau rigymau gwammal.

"Na feddwer," boed mai hyn fyddo—ein deddf
Hyn mae Duw yn geisio;
A garo laith gwrw i'w lithio,
Heb oedi dim peidied ô.

EBENEZER THOMAS.

Yn atebiad i hyn ysgrifenodd Mr. Jones y llythyr rhagorol a ganlyn:—

Turf Square, Caernarfon,
Chwefror 27, 1837.

ANWYL SYR,

Deallais wrth eich llythyr fod fy Englynion atoch wedi cael effaith arnoch hollol groes i'm dysgwyliad a'm dyben yn eu hanfon, am na feddyliais unwaith y cymerech hwynt yn amgen na hyfdra diniwaid oddiwrthyf. Drwg iawn genyf yn wir boeni eich teimladau, yr hyn oedd bell o'm bwriad. Maddeuwch fy hyfdra. Ni elwais chwi yn *bwl*, fy nghyfaill, ond dymuno arnoch beidio ac ymddigio fel y gwnai *pwl.* Nid oedd hyny yn rhoddi yr enw hwnw arnoch chwi.

Yr wyf yn deall i chwi gamddeall fy Englynion (os teilyngant yr enw hwnw). Gofyn a wnaethum ynddynt a oedd Crist yn yfed gwin yn ddiod *gyffredin,* am mai gwrthwynebu diodydd meddwol fel diod *gyffredin* yn unig y mae y Gymdeithas Ddirwestol. Hefyd pa sail oedd genych i benderfynu fod Crist yn yfwr gwin, gan gymeryd tystiolaeth ei elynion yn sail i benderfynu yr achos. O herwydd mae lliaws o Esbonwyr enwog yn dra chynnil ar yr achos; megys J. Hughes, Dr. Lewis, Matthew Henry, Matthew Poole, a Dr. Doddridge, *Assembly of Divines' Annotations,* ac yn wir, yn ol a ddarllenais o waith Dr Lightfoot, nid yw yr un o honynt yn son gair yn eu hesboniadau ar yr adnodau a nodasoch, fod Crist yn yfwr gwin. Ac felly gallwn nodi eraill. Mae Traethawd yr enwog Proff. M. Stuart, America, ar Natur Diodydd y Bibl, i'r hwn mae Rhagymadrodd yn ei gymeradwyo yn uchel gan Dr. J. P. Smith, yn dangos yn amlwg yn ol rhediad yr Ysgrythyrau nad oedd duwiolion y Bibl yn arfer gwin fel diod gyffredin. Gan hyny mae fy nghwestiwn yn sylweddol a phwysig, ac nis gellir ei benderfynu mor hawdd â phrofi fod yr haul wedi codi, pan y mae genym brawf gweledig o'r naill, ac nad oes genym seiliau pendant i'r llall. Ni phenderfynais nad archwaethodd Crist win; ni feddyliais ac ni ddywedais y fath beth erioed. Gofyn cwestiwn a wnaethum i chwi am sail eich penderfyniad y bu Crist yn yfwr gwin; a gwyddoch nad oedd gofyn am sail eich penderfyniad chwi i'r mater yn tueddu i'r radd leiaf i wadu nad archwaethodd Crist win.

Gan hyny fy rhyfyg—yr hyn oedd yn galw arnaf *ddofi* a *chynnilo*—yw fy ngofyniad i chwi am sail eich penderfyniad i'r achos crybwylledig. Beiddio gofyn am sail eich penderfyniad yw unig sylfaen y ddyledswydd a osodasoch arnaf i wrido wrth agor y Bibl ar yr achos. Ond pa un ai penderfynu y bu Crist yn yfwr gwin, ai gofyn am sail y penderfyniad sydd fwyaf o ryfyg, gadawaf i chwi farnu. Ac ni allasai, fy nghyfaill, i'm gwaith yn gofyn am sail eich penderfyniad

dueddu yn y radd leiaf i gaethiwo rhyddid eich cydwybod i farnu drosoch eich hun yn yr achos, am fod gwahaniaeth dirfawr rhwng *barn* ar achos a phenderfyniad ar unrhyw achos. Dybygaf fod hyn yn *rhesymu*, os gwn pa beth yw rheswm. Nid wyf yn barnu fy Englynion yn deilwng o'r enw, ac ni honais im' fy hun gymhwysder i gael yr enw Bardd, ond rhyw rigymwr. Ond dybygaf fod hyn yn rhesymu.

Mae perthynas agos rhwng y Gymdeithas Ddirwestol â moesau dynion, am mai â moesau dynion yn uniongyrchol y mae hi yn ymwneyd. Sobrodd gannoedd o feddwon, a daeth lliaws o honynt drwyddi i Sïon. Onid yw ei heffeithiau yn dangos ei bod yn gynnydd i foesau dynion, ac onid crefyddol yw defnyddio y moddion tebycaf i ateb ei ddyben i yru ymaith brif bechod ein cenedl? Pan y tybir fod dros 30,000 yn lladd eu hunain yn ein teyrnas bob blwyddyn trwy ddiodydd meddwol, onid crefyddol ymdrechu yn y modd tebycaf i lwyddo i ragflaenu eu haflwydd? Cymaint o nifer yn cael eu *damnio* o'n teyrnas bob blwyddyn trwy eu meddwdod! A all gwir Gristion fod yn ddystaw a llonydd, &c.? O fy nghyfaill, wrth feddwl am gannoedd fyddai yn meddwi y Sabbothau, ond yn bresennol, trwy rinwedd y Gymdeithas hon, ydynt yn sobr hollol ac yn gwrando yr Efengyl yn gyson bob Sabboth, pa fodd wrth hyn nad yw y Gymdeithas yn gynnydd moesau? Mae llawer o Ddeistiaid wedi d'od trwy ei rhinwedd i ymarfer â moddion gras yn gyson, a rhai o'r tylwyth hyny wedi dyfod i Sïon dan gerdded a wylo. Onid oes a fyno hi â chrefydd, ac onid oes a fyno crefydd â hithau? Onid yw myned yn erbyn prif bechod ein hoes yn waith crefyddol; onid yw ceisio achub y meddwon o afael eu chwant a'u dwyn i glyw yr Efengyl yn waith crefyddol; onid yw caru llesâd tymmorol a thragywyddol ein cydgreaduriaid yn waith crefyddol? Mae amcan y Gymdeithas hon mor uchel a dwyn dynion at Grist. Ac yn wir, onid yw achub y genedl sydd yn codi, sef egin yr oes nesaf, rhag ymarferiad ofnadwy yr oes hon â'r diodydd meddwol yn waith crefyddol? Mae yr un berthynas rhwng y gymdeithas Ddirwestol â chrefydd ag sydd rhwng crefydd â moesau dynion. Edrychwch ar ei ffrwyth, a chewch weled hyny. Y ffordd gywiraf i'w hadwaen yw wrth ei ffrwythau. Os yw ei gwreiddyn yn rhy ddwfn yn y ddaear i'w adwaen yn iawn, edrychwch ei ffrwyth. Heddwch a chysur teuluaidd, bara a gwisgoedd ac iechyd a chrefydd yw y ffrwythau sydd yn tyfu arni, y rhai sydd yn berffaith amlwg i bawb a edrycho arnynt.

Daeth rhai o brif feddwon ein tref ni i'r eglwys, ac mae yn ddiammeu mai y Gymdeithas hon fu y moddion cyntaf i'w hymgeleddu a'u dwyn atynt eu hunain ac i glyw yr Efengyl. Aeth Cymdeithas Dirwest atynt i ddechreu gan ddywedyd, Na wna i ti dy hun ddim niwed; yna aeth yr Efengyl atynt gan ddywedyd, Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist a chadwedig fyddi. O gyfaill, chwi synech wrth y pethau a wnaed ac sydd yn cael ei wneyd trwyddi. Llawenhâi eich calon fod ymysg meddwon sydd wedi eu sobri a dyfod atynt eu hunain i ddechreu ystyried eu ffyrdd. Ni feddyliais erioed y gwnai golwg ar y meddwon druain yn d'od atynt eu hunain fy lloni gymaint.

Ac un o'r pethau a'm llonai fwyaf fyddai clywed eich bod chwi yn golofn ynddi. Mae yn ddiammeu genyf y gwnaech lesâd mawr i'ch cydgreaduriaid pe y deuech. Anwyl gyfaill, deuwch i'n cymhorth i geisio codi llawer o ddynion truain sydd yn debyg o farw yn y ffos, ac i geisio cael yr oes sydd yn codi yn genedlaeth sobr. Yn wir, ni chredech braidd y daioni a wnaech, a'r cymhorth fyddai eich gwasanaeth. Dyma yr unig beth sydd yn fy ngolwg yn fy ymdrechiadau Dirwestol yw llesâd cyffredinol, a gobeithiaf y gwna golwg ar yr un dyben eich denu chwithau, gan fod rheswm a phrofiad yn sicrhâu i ni nad oes angen am ddiodydd meddwol fel diod gyffredin er cynnal ein natur yn gysurus.

Fy hyfdra arnoch maddeuwch, fy rheswm iawn ddeallwch, a'm dymuniad taer cyflawnwch.

Wyf, yr eiddoch yn gorphwys yn y gobaith hwnw,

DAVID JONES.

Yr wyf yn bwriadu aberthu fy mlysiau anianol ar allor fawr daioni cyffredinol.

## Dyma atebiad Eben Fardd :—

Clynnog, Mawrth 3, 1837.

BARCHEDIG AC ANWYL SYR,

Dywedwch yn eich ail lythyr "bod yn ddrwg genych boeni fy nheimladau, a bod hyny ymhell o'ch bwriad." Y mae yr ymesgusodiad yma yn gwbl foddlonol i mi, ac yr wyf yn maddeu yn hollol rydd a diffuant i chwi.

Yr ydych yn gofyn ac yn ail ofyn, Ai gwin a yfai Crist yn ddiod gyffredin. Yn awr, beth a feddyliwch wrth ddiod gyffredin? Ai y ddiod a yfir bob amser y byddo syched ar un? Os felly, nid wyf yn haeru fod Crist yn yfed gwin yn gyffredin. Neu ynte, ai diod a yfid gyda bwyd yn gyffredinol? Yn fyr, *ni* ddywedais ei fod yn "yfwr gwin," yr hyn a ddynoda ddefnyddiad *cyson* a gwastadol o'r ddiod hono; na chwaith mai gwin oedd ei ddiod gyffredin, yr hyn a arwydda, dybygaf, yr un *cyson arferiad* o'r gwlybwr hwnw â'r ymadrodd gwawdus "*yfwr gwin.*" Ond yr hyn a ddywedais i yn fy Englyn oedd, "yfai y gwin;" a fy ngolygiad, neu y meddylddrych a amcanwn ei hysbysu drwy yr ymadrodd oedd hyn, sef nad oedd Iesu Grist yn gwrthwynebu yfed gwin ar achlysuron pan y byddai yn cael ei ddodi ger ei fron neu ei gynnyg iddo. Ond gobeithiaf na ddarfu i chwi erioed feddwl fy mod yn haeru i Iesu Grist yfed gwin bob amser yr yfai, nac iddo erioed, ar un achlysur, ei yfed fel ag i dueddu yn y radd leiaf at anghymedroldeb! Eto yr wyf yn haeru yr yfai win, yn y dull ac ar achlysuron cyffelyb i'r hyn a nodais uchod. Hyn ni wna y Dirwestwyr, fel eu galwch (enw, wrth fyned heibio, nad yw briodol iddynt); ond y maent hwy yn cario crefydd a moesau i'r fath radd oruchel o rith sancteiddrwydd mursenaidd, fel na *phrofant* win, nac un ddiod arall ag y byddo yr ysbryd bwbachlyd a distrywiol hwnw, sef *alcohol*, ynddi. Yn awr atebaf eich gofyniad. Pa sail sydd genyf i benderfynu i Iesu Grist yfed gwin? Fy sail i dybio a phenderfynu hyny yw ei eiriau am dano ei hun mewn cyferbyniad â Ioan Fedyddiwr yn hyn o ymddygiad; os nad y casgliad wyf fi yn wneuthur oddiwrth y geiriau yw y casgliad cywir a naturiol, nis gwn pa synwyr i wneyd o'r ymadrodd! Addefaf fy mod yn dywyll ac anmherffaith yn fy amgyffredion o amryw bethau ysgrythyrol ac anianol; ond os gallwch chwi fy *argyhoeddi* o fy ngham farn am ystyr y geiriau mewn dadl, ni phetrusaf gyfaddef fy nghamsyniad a'i adael; hyd hyny yr wyf yn rhwym o gredu yr hyn y mae fy neall a fy nghydwybod yn fy arwain i'w gredu. Ni feddyliodd y rhan fwyaf o'r Esbonwyr dysgedig a duwiol a enwasoch am y ddadl a gyfodai y dyddiau hyn am ddiodydd, yr hyn, mae'n debyg, sydd un rheswm da am eu dystawrwydd ar destunau sydd yn dwyn perthynas â'r ddadl.

Nid wyf yn gwadu nad yw uno â'r Gymdeithas Ymattaliol yn gynnydd moesau i'r meddwon; ond dywedais nad allwn ei gyfrif felly i chwi a'ch cyffelyb oedd yn sobr a chymedrol bob amser. Dywedais hefyd nad oeddwn yn tybied undeb â'r Gymdeithas yn bwnc crefyddol; ond yr wyf yn addef fod cariad crefyddol, yr hwn sydd rinwedd crefyddol, yn ein cymhell i annog ein cydgreaduriaid i ymadael â'r hyn fyddo er niwed iddynt, ac i osod siamplau da o'u blaen. Yn awr, y siampl dda, yn fy nhyb i, yw byw yn sobr a chymedrol yn yr arferiad o bob peth, ac nid llwyr ymwrthod â'r cyfryw bethau, er fod yn anghenrheidiol i'r meddwyn, dybygid, lwyr ymwrthod â diod feddwol cyn y gall fyw yn sobr a chymedrol yn ol y siampl a osodir o'i flaen. Ond pa angenrheidrwydd sydd i'r sawl oedd bob amser yn gymedrol, ac na bu llymaid o unrhyw ddiod erioed yn niwed iddynt uno â'r Gymdeithas? Nid yw ymattal oddiwrth ddiod gadarn fwy o hunanymwadiad iddynt hwy nag ymattal oddiwrth laeth; eto ymestynent ymlaen yn orchestol i ladrata llawryf buddugol y meddwyn diwygiedig, druan, yr hwn a *gostiodd* iddo lawer diwrnod du ac annifyr, a llawer brwydr chwerw i orchfygu ei chwant, ei flys, ei arferion, a'i gyfeillion. Gadawent i'r meddwon, gan eu bod yn sobri; gallent drin eu busnes eu hunain, a llywio gorchwylion eu cymdeithas glodfawr heb gynnorthwy neb arall. Ac os oes angen am gynnorthwy, gweddïer drostynt am iddynt ddal ati, ac annoger hwy yn ddibaid i fyned ymlaen yn eu gorchwyl da a dilyn siampl y dyn cymedrol sydd yn arfer y byd hwn heb ei gamarfer.

Os dywedais ddim yn fy llythyr hwn, neu fy llythyr cyntaf i'ch gofidio, erfyniaf arnoch faddeu i mi, a chofio mai cawr oeddych yn ymosod arnaf, ac nad oedd ryfedd imi roddi ambell gilgwthiad diarbed i gadw fy hun rhag myned dan draed. Yr oeddwn wedi llunio yn fy meddwl lawer o bethau eraill ar fedr eu hysgrifenu, ond mae yn debyg mai gwastraffu amser a fyddai hyny, felly terfynaf ar hyn.

Wyf eich ufudd was gyda pharch,

EBENEZER THOMAS.

P.S.—Medrwch brydyddu yn dda, yr ydych yn cynnyddu yn y gelfyddyd, am hyny na fyddwch mor ŵyl i arddelwi yr enw Bardd.—E. THOMAS.

Yn ddiweddarach ysgrifenodd Eben Fardd y llythyr canlynol at y Parch. William Williams (*Caledfryn*), oedd y pryd hyny yn byw yn

Nghaernarfon, ac fel yntau yn methu a syrthio i fewn â'r symudiad dirwestol :—

Clynnog, March 11, 1837.

REVD. AND DEAR SIR,

After revolving in my mind the subject of our conversation the other day on the road in the vicinity of Clynnog, I have come to a determination not to permit you to publish the correspondence which I lent to you for perusal with your friends.

My reasons for concealing the letters from the public are, first, because it evidently appears that the operation of the *Teetotal System* is highly beneficial to a certain section of the community, and therefore I am unwilling to be the means of retarding its course. Also because I deem it imprudent, and somewhat unfair, to rag my opponent before the public as the object of my coarse attack in my *Englynion*, when, perhaps, in respect of his office, he was entitled to a more gentle and dignified repulsion. Lastly, I have a strong aversion to engage publicly in the Teetotal controversy, because the advocates of the system (if system it be) are characterised with such a peculiar degree of extravagance and fanaticism in the zeal for the upholding of their favourite hobby, that no deliberate and impartial enquiry can ever be made, so as to bring the controverted point to a satisfactory issue. And from the ephemeral popularity of these opinions, I should be exposed to obloquy, without producing any adequate effect to compensate for my interference. Having thus briefly stated my reasons for prohiting the publication of the correspondence, I must request of you, sir, to return the manuscripts as soon as convenient.

Yours sincerely,
EBENEZER THOMAS.

A dyma atebiad Caledfryn :—

ANWYL SYR,

Yr wyf gyda'r genad yn dychwelyd yr ohebiaeth yn ol, gan ar yr un pryd arwyddo fy niolchgarwch i chwi am gael golwg arni. Nis gallaf mewn un modd ddirnad pa niwaid a wnelai yr Englynion pe caent eu cyhoeddi ; ni wnaent, dybygwn i, ond creu tipyn o ddifyrwch i garwyr Beirdd a Barddoniaeth. Y maent yn rhagorol dda ; bum yn eu darllen i amryw o fy nghyfeillion, a chymeradwyir hwynt yn fawr. Yr wyf wedi cadw copi o'r Englynion, ond ni chyhoeddaf hwynt oni b'ai i chwi roddi caniatâd. Y mae yn resyn rhwystro iddynt weled goleuni dydd. Cymerwch ail feddwl, ac ymdrechwch gael Mr. D. Jones o'r meddwl i'w cyhoeddi.

Yr eiddoch ar ffrwst,
WM. WILLIAMS.

Caerynarfon, Mawrth 24, 1837.

## MORGAN, YR HERETIC.

HEBLAW y pwysigrwydd a berthyn yn hanes yr Eglwys i godiad a chynnydd Morganiaeth, y mae y Cymro dan rwymau arbenig i ymgydnabyddu â syniadau y gŵr a dynodd fwyaf o sylw, a greodd fwyaf o gynhwrf yn y byd, ac a ennillodd fwyaf o ddylanwad y tu allan i Gymru o neb o'i gydwladwyr o ddyddiau "Gomer ab Japheth" hyd y dydd hwn. Mae hyn ynddo ei hunan yn rhwym o wneyd Morgan, neu Pelagius, yn gymeriad dyddorol yn ngolwg pob Cymro cenedlgarol, gan nad beth a feddylir am ei olygiadau duwinyddol. Aeth ei enw yn adnabyddus drwy holl wledydd crêd mewn amser byr. Hysbys i'r darllenydd mor gyffredinol y teimlid ei ddylanwad—yn y mynachlogydd a'r holl gylchoedd eglwysig, ymysg y werin a'r cyffredin bobl, a hyd yn nod yn llys yr Ymherawdwr. Mor aml oedd dilynwyr y Mynach Cymreig, ac mor fawr oedd parch ei ddysgyblion iddo, fel yr oedd yn beryglus i Jerome yn ei encilfan yn Bethlehem bell ei wrthwynebu. Ond fe ymddengys fod ei lwyddiant yn fwy yn Nghymru nag yn unman arall. Gwelir oddiwrth y dyfyniad canlynol, a gymerwyd o Gronicl Caradoc o Lancarfan, fod "Hud Morien,"* neu Heresi Morgan, wedi llygad-dynu y genedl:—"Cyfergyd â'r amseroedd hyn (B.A. 380) y bu Morien ap Argad Fardd yn ddyn dysgedicaf o neb yn y byd, ac efe a fu yn ammau Bedydd ac Aberth Corff Crist, ac achos hyny y bu casineb ac ymrysonau ac ymladdau nid bychain: ac Hud Morien a fu un o dri Hud Ddargoll Ynys Prydain: cyntaf oedd Hud Urb Lwyddawg o Lychlyn, a ddug agos bawb a fedraint wrth arf a rhyfel o Ynys Prydain au dwyn ar ddargoll yng Ngwledydd y Môr marw; ail y bu Hud Morien, sef oi achos y colled bedydd ag Aberth yn Ynys Prydain, ag ydd aeth holl werin yr ynys yn Iuddewon difedydd; trydydd Hud oedd un Gwydion ab Don yng Ngwynedd, a gafas o dwyll fraint coron a phendefigaeth ar Fon ac Arfon ar Cwmmwd y gan amherawdwr Rhufain am yrru y Cymry ou tiroedd, a rhoi y tiroedd hyny i'r Gwyddelod a Gwyr Llychlyn."†

Gallwn grybwyll dwy ystyriaeth sydd yn rhoddi cyfrif am syniadau Morgan, ac am y derbyniad croesawus a chyffredinol a gawsant ymysg y Cymry. Un ydyw y gyfathrach oedd rhwng yr Eglwys Frytanaidd a'r rhan ddwyreiniol o'r Eglwys Gristionogol. Ychydig a wyddom am hanes Cristionogaeth yn Mhrydain am ganrifoedd wedi ei dyfodiad drosodd; ond y mae yn ddilys ddiammeu ei bod am gyfnod maith yn gwbl annibynol ar Rufain. "Yr oedd yr Hen Eglwys Frytanaidd," meddai Blackstone, "pwy bynag a fu yn offeryn i'w phlanu, yn ddyeithr i Esgob Rhufain a'i awdurdod honedig." Dilynai ein hynafiaid arferion a defodau y rhan ddwyreiniol o'r eglwys. Ni wyddom ddim gyda

* Morien y gelwid Morgan gan yr hen awdwyr. Ei ddysgeidiaeth a alwent yn Morienddysg. *Myf. Arch.* I. 410. † *Iolo MSS.* 42, 43.

sicrwydd ynghylch dechreuad a hanes y gyfathrach rhwng y Cymry a'r dwyreinwyr; ond nid oes, dybygid, nemawr o ammheuaeth ynghylch ei bodolaeth. Mewn canlyniad i'r cymundeb hwn, naturiol oedd i syniadau a golygiadau dwyreiniol ffynu ymysg y genedl; a gŵyr pawb sydd wedi talu ond ychydig sylw i hanes yr athrawiaeth, fod dwy duedd i'w canfod yn y brif eglwys gyda golwg ar y materion a ddaethent i sylw yn y ddadl Forganaidd. Yn y gorllewin yr oedd y duedd at ddyrchafu gras Duw yn achubiaeth pechadur; tra y tueddai dwyreinwyr yn gryf at ddyrchafu gallu dyn a rhyddid yr ewyllys. Dwy *duedd* a ddywedasom; oblegid yr oedd syniadau y Tadau hyd amser Awstin yn hynod o dywyll ar y materion hyn. Ceir gwrthddywediadau fwy na rhif yn eu hysgrifeniadau. Cawn Morgan a'i wrthwynebydd Awstin yn cyfeirio at yr un llyfrau, a phob un o'r ddau yn cael gosodiadau ynddynt i attegu ei gyfundraeth. Nid oedd sefyllfa dyn wrth natur, a lle gras Duw yn ei gadwedigaeth, wedi bod yn destunau sylw a dadl hyd y pryd hwnw, ac am hyny ofer ydyw edrych am oleuni a chysondeb yn y Tadau blaenorol. Ond er eu holl anghysonderau, mae yn eglur iawn fod y Tadau Lladinaidd yn rhoddi lle mawr yn eu cyfundraethau i lygredigaeth y natur, a'r angenrheidrwydd am ras; tra yr oedd y Tadau dwyreiniol yn rhoddi arbenigrwydd neillduol ar allu dyn i ddychwelyd a chyflawni ei dyledswyddau. Tybiodd Awstin mai newydd-beth oedd Morganiaeth; ond yr oedd Jerome, yr hwn oedd yn llawer mwy cydnabyddus â llenyddiaeth y dwyrain, yn gallu ei holrhain i'w ffynnonell yn ysgrifeniadau Origen. Yn ol Clement ac Origen, y mae dyn yn meddu gallu ynddo ei hun i ymwrthod â phechod ac i droi at sancteiddrwydd. Nid oeddynt yn gwadu gras yn hollol; ond yr oedd eu syniadau yn dywyll a niwlog ar y mater. Dyna, y mae yn fwy na thebyg, y golygiad a ffynai ymysg y Cymry pan ddechreuodd Morgan dynu sylw. Gorchwyl hawdd i ŵr o'i alluoedd ef oedd eu harwain gam ymhellach yn yr un cyfeiriad.

Ystyriaeth arall sydd yn rhoddi cyfrif am olygiadau Morgan, a'r derbyniad a gawsant gan ei gydgenedl, ydyw dysgeidiaeth y Derwyddon am ddyn tra yn y fuchedd hon. Er fod y Cymry wedi derbyn Cristionogaeth ymhell cyn dyddiau Morgan, mae pob sicrwydd fod syniadau a golygiadau Derwyddol yn parhâu i ddylanwadu arnynt. Derwyddol, yn hytrach na Christionogol, oedd golygiadau y beirdd godidocaf, megys Taliesin ac Aneurin, gryn amser ar ol ei oes ef. Gwyddom fod yr Iuddewon, ar ol derbyn Cristionogaeth, yn dwyn eu hen syniadau i'w credo, a thrwy hyny yn gwneyd ffydd Duw yn ofer. Yr un modd yr oedd hen grefydd y Cymry yn rhwym o gario peth dylanwad ar eu credo hwythau fel Cristionogion. A ganlyn ydyw athrawiaeth Barddas ar ddyn yn ei sefyllfa o brawf yn ystod ei fywyd:—"Cyfranogion o fywyd a daioni yn y radd galledig isaf, ag or marw ar anfad yn y radd uchaf, a ellir yn gyfun gydwedd a bywyd a bod hundebol, ydynt y Bywydolion yn annwfn, ac am hyny drwg angenfod ydynt, gan faint traphwys y drwg wrth y da, a byw a bod o fraidd ydynt, a byrr angenfod yw eu hoedlad, a'u bywydfod, eithr o drangc ag angau y mae symud iddynt, yn abredol i radd a fydd uwch, ac yno cael chwanegiad bywyd a daioni, ac fal hyn o radd i radd yn abredu nes nes at eitha bywyd a daioni, a Duw oi drugar serch at fywydolion yn parotoi'r ffordd ar hyd

yr abred o lwyr gariad tuagatynt hyd oni ddelont i gyflwr a phwngc hanfod dynoldeb, lle y mae cydbwys daioni a drwg heb un yn pwyso y llall i lawr, ac o hyny y dyfydd rhwyddineb, a dewis, a gallu tawl, i ddyn, fal y dichon weithredu yr un a fynno ar unrhyw ddeubeth, mal o ddaioni a drwg, ag o hyn y gwelir mae cyflwr prawf ag addysg yw cyflwr dynoldeb, lle y mae cydbwys y da a'r drwg, a bywydolion wrth eu bodd eu hunain."* Ymhob gradd yn abred y tu isaf i "gyflwr a phwngc hanfod dynoldeb," sef ystad dynion yn y fuchedd bresennol, y mae y drwg yn fwy na'r da, a'r "bywydolion" mewn canlyniad yn rhwym o fod yn ddrwg. Ond nid ydyw Duw yn eu casâu, oblegid nis gallant fod yn amgen. Wedi cyrhaedd yr ystad bresennol, y mae y drwg a'r da yn gwbl gyfartal. Mae mor hawdd i ddyn ymsymud yn y naill gyfeiriad a'r llall. Y mae gan hyny mewn sefyllfa o brawf. Wedi i'r prawf derfynu, bydd yn esgyn i gylch gwynfyd, lle mae y da yn gorbwyso y drwg. "Tri pheredigaeth pob gwneuthur peth [*the three causations of all acts*] angen a digwydd hyd gylch abred, dewis o bwyll ryddyd ym myw dyn, a dewis o gariad ynghyflwr y gwynfyd." Ni wnaeth Morgan ddim ond rhoddi lle i'r golygiad uchod ar allu a rhyddid dyn yn ei gredo, a'i amddiffyn trwy ddyfynu rhyw ranau o'r Bibl a ymddangosent iddo ef yn ffafriol iddo. Gwelir fod pobpeth yn fanteisiol i gychwyniad a lledaeniad Morganiaeth yn Nghymru.

Gan fod llawer o ysgrifeniadau Morgan wedi myned ar ddifancoll, a'r rhai sydd ar gael o'i eiddo, a chaniatâu eu dilysrwydd, wedi eu cyfnewid i raddau mwy neu lai, ni allwn wneyd yn well na chasglu nifer o ddyfyniadau a geir yn nhraethodau ei wrthwynebydd Awstin, esgob Hippo. Gallwn ddibynu yn gwbl ar onestrwydd Awstin. Ni fu dadleuydd tecach a mwy boneddigaidd erioed. Nid oedd y perygl lleiaf iddo wneuthur cam trwy ddyfynu yn annheg. Yma ac acw ar hyd ysgrifeniadau gwrth-Forganaidd Awstin cawn amryw gyfeiriadau at Morgan yn bersonol, y rhai sydd yn dangos nad oedd ganddo un gradd o ragfarn yn ei erbyn. Ar y cyntaf gochelodd Awstin ei enwi pan yn ysgrifenu yn ei erbyn, gan ei fod yn awyddus i'w ennill a'i berswadio i ymwrthod â'i gyfeiliornadau. Yn wir, trinodd ef am dymmor gyda'r tynerwch mwyaf. Yr oedd pobpeth a glywsai am dano yn peri i'r esgob ei hoffi fel dyn a Christion. Pan y cyfeiriai ato, gwnai hyny yn y dull mwyaf caredig. "Y dyddiau diweddaf darllenais ryw ysgrifeniadau o eiddo Morgan—gŵr sanctaidd, fel y'm hysbysir, yr hwn sydd wedi gwneyd cynnydd nid bychan mewn bywyd Cristionogol—yn cynnwys nodiadau byrion ar epistolau yr Apostol Paul." Yna ä ymlaen i ddyfynu o'r nodiadau hyny; ac er eu bod yn orlawn o gyfeiliornadau, nid ydyw Awstin am ei ddal yn gyfrifol am danynt. Sylwa nad ydyw yn ei berson ei hun yn gwrthwynebu yr athrawiaeth am lygredigaeth y natur, ond yn hytrach yn dwyn ymlaen ryw wrthddadleuon o eiddo eraill. "Ni ddylem fod yn ddisylw o'r ffaith," meddai, "nad ydyw y gŵr da a theilwng hwn (fel y desgrifir ef gan y rhai sydd yn ei adnabod), yn dwyn ymlaen yr ymresymiad yn erbyn trosglwyddiad naturiol pechod ei hunan, ond adrodd yr hyn a ddywedir gan y personau hyny sydd yn anghymeradwyo yr athraw-

* *Barddas*, 210.

iaeth y mae." "Ai nid ydych yn gweled pa fodd y mae Morgan wedi rhoddi i mewn yn ei ysgrifeniadau yr holl baragraph blaenorol, nid yn ei berson ei hun, ond yn mhersonau eraill, gan ei fod yn gwbl sicr ynghylch newydd-deb yr athrawiaeth hon (na chlywyd am dani o'r blaen), yr hon sydd bellach yn dechreu dyrchafu ei llais yn erbyn yr hen olygiad sydd mor naturiol i'r eglwys, fel yr oedd arno gywilydd neu ofn ei harddel ei hunan. Ac mae yn debyg nad ydyw mewn gwirionedd yn credu fod dyn yn cael ei eni yn ddibechod." Paham, ynte, yr oedd yn codi y gwrthddadleuon yn erbyn llygredigaeth y natur i sylw? Dyma yr eglurhâd a ddyry Awstin:—"Nid ydwyf yn credu fod dyn mor deilwng a Christion mor dda ar un cyfrif yn eu derbyn, gan eu bod yn rhy wyrgam a gwrthwynebol i wirionedd Cristionogol; ond mae yn eithaf posibl ei fod wedi ei ddyrysu i'r fath raddau gan resymau y rhai sydd yn gwadu trosglwyddiad pechod trwy enedigaeth fel ag i deimlo yn bryderus i glywed ac i wybod beth oedd i'w ddyweyd mewn atebiad iddynt; ac ar y cyfrif hwn ei fod yn anewyllysgar i fod yn ddystaw ynghylch daliadau a gyflwynir i sylw gan y rhai sydd yn gwadu trosglwyddiad naturiol pechod, gyda'r amcan o gael trafodaeth ar y cwestiwn mewn amser cyfaddas, ac, ar yr un pryd, ei fod yn gwrthod adrodd yr opiniynau yn ei berson ei hun rhag cael ei ammeu o'u coledd." Cydnabyddai Awstin fod Morgan yn meddu "meddwl cryf a bywiog," ei fod yn berchen "athrylith ddysglaer," ac yn "ysgrifenwr grymus." Dywed ei fod yn "arfer gochelgarwch canmoladwy" gyda materion dyrys a thywyll. Barnai mai "ei zel yn erbyn y rhai sydd yn defnyddio gwendid y natur ddynol fel amddiffyniad dros eu pechodau" a barodd iddo fyned ar gyfeiliorn. Newidiodd yr esgob ei dôn, mae yn wir, pan welodd gyfrwysdra a chyndynrwydd Morgan. Ymroddodd i'w ddynoethi yn ddiarbed. Teimlodd pen dadleuwr yr oesoedd fod ganddo wrthwynebydd teilwng o'i ddûr, ac fod yn rhaid iddo ymwregysu i'r frwydr.

Yn ol Morgan ni ddarfu i gamwedd Adda niweidio neb ond ef ei hun, ac nid oedd y niwed a dderbyniodd yntau trwy ei anufudd-dod yn bwysig. Edrychai ar ei drosedd fel anufudd-dod plentyn direidus a dibrofiad. Nid ydyw marwolaeth yn gosb am ei bechod. Buasai dynion yn meirw pe na buasai pechod wedi dyfod i'r byd. Can belled ag y mae camwedd Adda wedi effeithio ar y natur ddynol, gellir dyweyd ei bod yn gwbl ddilychwin, ac yn parhâu yn y meddiant o'r oll oedd ynddi yn gynhenid. "Nid oes na drwg na da ynom yn ein genedigaeth, ar gyfrif yr hwn yr ydym yn feïus neu ganmoladwy. . . Yr ydym yn cael ein ffurfio yn naturiol heb rinwedd na llygredd; ac yn flaenorol i weithrediad ei ewyllys briodol ei hun nid oes dim mewn dyn ond yr hyn a grëodd Duw ynddo." "Paham yr ydych yn ei ymofyn Ef atynt hwy [babanod]? Mae y rhai yr ydych yn cynnyg cyrchu y meddyg atynt eisoes yn iach. Ni chondemniwyd hyd yn nod y dyn cyntaf o herwydd unrhyw reswm o'r fath [ei drosedd], oblegid ni chyflawnodd un pechod wedi hyny." "Gyda golwg ar ei hiliogaeth, nid yn unig nid ydynt yn anmherffeithiach nag ef, ond y maent mewn gwirionedd yn cadw mwy o orchymynion nag a wnaeth ef, gan ei fod wedi esgeuluso cadw un." "Y mae Duw mor dda a chyfiawn fel y mae wedi creu dyn gyda natur sydd yn gwbl abl i fyw yn ddibechod, pe yr ewyllysiai

fyw felly." "Ni ddylid caniatâu ar un cyfrif fod Duw, yr hwn sydd yn maddeu i ddyn ei bechodau ei hunan, yn cyfrif pechod un arall iddo." Ymresymai yn gywrain i geisio dangos fod y golygiad a ystyrir yn uniongred ar sefyllfa dyn wrth natur, yn groes i reswm ac ysgrythyr. Cyfeiria yn fynych at y geiriau, "Canys y gŵr digred a sancteiddir trwy y wraig, a'r wraig ddigred a sancteiddir trwy y gŵr. Pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eu plant; eithr yn awr sanctaidd ydynt." "A chaniatâu," meddai, "fod pechadur yn cenedlu pechadur ar ei ddelw ei hun, dylai un cyfiawn genedlu un cyfiawn. Oblegid paham nad allai ei fod wedi ei fedyddio yn lwynau ei dad, pan y dywedir yn yr epistol at yr Hebrëaid fod Lefi yn abl i dalu degwm yn lwynau Abraham." "Os nad ydyw pechod y rhïant yn ei niweidio wedi iddo gael maddeuant a thröedigaeth, pa faint llai y gall niweidio ei fab?" "Os ydyw bedydd yn golchi ymaith yr hen bechod, yna y mae y plant a enir i rieni bedyddiedig o angenrheidrwydd yn lân oddiwrth bechod, oblegid nis gallant drosglwyddo i'r rhai sydd yn dyfod ar eu hôl yr hyn nid ydynt eu hunain yn ei feddu." Cyfeiriai ei wrthwynebwyr at yr hyn a ddywed Paul yn Rhuf. v. Ymdrechai yntau ddangos fod geiriau yr Apostol, *a chymeryd eu hesboniad hwy arnynt*, yn groes i ffeithiau diammheuol. Os dywedir mai eu hystyr ydyw fod marwolaeth wedi dyfod trwy anufudd-dod Adda, yna dylid tynu y casgliad fod marwolaeth wedi ei ddifodi trwy ufudd-dod Crist, yn gymaint ag fod y "dawn" trwyddo ef yn fwy na'r "condemniad" a ddaeth trwy Adda,—"Lle yr amlhaodd pechod y rhagor-amlhaodd gras." "Os trwy bechod y dyn cyntaf y mae wedi dyfod fod yn rhaid i ni farw, yna trwy ddyfodiad Crist mae yn rhaid, gan ein bod yn gredinwyr, na fyddwn feirw; oblegid nis gall fod y troseddwr cyntaf yn ein niweidio yn fwy nag y mae yr ymgnawdoliad a'r prynedigaeth yn ein llesâu." Ac heblaw hyn, "os ydyw pechod Adda yn niweidio hyd yn nod y rhai nad ydynt yn pechu [babanod], yna y mae cyfiawnder Crist yn llesâu y rhai nad ydynt yn credu; oblegid dywed yr Apostol, 'felly (ië, mwy o lawer) yr achubir dynion trwy un, megys y buont feirw yn flaenorol trwy un.'" "Ac os ydyw marwolaeth y corff yn ganlyniad pechod, ni ddylem feirw wedi derbyn y maddeuant y mae y Gwaredwr yn ei roddi i ni." Yr oedd y cwestiwn pa un ai cenedledig ai crëedig ydyw yr enaid yn tynu llawer o sylw yn yr oes hono. "Os nad ydyw yr enaid," meddai Morgan, "yn cael ei eni trwy genedliad naturiol, eithr yn unig y cnawd, yna y diweddaf sydd yn meddu llygredigaeth trosglwyddedig, gan na fyddai yn deg i'r enaid, yr hwn sydd newydd ei eni, a'r hwn nid yw yn dyfod o Adda fel ei wreiddyn, orfod dwyn baich pechod mor hen, yn nghyflawniad yr hwn nid oedd ganddo un rhan." Galwai sylw yn fynych at y cwestiwn, Beth ydyw pechod? Haerai ef a'i ganlynwyr ei fod yn gynnwysedig mewn gweithredoedd. Ni allai ganfod rhesymoldeb yr athrawiaeth fod *natur* dyn yn bechadurus. "Mae yn ddyledus arnom yn gyntaf oll ystyried y gosodiad a fyntumir, sef fod pechod wedi gwanychu a chyfnewid ein natur. Yr ydwyf yn credu y dylem yn mlaenaf ymholi beth ydyw pechod,—pa un a ydyw yn sylwedd ai ynte yn enw hollol ddisylwedd, trwy yr hwn yr ydym yn dynodi nid yr hyn sydd wirioneddol, nid hanfod, nid corff, ond y cyflawniad o weithred bechadurus? Yr ydwyf yn barnu

mai dyma y ffaith; ac, os felly, pa fodd y gall yr hyn sydd yn amddifad o sylwedd wanychu neu newid y natur ddynol?" Yn gyffelyb y dywed ei ddysgybl Cœlestius:—"A ydyw pechod yn hanfod sylweddol, ynte gweithred yn unig? Os ydyw yn hanfod, rhaid, bid sicr, fod iddo awdwr; yna yr ydys yn hòni fod arall heblaw Duw yn awdwr hanfod sylweddol. Yn awr, gan y byddai yn bechadurus haeru hyn, yr ydym yn cael ein gorfodi i dynu y casgliad mai gweithred ydyw pob pechod ac nid hanfod. Os gweithred ydyw, gellir ei ochel."

Yr oedd golygiadau Morgan ar sefyllfa dyn wrth natur yn ei orfodi i ystumio rhanau o'r ysgrythyr yn y dull mwyaf afresymol. Crybwyllwn ddwy engraifft. Dywedir amryw weithiau yn y Bibl yn y modd egluraf fod pechod, mewn rhyw fodd, wedi dyfod i'r byd trwy gamwedd Adda. Yr oedd yn rhaid iddo gynnyg rhyw eglurhâd ar y rhanau hyny. Ei esboniad ydyw fod Adda, trwy bechu, wedi rhoddi esiampl ddrwg i'w hiliogaeth. Ni ddylem ddeall mwy wrth y geiriau fod pawb wedi pechu yn Adda nag fod pawb sydd yn pechu yn ei efelychu ef fel y pechadur cyntaf. "Dywedir fod pawb wedi pechu yn Adda, nid o herwydd fod pechod yn natur dyn yn ei enedigaeth, ond o herwydd fod dynion yn ei efelychu ef." Eto, mae'r eglurhâd a rydd ar ddyben bedydd yn un o'r pethau rhyfeddaf. Gosodid y fath bwys ar yr ordinhâd hon y pryd hwnw fel na feiddiai Morgan wadu yr angenrheidrwydd am dani. Ond i ba ddyben y bedyddir babanod os nad ydynt yn llygredig? Mae bedydd yn angenrheidiol tuag at iddynt gael derbyniad i "deyrnas Dduw." Golygai fod tair ystâd, a bod holl ddynolryw yn y byd a ddaw yn un o'r tair. Yn y naill eithaf y mae colledigaeth, sef cyflwr y pechadur drygionus ac anedifeiriol. Yn yr eithaf cyferbyniol y mae teyrnas Dduw, lle y mae y saint yn teyrnasu gyda Christ, ac yn mwynhâu digrifwch yn dragywydd yn ei bresennoldeb. Rhwng y ddwy ystâd yna y mae un arall, yn yr hon y mwynheir bywyd tragywyddol. Nid oes rhyw lawer o wahaniaeth rhwng yr ystâd hon â "theyrnas Dduw," er nad ydyw mor ddyrchafedig. Tuag at i'r baban gael meddiant o fywyd tragywyddol, nid ydyw bedydd yn angenrheidiol; ond ni chaiff dderbyniad i'r ystâd uchaf, sef teyrnas Dduw, os na fedyddir ef. Seilia y golygiad dyeithr hwn ar eiriau Crist yn Ioan iii. "Yn gymaint ag nad ydyw yn dyweyd 'oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon gael iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol,' ond yn unig 'ni ddichon fyned i mewn i deyrnas Dduw,' am hyny dylai babanod gael eu bedyddio i'r dyben iddynt gael bod gyda Christ yn nheyrnas Dduw, i'r hon ystâd ni chânt fyned os na fedyddir hwy. Pa fodd bynag, os byddant feirw yn eu babandod, hyd yn nod heb eu bedyddio, hwy a gânt iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol, gan nad ydynt yn rhwym yn nghadwyn pechod."

Hawdd dyfalu oddiwrth y dyfyniadau uchod beth oedd barn Morgan ar ryddid yr ewyllys. Dywed Awstiniaid fod yr ewyllys yn dilyn tueddiadau cryfaf y natur. Mae yr ewyllys yn naturiol yn dewis yr hyn sydd yn ymddangos yn fwyaf dymunol i ddyn. Mae ei gweithrediadau hi yn cael eu penderfynu gan olygiadau a thueddiadau yr enaid. Os ydyw y galon yn ymhyfrydu mewn pechod, a holl dueddiadau y natur at ddrwg, y mae yr ewyllys yn sicr o ddilyn ffordd ddrygionus.

Cydnabyddai Awstin fod yr ewyllys yn rhydd yn yr ystyr nad oes un ddeddf yn natur dyn na gallu allanol yn ei gorfodi i ddewis y naill lwybr mwy na'r llall; ond gan fod golygiadau, dymuniadau, a thueddiadau y natur yn llygredig, nis gall yr ewyllys ddewis sancteiddrwydd am yr un rheswm ag nas gall pren drwg ddwyn ffrwythau da. Yr oedd Morgan, o'r ochr arall, yn dysgu fod yr ewyllys yn gwbl annibynol ar dueddiadau y natur a phob dylanwad arall. I fyny hyd y foment y mae yn dewis, y mae mewn ystâd anmhenderfynol. Mae mor hawdd iddi ymsymud yn y naill gyfeiriad ag yn y llall. Y gallu i wneyd drwg neu dda—i gadw y gorchymynion neu beidio—a olygai efe wrth ryddid yr ewyllys. Nid priodol, yn ei farn ef, ydyw dyweyd fod dyn yn rhydd-weithredydd *os nad ydyw yn meddu gallu o hono ei hun i wneyd yr hyn sydd dda neu ddrwg.* Os ydyw dyn o herwydd llygredigaeth ei natur yn analluog i ddymuno nac ewyllysio yr hyn sydd sanctaidd, y mae dan angenrheidrwydd i bechu, ac nid yw pechod yn bechod mwyach. Fel y canlyn yr ymresymai Cœlestius, un o'i ganlynwyr galluocaf:—"A ydyw pechod o ddewisiad, ynte o angenrheidrwydd? Os ydyw o angenrheidrwydd, nid ydyw yn bechod; os ydyw o ddewisiad, gellir ei ochel." "Y cwestiwn nesaf y dymunem gael atebiad iddo ydyw hwn:—Trwy ba foddion y mae wedi dyfod fod dyn yn bechadurus? Ai trwy angenrheidrwydd ei natur, ynte trwy ddewisiad ei ewyllys? Os trwy angenrheidrwydd ei natur, ni ddylid ei feïo; os trwy ei ewyllys ei hun, yna y mae y cwestiwn yn cyfodi, oddiwrth bwy y derbyniodd y rhyddid ewyllys hwn? Oddiwrth Dduw yn ddiau. Ond y mae yr hyn a roddir gan Dduw yn sicr yn dda. Nis gellir gwrthddyweyd hyn. Ar ba egwyddor gan hyny y gellir profi fod peth yn dda os ydyw yn fwy tueddol at ddrwg nag at dda? Oblegid y mae mwy o duedd at ddrwg nag at dda mewn trefniant sydd yn gwneyd yn anmhosibl i ddyn fyw yn ddibechod." Hwyrach y gellir dyweyd mai egwyddor sylfaenol Morganiaeth ydyw fod gallu dyn a'i gyfrifoldeb yr un faint. Cymerai Morgan ei arwain gan yr egwyddor hon yn ei holl olygiadau. Ni fynai fod rhwymau ar ddyn i gyflawni dyledswyddau, os nad ydyw yn meddu ynddo ei hun bob gallu angenrheidiol er eu cyflawni. "A ddylai dyn fod heb bechod? Yn ddiau fe ddylai. Os dylai, fe all; os na all, am y rheswm hwn nid oes rhwymau arno." "Ni fuasai Duw yn gorchymyn yr hyn a wyddai na allai dyn ei gyflawni." Y mae pob ysgogiad at ddaioni, gan hyny, yn dechreu yn ewyllys dyn, a gras yn cael ei roddi iddo yn ol ei haeddiant. "Y mae ewyllys dda yr hwn sydd yn gweddïo yn blaenori y weddi, megys y mae ewyllys dda yr hwn sydd yn credu yn blaenori ei ffydd, fel y mae gras yn cael ei gyfranu iddo yn ol ei haeddiant."

Yn unol â'i olygiadau ar natur dyn a rhyddid yr ewyllys, yr oedd Morgan yn dal fod llawer wedi byw yn gwbl lân oddiwrth bechod. Dywed fod hyn, nid yn unig yn bosibl, ond yn hawdd. Gellir dadleu fod yr apostolion eu hunain yn cael eu dysgu yn ngweddi yr Arglwydd i ofyn am faddeuant o'u pechodau. "Ond," meddai, "er fod y weddi hon yn cael ei hoffrymu gan yr apostolion wedi iddynt ddyfod yn sanctaidd a pherffaith, a phan nad oedd ganddynt un pechod pa bynag o'r eiddynt eu hunain, eto nid oeddynt yn dyweyd 'maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr,' drostynt eu hunain,

ond dros ddynion anmherffaith a phechadurus. Defnyddient y gair *ein*, er dangos fod yn yr un a'r unrhyw gorff rai oeddynt bechadurus, ynghyd a hwythau eu hunain, y rhai oeddynt yn gwbl lân oddiwrth bechod." Crybwylla enwau rhai a fuont byw yn berffaith sanctaidd; megys Abel, Enoch, &c.; a gwragedd, megys Deborah, Hannah, &c. "Ond hwyrach y gofynir, Ai ni allasai yr Ysgrythyr gyfeirio at ryw bechodau oedd yn perthyn i bob un o honynt? Gellir gofyn fel hyn yn deg am y rhai hyny nad ydyw yr Ysgrythyr yn eu nodi fel rhai da na drwg; ond am y rhai hyny y crybwylla am eu sancteiddrwydd, buasai wedi cyfeirio at eu pechodau hefyd pe buasent wedi pechu o gwbl." "Mae yn sicr fod Adda ac Efa, a Cain ac Abel eu meibion, yn cael eu nodi fel yr unig bedwar person oeddynt yn y byd yn yr oes foreuaf. Pechodd Efa; mae yr Ysgrythyr yn dyweyd cymaint a hyny yn bendant. Troseddodd Adda; nid ydyw yr un Ysgrythyr yn pallu ein hysbysu. A cheir tystiolaeth mor eglur fod Cain hefyd wedi pechu. Ac nid yn unig crybwyllir pechodau y rhai hyn oll, ond dangosir hefyd ymhellach beth oedd cymeriad eu pechodau. Yn awr, pe buasai Abel wedi pechu yr un modd, buasai yr Ysgrythyr yn ddiammeu yn dyweyd hyny wrthym. Ond nid oes genym unrhyw hysbysrwydd o'r fath; ni chyflawnodd bechod; ac nid yn unig hyny, ond profodd ei fod, ac y mae yr Ysgrythyr hefyd yn ei ddesgrifio, fel dyn cyfiawn. Yr hyn a ddarllenwn, gan hyny, bydded i ni ei gredu; a'r hyn na ddarllenwn, bydded i ni ei ystyried yn rhyfygus ei haeru."

Sonia Morgan lawer am ras. Cydnabyddai mai yn nghymhorth gras yn unig y gall dyn gyflawni ei ddyledswyddau. Yr oedd hyn yn swnio yn dda, gan fod yn naturiol i'w ddarllenwyr gymeryd y gair yn ei ystyr gyffredin; ond yn ei gyfundrefn ef nid ydyw gras yn ddim ond natur dyn, yr hon a dderbyniodd oddiwrth y Creawdwr, a'r hon sydd yn meddu gallu i fyw yn ddibechod, ac ewyllys rydd. Gyda golwg ar y mater hwn dosbarthai alluoedd y natur ddynol fel y canlyn:—*posse*, sef y gallu i fyw yn ddibechod; *velle*, sef y rhyddid a berthyn i'w ewyllys i ddewis hyny; ac *esse* neu y sylweddoliad gweithredol. "Mae y cyntaf, a ddynodir trwy y gair *posse*, yn cael ei briodoli i Dduw, yr hwn a'i rhoddodd i'w greadur; ond rhaid priodoli y ddau arall, a ddynodir trwy y geiriau *velle* ac *esse*, i'r gweithredydd dynol, oblegid eu bod yn tarddu o ffynnonell ei ewyllys." Mae y cyntaf—y *gallu* i fyw yn ddibechod—yn perthyn o angenrheidrwydd i natur dyn, pa un bynag a ddewisa efe ei ddefnyddio ai peidio. Gan nad ydyw yn tarddu o'r ewyllys, rhaid edrych arno fel rhodd neu ras Duw i ddyn. Ni fynai Morgan gael ei gyhuddo o wadu gras, oblegid yr oedd yn cydnabod mai rhodd Duw ydyw y gallu i fyw yn sanctaidd. "Y mae y gallu i beidio pechu yn gorwedd nid yn gymaint yn nerth ewyllys dyn, ond yn angenrheidrwydd ei natur. Yn awr, y mae pa beth bynag sydd wedi ei roddi yn angenrheidrwydd natur yn perthyn yn ddiau i Awdwr y natur hono, sef Duw." "Tuag at wneyd hyn yn eglurach, rhaid i ni roddi ystyriaeth helaethach i'r mater. Cymerer, er engraifft, fy ngallu i siarad. Nid ydyw y gallu hwn yn eiddo i mi (nid ydyw yn dibynu ar, neu yn tarddu o fy ewyllys); ond y mae siarad (gwneyd defnydd o'r gallu) yn tarddu o fy ewyllys. A chan fod y weithred o siarad yn eiddo i mi, mae genyf allu i wneyd y naill neu y llall, hyny yw, gallaf

siarad neu beidio siarad. Ond yn gymaint ag nad ydyw fy ngallu i siarad yn eiddo i mi—mewn geiriau eraill, nad ydyw yn tarddu o fy ewyllys a'm dymuniad—y mae yn perthyn i mi bob amser fel mater o angenrheidrwydd, nid o ewyllysiad; a phe bawn yn dymuno bod yn analluog i siarad, ni allwn sicrhâu i mi fy hun y cyfryw anallu." Mae y gallu i fyw yn ddibechod yn hanfodol i natur dyn. Nid ydyw yn dibynu o gwbl ar ei ewyllys. Hwn ydyw gras Duw yn ystyr briodol y gair, a dyma'r oll, yn ei syniad ef, sydd yn angenrheidiol er ein gallu-ogi i ryngu bodd ein Gwneuthurwr. Ond nid oedd ganddo un gwrth-wynebiad i alw rhyw bethau eraill yn ras. Mewn llyfr o'i eiddo gwelodd Awstin "ei fod yn desgrifio gras Duw fel natur wedi ei chreu gan Dduw gydag ewyllys rydd, gan ychwanegu yn achlysurol un ai cymhorth y gyfraith, neu hyd yn nod faddeuant pechodau, er nad ydyw yr ychwanegiadau hyn yn cael eu gwneyd yn eglur, ond yn unig eu hawgrymu yn gynnil." Er nad ydyw y dadguddiad dwyfol yn *angenrheidiol*, eto gan ei fod wedi gwneyd yn *haws* i ddyn fyw yn dduwiol, gellir ei alw yn ras. "Yr ydym ni mewn gwirionedd yn cydnabod mai Duw ydyw awdwr ein cyfiawnder, yn gymaint a'i fod wedi rhoddi y gyfraith, drwy hyfforddiad yr hon y'n dysgir pa fodd y dylem fyw." Cydnabyddai fod yn ddyledswydd gweddïo am faddeuant o'r pechodau a gyflawnwyd, "oblegid nis gellir dadwneyd yr hyn a wnaed trwy y gallu a berthyn i'r natur a'r ewyllys;" ond ni ystyriai yn rhesymol i ddyn ofyn am ei gyfarwyddo a'i gynnal yn y dyfodol. Nid yw yn weddus i un ofyn am yr hyn sydd yn ei feddiant eisoes.

Nid oes lle, wrth gwrs, i etholedigaeth ddiammodol yn nghyfundraeth Morgan. Symia Awstin mewn ychydig eiriau olygiad ei blaid ar y pen hwn:—"Efe a ragwybu, medd y Morganiad, pwy a fyddent yn sanctaidd a dihalog trwy ddewisiad eu hewyllys rydd, ac ar y cyfrif hwn Efe a'u hetholodd cyn sylfaeniad y byd yn yr unrhyw ragwybodaeth trwy yr hon y rhagwybu y byddent yn gyfryw. Gan hyny Efe a'u hetholodd cyn eu bod, gan arfaethu i fod yn blant y rhai a ragwybu a fyddent yn sanctaidd a dihalog. Yn sicr ni ddarfu iddo eu gwneuthur felly, ac ni ragwelodd y byddai iddo eu gwneuthur felly; eithr Efe a ragwybu y byddent yn gyfryw." Gwelir ei fod yn dal etholedigaeth yn dibynu ar ragwybodaeth Duw.

Eglur yw fod Morgan yn edrych ar ddyn fel bôd annibynol, yn meddu gallu ynddo ei hun i fyw yn sanctaidd a dedwydd. Perthyna y gallu hwn iddo fel creadur moesol. Ni fyddai yn ddyn, hyny yw, yn fôd cyfrifol hebddo. Cydnabyddai fod dynion trwy esiamplau drwg yn llygru eu gilydd, a fod y byd mewn canlyniad yn myned waeth-waeth. Mae y plentyn, ar gychwyn ei yrfa, dan gryn anfantais o herwydd ei fod wedi ei amgylchynu gan rai pechadurus; ond nid oes ynddo ef un math o duedd at ddrwg mwy nag at dda. Wedi cyrhaedd oedran i allu barnu drosto ei hun, y mae yn gwbl at ddewisiad ei ewyllys ar y pryd pa gyfeiriad a gymera. Ond gan ei fod yn nghanol cynifer o demtasiynau, y mae Duw o'i dosturi wedi rhoddi ei Air, ac wedi anfon ei Fab i'r byd tuag at wneyd y ffordd i berffeithrwydd yn fwy eglur ac esmwyth iddo. Mae dynion yn meddu gallu i fyw yn ddibechod fel creaduriaid; ond yn gymaint a bod perygl na fuasai ond ychydig yn ei iawn ddefnyddio, rhoddwyd yr hyn a ddadguddir yn y Bibl am ewyllys Duw a threfn yr efengyl fel cymhelliadau a chyn

northwyon ychwanegol. Rhanai Morgan amser yn dri chyfnod:—Y cyntaf o Adda hyd Moses; yr ail o Moses hyd sefydliad goruchwyliaeth yr Efengyl; a'r trydydd o'r pryd hwnw ddiwedd y byd. Nid oedd saint yr hen amseroedd yn cael eu cadw trwy Grist. Ar y cyntaf yr oedd dynion yn byw yn gyfiawn wrth natur, yna dan y gyfraith, ac yn drydydd dan ras." Yn yr yspaid hyd roddiad y gyfraith yr oeddynt yn byw yn dduwiol wrth natur, "oblegid y pryd hwnw yr oedd y Creawdwr yn adnabyddus trwy oleuni natur, ac yr oedd y rheol i fyw yn gyfiawn yn cael ei chario yn nghalonau dynion, wedi ei hysgrifenu nid yn neddf y llythyren ond yn neddf natur. Ond aeth arferion dynion yn llygredig; ac yna pan aeth natur oedd weithian wedi ei llychwino i ddechreu bod yn annigonol, ychwanegwyd y gyfraith ati. . . . Eithr pan ddaeth yr arferiad o bechu yn eithafol trwy drachwant dynion daeth Crist," y Meddyg.

Heretic oedd Morgan; ond addefwn yn ewyllysgar fod ei wybodaeth yn helaeth, ei fuchedd yn bur, a'i zel yn erbyn pechod yn danbaid. Aeth ar gyfeiliorn wrth geisio cymeryd oddiar ddyn bob esgus dros fyw mewn llygredd. Gwir a ddywedodd Charles Edwards am dano er ei holl golliadau:—"Bu ein Gwladwr Morgan yn enwog am ei sancteiddrwydd a'i wybodaeth ymysg y Cristionogion, a'r dysgawdwyr godidocaf yn y byd."*

JOHN JONES.

*Tue Brook.*

---

# YR EIGION.

## IV.

### YNYSOEDD CWRELAIDD.

MEWN erthygl flaenorol fe ddesgrifid rhai o'r gwaddodau sydd yn awr yn cael eu ffurfio yn y dyfnfor, ond ni chyfeiriwyd at un math o ffurfiadau, sef y cydgasgliadau o gwrel a adnabyddir fel Is-greigiau ac Ynysoedd Cwrelaidd,—*Coral Reefs and Islands.* Mae y rhai hyn yn gynnyrchion bywyd anifeilaidd yr un mor wirioneddol ag yw y llwtra neu yr *ooze* gwyn calchaidd sydd yn gorchuddio cymaint o waelod y Werydd a'r Tawelog. Mae y creaduriaid sydd yn ffurfio y cwrel yn perthyn i ddosbarth sydd beth yn uwch yn ngraddfa bodolaeth nag un y *Globegerina*, y rhai y mae eu cregyn yn gwneyd i fyny y rhan fwyaf o'r llwtra.

* *Y Ffydd Ddiffuant*, 219. Chweched Argraffiad.

Mae y milflodyn cyffredin, y *common sea-anemone* a geir o amgylch ein holl arfordir, yn glynu fel telpyn bychan o gnawd wrth y creigiau, ychydig islaw y fôr-linell, yn perthyn i'r un isddosbarthiad o'r deyrnas anifeilaidd â'r cwrel; yr unig wahaniaeth hanfodol rhwng y ddau ydyw y gallu sydd gan yr olaf i gynnyrchu esgyrnedd caled, y cwrel gwyn.

Gwneuthuriad y milflodyn, y *sea-anemone*, a hefyd eiddo y creadur cwrelaidd, yn sylweddol sydd fel y canlyn. Mae y corff yn gynnwysedig o sylwedd meddal, cnodiol, o ffurf hirgrwn. Mae un pen ynglŷn wrth y graig ar ba un y mae y creadur yn gorphwys. Yn nghanol y pen arall y mae y gêg, yr hon a amgylchir gan un neu ychwaneg o gylchoedd o deimlorion neu *tentacles* ceuol. Mae y gêg yn arwain yn uniongyrchol i bibell geuol, sydd yn gwneyd y corff-geudod treuliadol, neu y cylla, ac y mae hwn yn agor trwy dwll llydan i'r corff-geudod cyffredinol islaw. Mae y lle rhwng y cylla a chylch allanol y corff yn cael ei ddosranu i nifer o ranbarthau trwy gyfres o wahaniadau unionsyth. Nid oes gan y creaduriaid hyn ddim ermigau teimlad (*organs of sense*), dim gïau, dim ymenydd, dim madruddyn y cefn, dim calon, dim gwaed-lestri. Fe ddarfu i un gwyddonwr fu yn sylwi gyntaf ar y creaduriaid cwrelaidd gymhwyso atynt yr enw *polypus*, sef amldroediog, o herwydd y cylch o deimlorion y dychymygai efe mai eu traed oeddynt; felly yr enw a ddefnyddir yn gyffredin yn awr am danynt ydyw *polypes*.

Mae y *polype* cwrelaidd, fodd bynag, yn gwahaniaethu oddiwrth y milflodyn (*sea-anemone*), trwy fod ganddo esgyrnedd neu *skeleton* tumewnol caled. Pan mae y creadur yn marw a'r sylwedd cnodiol yn ymddattod, mae yr esgyrnedd caled calchaidd yn ymddangos fel y sylwedd a elwir cwrel gwyn (*white coral*). Felly mae y syniad poblogaidd fod y creadur cwrelaidd yn "adeiladu" is-graig neu *reef*, yn yr un dull ag yr adeilada gwenynen ei chrwybr, yn hollol gyfeiliornus. Ni ellir dyweyd fod cwrel yn adeiladu is-graig ond yn yr un ystyr ag y gellid dyweyd fod mwsogl, planigion dyfrol, a choed yn adeiladu mawn, yr hwn a wneir i fyny o'u gweddillion cydgasgledig a marw. Nid ydyw is-graig gwrel (*coral reef*) yn ddim ond cydgasgliad o'r rhanau celyd o'r creaduriaid cwrelaidd meirw, yr hwn weithiau a grugir i fyny ychydig droedfeddi uwchlaw lefel y môr gan weithrediad y tonau.

Mae y defnydd o ba un y gwneir i fyny y sylwedd cwrelaidd, yn fferyllol, o gyfansoddiad y gareg galch,—*carbonate of lime*. Mae dwfr y môr, heblaw dal yn hylifol halen cyffredin, yn cynnwys yn doddedig o'i fewn—er mor bur a chlir yr ymddengys—nifer mawr o sylweddau eraill, o ba rai y mae careg galch yn un. Yma gan hyny yr ydym yn cael creaduriaid meddal, o gyfluniad isel, y rhai sydd yn meddu y gallu i gymeryd o ddwfr y môr y sylwedd calchaidd, *carbonate of lime*, yr hwn sydd yn myned i ffurfio esgyrnedd tumewnol cymhlethedig a phrydferth, yr un modd ag y mae cregyn-bysgod yn ffurfio o'r un sylwedd esgyrnedd allanol—eu cregyn. Yn lle un *polype* tybier fod genym nifer, yn tyfu ochr yn ochr, oll wedi eu huno ynghyd gan sylwedd cnodiol sydd yn eu cysylltu,—fel ag i fod yn dalaeth o *polypes*, ac oll yn ffurfio esgyrnedd caled o *carbonate of lime*, dyma y math o dyfiant cwrelaidd o ba un y mae y *reefs* neu yr is-greigiau yn cael eu gwneyd.

Y mae mathau yn bod o gwrel sydd ar wahân, ac nad ydynt yn ffurfio taleithiau; ond nid ydyw gweddillion y rhai hyn byth yn cydgasglu i wneyd is-greigiau.

Mae y *polypes* cwrelaidd yn llïosogi mewn tair ffordd. Yn gyntaf, trwy flaguriad. Rhoddir allan flagur yn yr ochrau a dyfant allan yn *polypes* newyddion. Yn ail, trwy holltiad. Y mae *polype* yn ymhollti hyd ei ganol, ac mae y ddwy ran yn dyfod bob un yn *polype* ar wahân. Yn drydydd, trwy roddi allan hedynau neu ŵyau bychain o ba rai y dëorir mân greaduriaid nofiawl, y rhai, wedi ychydig fodolaeth wibiol, a ymsefydlant ar waelod y môr gan dyfu i'w cyflawn faintioli. Mewn amser mae y *polypes* yn meirw, ac ar y pentwr esgyrneddol marw y mae *polypes* newyddion byw yn tyfu, ac yn eu tro y maent hwythau yn meirw. Fel hyn y mae y cydgasgliad yn myned ymlaen ac yn cynnyddu fwyfwy.

Mae y dosbarth o gwrelau sydd yn byw ar wahân, nad ydyw eu gweddillion yn gwneyd is-greigiau, i'w cael ymhob rhan o'r byd. Mae rhai yn preswylio y dyfnfor, a rhai yn byw hyd lanau y traethau. Maent wedi cael eu llusgrwydo yn Môr y Gogledd y tu allan i Ynysoedd Shetland, yn y Werydd y tu allan i arfordir Ffrainc a Spaen, yn y Canoldir, ac yn y Tawelog.

Nid yw y cwrelau eraill sydd yn ffurfio is-greigiau i'w cael mor gyffredinol, ac fe ymddengys fod y deddfau canlynol yn llywodraethu eu dosbarthiad. 1. Ni allant ffynu ond mewn dwfr nad yw ei ardymheredd yn syrthio islaw 68° Fahr. Mae yn canlyn gan hyny nad all is-greigiau cwrelaidd fod ond rhwng tua lledred 30° Gog. a lledred 30° De. 2. Mae dwfr croew a dwfr yn cynnwys llaid neu waddod o unrhyw fath yn farwol iddynt; am hyny y maent yn gyfyngedig i'r rhanau hyny o'r môr-wely sydd ymhell oddiwrth lifiad afonydd mawrion, ac oddiwrth draethau gwastad lleidiog. 3. Ni allant fyw mewn dyfnder o fwy nag o 20 i 25 o wrhydau, hyny yw o 120 i 150 o droedfeddi.

Gan gofio yr amgylchiadau hyn ar ba rai y dibyna tyfiant cwrelaidd, yn enwedig yr olaf, ni a fyddwn yn alluog i esbonio y ffurfiau neillduol sydd i'w cael ar yr is-greigiau a'r ynysoedd cwrelaidd.

O ran eu dosbarthiad yn fwy neillduol fe ellid nodi fod is-greigiau cwrelaidd mewn helaethrwydd yn y Tawelog a Môr India, yn y Môr Coch, ac yn India'r Gorllewin; ond mae yn beth hynod nad ydynt i'w cael ar arfordir Gorllewinol America ac Affrica. Fe welir fod y rhanbarthau hyny o fewn y lledredau priodol. Pa fodd gan hyny y rhoddir cyfrif am hyn? Fe gofir mai y pwynt pwysig ydyw na bo ardymheredd y môr yn îs na 68° Fahr. Gan hyny pe byddai i ardymheredd y môr, am ryw achos neu gilydd, hyd yn nod rhwng y lledredau 30° Gog. a 30° De, syrthio islaw 68° Fahr., ni allai is-greigiau cwrelaidd ffynu. A oes rhyw reswm paham y byddai y dwfr ar yr arfordir gorllewinol yn is mewn ardymheredd nag ar yr arfordir dwyreiniol? Y mae efrydiaeth llifrediadau yr eigion wedi dangos fod llifrediadau oerion o Fôr y De yn rhedeg i fyny hyd arfordir Gorllewinol Affrica ac America Ddeheuol, ac felly fod yr ardymheredd yn syrthio islaw yr hyn sydd yn angenrheidiol i dyfiant cwrelaidd.

Mae yn dygwydd yn bur gyffredin fod is-greigiau yn cael eu hattal

gyferbyn â geneuau afonydd mawrion. Mae hyn yn cael ei esbonio yn gyflawn gan yr ail ddeddf a grybwyllwyd uchod, sef na all *polypes* cwrelaidd fyw mewn dwfr a groewir gan afonydd neu a gymysgir gan laid a gerir i lawr o'r tir.

Mae is-greigiau yn gyffredin yn cael eu dosbarthu dan dri phen.

1. Is-greigiau Eiddïog—"*Fringing Reefs.*" Mae is-graig felly yn ymestyn allan o'r làn fel estyniad o'r traeth, yn cael ei gorchuddio â dwfr bâs a elwir *lagoon*, neu faslyn. Y mae is-graig o'r fath yma o amgylch Ynys Mauritius. Tybier fod person yn sefyll ar un o uchel gopäau mynyddoedd yr ynys, ac yn edrych tua'r môr; fe welai y traeth yn ymestyn allan i fath o sarn isel, ar ba un y mae y dwfr yn dra bâs, ac o arliw gwyrdd dysglaer. Tua milldir o'r tir y mae llinell wen o feisdonau ewynog yn nodi terfyn yr is-graig tua'r môr, ac yn rhanu yn hynod o brydferth y dwfr o arliw gwyrdd oddimewn a dwfr glâs tywyll y môr mawr oddiallan. Mae llinell wen y traethfor yn cael ei hachosi gan ymdoriad y tonau ar fôr-ymyl yr is-graig gwrelaidd. Wedi troi o amgylch fe welai y sylwedydd linell wen y traethfôr yn troi ac yn cylchynu yr ynys, gyda thoriadau mewn ychydig fanau lle mae afonydd yn rhedeg i'r môr. Felly fe welir yn amlwg fod yr is-graig yn ffurfio math o eddi neu *fringe* o amgylch yr ynys, ac o herwydd hyny y gelwir hi ar y fath enw.

Rhwng llinell y traethfor a'r làn mae y dwfr yn fâs, a thrwy y dwfr clir tryloew fe ellir gweled y ffurfiau byw o arliw prydferth sydd i'w cael yn mâsddyfroedd y *lagoon*. Mae archwiliad ar fôr-ymyl yr is-graig yn dangos fod yr ochr uchaf, sydd yn agored i ruthr y môr, wedi ei gorchuddio â'r creaduriaid cwrelaidd byw,—eu teimlorion llednais yn ymestyn allan at y llifrediadau sydd yn dwyn ymborth iddynt, fel y gwna dail blodau at yr haul. Maent yn ffynu yn fwyaf nerthol pan yn fwyaf agored i gynddaredd y tonau, ac o'r hyn a ymddangosai fel moddion eu dinystr y maent yn tynu cynnaliaeth a nerth. Tu allan i'r is-graig rhydd y plymiadau ddyfnder o rhwng 120 a 150 o droedfeddi. Yn agos i'r dyfnderau hyn, sef tua rhanau isaf yr is-graig, ymddengys fod y cwrelau byw yn dyfod yn brinach, tra y tu allan i derfynau yr is-graig, mewn dyfnderau o fwy na 150 o droedfeddi, ni ellir canfod cwrel byw, o'r fath ag sydd yn ffurfio is-graig, o gwbl. Y mae hon yn ffaith hynod o bwysig, fel y gwelir ymhellach ymlaen.

2. Y math nesaf ydyw yr un a adnabyddir fel Is-graig Argaeol neu Gylchynol—"*Barrier or Encircling Reef.*" Mae y math yma yn wahanol i'r un Eiddïog, trwy ei bod yn cael ei hysgaru oddiwrth y làn gan sianel neu *lagoon* o lawer o filldiroedd o led, ac o gryn ddyfnder. Gallai plymiadau y tu allan i'r is-graig ddangos dyfnder o gannoedd os nad miloedd o droedfeddi. Pan y mae is-graig o'r fath yma yn cylchynu ynys, fe'i gelwir yn Is-graig Gylchynol—*Encircling Reef;* tra pan nad yw ond mewn rhan yn cylchynu cyfandir fe'i gelwir yn Is-graig Argaeol—*Barrier Reef.* Fe roddwyd yr enw olaf yma gyntaf ar yr is-graig anferth sydd yn dilyn arfordir Dwyreiniol Awstralia, yr hon, fel y dywed Proffeswr Huxley, sydd yn "un o'r cydgasgliadau rhyfeddaf o graig gwrelaidd yn y byd." Mae y *Barrier Reef* ar y wyneb yn amrywio mewn lled o un neu ddwy, i amryw filldiroedd, tra y mae ei phellder o'r

tir ar gyfartaledd yn 20 neu 30 o filldiroedd, ac mewn rhai manau y mae yn gymaint ag o 50 i 90 o filldiroedd. Mae y meithder mawr o fôr rhwng yr is-graig a'r làn o 60 i 150 o droedfeddi o ddyfnder, gyda gwaelod tywodlyd. Mae y môr gerllaw y tu allan, gan mwyaf, yn rhyfeddol o ddwfn. Y cwestiwn dyrys ynglŷn â'r is-greigiau yma ydyw hyn: Os nad all y cwrelau sydd yn ffurfio yr is-greigiau fyw mewn dyfnder mwy na 150 o droedfeddi, pa fodd y mae fod is-greigiau mawrion fel sydd gerllaw Awstralia, yn codi o ddyfnder o amryw filoedd o droedfeddi? Ni a awn heibio y cwestiwn hwn am ychydig er mwyn desgrifio,

3. Y trydydd math o Is-greigiau, neu yn fwy priodol, Ynysoedd cwrelaidd, sydd yn myned wrth yr enw *Atoll*. *Atoll* ydyw cylch hirgrwn neu grwn o gwrel gyda baslyn *(lagoon)* yn y canol, ac fel yn y *Barrier Reef*, gyda dwfr y tu allan, yn gyffredin, o amryw filoedd o droedfeddi o ddyfnder. Un o'r engreifftiau perffeithiaf o'r math yma o ynysoedd cwrelaidd ydyw Ynys Whitsunday, *Atoll* dra bechan yn y Tawelog. Y mae yn debyg i fodrwy o is-graig gwrelaidd, yn ffurfio cylch perffaith o dir. Mae y glanau isel, wedi eu gorchuddio â thywod cwrelaidd, yn wyn lachar, ac yn cynnal tyfiant cyfoethog o balmwydd *cocoa nuts*, y rhai sydd yn codi eu penau yn uchel. Y mae dwfr tawel y baslyn yn ymddangos yn gyffredin o liw dysglaer, ond gwyrdd-oleu, trwy adlewyrchiad, tra draw, y tu hwnt i'r beisdonau brigwynion oddiallan, y mae glas tywyll y dyfnfor i'w weled. Mae yr holl olygfa, gyda y gwahaniaethau tarawiadol o wyrdd, gwyn, a glas, yn gwneyd darlun raid gynnyrchu argraff fyw na fydd yn hawdd ei ddileu. Anfynych y dygwydda fod *Atolls* mor gyflawn â'r un ydym newydd ddesgrifio. Mae y cylch yn gyffredin yn fwy neu lai toredig, fel y mae yr *Atoll* yn gynnwysedig yn hytrach o nifer o fân ynysoedd wedi eu trefnu mewn dull hirgrwn neu gylchynol, nag o un ynys. Mae y toriadau neu yr agoriadau rhwng y mân ynysoedd yn yr *Atolls* i'w cael yn fwyaf lliosog ar yr ochr gyferbyn â'r gwynt *(leeward side)*, a thrwyddynt fe all llongau fyned i fewn i'r *lagoon* yn y canol, yr hwn sydd yn gwneyd porthladd rhagorol, gan fod y fodrwy o is-graig o amgylch yn gweithredu fel morglawdd diogel.

Mae yr holl Ynysoedd Cwrelaidd hyn yn isel, heb godi ond i'r uchder lle y gall y tònau daflu i fyny ddarnau a'r gwyntoedd bentyru tywod i fyny. Y mae meithderau anferth yn Môr India a'r Tawelog ymha rai y mae pob ynys o ffurfiad cwrelaidd. Mae y *Radack Atolls* yn y Môr Tawelog, i'r gogledd o Awstralia, yn ysgwar afreolaidd o 320 o filldiroedd o hyd a 240 o led. Mae y *Low Archipelago* yn y Tawelog, rhwng Awstralia ac America Ddeheuol, yn hirgrwn o 840 o filldiroedd y naill ffordd, wrth 420 y ffordd arall. A chymeryd yr ynysoedd rhyngddynt, y mae genym lain o fôr o 4000 o filldiroedd o hyd ymha un nad oes un ynys yn codi mwy nag ychydig droedfeddi uwchlaw lefel y môr, sef tua'r uchder i ba un y gallai y tònau daflu i fyny ddarnau. Fe ellid dyweyd yn debyg am Fôr India. Mae hyn yn hynodrwydd tarawiadol iawn yn yr ynysoedd cwrelaidd.

Y tu allan i'r *Atolls*, fel y crybwyllwyd eisoes, y mae y dyfnder yn fawr iawn, a phe dychymygem am y môr wedi ei gymeryd ymaith o'r manau lle y maent, ni a welem yn codi o'r môr-waelod, i gryn uchder

mewn rhai achosion, bigyrnau mawrion afreolaidd, bob un â phantle ar ei ben, ar yr hwn y gorwedda y baslyn. Yn hyn hefyd y mae genym yr un anhawsder â chyda y *Barrier reefs*, pa fodd i esbonio y ffaith fod y ffurfiadau rhyfeddol hyn yn codi o ddyfnderau mawrion, tra nad all *polypes* cwrelaidd ddim byw mewn dyfnder o fwy na 150 o droedfeddi.

Y syniad a'i hawgrymai ei hun gyntaf oedd, fod Is-greigiau Cylchynol ac Argaeol—*Encircling and Barrier Reefs*—yn cael eu ffurfio o amgylch mynyddoedd tanforawl, ac fod *Atolls* yn cyfateb i losgeneuau, neu *craters* llosgfynyddoedd tanforawl. Mae y profion yn erbyn y golygiad hwn yn lliosog a therfynol. Pe na buasai ond rhyw un neu ddau o *Atolls* ac is-greigiau cylchynol, fe fuasai rhywbeth i'w ddyweyd am y golygiad. Ond pan gofiwn y gellir eu cyfrif wrth y cannoedd, yr ydym yn cael fod yn anmhosibl credu fod cadwen o fynyddoedd tanforawl yn bod yn ymestyn dros gannoedd o filldiroedd, ac mor agos i'r un uchder fel nad oes yr un yn codi uwchlaw lefel y môr, neu yn syrthio 150 o droedfeddi islaw y lefel hwnw. Nid oes dim o'r cyfryw beth yn adnabyddus mewn natur. Heblaw hyny y mae mynyd o ystyriaeth o ffurf a maint rhai *Atolls* yn dangos yn ddigon amlwg mor anfoddhaol ydyw y fath olygiad.

Y mae un *Atoll* yn y Môr Tawelog, sef Suadiva, yn 44 o filldiroedd un ffordd, a 34 ffordd arall. Un arall, sef *Atoll* Rumsky, yn 54 milldir o hyd wrth 20 o led, ac y mae ei ymylon yn dra igam-ogam; ac y mae *Atoll* Bow yn 30 milldir o hyd, ac ar gyfartaledd yn 6 o led. Nid oes *craters* llosgfynyddoedd o faintioli ddim yn debyg i faintioli yr *Atolls* hyn yn adnabyddus, ac y mae eu hymylon hefyd yn dra gwahanol. Ymhellach nid ydyw y golygiad yma yn esbonio paham mewn rhai manau nad oes ond *Fringing reefs* i'w cael, tra mewn manau eraill nad oes ond *Encircling reefs* ac *Atolls*. Wedi rhoddi y golygiad yma, ynte, o'r neilldu, pa dybiaethau eraill sydd yn aros?

Fe ddarfu i'r diweddar Charles Darwin osod amcandyb ger bron oedd mor syml a naturiol, ac yn ymddangos yn esbonio yr holl anhawsderau mor foddhaol fel y cyfarfu ar unwaith â derbyniad cyffredinol, a hyd o fewn yr ychydig flynyddoedd diweddaf nid ydoedd iddi yr un gwrthymgeisydd. Nid yw yr archwiliadau diweddar yn y dyfnfor, y rhai sydd wedi taflu goleuni ar gynifer o ddyrys-bynciau dyddorol, wedi bod yn ddieffaith gyda golwg ar y cwestiwn hwn. Fe fyddai yn gystal, yn y lle cyntaf, i ni esbonio golygiad Darwin.

Gadewch i ni ddychymygu fod cwrelau yn cael eu dwyn i fewn i fôr am y waith gyntaf. Fe ymsefydlai y *polypes* ar lethr-lanau yr ynysoedd a'r cyfandiroedd i lawr hyd ddyfnder o 150 o droedfeddi, ond dim îs. O'r rhai hyn hwy a dyfent i fyny i'r arwyneb, ac mewn amser fe fyddai i'r gweddillion cwrelaidd cydgasgledig ffurfio Is-greigiau Eiddïog, neu *Fringing reefs*, y rhai a gylchynent y tir. Fe ymresymai Darwin na ellid ffurfio un math arall o is-graig *cyhyd ag y bydd lefel y môr yr hyn ydyw*. Dyna yr agoriad i'r safle y dadleuai efe drosto. A thybied yn awr fod lefel y môr yn cael ei newid fel ag i sefyll yn uwch, ac fod y cyfnewidiad yma yn cymeryd lle yn dra graddol, fe fyddai i'r cwrel barhâu i dyfu i fyny at yr arwyneb, ond byddent farw islaw 150 o droedfeddi. Felly, fe ffurfid traethell o gwrel meirw islaw, ac fe ddelai

yr is-graig eiddïog yn is-graig argaeol neu gylchynol. Tybier fod lefel y môr yn parhâu i gyfnewid yn raddol, fe ddaw yr is-graig gylchynol yn *Atoll*, pan fydd y tir uchaf yn myned o'r golwg dan y dwfr. Felly ni a welwn y byddai i gyfnewidiad araf yn lefel y môr roddi bod y naill ar ol y llall i is-greigiau cylchynol ac *Atolls*. Pa fodd y gallai y fath gyfnewidiad mewn lefel gael ei ddwyn oddiamgylch? Yn amlwg trwy araf ddisgyniad y tir a'r môr-waelod. Fe deimlai Darwin nad oedd yn ddigon iddo ddangos yr esboniai ei amcandyb ef y ffeithiau, ond ceisiai brofion annibynol i'w chadarnhâu. Fe ymresymai fel hyn: Os ydyw yn wir fod yr *Atolls* a'r *Barrier reefs* yn cael eu ffurfio mewn manau lle mae y tir yn myned i lawr, ni ddylent fod yn y manau lle, oddiwrth brofion annibynol, y mae genym reswm i gredu fod y môr-waelod yn aros yr un fath, neu yn codi. Mae yn wybyddus fod y tir yn nghymydogaeth llosg-fynyddoedd sydd ar waith, naill ai yn aros yr un fath neu yn araf godi; ac am hyny ni ddylai fod *Atolls* nac is-greigiau cylchynol i'w cael mewn rhanbarthau lle y mae llosgfynyddoedd. Wrth archwilio y mater, fe gafodd Darwin mai felly yr ydoedd. Fe barotôdd *fap*, ymha un y mae llosgfynyddoedd yn cael eu dangos mewn un lliw, ac *Atolls* mewn un arall; ac y mae yn amlwg fod llinellau gweithgarwch llosgfynyddol yn gorwedd o amgylch ymylon rhanbarthau yr *Atolls*.

Mae y prawf gan hyny yn gryf, ac fe gymerid presennoldeb *Atolls* ac is-greigiau cylchynol fel yn profi fod y môr-waelod wedi bod yn araf fyned i lawr. Gan eraill yn ddiweddarach, fe gymhwysid yr amcandyb mewn modd tra haeriadol, a dadgenid yn hyderus fod y rhanbarth o'r Tawelog a adwaenir fel Ynysfôr Polynesia, lle y mae ynysoedd ac is-greigiau cwrelaidd yn dra lliosog, mewn rhyw gyfnod blaenorol yn cael ei lanw gan ynysoedd mawrion, neu fe allai gan gyfandir mawr, gyda'i arwyneb yn codi i fryniau a mynyddoedd. Fe dybid fod glanau y tir hwn ar y cyntaf yn cael eu hamgylchu gan is-greigiau eiddïog neu *fringing reefs*. Fel yr oedd y rhanbarth yn araf fyned i lawr, fe ddelai y *Fringing reefs* yn *Barrier* ac *Encircling reefs*. Ac o'r diwedd, fel yr oedd y naill gopa uchel ar ol y llall yn myned o'r golwg dan arwyneb y dwfr, fe gynnyrchid *Atolls*, y baslyn yn y canol yn gorchuddio hen goryn y mynydd; ac felly o'r diwedd cyfres faith o is-greigiau ac ynysoedd cwrelaidd oedd yr oll a adawsid i ddangos lle, yn yr hen amseroedd, y safai tir.

Y mae anhawsderau, fodd bynag, o fath na ddysgwylid wedi dyfod ymlaen mewn cysylltiad â'r golygiad yma fel ffrwyth ymchwiliadau diweddar. Y mae pwysau mawr o brawf yn ffafr y dybiaeth fod y moroedd dyfnion,—y Werydd a'r Tawelog, o henafiaeth mawr, a bod y dyfnforoedd wedi bod felly o amser daearegol tra phell. Ond y mae hyn yn anghyson â'r golygiad a osodwyd yn awr ger bron fod y Tawelog unwaith yn dir sydd yn bresennol wedi myned i lawr.

Yr ystyriaethau a arweiniasant Mr. Murray o'r "Challenger" a'i gydlafurwyr i'r golygiad am henafiaeth gwelyau yr eigion oeddynt y rhai canlynol. Mae dyfnder y môr yn y cyffredin yn agos i dair milldir, yr hyn sydd gymaint tua deuddeng waith ag uchder y tir. Fe fuasai felly yn gofyn symudiadau o faintioli aruthrol i droi y dyfnfor yn dir. Drachefn, y mae yr ychydig ynysoedd sydd yn codi o ganol

y moroedd yn llosgfynyddol, ac nid ydynt yn gynnwysedig o'r fath greigiau ag sydd yn ffurfio y cyfandiroedd, fel y gallesid dysgwyl eu bod pe yn weddillion tir wedi ei dansuddo. Fe gesglir gan hyny na fu y Tawelog erioed yn dir sydd yn awr wedi suddo dan y môr. Wedi derbyn y casgliad hwn, mae yn amlwg fod rhyw dybiaeth arall am darddiad rhai o'r *Atolls*, amgen na'r eiddo Darwin, yn angenrheidiol. Mae y plymiadau a wnaed gan y "Challenger" a llongau eraill, wedi dangos fod moel-gloddiau a thrumau dyrchafedig yn codi mewn rhai manau yn agos i'r arwyneb. Mae y rhai hyn, mae yn ddiammheu, mewn llawer o achosion, o darddiad llosgfynyddol. Os ydyw y dyfnder dros y fath ranau dyrchafedig o'r môr-wely yn llai na 150 o droedfeddi, fe fydd i *polypes* cwrelaidd ymsefydlu arno, ac fe fydd i'w gweddillion gydgasglu, gan godi tua'r arwyneb. Fe fydd y *polypes* o'r tu allan yn fwy yn ffordd y llifrediadau sydd yn dwyn ymborth, a thyfant yn fwy grymus na'r rhai oddimewn. Felly fe fydd i'r ymyl allanol ymhob man dueddu i gyrhaedd yr arwyneb o flaen yr un mewnol. Can gynted ag y cyrhaeddir yr arwyneb, fe dyr y tonau ymaith ddarnau, gan eu pentyru i ffurfio modrwy o dir cwrelaidd o fewn pa un y bydd baslyn. Ychydig o dyfiant cwrelaidd fydd o fewn y baslyn o ddiffyg digonedd o ymborth, ac felly yn y ffordd a ddesgrifiwyd fe ffurfid *Atoll*. Y tu allan i'r is-graig fe fydd darnau o'r cwrel yn barhâus yn cael eu tori allan, ac fe fydd tuedd gan hyny i'r is-graig gynnyddu trwy ei malurion ei hun.

Dros yr holl fôrwely, oddieithr yn y manau dyfnaf, y mae gwaddod o falurion creaduriaid morawl yn cydgasglu. Trwy y fath gydgasgliad, yn cael ei barhâu am genedlaethau, y mae rhanau o'r môr-wely, oeddynt ar y dechreu yn rhy ddwfn i fywyd cwrelaidd, yn cael eu bashâu hyd o fewn y terfyn o 150 o droedfeddi. Yna y mae *polypes* cwrelaidd yn ymsefydlu, a thyfiant is-graig yn dechreu.

Nid ydyw Murray yn gwadu fod tansuddiad wedi cymeryd lle ac yn cymeryd lle mewn rhai rhanbarthau, ac fe ganiatâi fod rhai *Barrier reefs* ac *Atolls* yn ddyledus i'r fath dansuddiad yn y ffordd a dybiai Darwin; ond mae ei ymchwiliadau ar y dyfnfor wedi ei arwain i gasglu fod tansuddiadau wedi eu cymeryd yn ganiatäol mewn achosion ac i fesur nad ydyw y profion yn gyfiawnhâu.

Fe'i boddlonid ymhellach y gellid esbonio ffurfiad yr *Atoll* mewn llawer o achosion ar yr egwyddor gyffredin o dyfiant cwrel, heb gymhorth unrhyw symudiad o eiddo y ddaear.

Y mae un casgliad yn cael ei ddwyn adref yn gryf at feddwl efrydydd gwyddoniaeth fel y mae ffeithiau newyddion yn dyfod i'r golwg a darganfyddiadau newyddion yn cael eu gwneyd. A dyna ydyw: fod natur yn gweithio mewn amrywiol ffyrdd, ac y rhaid dwyn amcandybiau drachefn a thrachefn at brawf ffaith, ac ystyried pob achos ar ei deilyngdod ei hun.

R. D. ROBERTS.

*Clare College, Cambridge.*

# YNYS ENLLI.

## II.

UNWAITH, yn amser rhyfel Buonaparte, cafodd yr holl wrywiaid oedd yn yr Ynys eu gwerthu yn filwyr i'r *Press Gang*, ond un. Y chwedl ydyw, fod llong ryfel wedi talu ymweliad â'i glàn, ac i'r holl Ynyswyr mewn chwilfrydedd fyned yn eu cychod ati, a'i byrddio. Ac un o honynt yn unig a fedrai air o Saesoneg, sef Shôn Robert Griffith, hen garictor rhyfedd iawn. A dywedir i Shôn yn ddiseremoni yn y fan eu gwerthu oll, a hyny yn Saesoneg, ac felly heb yn wybod iddynt, druain, i'r *man of war*. Ac yn ddioed cymerwyd hwynt ymaith, gan wneyd milwyr o honynt, a Shôn yn unig a ddaeth i'r làn i ddyweyd y chwedl. Mewn canlyniad bu yn helynt flin yn yr Ynys, ac yn enwedig felly ar Shôn, gan fod y gwragedd am ei ferthyru; a bu raid iddo ar unwaith, er mwyn achub ei hoedl, gymeryd ei draed a dianc i'r America. Ond trwy gyfryngdod caredig teulu Madryn, cafodd y caethion eu rhyddid drachefn, a dychwelyd i'w cartrefi.

Yn yr hen amseroedd byddai Enlli yn lloches i ddianc iddi rhag cosb y gyfraith wladol, ac yr oedd hi i'r cyfryw rai yn noddfa ddiogel. Tra yn sengi ei daear hi, teimlai y troseddwr yn berffaith ddiogel rhag pob swyddog a cheisbwl i aflonyddu dim arno. Ac o bryd i bryd bu yn ymguddfan i amryw o'r ffoaduriaid hyn rhag dyfod i afaelion cyfiawnder; a'r canlyniad fu i amryw o honynt ymsefydlu yn y lle, ac i'w hâd aros yno yn frodorion sefydlog. Y pryd hwn hefyd cerid ymlaen gan yr Ynyswyr gryn lawer o fasnach ammheus ac anghyfreithlawn—yr hyn a elwid yn *smugglo*, yn benaf mewn gwirodydd. Y ffordd y gwneid hyny fyddai trwy i·lestr lawn o'r eiddo gwaharddedig groesi yn rheolaidd drosodd i'r Ynys. A phob amser deuai i fewn yn y nos, a rhedid hi i Borth Solach, lle hollol ddiogel rhag golygon y *coast guards* o'r "tir mawr." Wedi dadlwytho y cwch, cuddid y *smuggle* mewn rhychau dyfnion wedi eu tori yn bwrpasol yn y ddaear, ac yna ceuid arno drachefn. A phan fyddai yr holl derfynau yn glir, ëid âg ef gan wŷr yr Ynys yn eu cychod i Gaernarfon a manau eraill, a thelid iddynt gan y perchenogion am hyny. Am hir amser buwyd yn cario ymlaen y fasnach waharddedig hon; ond daeth y dirgelwch rywbryd i'r amlwg, a rhoddwyd diwedd buan arno, ac ni cheir y fath beth o fewn y terfynau mwyach.

Y mae hen draddodiad ar gael yn y lle fod *crochan aur* wedi ei guddio yn rhywle ar ben y mynydd, ac o bryd i bryd mawr fu ymdrech y seintiau ac eraill i'w ddarganfod, ond yn aneffeithiol. Sail hyny ydyw, fod llestr unwaith wedi rhedeg i'r làn ac ynddi lon'd crochan o aur, a'i fod ar y pryd wedi cael ei guddio ar ben y mynydd. Ac fe gyfeirir yno at le

arbenig, fel cuddfan draddodiadol y trysor, ac y mae y lle hwnw, pe tarewid troed yn lled drwm arno, yn meddu yr arbenigrwydd o gynnyrchu sŵn adleisiol, yr hyn a brofa fod yno wagle. Tybid yn wastad mai dyma fangre y crochan aur, a buwyd lawer tro yn cloddio ynddo, ond bob amser yn aflwyddiannus. Fel yr elid i waered llenwid y lle â dwfr, fel y byddai raid ymattal, fel nad ydys wedi cael y trysor cuddiedig hyd heddyw.

Beth, tybed, a allai fod sail yr ymadrodd cyffredin hwnw a geir ar lafar gwlad, "Mor *sound* a chloch y Bala?" Dyma un esboniad, a chaiff y darllenydd ei gymeryd am ei werth. Pan oedd y Fynachlog yn Enlli yn ei hadfeiliad, dywedir y cymerwyd ei chlychau hi drosodd, un i Glynnog, y llall i Lanengan, a'r llall fel y bwriedid i'r Bala. Ond pan yn dwyn yr olaf drosodd, dywedir i dymhestl gyfodi yn y *sound*, fel yr oedd y cwch ar suddo, ac y bu raid taflu y gloch i'r môr i'w ysgafnhâu a'i gadw ar y wyneb. Ac i waelod y *sound* y cafodd fyned—ac fel y dywed rhai, dyna y rheswm am yr ymadrodd, "Mor *sound* a chloch y Bala."

Beth hefyd, tybed, ydyw sail y traddodiad mai perthyn yn *wreiddiol* i Sir Benfro yr ydoedd Enlli? Fel ymgais i ateb, dywedir y bu Sir Benfro ac Enlli ar un adeg yn un mewn ystyr ddaearyddol; y bu gwely y môr presennol sydd rhyngddynt, yn un gwastadedd o sychdir, ac felly yn eu cysylltu yn un. Ac fe attegir hyny gan y traddodiad am "Gantre'r Gwaelod," a safai unwaith ar wely y *Cardigan Bay*, ond a foddwyd gan y gorlifiad, ac mai felly y torwyd y cysylltiad daearyddol oedd rhwng y Gogledd a'r De; ac fe sicrheir mai muriau un o ddinasoedd y Gantref ydyw y clawdd a welir ar drai y bâu, yr hwn a elwir "Y Sarn," y *causeway* sydd o bryd i bryd wedi gwneyd cymaint o ddifrod ar longau a bywydau. Ac felly honir fod cysylltiad creadigol a thirol, os nad sirol, wedi bodoli rhwng Sir Benfro a'r Ynys, ond ei fod wedi ei dori ymaith gan y gorlifiad mewn rhyw gyfnod pell cyn-hanesiol, pan y gadawyd Enlli yn ynysig fechan yn y môr, yn cael ei chylchynu gan y weilgi gynhyrfus. Ond ai gwir hyn, tybed? Nid ydym am ddadleu nad ydyw yn wir. Ond eto, onid mwy naturiol a synwyrol a fyddai cysylltu Enlli mewn ystyr greadigol a gwreiddiol a *Sir Gaernarfon*, yn hytrach nag â Sir Benfro? Onid ydyw ei safle a'i lleoliad yn ffafrio hyny? Onid ydyw arferion, cydymdeimlad, aceniad, a phriod-ddull ieithyddol yr Ynyswyr yn ffafrio cysylltiad â'r Gogledd yn hytrach nag â'r De? Ac onid ydyw daeareg y glànau hyny yn profi hen berthynas rhyngddynt, ac yn dangos y bu yr Ynys o fewn cwrs amseryddiaeth ddaearegol yn rhan o Sir Gaernarfon? Yr ydym yn gostyngedig hòni hyny. Nid ydym ychwaith am wadu y posibilrwydd i wely y bâu presennol rywbryd fod yn gyfandir sych, pryd y gellid teithio yn droedsych o Aberdaron i Dyddewi, nac ychwaith am wadu y traddodiad am wastadedd y Gantre, pa un a orlifwyd. Ond yr hyn a hònwn ydyw y bu cysylltiad agosach a mwy naturiol rhwng pen Lleyn ac Ynys Enlli. Ac os felly, darn o *Leyn* ydoedd yr Ynys, cyn i'r *sound* wahanu rhyngddynt. Ac er fod gagendor rhyngddynt yn awr, eto ceir ar bob ochr olion a llinellau o'r hen berthynas yn y creigiau. Wrth edrych ar fap daearegol y *survey*, ac hefyd edrych â'n llygaid ar y creigiau, canfyddir fod craig Enlli a'r graig gyferbyniol yn Aberdaron—oddigerth ychydig—o'r un

ffurfiad daearegol, ac o'r un natur fwnyddol; a cheir yr un naturiaethau ar hyd y glànau hyd yn Nefyn. Ac ymhellach, ceir fod natur craig *Ramsey Island*, Tyddewi, yn gwadu pob perthynas wreiddiol o'r fath rhyngddi ac Enlli. Na sonier mwyach, gan hyny, am ei chysylltu yn y modd hwn â Sir Benfro, ond yn hytrach â Sir Gaernarfon.

Wel, ynte, beth allai fod ystyr y traddodiad? Os na bu cysylltiad daearyddol rhwng y ddau le, ai tybed y bu cysylltiad o gwbl? Yr ydym yn credu fod ystyr i'r hen draddodiad, ac y bu yna gysylltiad rhyngddynt, ac mai un *eglwysig* a *chrefyddol* ydoedd. Bu cysylltiad esgobaethol am gryn amser rhwng Tyddewi a'r Ynys, am yr hwn y cawn sylwi yn fanylach eto; ac fe allai mai dyna'r esboniad ar yr hen draddodiad.

Ar y bwrdd-dir gwastad yn ochr Aberdaron, gyferbyn â'r Ynys, ceir gweddillion o hen eglwys a elwid "Eglwys Fair," hanes yr hon sydd yn agos gysylltiedig âg Enlli. Yn yr hen amseroedd, pan oedd yr Ynys yn ei bri mewn ystyr grefyddol, byddai yr eglwys hon yn fath o orsaf, ac yn gapel i'r pererinion i droi i mewn iddo er cydnabod y foneddiges Mair am ei hamddiffyniad drostynt ar eu teithiau, ac hefyd er gofyn am ei hamddiffyniad arbenig drostynt i groesi y *strait*. Dywedir fod yr adeilad, pan ar ei draed, yn llawn o hen greiriau, y brithid ei barwydydd â ffurfiau o ddiolchiadau ac addunedau, ac hefyd â meini coffadwriaethol am seintiau ymadawedig.

Yn nghyfeiriad y môr, ar ei làn, ac yn is na marc y llanw, ceir ffynnon fechan ddysglaer a chroew, i'r hon y disgynir ar hyd llwybr cul, troellog, a thra pheryglus. Dyma ffynnon Fair. Ac yn y graig ar fin y llwybr, canfyddir portrëad yn y ffurf o ôl traed march; a dywedir mai ôl pedol march y foneddiges ydyw, pan unwaith yn talu ymweliad â'r ffynnon. Bydd ar y llanw yn gwbl orchuddiedig gan y môr hallt; ond ar drai daw yn glir a gweledig, a'i dyfroedd yn beraidd. Ystyrid fod ei dyfroedd yn yr oesau gynt yn meddu rhinweddau meddyginiaethol. Y ffynnon hon fyddai y *stage* gyntaf i'r pererinion wedi croesi o'r Ynys, a'r olaf wrth ddychwelyd iddi. A chredai y pererin, os gallai gadw ei dwfr yn ei safn heb ei lyncu, nes y deuai i ben y dorlan, y byddai yn arwydd sicr y caffai y diwrnod hwnw yr hyn a ewyllysiai. Y mae ffynnon Fair yn ei holl arbenigrwydd, yn lân a chroew, yn ymyl y môr ac yn orchuddiedig ganddo ar bob llanw, yn aros hyd heddyw, ac ar adegau ymwelir â hi gan laweroedd.

Awgrymai y Parch. Robert Hughes, Uwchlaw'r ffynnon, wrthym, nad oedd Ffynnon Fair ond un o gyfres o ffynnonau, ac y byddai y pererinion wrth deithio o Enlli i Fangor ac yn ol drachefn, yn arfer gwersyllu wrth y ffynnonau hyn a geid yn rhes hyd yr holl ffordd. Ceir amryw o honynt yn aros heddyw, wedi eu gweithio yn gelfydd, ac yn cael eu cylchynu gan eisteddfaau ceryg, ar ba rai y gorphwysent. Yfent o'u dyfroedd, ac ymdrochent ynddynt. Mae y ffynnonau hefyd yn dwyn arnynt enwau cysegredig y seintiau. Nis gallwn yn bresennol olrhain ond rhan o'r gyfres, er fod yn bosibl ei chael yn gyflawn yr holl ffordd i Fangor. Y gyntaf ydyw ffynnon Fair, yna ffynnon Penllech, yna ffynnon Nefyn, yna ffynnon Llanaelhaiarn, yna ffynnon Beuno yn Nghlynnog, ac yna ffynnon Odliw gerllaw Glynllifon. Nis gallwn eu dilyn ymhellach. Byddai y seintiau hyn, fel y pererinion gynt yn

Israel, yn myned o nerth i nerth, trwy yfed o'r pydewau hyn, nes o'r diwedd cyrhaedd y gwahanol sefydliadau yn ddiogel.

Mewn llyfryn bychan a gyfansoddwyd gan y Tad Ignatius, ac a gyflwynwyd i Arglwydd Newborough, y ceir y portrëad canlynol o'r *exodus* i'r Ynys :—

'T was the Corpus Christi spring Feast,
That now was hard at hand,
And Pilgrim crowds are waiting
On Aberdaron's strand;
The sea was gaily sparkling,
Beneath the May-day sun,
The Aberdaron boatmen
A race to Bardsey run:
Now, in all haste the pilgrims
Are landing on the isle,
For crowds at Aberdaron
Are waiting all the while;
The boats return to fetch them
Across the sparkling bay,
In time for the first Vespers
Of Corpus Christi Day:
The Grand Old Abbey Temple
Was throng'd both aisle and nave,
The Vespers from the Choir
Roll'd forth their choral wave.

Yn y cyn-oesoedd a'r canol-oesoedd ystyrid yr Ynys fechan yn y byd crefyddol yn fangre sanctaidd, ac yn gyrchfan i'r saint o bob cŵr o Gymru. Yr oedd hi yn cyfateb i'w henw yn "Ynys y seintiau." Ac yr oedd gweddillion o'r syniadau cysegredig hyn am dani yn parhâu yn y wlad hyd yn ddiweddar. Dywedir y byddai y cychwyr heb fod ymhell yn ol, pan yn croesi o Aberdaron, wrth nesâu at ei glànau, yn tynu eu hetiau oddiam eu penau, ac yn tynu eu rhwyfau i fewn, er offrymu gweddi ddefosiynol drosti. Fel y dywedwyd eisoes bu er yn fore yn eisteddle crefydd, ac yn fath o *retreat* eglwysig. Nis gallwn roddi yn fanwl yr amser y dechreuodd fod felly; er y gellir sicrhâu iddo ddechre yn ystod y canrifoedd cyntaf yn hanes yr eglwys. Dywed Pennant ddarfod i'r Culdeaid, *Culdees*, y sect fynachaidd gyntaf, y rhai a encilient i ddiffeithleoedd ac ynysoedd i arwain bywyd crefyddol, ymsefydlu ynddi. Ceir i nifer o'r gwŷr hyn ymfudo i Enlli, a rhaid ddarfod i hyny gymeryd lle yn gynnar yn hanes Cristionogaeth. Ac fe'n dysgir gan Hanesiaeth Eglwysig, nid yn unig fod crefydd er yn fore wedi gwisgo arni ei hun ffurf fynachaidd a meudwyaidd yn y dwyrain, yn Itali, a'r Aipht, ond hefyd yn Nghymru. Ceid yma Athrofäu wedi eu sefydlu, pa rai oeddynt fathau o Grefydd-dai, neu gartrefi mynachaidd, ymha rai, nid yn unig y ceid ymgeiswyr am swyddau sanctaidd yn derbyn addysg, ond hefyd lïaws mawr o'r werin-saint yn arwain bywyd mynachaidd a neillduedig o dan arweiniad cyfarwyddwr ysbrydol, neu Abad. Dyma y ffurf arbenigol a gymerai y bywyd ysbrydol yn y dyddiau hyny.

Ac yr oedd sefydliadau o'r natur yma i'w cael mewn amrywiol fanau yn Nghymru, megys Bangor-is-y-coed, Bangor yn Arfon, Enlli, a manau eraill. Tybir mai Einion, brenin Lleyn, ydoedd sefydlydd y Fynachlog

a'r Athrofa yn Enlli. Ar y pryd preswyliai yn Llanengan; a cheir ysgrifen ar glochdŷ Eglwys y plwyf hwnw, yn mynegu mai Einion frenin a'i hadeiladodd. Efe hefyd a sefydlodd y Fynachlog a'r Athrofa yn Mhenmon, Môn. Ac fe dybir yn sicr mai yr Einion frenin hwn a ddechreuodd "yr achos" yn Enlli. Yr oedd efe yn dra chrefyddol a defosiynol. Mewn cywydd a gyfansoddwyd i'w goffadwriaeth desgrifir ef fel hyn:—

Y crevyddwr cryw addwyn
Aur yw dy wedd er dy vwyn,
Einion Vawr, Einion Vreiniol,
Vrenin a'th werin i'th ol,
Dawnus vab Owain Danwyn
D'wysog llaw eurog yn Ll'yn.

Ar ol hyn daeth Cadfan mab Eneas, o Lydaw—gŵr nodedig mewn dysg a duwioldeb—gyda'i gôr, drosodd i Gymru fel cenadon Cristionogol; a buont yn dra llwyddiannus yn eu neges. Planwyd ganddynt amryw o Eglwysi, pa rai sydd hyd heddyw yn dwyn eu henwau. Yr oedd Cadfan Sant, a Cynon, un o aelodau ei Gôr, yn myned drosodd i Enlli, fel y tybir, yn y flwyddyn 512 O.C., a chanfuasant yno, er eu syndod boddhaol, bob peth mewn trefn a gwaith—y Fynachlog wedi ei gorphen ac yn gyflwynedig i'r Santes Mair, ac yn llawn o deulu y ffydd, yn arwain bywyd myfyriol a defosiynol; ac hefyd Athrofa yn llawn o efrydwyr. Dewiswyd Cadfan yn Athraw i'r Athrofa, a Cynon yn Ganghellwr, a bu y sefydliad yn hynod flodeuog o dan eu gofal.

Mae yn ffaith sydd yn ein taro yn rhyfedd y dyddiau hyn fod cenadon Cristionogol yn cael eu hanfon y pryd hyny o Lydaw i Gymru i'w hefengyleiddio. Fel arall y mae erbyn hyn. Beth ddywedai Cadfan, tybed, o ddeall mai Cymru sydd heddyw yn anfon cenadau i Lydaw, yr hon bellach sydd wedi llwyr golli purdeb a symlrwydd yr efengyl? Dyma un eto yn ychwaneg o gyfnewidiadau rhyfedd hanesiaeth.

Cawn i Dochdwy tua'r pryd hwn fod yn esgob am ryw hyd yn Enlli, ac yna cymerwyd ei le gan Teilo, esgob Llandaff. Hefyd cawn Dyfrig, archesgob Carleon—ar derfyn cymanfa fawr Llanddewibrefi, pan y darfu i Dewi Sant trwy ei bregeth nerthol roddi un ddyrnod fawr i Belagiaeth yn Nghymru—yn rhoddi i fyny ei archesgobaeth i Dewi, a chydag eraill yn encilio oddiwrth fywyd cyhoeddus i dawelwch ac unigrwydd yr Ynys, er arwain bywyd duwiol, ac hefyd er bod yn dad ysbrydol i wŷr ieuainc yr athrofa. Yr oedd y pryd hyn mewn gŵth o oedran, ac yn analluog i gyflawni gwaith ei swydd yn effeithiol. Tra yn ei nerth, bu yn hynod ymroddgar i ledaenu gwybodaeth ysbrydol yn y wlad, ac i gyflawni gwahanol ddyledswyddau ei swydd. Ond bellach, y mae yn hen ac yn adfeiliedig, ac yn hytrach na dal gafael ynddi a mwynhâu ei melusion, y mae yn ei chyflwyno i'w olynydd teilwng, yr hwn a fyddai yn abl i wneyd ei gwaith. Ac yn hyn y mae yn dangos ei gydwybodolrwydd a'i onestrwydd. A chafodd olynydd gwir deilwng yn Dewi Sant. Ac ar ol cyfanneddu ar yr Ynys am dair blynedd, dybenodd ei yrfa yn yr oedran patriarchaidd o 146 o flynyddoedd, a chafodd ei gladdu gyda'i bobl yn ei Maes Machpelah gysegredig hi. Ond dywedir, ymhen blynyddoedd wedi, ddarfod i'w esgyrn gael eu codi a'u

trosglwyddo i'w hail gladdu i Eglwys Llandaff. Nid yn unig aeth llawer o saint i'r Ynys gyda Dyfrig, ond aeth llawer yno hefyd ar ei ol. Yr oedd efe bellach, fel canolbwynt attyniad, yn peri i lawer ymfudo iddi, nes yr aeth y lle yn hollol lawn. Ac fel yr awgrymwyd, fe ellid casglu mai y cysylltiadau crefyddol hyn a'u cyffelyb, oedd y rheswm dros hòni hen berthynas rhwng yr Ynys a Sir Benfro, ac yn arbenig â Thyddewi.

Tua'r flwyddyn 607 O.C. cododd erlidigaeth gref ar yr Eglwys Brydeinig, a hyny oddiwrth y Saeson, o herwydd gwrthwynebiad pendant y Cymry i hoced a dysgeidiaeth Babyddol Awstin Fynach. Yr oedd yr Eglwys Brydeinig—hen eglwys gyntefig Enlli—yn un bur ac efengylaidd, ac hefyd yn Eglwys Brotestanaidd, y gyntaf oll, ac yn un a brotestiodd hyd at ferthyrdod yn erbyn Pabyddiaeth Rhufain. Nis gwyddom yn sicr pwy fu yr offeryn cyntaf i sefydlu Cristionogaeth yn Mhrydain, pa un ai Joseph o Arimathea, ynte yr Apostol Paul, ynte rhywun arall o'r saint. Ond gwyddom fod yma eglwys yn gynnar yn nechreu yr ail ganrif, os nad yn niwedd y gyntaf, a hono hefyd yn eglwys efengylaidd, apostolaidd, a phur. Eglwys apostolaidd ydoedd eglwys *wreiddiol* Cymru. Ac fel y cyfryw, y mae hi yn gwrthod mewn modd pendant ddaliadau ac athrawiaethau Awstin Fynach, ac yn protestio yn eu herbyn hyd angeu. A dyma'r fath eglwys oedd yn Enlli a manau eraill y pryd hwnw.

Mae yn wir i'r eglwys Gymreig fyned yn Babyddol ar ol hyny; ond yn y canrifoedd cyntaf cadwodd ei hun yn bur a difrycheulyd, a safodd yn bybyr a phenderfynol yn erbyn cenadaeth y mynach. Gellid dyweyd fod yn Nghymru Eglwys Brotestanaidd yn y seithfed ganrif; yr hon am ei phrotest a'i ffyddlondeb a ddyoddefodd erlidigaeth hyd at ferthyrdod. Darfu i'r Saeson—dychweledigion newyddion Awstin—yn eu zel a'u penboethni ladd cannoedd o'r Prydeiniaid penderfynol, yn enwedig efrydwyr a mynachod y colegau yn Mangor-is-y-coed, ac hefyd yn Mangor-yn-Arfon. Ac yr oedd y gweddill yn ffoedigion diamddiffyn ar hyd a lled y wlad, ac yn methu gwybod pa le i ymofyn lloches. Ac wedi clywed am Enlli fel lle o ymwared, ni a'u cawn yn myned at Catwg Ddoeth i ofyn ei gynghor, pa un oedd y goreu iddynt, ai ymfudo i'r Ynys ai peidio. Ac y mae yntau, yn ol y ddoethineb a rodded iddo ef, yn eu hateb ar fesur cerdd yn y wedd ganlynol:—

Catwg a ddywaid wrth Ddewi
Val y gwnai y prophwyd Eli
Duw a ro gynghor i chwi
Ar voroedd o ddieri
Goddefwch bob caledi
Ni ellir lles o ddiogi
Trech doethineb na gwegi
Trech llafur na direidi
Dirwest a chred a gweddi
A orvydd ar bob cyvyngi
Mil can haws gan Dduw roddi
Na chan ddyn diddim erchi
O chredir llyvyr Genesi
Yr hwn a wiria i ni
Ni chavas dyn ei eni
Heb gael gan Dduw ei borthi.

Er nad ydoedd Catwg yn ateb yn uniongyrchol, ond yn hytrach yn eu cynghori i gyflawni eu dyledswyddau, ac i adael y canlyniadau i Dduw, eto y canlyniad fu i gannoedd o'r Saint gorthrymedig hyn gael eu hychwanegu at y sefydliad yn Enlli, nes i'r adeiladau fyned yn orlawn a'r holl Ynys o dan sang. Ac ni gawn grybwylliadau fod sefydliadau crefyddol yr Ynys yn aros yn amser Edward I., yr adeg y gorchfygwyd y Cymry. Ac yn amser Edward II. ceir hanes fod yr Abad yn cyflwyno deiseb i'w Fawrhydi gan gwyno yn erbyn gwaith Uchel-sirydd Sir Gaernarfon—yn groes i'r cytundebau—yn codi treth o wyth swllt a thriugain a chwe' cheiniog ar eiddo eglwysig yn yr Ynys. Tystiai y ddeiseb fod hyn yn anghyfiawnder. Yna mae y Brenin yn gorchymyn i un Roger de Mortimer,—ynad Cymru, i wneyd ymchwiliad i'r mater. Ac wedi gwneyd, y mae yn penderfynu o blaid archiad y ddeiseb, ac yn rhoddi dadganiad nad oedd gan neb hawl i godi treth ar yr eiddo, am mai eiddo crefyddol ac elusenol ydoedd. Yna mae y Brenin yn gorchymyn dilëu y dreth, ac yn gwahardd i neb yn y dyfodol folestu y sefydliadau. Buwyd yn ceisio gosod trethi ar yr Ynys ar ol y pryd hwnw, fel y sylwasom eisoes, pan y trôdd yn fethiant.

Dywedir hefyd fod degymau plwyfydd Aberdaron, Bryncroes, a Nefyn wedi bod unwaith yn meddiant Enlli, ond erbyn hyn yn cael eu meddiannu gan eraill. Yn awr y mae degwm y cyntaf yn perthyn i St. John's, Cambridge, a'r ddau eraill i deulu Cefnamwlch. Yr oedd y fferm a elwir y "Cwrt," yn Aberdaron, yn wreiddiol yn perthyn i'r sefydliadau; ond mae yn awr, gyda'r holl Ynys, yn meddiant Arglwydd Newborough. Ac efe fel y cyfryw ydyw Arglwydd y Faenor. Yn y ffermdŷ hwn, y Cwrt, fel y dynoda ei enw, y cynnelid y llysoedd er penderfynu materion lleol yr Ynys, ynghyd a'r pentrefi cyfagos. Yn ol Dugdale, holl swm gwaddol y sefydliadau ydoedd £46 1s. 4c.; ac yn ol Speed, £58 6s. 2c. A rhaid fod y lleiaf o'r ddau erbyn y dyddiau hyn yn cynnrychioli swm go lew o gyfoeth, er nas gwyddom pa faint. Ond ar ol y Chwyldröad, pan y bu dadwaddoliad cyffredinol ar sefydliadau o'r fath, ceir nad oedd yr holl gyllid ond £1 6s. 8c. A buan y diflanodd y swm hwn hefyd, ac y ciliodd crefydd hefyd yn llwyr o'r lle, fel yr aeth yr holl adeiladau yn adfeilion, a'r sefydliadau yn anghyfannedd. Ac ni cheir yno heddyw ond olion o'r Fynachlog, y Capel, a'r hen fynwent gysegredig, ymha un y dywedir fod *ugain mil* o seintiau wedi eu claddu! Yn y flwyddyn 1875 gosodwyd cofgolofn yn y lle yn goffadwriaeth am yr ugain mil hyn, yr hon a barotowyd ac a osodwyd i fyny ar gost a thrwy orchymyn Arglwydd Newborough. Ei huchder ydyw naw troedfedd, ac y mae iddi dri gwyneb, ar ba rai y ceir yr ysgrifeniadau a ganlyn. Ar yr ochr ogleddol ceir yr ysgrifen Lladin hon,—*In hoc loco, Requiescant in pace;* ar y wyneb gorllewinol ceir y geiriau canlynol yn Saesonaeg,—*Respect the remains of* 20,000 *buried near this spot;* ac ar y wyneb ddeheuol ceir ysgrifen fel hyn:—

**Safe in this Island,**
**Where each saint would be,**
**How wilt thou smile**
**Upon life's stormy sea?**

Yn ol y wybodaeth sydd genym, dodwn ger bron restr o'r gwŷr enwog sydd wedi eu claddu yn ei daear hi, ac yn gynnwysedig yn yr ugain mil hyny sydd yn gorphwys mewn gwir ddiogel obaith am adgyfodiad gwell. 1. Lleuddad ap Dingad ap Nudd Hael, neu fel ei gelwir brydiau eraill, Llawddog, yr hwn gyda'i frodyr Baglan, Gwytheyrn, Tegwyn, Tefriog, a'u chwaer Eleri, a aethent gyda Dyfrig i Enlli i'r coleg tua'r flwyddyn 520 O.C.; 2. Cadfan; 3. Herwyn neu Hywyn; 4. Dyfrig; 5. Deiniol, Esgob Bangor; 6. Durdan; 7. Dewi Sant; 8. Cawrdaf, i'r hwn y mae yr Eglwys yn Abereirch wedi ei chyflwyno; 9. Padarn; 10. Merddyn ap Morfryn; 11. Derfel; 12. Cadwallon ap Owen Gwynedd. A dywedir gan rai mai yno hefyd y claddwyd Beuno. Hefyd, dyma ychydig o'r Abadau a gladdwyd yno:—Cadwallon, mab y Tywysog Owain Gwynedd, tua 1169 O.C.; Ieuan, tua 1480; John Conway—dyma y diweddaf, yr hwn oedd etifedd Bodnithoedd yn Myllteyrn.

Gallwn gyfeirio y darllenydd at gywydd ragorol y bardd athrylithgar Islwyn ar "Seintiau Enlli," yr hwn sydd wedi ei gyhoeddi, a'r hwn oedd hefyd yn fuddugol yn Eisteddfod Pwllheli yn y flwyddyn 1875. Buasai yn dda genym ei gosod ger bron yn llawn, ond ni chaniatâ ein gofod hyny. Dodwn yn unig yr ychydig linellau hyn:—

Y Monachod mynychynt
Ein Enlli gain yn llu gynt,
Glaniaw rhag llid gelynion
Wnai saint yn yr Ynys hon,
I fwynhâu, i fyw yn ol
Cywir foddion crefyddol.

Ac y mae holl ddaear Enlli yn ddaear sanctaidd, a'i holl weryd yn gysegredig. Y mae hi, yn ngwir ystyr y gair, yn *Cemetery*, lle i orphwys, ac hefyd yn *God's acre*, y fan lle cedwir yn ddirgel ac yn ddiogel lwch y seintiau. Ac fe ddaw y fangre lonydd a dystaw hon, ryw ddydd, yn llawn sŵn a chynhwrf, pan y daw llwchyn at ei lwchyn, ac asgwrn at ei asgwrn, ac yr adgyfyd yr ugein-mil seintiau ar eu traed yn llu mawr iawn, wrth lef yr archangel, ac wrth udgorn Duw.

Ugain mil o'th seint-hil sydd
Yn llenwi 'th erwi llonydd:
'E feda 'r Adgyfodiad
Wych doraeth o'th odiaeth hâd.

O adeg ei dirywiad hyd ddechreu y ganrif hon y mae hanes crefyddol yr Ynys, os oedd iddi hanes crefyddol o gwbl, mewn cryn dywyllwch. Yn yr argyfwng hwn syrthiodd i ddinodedd ac adfeiliad, ac aeth ei phreswylwyr yn rhai hynod o anwar ac annuwiol. O fod yn gryd crefydd, "yn ddiffynfa'r ffydd," ac yn gartrefle duwioldeb, aeth mor ddirywiedig, fel na cheid yr un arwydd o grefydd o gwbl o fewn ei therfynau. Na sonier mwyach am *filoedd* seintiau Enlli! Ni fethem pe dywedem y bu adeg arni pan nad oedd o'i mewn gymaint o rai cyfiawn ag a geid yn Sodom. Yn wir nid oes hanes fod ynddi ar yr un adeg, gymaint ag *un* yn ofni yr Arglwydd, ac yn meddwl am ei enw Ef, a pharhaodd felly am flynyddoedd meithion. Peth difrifol ydyw gorfod dyweyd hyn am dani; ond eto dyna oedd ei chyflwr ysbrydol yn nechreu y ganrif hon. Ond yr ydym yn llawenhâu fod pethau wedi newid

yn fawr er gwell erbyn y dyddiau hyn. "Ni ddywedir mwy am danat, Gwrthodedig, ac am dy dir ni ddywedir mwy Anghyfannedd; eithr ti a elwir Hephsibah, a'th dir Beulah; canys y mae yr Arglwydd yn dy hoffi, a'th dir a briodir." Erbyn hyn mae y brophwydoliaeth hon i raddau yn wir am Enlli. Y mae hi wedi dychwelyd o'i chaethiwed, ac yn mwynhâu amseroedd ei hadferiad.

Y Methodistiaid Calfinaidd bïa yr Ynys mewn ystyr grefyddol. Hwy sydd wedi cymeryd meddiant o'r maes, ac yn gofalu am eneidiau y trigolion. Bu y Wesleyaid fwy nag unwaith yn gwneyd ymgais i'w meddiannu, ond bob amser yn aflwyddiannus. Gwir y ceid nifer yn y lle bob amser â'u cydymdeimlad yn fwy gyda'r brodyr Wesleyaidd, ac hefyd ar adegau yn ymofyn eu gweinidogion drosodd i bregethu. A chawn hefyd i rai o weinidogion y Bedyddwyr fod yno yn achlysurol yn efengylu. Ond y Methodistiaid sydd wedi gofalu mewn modd rheolaidd am y fangre, ac yn ymarferol, os nad yn wirioneddol, Methodistiaid Calfinaidd ydyw y brodorion. Ac yn ol pob tebyg, ni fuasai yno achos crefyddol rheolaidd a gweinidogaeth gyson o gwbl oni b'ai am ofal a haelioni Methodistiaid Calfinaidd Lleyn ac Eifionydd. A chyfiawnder bellach fyddai eu gadael yn ddiwahardd a diymyriad i drin y winllan fechan hon, sydd wedi ei thrin mor ragorol ganddynt hyd yn hyn, ac yn yr hon y mae cymaint o'u llafur a'u harian wedi eu buddsoddi.

Am flynyddoedd lawer, bu y diweddar Barch. Robert Williams yn ffyddlawn yn gofalu am yr achos crefyddol ar yr Ynys. Ar ei ol ef bu y Parch W. T. Jones yn llafurio yno am flynyddoedd gyda llwyddiant arbenig. Ac y mae gŵr o'r enw Mr. William Jones yn llafurio yno yn bresennol gyda llwyddiant. Yr oeddynt eu tri yn weinidogion gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, ac yn cael eu cynnal yno gan Gymdeithas Genadol yr enwad. Y mae Cyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd mewn modd arbenig wedi bod yn nodded ac wedi dangos caredigrwydd i'r chwaer fechan hon; ac y mae yn haeddu pob clod am hyny. Ymhell cyn sefydliad y cenadon, yn amser y Parch. Robert Williams, ac yn wir cyn hyny, pan fyddai y tywydd yn caniatâu, telid ymweliad â'r Ynys yn achlysurol gan amryw o hen frodyr, er pregethu efengyl y deyrnas. Byddai y seraph-bregethwr Robert Roberts, o Glynnog, yn arfer talu ymweliad blynyddol â hi, ac yn aros yno weithiau am dipyn o amser. Ac oblegid y dyddordeb mawr a gymerai ynddi, gelwid ef yn fynych yn "Esgob Enlli." Hefyd cawn y byddai y diweddar Barchn. James Hughes a Moses Jones, ac hefyd amryw frodyr eraill, yn arfer talu ymweliadau mynych â hi. Ac yn ddiweddarach, byddai y diweddar Barch. Thomas Williams, Rhyd-ddu, yn hoff o groesi drosodd yn flynyddol i efengylu, a byddai ei gyfeillach a'i weinidogaeth bob amser yn gymeradwy gan y preswylwyr. Byddai yr "hen bererin," fel y gelwid ef, yn gwneyd ei hunan yn gartrefol iawn yn eu mysg, yn ymweled â'u holl dai, ac yn hynod grefyddol a defosiynol gyda hwynt. Ac fe ddywedir y byddent hwythau yn ei gydnabod yn lled anrhydeddus am ei wasanaeth.

Ond yr hwn a ofalai yn neillduol am yr achos yn y blynyddoedd diweddaraf ydoedd y Parch. Hugh Hughes, Gellidara. Cyn cael brawd i fod yno yn sefydlog, efe fyddai yn trefnu y pethau angenrheid-

iol, mewn chwilio am rai i fyned yno i bregethu, &c.; ac fe'i hanrhydeddwyd, mewn canlyniad, â'r teitl o *Archddiacon* Enlli. A byddai Mr. Hughes—neu yn fwy priodol y Cadben Hughes—yn croesi drosodd ei hunan yn aml, er gosod pethau mewn trefn, ac er efengylu pethau daionus. Ac nid oedd neb mor gymhwys â'r Cadben i fod yn gyfarwyddwr ysbrydol i'r Ynys; yr ydoedd yn efengylwr melus, yn un a fawr gerid gan y brodorion, ac yn gallu croesi y *Sound* dan ganu! Ac y mae yn ffaith, o'r holl bregethwyr sydd yn arfer ymweled â'r Ynys, mai efe ydyw un o'r rhai mwyaf poblogaidd, os nad y mwyaf oll. Nid gormod dywedyd mai efe ydyw eu prif arwr. Mewn cyfarfod pregethu yno yn ddiweddar, gwasanaethai dau o wŷr y teitlau, ac un o honynt yn bendefig yn y weinidogaeth. Ond er hyny y Cadben wrth eu morio yn braf tua'r "Porthladdoedd Prydferth" ydoedd y prif ŵr yn eu golwg. Y mae Mr. Hughes wedi bod yn hynod garedig a ffyddlawn i'r praidd bychan yn y lle hwn.

Safai y capel cyntaf y cofir am dano yn rhywle ar y mynydd, ond nid oes genym fanylion yn ei gylch. Yr ail a safai yn ymyl Ysgubor Hendŷ, yn adeilad bychan, gyda muriau isel, a phen gwastad, isel, fel nas gallasai yr addolwyr sythu o'i fewn. Y rheol y pryd hwnw ar y Sabboth fyddai darllen pennod a gweddïo, ac yna myned allan i chware y bêl a phethau cyffelyb. Y pryd hwnw, nid oedd ond un, a hono yn fenyw, yn proffesu crefydd o fewn i'r holl le; a byddai yn arfer moddion yn gyhoeddus, a dywedid ei bod yn feddiannol ar lawer o fedr a dawn. Yn y flwyddyn 1812 cafodd yr Ynys ymweliad o'r uchelder, pan y disgynodd rhyw ddylanwad rhyfedd ar yr holl drigolion, ac y daeth amryw o honynt i broffesu duwioldeb. Dyma'r adeg y daeth un Thomas Williams at grefydd, yr hwn a fu yn nodedig o ffyddlawn a dysglaer. A dyma'r adeg hefyd y daeth y diweddar Barch. Robert Williams i ymofyn lle yn nhŷ Dduw. Ac yn ebrwydd fe ddechreuodd arfer ei ddoniau yn gyhoeddus mewn esbonio y bennod a chynghori yn y cyfarfodydd gweddïau, a pharhaodd yn ymroddgar am dymmor. Ond daeth rhywbeth drosto, fel yr ymollyngodd ac y rhoddodd heibio yr holl ddyledswyddau crefyddol, os nad ei broffes hefyd, a pharhaodd am beth amser yn y cyflwr dirywiedig hwn. Ond yn y cyfamser bu farw plentyn iddo, yr hyn a'i dadebrodd ef, ac o dan fendith a fu yn foddion i'w gyflawn adferyd. Yn fuan ar ol hyny etholwyd ef yn ddiacon i'r eglwys fechan; ac ymhen ychydig drachefn cawn ef yn dechreu cynghori, ac yn cael ei dderbyn yn bregethwr rheolaidd ac yn aelod o'r Cyfarfod Misol. Yn Llithfaen y cymerodd hyny le, ar yr un adeg ag y derbyniwyd y diweddar Barch. Griffith Hughes, Edeyrn, a Mr. William Pritchard, yr hwn a gollodd ei weinidogaeth. Pregethodd am y waith gyntaf yn Enlli, Awst 10fed, 1828, oddiar Luc xii. 32. Mewn tafarndŷ o'r enw "Gegin Fawr," yn mhentref Aberdaron, y ganed ef. Felly tafarnwr ydoedd ei dad, a dywedid ei fod yn un o'r rhai mwyaf anystyriol o'r dosbarth hwnw. Yr oedd Robert Williams yn nechreuad ei weinidogaeth yn Ddirwestwr zelog, ac yn areithiwr mawr a thanbaid. Dywedai yn hallt yn erbyn cyfeddach a meddwdod, a thrwy hyny collodd ffafr ei dad, ac aeth am yspaid yn wrthddrych ei ddirmyg. Y pryd hyny cynnelid ffair bob mis Awst yn Aberdaron, yr hon fyddai yn achlysur i lawer o loddest a meddwdod. Un adeg yr

oedd Robert Williams yn dygwydd bod yn pregethu nos Sabboth, a hyny cyn y ffair, yn nghapel Pencaerau, ac yn dyweyd yn danllyd yn erbyn ei meddwdod a'i harferion llygredig hi. Bore drannoeth wrth ddychwelyd adref, galwodd yn nhŷ ei dad yn y pentref, ac yr oedd ganddo barsel bychan yn ei law. Pan oedd ar y trothwy dyma ei dad yn ei gyfarfod, yn ymaflyd ynddo, ac yn dra ffyrnig yn ei daflu ef a'i bac bendramwnwgl i'r heol. Y rheswm ydoedd ei fod wedi clywed am ei araeth danllyd y noson flaenorol. Ond yn raddol dofodd ei lid, a daeth drachefn i gymmod â'r bachgen.

Bu Robert Williams yn dra ffyddlawn am faith flynyddoedd yn gwasanaethu yn yr efengyl ar yr Ynys, a hyny hefyd o dan lawer o anfanteision. Am lawer o flynyddoedd, efe oedd yr unig wryw yn yr holl le oedd yn proffesu crefydd, a Shân Williams ei wraig hefyd oedd yr unig fenyw. Yr holl eglwys ydoedd *dau* enaid, ond eto yr oeddynt o fewn i gylch yr addewid. Ond er y cwbl cadwyd i fyny yr holl gylchoedd yn gyfannedd—y bregeth, y cyfarfod gweddi, yr Ysgol Sabbothol, a'r seiat. Am flynyddoedd byddai y ddau yn myned bob wythnos i'r capel i gael seiat, a dywedir iddynt gael cyfeillach ddedwydd lawer tro. Bu y ddau hyn yn cadw tŷ yn y nos, yn dal y lamp yn oleu, pan nad oedd yno neb arall i wneyd hyny. Ac fe wnaeth Robert Williams y cwbl yn rhad ac am ddim i'r brodorion. Nid ydym yn gwybod iddo dderbyn dim erioed ganddynt hwy am ei lafur yn yr efengyl. Yr unig swm a dderbyniai, am a wyddom ni, oedd £5 yn y flwyddyn oddiwrth Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd; ac nid oedd hyny yn rhyw swm rhyfeddol.

Oddiwrth ei hen ddyddiaduron, canfyddir y byddai yn yr haf, ar adegau, yn dyfod drosodd i Leyn ar y Sabbothau i bregethu. Hefyd gwelwn y bu ar yr un adeg yn dipyn go lew o bregethwr teithiol. Bu yn teithio Siroedd y Gogledd a'r De, ond eithriadau yn ei hanes ydoedd hyny. Y rheol ydoedd bod gartref yn wastad, yn gweini mewn pethau ysbrydol. Dylem ddyweyd hefyd nad ydoedd yn dibynu am ei gynnaliaeth ar y weinidogaeth; ond y byddai yn pysgota, yn gweini ar wŷr y *Lighthouse*, ac yr oedd ganddo dyddyn o dir, fel rhwng pobpeth yr oedd uwchlaw angen yn ei amgylchiadau. Ac yn wir ni fuasai *corban* y Cyfarfod Misol a'r swm a dderbyniai am bregethu yn hanner digon i'w gynnal ef a'i deulu, fel yr oedd yn rhaid iddo ymdrechu am fywoliaeth mewn cyfeiriadau eraill.

Yr oedd efe yn ŵr hynaws ei dymher, a chadarn ei gyfansoddiad. Yr oedd ganddo ddwy law galed, ac o'r maintioli mwyaf. Yr oedd ganddo ewynau fel gefynau heiyrn, ac nis gwyddai beth oedd pryder ac ofn. Yr oedd ganddo yr hunanfeddiant llwyraf yn nghanol pob enbydrwydd, ac nid oedd yr un trymwaith nas gallai ei gyflawni. Dywedir iddo unwaith yn Liverpool, pan yn myned i'w gwch, â chydaid o halen ar ei gefn, ond iddo wrth fyned syrthio i'r môr rhwng dwy long, wrth geisio myned o'r naill i'r llall; ac iddo nofio i'r làn, ac heb i'r cŵd halen syflyd oddiar y cyfrwy. Un tro neidiodd myharen cryf o ben y graig i'r *Sound*, ac ar amrantiad dyma Robert Williams yn neidio ar ei ol, a chyn iddo foddi yn ei ddal, ac yn ei ddwyn i'r làn yn ddiogel. Yr oedd yn ei ymddangosiad personol dipyn yn Ynysig a thramoraidd. Fel pregethwr yr oedd yn feddiannol ar lawer o arabedd a dawn;

a cheid ganddo sylwadau pert a gwreiddiol yn britho pob pregeth. Arferai lawer o hen eiriau Cymreig a sathredig er llawer o foddhâd i'w wrandäwyr yn y wlad. Hefyd byddai ei gymhariaethau weithiau yn wreiddiol a digrifol. Wrth bregethu unwaith, dywedai mai ystyr *St. Tudwell's Road* ydoedd *Steady Welsh Road*, ac o'i gyfieithu—ffordd Gymraeg sicr. Ond meddai, gan ychwanegu, "Beth bynag am wirionedd hyn yma, dyma i chwi ffordd sicr, *ffordd iachawdwriaeth sicr.*" Byddai ar adegau yn cael odfeuon grymus. Yn y farwnad a gyfansoddwyd i'w goffadwriaeth, cyfeirir mewn modd arbenig at odfa nerthol a gafodd yn nghapel Penycaerau fel hyn:—

Fe gofir byth y bregeth,
  Un hynod ydoedd hon,
Yr odfa yn Mhenycaerau
  Nes toddi pawb o'r bron;
'R oedd pob gwirionedd draethai
  Yn llawn o gysur pur,
Ac aeth y dyrfa yn wenfflam,
  A thôdd pob calon dyn.

Cymerer y ffaith, ac esgusoder y farddoniaeth. Ceir hefyd gyfeiriad at ei ddylanwad yn Enlli yn y pennill canlynol:

Yn Ynys Enlli treuliodd
  Yr olaf ran o'i oes;
Dan achos Crist bu 'n golofn
  Er cwrdd â llawer croes:
Diwygiad dorodd allan
  Rai prydiau trwy ei lef,
A llawer perl a ddygodd
  I goron brenin Nef.

Hefyd canfyddwn ei fod yn ystyried ei hun yn dipyn o fardd, ac y byddai ar adegau yn ymgiprys â'r awen. Cawn siampl o'i fedr yn y dernyn canlynol, yr hwn a gyfansoddwyd ganddo i'w ddodi ar gareg ei fedd:

Gwel a chred saled fy sylwedd,
Dos dithau i deithio 'n yr un agwedd;
Bum ddigon llon y llynedd,
Heno yn fud yn hyn o fedd.

Ond ar y pedwerydd dydd o Ebrill, 1875, ymadawodd â'r fuchedd hon yn 81 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu am 43 o flynyddoedd, ac yn weinidog ordeiniedig er y flwyddyn 1843. Ni bu ei gystudd ond byr. Pregethai y Sabboth blaenorol yn nghapel yr Ynys, a bore y Sabboth canlynol ehedodd i'r orphwysfa dragywyddol. Ychydig cyn marw, dywedai wrth y Parch. W. T. Jones, "Pregethwch fêr a mêl yr efengyl." Claddwyd ef yn mynwent y seintiau ar yr Ynys.

Yn y flwyddyn 1874 y cymerwyd sylw i bwrpas o'r Ynys yn ei gwedd foesol a chrefyddol gan Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd. Teimlid bellach fod y Parch. Robert Williams yn heneiddio ac i raddau yn analluog, ac hefyd fod ei hagwedd grefyddol yn hynod anfoddhaol. Ar y cyntaf penderfynwyd anfon brodyr drosodd yn eu tro i wasanaethu am dymmor, ac fel y dywedwyd rhoddwyd gofal hyny ar Cadben Hughes. Ond mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Llithfaen, ar

gynnygiad Mr. Rowland, Portmadoc (Pwllheli yn awr), penderfynwyd cael cenadwr sefydlog i lafurio yno. Ond cyn gallu sicrhâu brawd cymhwys i fod yno yn arosol, ymwelwyd â hi am dymmor gan amryw frodyr, ac yn gyntaf oll gan y Parch. William Jones, M.A., Nant (Fourcrosses yn awr), yr hwn ar y pryd ydoedd yn efrydydd yn Edinburgh. Llettŷai yn nhŷ yr "Hen Weinidog." Y pryd hyny nid oedd ond *dau* yn unig yn proffesu crefydd yno, sef y Parch. Robert Williams a'i ferch—yr oedd Shân Williams ei wraig erbyn hyn wedi marw. Y peth cyntaf a wnaeth Mr. Jones wedi glanio ydoedd, galw yr holl blant at eu gilydd, a sefydlu ysgol ddyddiol yn y lle. Bydd genym air am dani eto. Ar ei ol ef anfonwyd y Parch. William Griffith, Nant (Penmachno yn awr), a bu yntau yno am fis yn llafurio ac yn dilyn yr un cwrs a'i ragflaenydd. Hefyd bu y Parch. John Jones, Pencaenewydd, a brodyr eraill, y pryd hwn yno yn gweini am amser byr.

Ond yn y cyfamser chwilid am ŵr cymhwys a pharod i ymsefydlu fel cenadwr ar yr Ynys, a rhoddwyd yr ymddiriedaeth yn benaf i Mr. Robert Rowland. Wedi edrych o gwmpas ac ymofyn, pigwyd allan y Parch. W. T. Jones, gŵr ieuanc o'r Ceunant, Llanrug (Rhydbach yn awr), fel un cymhwys; a bu y dewisiad ymhob ystyr yn un hynod ffodus a llwyddiannus. Cafodd ei awdurdodi a'i gymeradwyo gan y Cyfarfod Misol i'r gwaith. Dyma y telerau:—Yr oedd i gadw ysgol ddyddiol ac i wasanaethu achos yr efengyl yn y lle trwy gydol y flwyddyn, oddigerth ychydig o seibiant yn yr haf. Y cyflog ydoedd £100 yn y flwyddyn, yr hyn a wneid i fyny fel y canlyn —£50 gan Gymdeithas Genadol Gartrefol y Methodistiaid Calfinaidd, £45 gan Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd, a £5 oddiwrth fwrdd y *Trinity* at yr ysgol. Ac yn mis Ionawr, 1875, dyma Mr. W. T. Jones yn ymfudo o'r Ceunant i Enlli i drigiannu, a hebryngid ef, yn ol apwyntiad y Cyfarfod Misol, gan Cadben Williams, Rhydlïos. Ac yr ydoedd efe yn ŵr cymhwys i'r gwaith, gan ei fod yn enedigol o'r lle, ac yn adnabod yr holl drigolion; ac yr oedd eu mynediad yno yn ddydd o lawen chwedl ar yr ynys, a mawr oedd y croesaw a roddid iddynt. Yr oedd y symudiad o angenrheidrwydd yn gryn gyfnewidiad i Mr. Jones—cael ei alltudio yn ymarferol oddiwrth ei rieni a'i gyfeillion, ac i blith estroniaid, a hyny hefyd mewn ynysig fechan ac anghysbell. Ond derbyniwyd ef gyda charedigrwydd mawr, a pharhäwyd i ymddwyn felly tuag ato; ac yr oedd hyny hefyd yn lladd llawer ar fin dyeithrwch ac unigedd yr amgylchiadau. Dyma brofiad Mr. Jones yn ei eiriau ei hun: "Bu i'r derbyniad siriol a charedig a gefais ar y pryd gan y Parch. Robert Williams a'r Ynyswyr yn gyffredinol fod yn foddion i dawelu llawer ar fy ofnau a'm pryder." Fel y dywedwyd eisoes, bu Robert Williams farw yn lled fuan ar ol ei fynediad ef i'w plith.

Darfu i Mr. Jones ar unwaith ddechreu ar ei waith a cheisio cyfaddasu ei hunan i'r amgylchiadau. A chawn ef yn gweithio o ddifrif. Yn gyntaf oll, y mae yn dwyn diwygiad i mewn i drefn a gwasanaeth y cysegr. Dyma gyfraith y tŷ o hyn allan:—Pregeth y bore, neu gyfarfod gweddi; "Ysgol bach" am un o'r gloch, ac un gyffredinol am ddau; a Phregeth y nos. Yr holl foddion i fod yn Gymraeg, oddigerth unwaith yn y mis, pan y rhoddid pregeth Saesoneg er budd i'r *Light*

*Keepers* a'u teuluoedd. Ceid cyfarfod gweddi hefyd bob nos Ferchег. Ac ymhen ychydig o amser, llwyddwyd i sefydlu *seiat*, yr hon oedd wedi diflanu er ys cryn amser o hanes yr Ynys. Ac yn sicr yr oedd hyn yn rhwym o daro yn chwithig ar deimlad y cenadwr, bod mewn lle heb yr un seiat nac eglwys reolaidd o'i fewn; a dywed ei hun fod hyny yn peri iddo deimlo ar adegau yn hynod ddigalon. Ond cawn ei fod yn benderfynol o fynu diwygiad yn hyn, ac yn cynllunio pa fodd i ddwyn hyny oddiamgylch. Y ffordd a gymerodd ydoedd ceisio denu ac ennill ffafr y plant, ac yr oedd yn meddu dawn arbenig i hyny. A thrwy gydsyniad y rhieni, y mae yn gwahodd, ac yn dwyn holl blant yr Ynys at eu gilydd, ac yn sefydlu yn eu plith yr hyn a elwid yn "seiat bach." Ac fe gynnaliwyd y cyfarfod cyntaf yn yr hen gapel, pan yr oedd 11 o blant yn bresennol, a phob un yn syml a dirodres yn adrodd adnod allan. Dyma'r dechreuad, a theimlwn fod hwn yn amgylchiad digon pwysig i roddi ei ddyddiad i lawr, sef Ionawr 25, 1875. Fel hyn y dywed Mr. Jones am dano: "Cofiaf yr adeg tra byddaf byw. O adeg hapus! nis gallwn lai na gollwng dagrau ac ocheneidiau o lawenydd am gael y fraint o gychwyn 11 o blant bach Enlli, heb dad, heb fam yn arddel Iesu Grist." Bellach dyma holl blant yr Ynys wedi eu hennill, a dyma gam pwysig, ac yn sicrhâu concwest fwy yn y dyfodol. Wedi cael y plant, ond odid na welir y rhieni yn dilyn. Ac y mae hyn yn adgyfnerthiad mawr i feddwl y cenadwr, ac yn symbyliad iddo i ymdrech adnewyddol. A phob wythnos yn gyson, cynnelid y "seiat bach," i'r hon y deuai y plant yn un fyntai. Dygent fawr zel drosti, a mawr ganmolent hi wrth eu rhieni. A'r canlyniad fu i'r brophwydoliaeth ddyfod i ben, sef i amryw o'r rhieni ddyfod gyda'u plant i'r cyfarfod eglwysig. Ac erbyn mis Gorphenaf, chwe' mis o'r cychwyniad, yr oedd yn Enlli eglwys yn rhifo *ugain* o eneidiau, rhwng rhieni a phlant, ac yr oedd peth fel hyn yn newyddbeth yn ei hanes er ys canrifoedd. A phe cyfrifasid y dyeithriaid a drigent yno ar y pryd, gan fod yno amryw o grefftwyr yn ngwasanaeth Arglwydd Newborough, buasai yr eglwys yn rhifo wyth ar hugain o nifer. Hefyd yr oedd rhif y gynnulleidfa y pryd hwn, heb son am y dyeithriaid, yn 68. Yn wir, yr oedd yr holl Ynyswyr yn wrandäwyr, ond dau yn unig. Ac yr oedd rhif yr Ysgol Sabbothol yn 44. Ac yr oeddynt oll bron yn gallu darllen yn lled dda, ac yn lled fuan daethant i fedru canu yn ddeallus a soniarus. Y mae llawer o'r clod am hyn yn ddyledus i'r dyeithriaid, pa rai fuont ymroddgar i'w dysgu yn y gelfyddyd werthfawr hono. Dyma oedd agwedd grefyddol pethau mewn ychydig fisoedd ar ol glaniad y cenadwr; ac yr oedd cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle, nes bod yn achos diolch i Dduw, a chymeryd cysur. Ac fel y crybwyllwyd eisoes, yr oedd yr Ynys y pryd hwn yn myned trwy drawsnewidiad cyflawn, yn naturiol a moesol. Yr oedd pobpeth yn cael eu gwneyd o newydd, ac yn arbenig yr holl adeiladau. Ac fe wnaed y rhai hyn, gan gynnwys tai i'r dynion a'r anifeiliaid, yn gwbl ar draul y perchenog. Ac ni cheir rhagorach preswylfeydd mewn unrhyw wlad; ac y maent yn adlewyrchu clod nid bychan nid yn unig i'w Arglwyddiaeth, ond hefyd i Mr. Williams, goruchwyliwr yr etifeddiaeth, yr hwn a'u cynlluniodd ac a gariodd y gwaith ymlaen. Ac y mae ei Arglwyddiaeth hefyd wedi adeiladu capel at wasanaeth y trigolion, yr hwn

a gynlluniwyd gan Mr. Williams, ac sydd yn adeilad hynod brydferth.

Dyma ddesgrifiad Mr. Jones o'r capel:—"Ond yn ddiweddaf, ac yn benaf oll, fe adeiladodd ei Arglwyddiaeth gapel newydd ardderchog yn y *Gothic style*, digon helaeth i gynnwys o 80 i 100 o bobl. Fe saif yn mhen gogleddol yr Ynys, tuag ergyd careg o'r hen Fynachlog a'r fynwent. O amgylch y capel y mae gwaliau heirdd wedi eu hadeiladu, a *gate* haiarn, ynghyd a dau bendist ysgwâr wedi eu gweithio â cheryg gryd, ac yn y canol fe saif y capel, yn addurn i'r lle ac yn glod i Arglwydd Newborough. Gweithiwyd un ochr a thalcen iddo â cheryg calch wedi eu naddu yn ysgwâr, y rhai a godwyd o làn y môr ar yr Ynys. Y mae ei gonglau wedi eu gweithio â cheryg gryd naddedig, y rhai a gasglwyd o adfeilion yr hen dai. Y mae tair ffenestr ar bob ochr iddo, wedi eu gwydro â gwydr llwyd rhesog dros chwarter modfedd o dew. Gwnaethpwyd conglau y ffenestri â phriddfeini gwynion, yr un modd eu bwäau. Yn y talcen gorllewinol iddo y mae cyntedd a ffenestr fechan ymhob ochr iddo, o'r un dull a'r un defnydd â'r rhai eraill a nodwyd. Ar ben y cyntedd saif clochdŷ hardd, yn cynnwys cloch, yr hon, pan ei cenir, a adseinia dros yr holl Ynys, nes bod yn glywedig i drigolion Aberdaron. Ar grib y capel a'r cyntedd y mae pridd-lechau addurniadol. Yn nau dalcen y capel hefyd, ac yn agos i'r crib, y mae dwy o wyntylliedyddion i awyro yr adeilad. Ond er mor hardd ydyw oddiallan, y mae yn tra rhagori oddifewn. Ar ol agor y ddôr hardd a chadarn, yn union o dan y gloch a'r clochdŷ, yr ydym yn y cyntedd, llawr yr hwn a weithiwyd â phridd-lechau cochion, ac y mae coed ei ben wedi eu hadliwio. O'n blaen eto, ceir dôr o'r un dull a'r un defnydd â'r llall a nodwyd, sef y dull *Gothic*. Y maent wedi eu gwneyd o'r ffawydd coch goreu, a'u haddurno âg addurniadau, a'u hadliwio yn hardd. Ar ol agor y ddôr, yr hon fel y llall sydd yn ddau ddarn, yr ydym yn y capel. Y mae llawr y dramwyfa o'r drws at y pulpud wedi ei weithio â phridd-lechau gwynion, a'r llawr o dan yr eisteddleoedd wedi ei balmantu â phridd-lechau duon, ac o amgylch y pulpud â phridd-lechau gwynion a *Yorkshire flags*. Y mae ynddo un ar bymtheg o seti symudol, ac yn ddigon helaeth i gynnal pedwar yn gysurus, a phump pe b'ai eisieu. Y mae dwy eisteddle hefyd o bob tu i'r pulpud, ac yn ddigon helaeth i gynnal wyth i eistedd yn gysurus, o'r un defnydd a'r eisteddleoedd eraill, a'r cyfan wedi eu gweithio yn dda, a'u hadliwio yn hardd yr un modd—ac felly y cyplau a'r colpau, y *spars*. Ac ar y pulpud, yr hwn sydd wedi ei weithio o hen dderw du, durol, ac yn gannoedd o flwyddi o oed, y mae golwg fawreddog anghyffredin. Y mae y paneli yn ddu, ac wedi eu cerfio drostynt â llun dail a ffrwythau. A cheir manau eraill wedi eu haddurno âg addurniadau o bob math, llun, a lliw, nes y mae yn un o'r rhai mwyaf anghyffredin, mae yn debyg, yn yr holl wlad, ac yn un o'r rhai mwyaf costfawr. Ar banel trionglog, ar du blaen y pulpud, ceir arwyddluniau o'r dygwyddiadau cysylltiedig â'r croeshoeliad, megys caniad y ceiliog, y napcyn, yr angelion, yr yspwng a'r gorsen, y llestr a'r finegr, y bicell, y morthwylion a'r hoelion, a llawer o bethau eraill, wedi eu gweithio mewn pres yn y modd mwyaf drudfawr. Heblaw y pethau a nodwyd, y mae dau ganwyllbren hardd arno, i ddal dwy ganwyll bob un; a chyferbyn a'r

pulpud, uwch ben y dramwyfa, ac yn crogi wrth y cyplau, ceir dwy seren yn dal chwe' chanwyll bob un, wedi eu lliwio â gwahanol liwiau, ac yn edrych yn hardd iawn. Ar y talcen drachefn, uwch ben y drws, a chyferbyn â'r pulpud, y mae careg wedi ei chaboli yn llefn, ac yn gerfiedig arni mewn llythyrenau melynion y geiriau a ganlyn:—'THIS CHAPEL WAS BUILT BY LORD NEWBOROUGH FOR THE INHABITANTS OF BARDSEY ISLAND IN THE YEAR 1875.'" Dyma ddesgrifiad manwl a chyfarwydd o'r adeilad. Yr oedd ei Arglwyddiaeth wedi penodi Gorphenaf 31ain, ac Awst 1af, i fod yn ddyddiau agoriad y capel, ac wedi ymddiried y gwaith i Mr. Robert Rowland, a darfu iddo yntau lwyddo i sicrhâu gwasanaeth pedwar o weinidogion cymhwys ar gyfer yr amgylchiad, sef y Parchn. Hugh Hughes, Gellidara; Thomas Owen, Portmadoc; Francis Jones, Waenfawr; a Peter W. Jones, Penygroes, y rhai hefyd oeddynt i roddi eu gwasanaeth yn rhad, ond yn unig cael traul eu cludiad. Ond cafodd y gweinidog ganiatâd i newid tipyn ar y program gwreiddiol, trwy gael pregethu yno y nos Sabboth flaenorol ei hun, yr hyn a wnaeth oddiar Salm cxxvii. 1. Hon felly ydoedd yr odfa gyntaf; ond y dyddiau canlynol oedd yr amser apwyntiedig i'w agor yn ffurfiol, a mawr ddysgwylid yr amgylchiad. Ac er fod y môr yn dygwydd bod yn flin a thymhestlog, eto cyrhaeddodd y dyeithriaid yr Ynys yn llwyddiannus a phrydlawn. Fel y canlyn yr oedd trefn y moddion:—Y noson gyntaf, pregethwyd gan y Parch. Peter W. Jones yn Saesoneg, oddiar Hebreaid ii. 4; a'r Parch. Francis Jones yn Gymraeg, oddiar 1 Cor. i. 24. Am ddeg drannoeth, pregethodd y Parchn. Thomas Owen a Hugh Hughes, y cyntaf oddiar Matth. xxv. 8, a'r olaf oddiar Esa. xlix. 24, 25. Am hanner awr wedi un pregethwyd gan y Parch. Peter W. Jones oddiar Col. iii. 3, yn gymysg o Gymraeg a Saesonaeg. Ac yn yr hwyr pregethwyd gan y Parchn. Thomas Owen oddiar 1 Ioan iv. 9, a'r Parch. Francis Jones oddiar Marc vi. 6. Yr oedd amryw bethau cysylltiedig â'r cyfarfod agoriadol hwn yn ei wneyd yn ddyddorol, ac yn bennod arbenigol yn hanesiaeth yr Ynys. Yn un peth cynnaliwyd seiat gyffredinol yr ail fore am naw o'r gloch, yn ol arferiad y Cyfundeb, pan y rhoddwyd anerchiadau gwerthfawr gan y gwŷr dyeithr. Hefyd meddai y brodyr hyn awdurdod oddiwrth y Cyfarfod Misol i helpu yr eglwys fechan i ddewis diacon neu ddiaconiaid; ac ar derfyn y cyfarfod hwn, aed at y gwaith, pan y syrthiodd y coelbren yn unfrydol ar ben Mr. Morris Williams; a chafodd ei gyflawn dderbyn mewn Cyfarfod Misol yn Uwchmynydd wedi hyny, pan y rhodded hefyd ryddid ac annogaeth i'r hen frawd Griffith Pritchard i flaenori, yr hyn a wnaeth yn ffyddlawn hyd ei farwolaeth. Y mae Mr. Morris Williams wedi dangos ei hun yn ŵr profedig, ac yn weithiwr difefl. Ar ol odfa y prydnawn, anerchwyd y gynnulleidfa gan y dyeithriaid, yn arbenig gan Mr. Rowland, ar ansawdd yr achos yn y lle a'i gysylltiad â'r Genadaeth. Cyfeiriai at harddwch y capel, at haelioni ei Arglwyddiaeth, ac at y wedd addawol a chynnyddol oedd ar yr achos yn ei holl ranau, gan eu hannog i fod yn zelog a ffyddlawn, ac i weddïo am amddiffyniad a bendith yr Arglwydd arnynt rhagllaw. Ac wedi hyny caed cyfarfod eglwysig, pryd y gweinyddwyd yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd gan y Parch. Hugh Hughes a'r gweinidog, a chaed arwyddion amlwg o

foddlonrwydd yr Arglwydd ar y gwasanaeth. Hwn ydoedd y Cymun cyntaf a weinyddwyd ar yr Ynys er cyn côf. Nid oedd y plant wedi gweled y fath beth erioed o'r blaen, a rhaid yr ymddangosai yn ddyeithr-beth i'w llygaid. Hefyd ar derfyn y bregeth olaf, caed seiat ar ol, pan yr arososdd un o newydd, sef yr hen frawd Griffith Pritchard, Tŷ-pellaf, am yr hwn y soniasom o'r blaen, er mawr lawenydd i'r frawdoliaeth. Golygfa nad anghofir mo honi oedd ei weled yn codi ar ei draed i ysgwyd llaw gyda'r Cadben Hughes, ac yn dadgan ei obaith y caffai aros yn y tŷ byth! Yr oedd hyn yn ernes ac yn arwydd er daioni.

Mynai y gynnulleidfa wneyd casgliad i dalu i'r pregethwyr; ond gwrthodwyd hyny yn ddiolchgar. Rhoddai pawb eu gwasanaeth yn rhad, a thystiai y gwŷr dyeithr i bob peth gael ei ddwyn ymlaen yn weddaidd ac mewn trefn—fod yr holl gynnulleidfa yn bresennol yn brydlawn, pawb yn gwrando yn syml ac astud, a phawb yn canu â'u holl egni, a'r rhan fwyaf yn meddu llyfrau emynau a thonau yn eu dwylaw. Tystid fod y gynnulleidfa fechan yn Enlli mewn gweddeidd-dra a pharch yn nhŷ Dduw i fyny â'r mwyafrif o'r cynnulleidfäoedd yn y wlad, ac yn tra rhagori ar lawer o honynt, er eu bod wedi cael llawer mwy o fanteision.

JOHN JONES.

---

# YR YMGNAWDOLIAD GAN PAUL AC IOAN.

NID oes yr un pwnc wedi bod yn destun cymaint o ymchwiliad ymysg duwinyddion hen a diweddar ag Ymgnawdoliad ein Harglwydd Iesu Grist. I lawr o ddyddiau yr apostolion hyd yn bresennol, nid aeth odid oes heibio heb fod rhai dysgawdwyr o fri yn galw sylw y byd Cristionogol ato, er ceisio ei egluro a threiddio i fewn i'w ddirgelwch. Ac y mae y ffaith ei fod yn aros hyd heddyw yn gymaint dirgelwch ag erioed yn un o'r profion cryfaf o'i wirionedd. Nid oes i gyfeiliornad barhâd arosol. Gwirionedd yn unig a erys. Mae fod y gwirionedd mawr hwn am Dduw mewn cnawd wedi dal beirniadaeth fanylaf yr oesau, a'i fod yn aros, os nad yn myned yn fwy felly, yn ngoleuni diwylliant a dysg y dyddiau hyn, yn sicrwydd digonol i ni, er nas gallwn byth ei ddirnad yn llawn, mai "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid;" ac mai "mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd."

Pan ystyriom bwysigrwydd y gwirionedd hwn fel canolbwynt mawr holl athrawiaethau yr efengyl, nid rhyfedd iddo gael cymaint o sylw drwy y canrifoedd. Dyma hanfod a bywyd yr efengyl. O hono ac iddo

y rhed yr holl wirioneddau eraill, fel y mân ffrydiau i'r môr. Yn ei berthynas â hwn yn unig y gellir eu deall a'u hegluro. Enaid yr oll yw "yn Nghrist Iesu." Dyma rym y caru, yr ethol, y cyfiawnhâu, y sancteiddio, a'r cyfan; a dyma hefyd unig sail ein gobaith a'n hyder am ein dyfodol. Mor annhraethol bwysig a chysegredig ydyw fel mai gweddus yw i ni dynu ein hesgidiau, fel Moses gynt, gan fod y tir yr ydym yn ei sangu yn ddaear sanctaidd. Nid yn unig mawr yw, ond mawr *fydd* y dirgelwch hwn i'r saint byth. Anghofio hyn, feddyliem, sef mai gwirionedd ydyw i'w gredu ac nid i'w amgyffred, yw yr achos o'r ymgais presennol, yn enwedig ar y Cyfandir, i geisio ei ddirnad a'i egluro yn ei holl fanylion, a hyny yn nghymhorth yr hyn a elwir yn "ddiwylliant diweddar." Yn hytrach na chredu gydag Awstin ac Anselm fod ffydd i flaenori rheswm,—*fides præcedit intellectum*,—dywedir wrthym yn ngoleuni gwyddoniaeth y dyddiau hyn mai rheswm sydd i arwain ffydd. Ac er fod perygl i'r ymgeisiau gwyddonol diweddar, o gael eu cario i eithafion, arwain ambell un o feddwl egwan i feiddgarwch, os nad i anffyddiaeth, eto dylem fod yn falch fod prif wirionedd yr efengyl a sylfaen ein cred yn dal yn ddigryn brif feirniadaeth yr oesau, ac yn wir yn d'od i ymddangos fwyfwy dysglaer fel yr ymchwilir ac y treiddir iddo. Ac er mor ddyddorus yw olrhain dadblygiad yr athrawiaeth trwy gwrs hanesyddiaeth y canrifoedd, ynghyd a sylwi ar amrywiaeth diderfyn y gwahanol olygiadau am dani gan dduwinyddion o bob gradd, eto teimlwn yn falch fod genym safon anffaeledig i gyfeirio ato o fewn rheol y dadguddiad dwyfol. Awn, gan hyny, "at y gyfraith ac at y dystiolaeth."

Cydnabyddir, yn ddiau, mai y ddau sydd wedi egluro fwyaf i ni o holl ysgrifenwyr y Testament Newydd am Berson Crist a'r Ymgnawdoliad yw Paul ac Ioan. Ceir cyfeiriadau mynych at, ac eglurhadau pwysig ar, yr athrawiaeth yn yr ysgrifeniadau ysbrydoledig eraill; ond gellir edrych ar weithiau y ddau hyn fel colofnau cedyrn ar ba rai y gorwedd y gwirionedd oll-bwysig hwn am Dduw mewn cnawd. Ond tybia rhai fod y ddau yn anghyson â'u gilydd. Amcan y sylwadau hyn fydd ceisio cael allan gnewyllyn dysgeidiaeth pob un o'r ddau, ynghyd a dangos eu hunoliaeth. Ni chyfeiriwn ond at ddau o leoedd arbenig lle y dysgir yr athrawiaeth yn fwyaf eglur a phendant.

Nid oes odid gyfran o'r Ysgrythyr wedi cael cymaint o sylw beirniaid y gwahanol wledydd a geiriau Paul yn Philippiaid ii. 6—8. Y rheswm am hyn yw fod cnewyllyn holl ddysgeidiaeth yr Apostol i'w gael yn yr adnodau hyn. Mae athrawiaeth y Gwaghâd—Kenosis—yn ganolbwynt ymchwiliad a dadleuaeth ymysg duwinyddion drwy holl wledydd crêd. A'r pwynt cyntaf mewn dadl yw, beth a ddeallai yr apostol wrth y geiriau "ffurf Duw" (μορφή Θεοῦ). Deallai rhai o'r hen dduwinyddion y cyfeirid yma at natur Duw, yr hon nas gallasai y Mab ei rhoddi heibio, neu ymwaghâu o honi heb beidio a bod. Yn *ffurf*, neu yn natur Duw, y bodolai erioed—"in effigie Dei constitutus" (Tertull). Tebyg hefyd yw barn yr Esgob Pearson yn ei *Exposition of the Creed*. "Rhaid," meddai yr Esgob, "fod yr hwn a fodolai yn ffurf, ac a ystyriai ei hun yn ogyfuwch â Duw, o angenrheidrwydd yn wir a hanfodol Dduw; oblegid nis gall fod cyfartaledd (*equality*) rhwng y natur Ddwyfol, yr hon sydd anfeidrol, âg unrhyw beth arall, yr hyn

raid fod yn feidrol. . . . . . Mae yr un mor amlwg oddiwrth yr un Ysgrythyr fod Crist yn gymaint yn ffurf Duw ag yn ffurf gwas, a'i fod yn bodoli mor wirioneddol yn natur Duw ag yn natur dyn." Er cadarnhâu y syniad hwn, sylwa yr Esgob fod y cyfieithiad awdurdodedig o'r 7fed adnod yn anghywir, lle y gwelir dau gysylltair nad ydynt i'w cael yn y gwreiddiol,—"But made himself of no reputation, *and* took upon him the form of a servant, *and* was made in the likeness of men." Dyry ef, gan hyny, yr un cyfieithiad ag a geir yn bresennol yn y Cyfieithiad Diwygiedig:—"But emptied himself, taking the form of a servant, being made in the likeness of men." Tebyg hefyd yw y cyfieithiad Cymraeg:—"Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas." Pe gofynai rhywun, pa fodd y darfu i Grist waghâu ei hun, fe etyb y testun,—"Gan gymeryd arno agwedd gwas;" a phe gofynid drachefn pa fodd y darfu iddo "gymeryd arno agwedd gwas," etyb y geiriau eilwaith,—"trwy ei wneyd yn nghyffelybiaeth dynion." Casgliad yr Esgob, ac eraill o'r hen dduwinyddion, gan hyny, yw, fod Crist yn bodoli erioed yn ffurf,—h.y., yn natur Duw, ac felly ei fod o angenrheidrwydd yn gyfartal neu yn ogyfuwch â Duw o ran hawl ac urddas Dwyfol; ond iddo ymwaghâu, nid trwy roddi y natur hono heibio, yr hyn nas gallasai a chadw ei fôd, nac ychwaith ddim arall a berthynai iddi, ond trwy gymeryd arno agwedd—h.y., natur gwas. Nid rhywbeth ychwanegol at yr ymwaghâd oedd y cymeryd arno agwedd gwas, gan nad oes cysylltair rhyngddynt; ond y cymeryd hwnw arno oedd yr ymwaghâd. Yr un syniad a ddysgir yn bresennol gan un o brif dduwinyddion Cymru, sef ein hybarch athraw, Dr. Edwards, Bala. Mewn cyfres o ddarlithiau o'i eiddo y cawsom y fraint o'u gwrandaw tra dan ei addysg, sylwai y Doctor ei fod yn tueddu yn gryf at syniad rhai o'r hen dduwinyddion ynghylch ystyr y frawddeg "ffurf Duw," ac y dylid cadw mewn cof yn barhâus anghyfnewidioldeb natur Duw, "gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad na chysgod tröedigaeth." Nis gallasai Crist, felly, roddi dim heibio a berthynai yn hanfodol iddo. Yr un gair a gyfieithir yn y ddwy adnod yn *ffurf* ac *agwedd*, ac felly os nad yw yn y naill yn golygu natur, nis gall olygu hyny yn y llall. O ganlyniad, os nad oedd yn natur Duw, nid oedd ychwaith yn natur gwas. Pa fodd, ynte, yr ymwaghâodd? "Gan gymeryd arno," medd y Doctor. Nid rhoddi heibio yr un o'i berffeithiau dwyfol a darfu iddo, ond troi eu holl rym i weithio allan waith gwas! Ymdaflodd o ran ei allu, ei ddoethineb, ei wybodaeth, a'r oll, i fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes. Ac yn hyn, meddai ein hathraw parchedig, y mae mwyaf o fawredd yr ymgnawdoliad yn d'od i'r golwg.

O'r ochr arall, cawn fod mwyafrif mawr o esbonwyr y wlad hon, yn gystal a'r Cyfandir, yn deall y geiriau yn wahanol, ac felly yn cymeryd golwg wahanol ar ystyr a natur yr Ymgnawdoliad. Nid ydym am flino y darllenydd gyda rhestr o honynt; ond tueddir ni i roddi yma ychydig eiriau o eiddo rhai o brif esbonwyr y gwahanol wledydd, er ein galluogi i weled y gwahaniaeth rhwng y ddau brif olygiad. Ymysg llu mawr esbonwyr yr Almaen, diau yr ystyrir Meyer ar y blaen o ran dysg a gallu beirniadol. Dyma ei eiriau ef: "Mae yr apostol yma yn dangos yn syml y safle ddwyfol a gogoneddus yr oedd Crist ynddi, a pha un a roddodd drachefn heibio. Golygir yma ffurf ei fodolaeth yn flaenorol

i'w ymgnawdoliad. Yr oedd y pryd hwnw, yn ol Ioan fel Gair, 'gyda Duw,' yn cyfranogi o ogoniant Duw. O ran y gogoniant hwn y dywedir ei fod yn ogyfuwch â Duw. . . . Ymwaghâodd o'r μορφή—y ffurf ddwyfol, gan ei chyfnewid am μορφή—y ffurf ddynol." Syniad Meyer, gan hyny, yw mai wrth μορφή Θεοῦ—ffurf Duw—yr ydys i ddeall rhyw ogoniant allanol gweledig. Un arall ar y Cyfandir—Dr. Godet—a ddywed:—"Mae Paul yma yn desgrifio Crist yn rhoddi ymaith ei sefyllfa ddwyfol pan y daeth i fodoli fel dyn." Yna ä y duwinydd dysgedig mor bell a dyweyd nad oedd Crist yn meddu ei berffeithiau dwyfol pan ar y ddaear. Nid oedd yn meddu hollwybodaeth, gan ei fod yn gofyn cwestiynau, ac ar un amgylchiad yn dadgan ei anwybodaeth (Matt. xiii. 32). Nid oedd ychwaith yn feddiannol ar hollalluogrwydd, gan ei fod yn gweddïo am nerth, &c. Yr un modd am y perffeithiau eraill. Gwelir fod yr awdwr hwn wedi rhoddi cam mwy beiddgar ymlaen na Meyer, gan ei fod yn egluro natur neu gynnwys y gogoniant a roes Crist heibio fel meddiant o'r priodoleddau dwyfol. Wrth ymwaghâu o'r ffurf neu y gogoniant dwyfol, ymwaghaodd Crist o'r holl berffeithiau a feddai fel Duw! Ond y cwestiwn yw, a oedd yn bosibl iddo feddu y natur ddwyfol heb ei pherffeithiau hanfodol? Ond heb fanylu ar y syniad yma, symudwn ymlaen at rai o brif esbonwyr y wlad hon, yn Lloegr ac Ysgotland, er gweled pa mor bell y maent yn cytuno â'u cyd-feirniaid ar y Cyfandir.

Cydnebydd pawb awdurdod a gallu y Dr. Bruce o Glasgow fel duwinydd a beirniad o'r radd flaenaf. Fel hyn y dywed yntau yn ei lyfr rhagorol, *The Humiliation of Christ*:—"Nid yw μορφή yr un peth ag ὀυσία neu φύσις; ond, fel y dywed awdwr enwog arall, mae ὀυσία yn golygu y natur noeth, φύσις y natur hono wedi ei gwisgo â pherffeithiau, μορφή rhyw ogoniant sydd yn tarddu o'r naill a'r llall. Mae y μορφή felly yn rhagdybio yr ὀυσία a'r φύσις, ac eto yn wahanadwy oddiwrthynt; nis gall fodoli hebddynt hwy, ond gallant hwy fod hebddo ef. Yr oedd Mab Duw erioed yn meddu yr ὀυσία a'r φύσις, ac er iddo gadw y rhai hyn fel pethau hanfodol iddo, yr oedd yn bosibl iddo roddi heibio y μορφή. A dyma a ddysgir gan Paul yn y geiriau dan sylw, sef newidiad o ffurf ddwyfol i ffurf ddynol o fodoli. Ymha beth yr oedd y ffurf hon yn gynnwysedig sydd eto yn agored i ymchwiliad a dadl" (tu dal. 19). Nis gallwn ymattal heb ddyfynu o waith un eto o brif esbonwyr y wlad hon a ystyrir yn safon o ran dysg, gallu, a beirniadaeth, sef esboniad galluog y Dr. Lightfoot. "Ymwaghaodd," meddai, "nid o'i natur ddwyfol, yr hyn oedd yn anmhosibl, ond o ogoniant, o hawlfreintiau (*prerogatives*) y Duwdod. Gwnaeth hyny trwy gymeryd arno agwedd gwas. Dododd o'r neilldu *insignia* y mawrhydi dwyfol." Ond er ei fod yn dyweyd hyn, rhaid addef ei fod yn tueddu at ddeall y gair "ffurf" fel yn golygu y priodoleddau dwyfol.

Oddiwrth y dyfyniadau uchod, gwelir fod prif dduwinyddion y gwahanol wledydd yn ymranu i ddau ddosbarth gyda golwg ar y geiriau dan sylw. Un dosbarth a ddaliant fod y geiriau "ffurf Duw" yn golygu natur Duw; a'r dosbarth arall mai wrth "ffurf" yr ydys i olygu rhyw sefyllfa allanol o ogoniant dwyfol, yr hyn y gallasai ei ddodi o'r neilldu am dymmor, a chadw ei natur yr un. Yn awr, oni all y naill olygiad a'r llall fod i raddau yn gywir, ac eto fod y gwirionedd yn gor-

wedd rhyngddynt? Ac yn ol ein barn ostyngedig ni, felly y mae. Rhaid addef gyda'r dosbarth cyntaf a enwyd fod yn anmhosibl i Dduw newid dim ar yr hyn sydd hanfodol iddo. Byddai hyny yr un peth a difodiad. Mae y syniad am fôd perffaith, yn rhagdybio anghyfnewidioldeb natur. Bôd cyfnewidiol sydd fôd anmherffaith. Ond nid oes "cysgod tröedigaeth" yn perthyn i Dduw; ac y mae Efe yr un "o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb;" o ganlyniad, yn Fôd cwbl ac anfeidrol berffaith. Ond er addef hyn, ymddengys i ni fod amryw resymau i'w cael ag sydd yn myned yn erbyn y golygiad cyntaf. Nodwn yn fyr rai o honynt: (1.) Nid amcan yr apostol yn y geiriau dan sylw yw dangos a phrofi natur Ddwyfol Crist fel y mae yn ogyfuwch â'r Tad, ond cyfeirio y mae at ei hunanymwadiad a gwirfoddolrwydd ei ymgnawdoliad—yn cyfnewid dwy safle, y Ddwyfol am y ddynol. (2.) Ystyr cyffredin y gair gwreiddiol am ffurf, yn yr ysgrifeniadau clasurol yn enwedig, yw, nid natur, ond rhyw arddangosiad gweledig o honi. (3.) Defnyddir yr un gair gwreiddiol am *ffurf* ac *agwedd* yn y ddwy adnod—μορφή Θεοῦ a μορφή δούλου. Yn awr, wrth agwedd gwas y golygir yn gyffredin, nid natur, ond safle neu sefyllfa gwas mewn cymdeithas. Pan y dywedir fod un yn arglwydd a'r llall yn was, ni feddylir wrth hyny fod gwahaniaeth natur rhwng y ddau berson; ond fod y naill yn dygwydd bod yn y *safle* o arglwydd, a'r llall yn y *safle* o was. A chan mai dyma yw ystyr cyffredin "agwedd gwas," ac mai yr un gair a geir yma am *agwedd* a *ffurf*, onid yw yn canlyn mai wrth "ffurf Duw" y mae i ni ddeall, nid natur Duw, ond rhyw sefyllfa o ogoniant perthynol i'r natur hono? O'r gogoniant Dwyfol hwnw yr ymwaghaodd Crist.

Wedi cydolygu mor bell a hyn â'r ail olygiad, y cwestiwn bellach, fel y sylwa Bruce, yw, ymha beth yr oedd y gogoniant hwnw yn gynnwysedig?

Yn ol Godet, ac i raddau Lightfoot, golyga y meddiant o'r perffeithiau dwyfol, a dywed y cyntaf yn eglur iddo roddi y rhai hyn heibio; ond nid ä y diweddaf mor bell a hyny, ond awgryma yn fyr iddo ymwaghâu o honynt *trwy gymeryd arno.* Mae rhediad holl ddysg a beirniadaeth yr Almaen yn cadarnhâu syniad Godet, sef i'r Mab tragywyddol wrth ymgnawdoli, gyfyngu ei hun o fewn cylch y ddynoliaeth. I'r dyben o gydffurfio â deddf sefydlog dadblygiad y byd, ymwaghaodd o'i briodoleddau fel Duw! Aeth y Duw holl-ddoeth yn faban diwybod a diddysg! Diau fod gan ymchwiliadau gwyddonol yr oes lawer o ddylanwad yn ffurfiad syniadau duwinyddol diweddar yr Almaen. At hyn gellir ychwanegu eu dyheuad parhâus am newydddeb. Ond y cwestiwn yw, a oedd yn bosibl hyd yn nod i Dduw roddi ymaith yr hyn a berthyn yn hanfodol i'w natur, ac felly yn rhan o hono ei hun? Natur heb briodoleddau nid yw natur. Anadliad allan y natur Ddwyfol, megys, yw ei pherffeithiau anfeidrol. Os tragywyddol a digyfnewid y natur, felly y rhaid fod ei pherffeithiau sydd yn hanfodol iddi. Os cadwodd Mab Duw ei natur Ddwyfol wrth ymgnawdoli, rhaid iddo gadw ei pherffeithiau yr un modd; ond os ymwaghaodd o'i berffeithiau, rhaid ddarfod iddo wneyd yr un modd o'i natur. Yr oedd y diweddaf yn anmhosibl iddo, a chadw ei fôd; felly rhaid mai y cyntaf sydd wirionedd, sef ddarfod iddo gadw ei

natur a'i pherffeithiau oll, er iddo ymwisgo â'n natur ni, a hyny yn unol â'i anghyfnewidioldeb fel Duw anfeidrol berffaith. "Wrth ddyfod," meddai y tadau, "yr hyn nad ydoedd, ni pheidiodd a bod yr hyn ydoedd." Y cwestiwn, gan hyny, yw—O beth yr ymwaghaodd? Yr ydym wedi ateb yn barod, mai o ryw ogoniant allanol. Ond gofynir eto,—beth oedd cynnwys y gogoniant hwn? Yr ydym yn ateb, er nad oes genym, hyd y gwyddom, yr un awdurdod awdurol o'n plaid, mai yr *ymarferiad* o'i berffeithiau fel Duw. Nid o'r *meddiant* o honynt yr ymwaghaodd, ond o'r *hawl i'w hymarfer*, yr hyn a gyfansoddai ei ogoniant Dwyfol.

Er profi y posibilrwydd o hyn, credwn y gellir ei weled i raddau yn ein cyfansoddiad a'n natur ni ein hunain, yr hon sydd yn ddarlun egwan,—mor agos ag y gall y meidrol fod o'r anfeidrol,—o'r natur Ddwyfol ei hun. Nis gallwn yn unol â chyfansoddiad ein natur ddiddymu yr un o gynneddfau yr enaid, neu briodoleddau ein bôd. Byddai diddymu un yn ddiddymiad ar yr oll; a byddai hyny drachefn yn ddiddymiad llwyr ar ein natur a'n bôd. Nis gallwn, gan hyny, yn wirfoddol ddifodi yr un o briodoleddau ein natur. A'r hyn sydd wirionedd am danom ni, a raid fod felly mewn ystyr anfeidrol uwch am Dduw, o'r Hwn y cawsom ein bôd, a "delw" o'r Hwn ydym. Ond er nas gallwn ddifodi yr un o'n galluoedd naturiol, eto gallwn ddirnad am y posibilrwydd i un roddi heibio yr *ymarferiad* o rai, neu o'r oll o honynt am dymmor. Dibyna hyny yn gwbl ar yr *ewyllys*. Gan yr ewyllys y mae yr awdurdod a'r gallu i reoli ein holl ymarferiadau. Nis gellir treisio yr un o alluoedd naturiol dyn yn groes i'w ewyllys; ond gall hi fel brenhines ar orsedd yr enaid hawlio ufudd-dod oddiwrth yr oll. Mae y meddiant o honynt, er hyny, yr un mor wirioneddol; ond o ran yr hawl i'w hymarfer, y maent yn ddarostyngedig i allu uwch yr ewyllys. Yr un modd y mae holl briodoleddau hanfodol Duw yn ddarostyngedig i'w ewyllys Ef, hyny yw, mor bell ag y mae hyny yn cydfyned â'i wirionedd. Yr unig esboniad ar holl actau Duw mewn creadigaeth, rhagluniaeth a gras, yw —"Yr wyf yn ewyllysio." Gallwn ddirnad felly am y posibilrwydd i Fab Duw roddi heibio am dymmor yr *ymarferiad* o'i berffeithiau Dwyfol, a hyny tra yn cadw, nid yn unig ei natur, ond y meddiant llawn o bob priodoledd perthynol iddi. Dibynai yr hawl i'w hymarfer yn gwbl ar ei ewyllys, ac yr oedd hono drachefn, ar sail y cytundeb yn yr arfaeth foreu, tra yn gweithio allan waith gras, yn gwbl ddarostyngedig i ewyllys ei Dad. Gwneuthur ewyllys ei Dad ydoedd amcan mawr ei ddyfodiad i'r byd. Gan fod yr ymarferiad o'i berffeithiau yn ddarostyngedig i'w ewyllys, a'i ewyllys yntau, mewn canlyniad i'w ymgymeriad â'n hachos ni, yn ddarostyngedig i ewyllys ei Dad, mae yn amlwg nad oedd yn ei gyflwr o ddarostyngiad yn meddu yr hawl i'w hymarfer ond yn unig trwy ganiatâd ei Dad, ar yr Hwn yr oedd yn barhâus yn gweddïo ac yn dibynu. O hyn, gan hyny, yr ymwaghaodd, a dyma oedd yn cyfansoddi ei ogoniant hanfodol. Ac, i'n tyb ni, y mae y golygiad hwn, pa mor newydd bynag y gall ymddangos i rai, yn gosod allan fwy o fawredd ei ddarostyngiad nag hyd yn nod y syniad arall a nodwyd, sef iddo ymdaflu o ran ei holl berffeithiau i waith gwas. Nis gallasai neb dreisio ei ewyllys, eithr Efe "o'i fodd," a aeth i'n

deddfle ni, er y gwyddai y collai drwy hyny y gogoniant Dwyfol a feddai gyda'r Tad yn yr ymarferiad llawn o'i holl berffeithiau hanfodol. Anfeidroldeb o gariad yn unig a wnaethai hyn! A oedd Efe, felly, yn ei gyflwr o ddarostyngiad yn hollalluog? Atebwn,—oedd, mor gyflawn a gwirioneddol ac yr oedd er tragywyddoldeb yn mynwes y Tad. O ba beth, ynte, yr ymwaghaodd? Yn unig o'r hawl i'w ymarfer; ac am hyny y dywedai mai y Tad oedd yn gwneuthur y gwyrthiau trwyddo, fel y credai dynion ynddo. Yr un modd am ei berffeithiau eraill; ac o herwydd hyn y gweddïai,—"O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, â'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd" (Ioan xvii. 5). Gofynai am gael meddiant llawn o'r hawl i ymarfer ei berffeithiau fel Duw, yr hyn a gafodd drachefn fel gwobr ei ddarostyngiad. "Mawr yw dirgelwch duwioldeb!" Pwy all byth ei amgyffred yn llawn! Yr Hollalluog yn ddi-nerth! Yr Hollbresennol o fewn lle! Yr Hollddoeth yn ddi-ddysg! Yr Hollgyfoethog yn dlawd! Tad anfarwoldeb yn marw! Dyma "ryfeddod a bery'n ddiddarfod." "A'i gwaghaodd ei hun!"

Wedi gweled cymaint â hyn o ystyr dysgeidiaeth Paul ar bwnc mawr yr ymgnawdoliad, symudwn bellach i edrych ai yr un wedd arno, ynte rhyw olygiad arall, a ddysgir i ni gan Ioan. Mae cnewyllyn ei ddysgeidiaeth yntau yn y bennod gyntaf o'i Efengyl, ac yn arbenig yn adn. 14. Gellir cymeryd o 1—18 fel math o ragarweiniad i'w Efengyl, lle y gosodir allan fawredd ac urddas y Gair tragywyddol mewn tair gwedd; sef y Gair, yn 1af, fel Creawdwr; 2il, fel ffynnonell bywyd neu oleuni; 3ydd, fel amlygiad o'r Duw-ddyn. Ac y mae y gwahanol weddau hyn gyda'u gilydd yn ffurfio darlun hanesyddol o'r Person rhyfeddaf a welodd y byd erioed. Cynnyrchir ynom edmygedd weithiau wrth syllu ar ambell *painting* o waith celfyddyd; ond llenwir ni âg addoliad dwfn wrth edrych ar y darlun Dwyfol hwn sydd wedi ei dynu mor berffaith gan law ysbrydoliaeth ar lïan mawr hanesiaeth. "Y Gair a ddaeth yn gnawd, ac a dabernaclodd yn ein plith ni; ac ni a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Y cwestiwn yn awr yw, pa un ai gogoniant hanfodol y Gair fel Duw, ynte rhyw ogoniant arall a welodd Ioan? Os y blaenaf, mae dau brif Apostol y Testament Newydd ar bwnc yr Ymgnawdoliad yn anghyson â'u gilydd; ond os y diweddaf, gwelir fod y ddau yn un yn eu dysgeidiaeth. Yr ydym yn ateb, gan hyny, mai *nid* ei ogoniant hanfodol fel yr unig a'r tragywyddol Fab a welodd yr Apostol Ioan, o'r hwn ogoniant, yn ol Paul, yr ymwaghaodd; ond gogoniant y *dyfodiad* o eiddo y Gair yn gnawd, fel yr adlewyrchai ar y Person. Ac, feddyliem, fod ffurf gymhariaethol y geiriau yn profi y gosodiad hwn. Nid gogoniant yr Uniganedig a welodd, ond gogoniant *megys*, fel, tebyg. Mae Meyer yn sylwi nad yw y syniad o *reality* yn gorwedd o gwbl yn y gair ὡς (megys). "There is rather," meddai, "the supposition of a comparison which approaches the meaning of *quippe*." Nid gogoniant y Gair ynddo ei hun a welodd Ioan; ond gogoniant y Gair *wedi dyfod* yn gnawd; ac yr oedd gogoniant y *dyfodiad* mor fawr fel nas gallai ei gymharu i ddim ond i'r "Uniganedig oddiwrth y Tad." Yr oedd gogoniant y dyfodiad *megys* y gogoniant Dwyfol a hanfodol hwnw! Hwyrach y goddefir i ni ddefnyddio

cymhariaeth: mae gormod o wres tanbeidiol yn yr haul i ni allu gweled yr amrywiaeth lliwiau sydd ynddo; ond aroser i'r awyrgylch leithio ychydig, ac i'r cymylau guddio ei wyneb, a daw y lliwiau oedd-ynt o'r blaen yn anamlwg yn weledig i'r llygad noeth, a hyny trwy ymffurfiad y pelydrau yn gylch o enfys ar y cwmwl. Er hyny, nid yr un yw gogoniant yr enfys a gogoniant yr haul; ond ymddangosiad yr haul ar len y cwmwl sydd yn peri fod gogoniant yr enfys *megys* gogoniant yr haul. Yr oedd gormod o ysblander dwyfol yn Haul y Cyfiawnder i ni allu byth weled ei ogoniant yn llawn; ond wele Haul mawr y nef yn ymguddio dan gwmwl y ddynoliaeth, a dacw'r gogoniant oedd o'r blaen yn anamlwg yn dyfod yn weledig yn "y dyn, Crist Iesu," nes peri i Ioan ddyweyd,—"Ni a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Cynnwys y gogoniant oedd "gras a gwirionedd." Gallem gyfeirio at fanau eraill yn y Testament Newydd ag sydd yn profi yr un gosodiad, sef fod gogoniant yn y dyfodiad yn Archoffeiriad, a'i fod yn adlewyrchu ar Berson Crist fel Duw-ddyn. (Gwel Heb. ii. 9; 2 Pedr i. 17.) Mae hyn, fodd bynag, yn ddigon i ddangos dysgeidiaeth y Testament Newydd ar athrawiaeth fawr yr Ymgnawdoliad, yn enwedig gyda golwg ar y goleuni a daflwyd arni gan y ddau brif Apostol—Paul ac Ioan.

SAMUEL T. JONES.

---

# JUBILI DIRWEST YN NGHYMRU.

*Jubili y Diwygiad Dirwestol yn Nghymru.* Gan y Parch. JOHN THOMAS, D.D., Liverpool. Merthyr Tydfil: Joseph Williams.

*The National Temperance Congress.* Liverpool, 1884. President, the Right Rev. FREDERICK TEMPLE, D.D., Lord Bishop of Exeter. London: National Temperance Publication Depot.

*The National Temperance League Annual for* 1885. (Fifth Year of Publication). Edited by ROBERT RAE. London: National Temperance Publication Depot.

AC y mae erbyn hyn hanner cant o flynyddoedd er pan y sefydlwyd y Gymdeithas Ddirwestol yn ein gwlad! Yr oedd y gwaith da yn y ffurf o lwyrymwrthodiad â'r diodydd meddwol wedi dechreu yn Lloegr yn y flwyddyn 1831, a chynnelid *Jubilee Conference* a *Jubilee Demonstration* yn Exeter Hall, Mehefin 28, 29, 1881, er coffa am sefydliad y Gymdeithas Ddirwestol gyntaf yn Llundain hanner can' mlynedd cyn hyny, sef Mehefin 29, 1831. Dichon fod y darllenydd yn cofio fod papyr a ddarllenwyd yn un o gyfarfodydd y *Conference* hwnw ar "The Origin

and Early History of the Temperance Cause in Wales" wedi ei gyhoeddi yn y TRAETHODYDD am 1881 (tu dal. 434, &c.), dan y penawd "Cychwyniad yr Achos Dirwestol yn Nghymru." Ond mae yn hyfryd genym groesawu y gyfrol sydd newydd ei chyhoeddi gan Dr. Thomas, yr hon sydd yn myned i'r mater lawer yn fwy cyflawn; yn wir, y mae yn haeddu ei gwerthfawrogi gan ein cenedl oll fel hanes cywir a thra manwl am un o'r symudiadau mwyaf pwysig a brofasom erioed. Nid oes neb yn fyw yn meddu ar y fath gymhwysder i fod yn hanesydd y Diwygiad Dirwestol yn Nghymru. Yr ydoedd efe yn ei ganol o'r dechreuad; y mae wedi ei ddilyn yn ffyddlawn ymhob gwedd a ffurf a fu arno; a phob amser y mae wedi bod ar uchelfanau y maes yn ymladd ei ryfeloedd. Y mae hefyd wedi cadw yn ofalus bob llenyddiaeth a berthynai i'r achos, ac yn ei lafurus gariad wedi meistroli y cwbl yn y fath fodd fel ag i allu rhoddi adroddiad o'r hanes na feddyliai neb am ei gwestiyno. Teimlem weithiau wrth ddarllen ei lyfr y gallasem foddloni ar lai o fanylion o'r fath a gofnodid am y cylchwyliau, &c., ynghyd a dechreuad y gwaith mewn llawer o'r ardaloedd, er mwyn cael mwy o'i adgofion byw ef ei hunan am y pethau mawrion oedd ynglŷn â bywyd y diwygiad. Y mae llythyr ei frawd, Dr. Owen Thomas, yn y rhagymadrodd, yn rhoddi ei adgofion am y daith fawr i'r Deheudir gyda y Parch. R. P. Griffith, yn yr ystyr yma yn un o'r pethau mwyaf dyddorol a ddarllenasom erioed. Mae yr awdwr hefyd nid yn anfynych yn rhoddi ei adgofion ei hunan, ac y maent bob amser yn werthfawr. Ond yr oedd ganddo reswm da dros roddi y lle a wnaeth i'r manylion hanesyddol, er eu bod yn dwyn llawer o debygolrwydd y naill i'r llall. Yr oedd y gwaith yn fawr iawn, ac yr oedd y dynion oeddynt yn gallu ymgodi yn gymaint uwchlaw rhagfarnau eu cylchoedd fel ag i ymdrechu mor egnïol drosto, yn haeddu bod â'u henwau mewn coffadwriaeth, a chael eu hanrhydeddu fel cymwynaswyr eu cenedl. Ac yn neillduol yn eu hardaloedd, ac ymysg eu cydnabod a'u hiliogaeth, fe ddylai y coffâd am a wnaethant, nid yn unig ennyn edmygedd a chariad, ond hefyd "gyffroi meddwl puraidd" pobl y dyddiau hyn, a phobl y dyfodol, i fod yn ffyddlawn i'r un amcan da. Yr oeddym hefyd yn teimlo i fesur yn siomedig na chawsid ychwaneg o engreifftiau o'r areithiau rhagorol a draddodid yn y blynyddoedd dysglaer ar yr achos Dirwestol ag y mae yr awdwr yn aros cymaint gyda hwynt. A chyda y defnyddiau raid fod gan Dr. Thomas wrth law, ynghyd a llawnder ei gof gafaelgar ef ei hun, ni buasai yn anhawdd iddo roddi ger bron ei ddarllenwyr gyflawnder o fater a haeddasai gael ei werthfawrogi fel daioni parhâus. Ond pa les sôn, nid oedd yn bosibl crynhôi pobpeth i gyfrol oedd i'w gwerthu am hanner coron. Ni a hyderwn, fodd bynag, y rhoddir derbyniad mor awchus i'r gyfrol hon fel ag i galonogi ymdrech bellach yn y cyfeiriad a awgrymwn, a hyny cyn i'r adeg, sydd eisoes wedi myned ymhell, fyned heibio yn llwyr. Ond tra yn dywedyd hyn, fe fyddai yn ddrwg iawn genym i'r darllenydd feddwl am fynyd nad ydyw y gwaith hwn yn un ag y byddai yn ddoeth iddo ar unwaith fynu ei feddiannu a'i astudio. Y mae yn llyfr rhagorol. Y mae yr awdwr wedi cymeryd anferth drafferth i wneyd yr hanes mor gyflawn ag oedd yn bosibl, a hyd y gallwn ni weled fe ellir dibynu ar ei berffaith gywirdeb. Y mae ei

gariad at yr achos, ynghyd a'i bwyll a'i farn dda, yn peri fod ei olygiadau ar y gwahanol faterion a ddaw dan ei sylw yn ddoeth ac iachus; ac er mor ffyddlawn â neb i'w luman neillduol ei hunan yn ngwersyll Israel, eto fel hanesydd y rhyfel ymha un y cymerai ymron yr holl lwythau ran, y mae ei gatholigrwydd y fath trwy yr holl waith fel—a defnyddio ei eiriau prydferth ef ei hun am y Parch. Richard Humphreys, o'r Dyffryn—y mae "ei ysbryd mor iach a diwenwyn ag awel bêr y boreu." Ni a'i cymerem yn sicr yn arwydd er daioni pe clywem fod galwad ebrwydd am ail argraffiad o'r llyfr.

Er fod Llwyrymattaliad wedi dechreu yn Lloegr yn 1831, eto ni ymddengys ei fod wedi dechreu i bwrpas yn Nghymru hyd y flwyddyn 1835. Dywed Dr. Thomas fod y Gymdeithas Ddirwestol Gymreig gyntaf wedi ei sefydlu yn Nghapel Rose Place, Liverpool, ar y 5ed o Fawrth y flwyddyn hono. Dywed hefyd fod Mr. Robert Williams, a adnabyddid yn ei flynyddoedd olaf dan yr enw "Corfanydd," yn areithio, Mai 5ed, yn ysgoldŷ y Tabernacl, Bangor, ar Lwyrymattaliad, pan ddarfu iddo ef, ynghyd a'r diweddar Barch. Samuel Roberts, ac un John Owen, a aeth wedi hyny ar ddisperod, gymeryd tocynau ganddo fel aelodau o "Gymdeithas Lwyrymattaliol Rose Place." Nid annyddorol y ffaith y dysgwylir Dr. Thomas, os byw ac iach, i areithio, ar y 5ed o Fai nesaf yn yr un lle, a hyny ar ben yr hanner canfed flwyddyn i'r noswaith y cymerodd yr ymrwymiad ynddo! Mae yn amlwg, fel y dangosid yn y papyr y cyfeiriwyd ato, fod llawer, yma a thraw, gyda'r ymdrech o blaid y Gymdeithas Gymedroldeb, yn gweled mai llwyrymwrthodiad oedd yr unig feddyginiaeth effeithiol rhag melldith ymyfed, ac yn dadleu dros hyny, yn gystal ag yn ei ymarfer. Ac fel y nodir yma, yr oedd y Parch. Owen Thomas felly yn Mangor. Wedi gwrando un araeth o'i eiddo, dywedai yr hen gyfaill selied, John Davies, Tai'rmynydd, tad ein cyfeillion Mr. William Davies, Llanrug, a Gwyneddon, pan ofynai ei wraig a ydoedd wedi seinio, "Naddo wir, Begi, rwy i wedi gweld hi rwan; mi ollyngodd Owen Thomas y gath o'r cŵd heno, ac mi ddwedodd mai *dim* fyddai hi yn y pen draw; cymdeithas *dim* fydd gyno fo nesa, a wnaiff hyny byth mo'r tro." A chytunai Begi, fel gwraig dirion gariadus, na wnelai hyny byth mo'r tro,—er i'r *ddau* yn bur fuan ar ol hyny ddyfod yn aelodau ffyddlawn a zelog o Gymdeithas *dim*. Ond y mae yn debyg y rhaid i ni adael yr anrhydedd o sefydlu y Gymdeithas Ddirwestol gyntaf yn Nghymru i'r Parch. Evan Davies, gweinidog gyda'r Annibynwyr yn Llanerchymedd—"Eta Delta"—yr hyn a gymerodd le yn y dref hono, Mai 13eg, 1835. Dywed Eta Delta mewn llythyr yn y *Dirwestwr* yn 1843 (cyf. iv. tu dal. 31), ddarfod iddo gynnyg â'i holl egni yr egwyddor o lwyrymattaliad yn Llanrwst, Medi 1834, ond fod y llanw yn rhy gryf; eto na bu ei lafur yn hollol ofer yno, gan iddynt ddyfod yn fuan yn Ddirwestwyr da. Hyd Mai 13eg, tybiai, ac yn hyny mae yn amlwg ei fod dan amryfusedd, nad oedd ond efe a'i deulu yn "Ddirwestwyr ymrwymiadol." Ond y pryd hyny, fel y dywed yntau, y "sefydlwyd y gangen gyntaf yn Nghymru; ond goddefwyd, er mwyn heddwch, cael *tri* ymrwymiad:—1. Llwyrymwrthod â phob diodydd meddwol. 2. Llwyrymwrthod â gwirodydd poethion, ond cael yfed yn gymedrol o ddiod frag!! 3. Cael yfed pob diod feddwol, ond peidio meddwi!!!"

Bydded wyrddlas goffadwriaeth Eta Delta,—y pur, y diniwed, a'r zelog. Fe welir yn y dyfyniad uchod ei fod yn hoff o ryfeddnodau. Yr ydoedd iddo ef yn beth mor hynod fod neb yn methu gweled y ffolineb o yfed diod feddwol o gwbl; ac eto fe deimlai yn ddigllawn fod Cymanfa Dinbych "yn beïo yn chwerw ar Ynys Môn oblegid y *ddau* ardystiad," yr hyn sydd yn dangos fod ganddo, er ei zel, lawer o'r cariad oedd yn gallu ymaros â musgrellni ei gydwladwyr, gan ei fod yn hyderus hefyd y byddent cyn pen nemawr yn gallu rhodio y ffordd dda mor hoew ag yntau. Mae Dr. Thomas yn coffâu ystori dda o'r adeg hono. Yr oedd Gruffydd Dafydd, y pregethwr cynhes a ffyddlawn o Lanerchymedd, yn y Tabernacl, Bangor, yn 1835 yn pregethu, a phan estynid iddo, yn ol yr arfer, y gwydriad o gwrw ar ol yr odfa, gofynai un o'r brodyr yn chwareus, "Beth ydach chi'n feddwl o'r gymdeithas newydd yma, Gruffydd Dafydd? Os eiff hon ymlaen chewch chi ddim cymaint â glasiad o gwrw gynwn nhw." "Waeth gin i mo'r llawer am hyny; dydw i'n hidio fawr am dano," meddai yntau. "Oes acw son am dani hefo chi?" gofynai rhywun arall. "O oes," meddai yntau, "hefo ni acw y mae sôn. Mae'n cymdeithas ni yn dair rhan—un yn caniatâu yfed pob peth, licar a chwrw yn gymedrol, ond peidio meddwi; a hyd hyny y mae ein Person ni wedi dwad. Mae y gangen arall i lwyrymwrthod â'r licar, ond yn caniatâu glasiad o gwrw, a hono ydw i wedi seinio. Ond y mae Mr. Davies, Peniel, acw, gweinidog y Senters, a rhai eraill, yn llwyrymwrthod â'r cwbl, ac yn zelog iawn; ac mi rydw i yn meddwl, wir, mai fo sy'n iawn, ac mai i'r fan yna rhaid i ni gyd ddwad yn y diwedd." Ac felly fu. Pan sefydlodd Eta Delta y Gymdeithas yn Llanfechell, Tachwedd 4ydd, 1835, nid oedd eisieu ond yr ardystiad llwyrymwrthodol yn unig. Daeth Mr. John Elias o'r lle hwnw, mab y Parch. John Elias, allan yn gryf o blaid y symudiad yn y ffurf hono arno; ac er fod Eta Delta yn dyweyd y "buont am dro heb weinidog na phregethwr," eto yn bur fuan fe ddaeth ymron holl weinidogion Ymneillduol Môn yn Ddirwestwyr o'r fath oreu, a sobrwyd yr holl wlad. Erbyn y Gymanfa a gynnaliwyd yno Mehefin 4ydd, 1838, dywed Dr. Thomas fod nifer y Dirwestwyr, yn ol yr adroddiad a ddarllenid, yn 25,000, a bernid pe cawsid y nifer o'r holl ardaloedd y buasai y cyfanrif yn 26,000. Ychwanega hefyd fod holl weinidogion a phregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd a'r Annibynwyr yn Ddirwestwyr ardystiedig ar y 5ed o Fawrth, 1838. Ac yn y Siroedd eraill, gan mor addfed ymhob man oedd y dynion da a sanctaidd ag yr oedd y genedl yn edrych i fyny atynt i ymgymeryd â'r gwaith, yr oedd y Diwygiad yn myned rhagddo,

Megys fflam yn llosgi llin.

"Sicrheir," meddai Dr. Thomas, "fod ar ddiwedd y flwyddyn 1838 lawn bum' cant o weinidogion a phregethwyr yn chwe' Sir y Gogledd yn Ddirwestwyr, a nifer yr aelodau ar lyfrau y gwahanol Gymdeithasau yn 100,000, a chyfrif y Cymdeithasau Cymreig yn Liverpool a Manchester." Nid ydyw yn ymddangos fod y gwaith wedi ffynu yn gymaint yn y Deheudir, er fod dirfawr les wedi ei wneyd yno hefyd. Yn ol y cyfrif a gaed yn Ngŵyl Llanilar, Ebrill 1838, yr oedd nifer Dirwestwyr Sir Aberteifi yn 20,000, ac yn gyffelyb yr oedd eu nifer

yn mawr amlhâu yn y Siroedd eraill hefyd; a lle bynag y cai Dirwest dderbyniad, yr oedd ar bob llaw y canlyniadau mwyaf bendithiol yn ei dilyn. Mae y gyfrol hon yn gyfoethog o hanesion tra dyddorol yn dangos hyny. Am yr hunanymwadiad, a'r llafur, a'r zel a arddangosid gan gynnifer, y maent uwchlaw pob clod. Am lawer o wŷr da a osodasant eu cenedl dan y fath rwymau iddynt, y mae eu henwau yn dra adnabyddus, a diammeu y byddant "byth mewn coffadwriaeth." Ond fel engraifft o ymaberthiad ardderchog mewn ffyddlondeb i egwyddor, a hyny ymysg rhai nad ydyw eu henwau mor adnabyddus ag yr haeddent fod, gallem gyfeirio at yr hanes a geir yma am Mr. David Jones, Llansantffraid. Yr oedd efe yn fragwr parchus, ac yn ŵr da a chrefyddol. Ond wedi clywed y gweinidogion enwog a barchai ac a garai mor fawr yn dadleu achos y gymdeithas newydd, daeth i deimlo mor anesmwyth fel y dywedodd wrth ei briod nad oedd yn cael ei feddwl yn rhydd i gario y bragu ymlaen yn hwy; ond os rhoddai ef i fyny, beth a ddelai o honi hi a'r plant? Atebodd hithau, heb betruso, am iddo wneyd fel yr oedd ei gydwybod yn ei gyfarwyddo, a'i gadael hi a'r plant yn llaw yr Arglwydd. Gwnaeth felly, er fod hyny yn ddirfawr golled iddo. Trodd yr hen fragdŷ yn Ddirwestdŷ, y cyntaf o'r fath yn Nghymru. Ond fe orfu iddo oddef, nid colled yn unig, ond dirmyg hefyd ac anmharch oblegid yr hyn a wnaethai. Gofynai un noson, pan yn myned i'r capel, a'i eneth fach yn ei law, "Wel, ai tybed i mi wneuthur o le? Y mae pawb yn troi yn ein herbyn." Ond yr eneth, gan edrych yn siriol yn ei wyneb, a ddywedai, "*O naddo. Os yw Duw drosom, pwy a all fod i'n herbyn?*" Teimlodd y fath rym gyda'r gair fel na phetrusodd mwy, ac mae yn hyfryd meddwl i'r Duw y bu mor ffyddlawn iddo ofalu am dano a'i godi i anrhydedd a defnyddioldeb neillduol.

Tô ardderchog (medd Dr. Thomas) oedd y gwŷr hyny a gredodd yn yr egwyddor can gynted ag y clywsant son am dani, ac a ddechreuodd ei harfer a gweithio drosti. Mae ychydig weddill o honynt yn aros yma a thraw—cedrwydd mynydd Duw; nid cyrs yn ysgwyd gan wynt; nid plantos yn myned ar ol rhywbeth newydd am ychydig, a phan y darfu ei newydd-deb yn myned yn ol i'w hen lwybrau; ond gwŷr cryfion nas gellid eu syflyd yn fuan oddiwrth y gwirionedd. Byddaf yn teimlo parch iddynt pan gyfarfyddaf â hwynt, a pharch i goffadwriaeth y rhai o honynt (ac y maent gan mwyaf erbyn hyn) sydd, wedi oes o lafur caled a chydwybodol, wedi eu casglu at eu tadau. Ystyriaf hi yn fraint i mi gael eistedd wrth eu traed, a gwrando eu geiriau; ac y mae yn hyfrydwch genyf gael adgofio i mi fy hun, a chofnodi i eraill, "waith eu ffydd, a llafur eu cariad, ac ymaros eu gobaith" ynglŷn â hanes un o'r symudiadau gwerthfawrocaf a ddaeth erioed i'n gwlad.

Mae genym achos i fod yn dra diolchgar am yr oruchafiaeth fawr a ennillodd Dirwest ar ein gwlad yn y blynyddoedd dysglaer rhwng diwedd 1835 a 1840. Cododd yr achos i fawredd a gogoniant neillduol, a bu yn foddion i ddiogelu miloedd lawer o'n cenedl rhag y demtasiwn oedd yn eu dinystrio, ac i sicrhâu miloedd lawer yn ychwanegol yn ffyrdd sobrwydd a rhinwedd trwy beri iddynt gael eu dwyn i fyny yn Nazareaid o'r groth. Ond wedi hyny, mae yn ofidus meddwl fod cryn ymollyngiad wedi cymeryd lle. Fe ddaethpwyd i deimlo fel pe buasai y gwaith wedi ei gwblhâu, ac y gellid bellach orphwys oddiwrth y llafur. Ac ysywaeth, yn niofalwch y gwrthweithiad, fe ddaeth ein teuluoedd oedd yn llwyddo yn y byd, ac o herwydd hyny yn cael

eu hystyried yn barchus, i deimlo ysfa anorchfygol i ddilyn esiamplau y rhai y delent i droi yn eu plith trwy fynu y ddiod feddwol ar eu byrddau; a gwaeth fyth, fe ddaeth dynion, ag oedd yn y blynyddoedd blaenorol wedi bod yn ymffrostio eu bod trwy Ddirwest yn mwynhau gwell iechyd nag erioed o'r blaen, i ddychymygu fod ganddynt gylla, ac i glywed fod y meddygon wedi dargarfod fod rhinwedd digyffelyb mewn *bitter beer*, &c.; ac mewn canlyniad i ildio i garedigrwydd y boneddigesau tirion ac eraill a'u hargymhellent i gymeryd dyferyn pan "wedi blino," neu i "gynnorthwyo treuliad eu hymborth;" ac o dipyn i beth aethant i geisio y ddiod i'w tai eu hunain a'i hyfed, ond wrth reswm "er mwyn eu cylla a'u mynych wendid." Yr ydym yn llawn gydymdeimlo â'r gofid, os nad y dirmyg, a gynnyrchai hyny yn mynwes Dr. Thomas. "Y cynghor cyntaf a roddai y rhan fwyaf o feddygon oedd 'ychydig win,' neu *bitter beer*, neu *porter;* a chynghorent felly fynychaf am eu bod yn gwybod mai dyna a hoffai eu cleifion (?) gael." Mae yn ymddangos i'n cyfaill unwaith ddychrynu rhyw wraig garedig yn fawr trwy y drem sarug â pha un y gwrthodai gymeryd dim o'r potelau dysglaer a ddygasai ar y bwrdd, gan ofyn ai ni wyddai ei fod ef wedi dyfod yno yn un pwrpas i'r ŵyl Ddirwestol, —tra nad oedd hi, druan, ond yn "meddwl ei fod wedi blino, ac y buasai yn ei gymeryd yn feddyginiaethol." Wrth reswm ni allasai lai na pharchu teimlad caredig y wraig, ond ennynai ei ddigllonedd at y rhai oeddent wedi ei dysgu i feddwl am y fath beth, a thra yn proffesu pethau mor wahanol oeddent yn derbyn y fath garedigrwydd. Yr oedd peth felly o angenrheidrwydd yn gwanhau nerth y cedyrn, ac yn peri dirfawr niwed. Y mae amryw o honom yn cofio pwysau y croesaw â pha un y cymhellid ni i gyfranogi o'r diodydd a osodid i addurno byrddau ein cyfeillion, ac fel y teimlid ein gwaith yn gwrthod, er yn y dull mwyaf moesgar a charedig, fel condemniad dystaw oedd yn chwerwi eu pethau da i'r rhai yr eisteddem wrth eu byrddau. Ni allwn ychwaith anghofio mor beryglus y meddyliem y buasai raid i'r fath garedigrwydd fod i rai a allasent fod i ryw fesur yn hoff o'r ddiod, nac fel y teimlem y felldith oedd ynddo, wedi gweled rhai a lithiasid felly oddiar y ffordd dda, yn cael eu dinystrio ar ol hyny gan eu chwant. Gwyddom hefyd am amryw engreifftiau lle yr edrychai cyfeillion parchus, a arferent y diodydd meddwol, gyda dwfn ddirmyg ar y parodrwydd a ddangosai rhai, a siaradent dros Ddirwest, i faldordd am eu cylla a'u gwendid, pan gaent gyfleusdra i gymeryd cyfran; ac yn enwedig, ni allwn anghofio y chwerw ofid â pha un y clywsom rai, ag yr oedd eu hanwyliaid wedi eu colli byth yn llynclyn anghymedroldeb, yn dadgan yr achles a brofent i ymarfer â'r ddiod gan waith rhai ag y gallesid dysgwyl oddiwrthynt bethau gwell yn cydgyfranogi. Effaith hyn oll oedd dystewi cyflegrau a wnaethent anferth chwalfa ar gestyll anghymedroldeb, a bod y bobl drachefn, yn lliaws mawr, yn dychwelyd at eu hen arferion, a hyny, yn achos llaweroedd o honynt, "i'w dinystrio byth bythoedd." O bryd i bryd y mae cryn ymdrech wedi bod mewn gwahanol ardaloedd i geisio ymadnewyddu yn yr ymdrech, ac nid oes yr un ymgais o'r fath wedi bod nad ydyw wedi llwyddo i wneyd gwaith hynod o fendithiol. Y mae hyny yn wir yn neillduol am yr ymdrech ynglŷn â Themlyddiaeth Dda. Diammeu i'r

diwygiad hwnw fod yn foddion i achub llawer iawn o feddwon ag yr oeddid, ar bob tir arall, wedi hen anobeithio am eu hadferiad, heblaw diogelu mynteioedd lawer o'n hieuenctyd rhag "llwybrau yr yspeilydd." Mae yr un peth i'w ddywedyd hefyd, yn enwedig yn y Deheudir, am Fyddin y Ruban Glas. Ni ddylid anghofio ychwaith fel y dangosid ein parch fel cenedl i achos sobrwydd yn ein gwaith yn codi fel un gŵr i alw am ac i fynu cau tafarnau Cymru am yr oll o Ddydd yr Arglwydd; ac er fod cyfeillion y fasnach mewn diodydd meddwol yn barhaus yn ceisio dangos fod y ddeddf hono wedi profi yn fethiant, eto, gan faint ymlyniad yr holl genedl wrthi, mae yn amlwg fod ei dilëad mor anobeithiol â dychwelyd cwrs yr haul. Ond er hyn oll, yr ydym yn ofni y rhaid addef mai llusgedig, ar y cyfan, y mae yr achos Dirwestol wedi bod yn ein plith er ys llawer o flynyddoedd; ac am y dyddiau hyn, er fod yn ein gwlad filoedd o Ddirwestwyr nad oes modd, o ran nac egwyddor nac arferiad, fod eu gwell, eto y maent, ar y cyfan, yn hynod o dawel, a hyny er fod y fasnach feddwol yn parhau i osod maglau o flaen ein cydwladwyr, ac fod lliaws o honynt yn cael eu dal ganddi a'u dyfetha.

Ac y mae hyny yn fwy dyeithr fyth wrth ystyried yr egni mawr â pha un y gweithir o blaid yr achos da yma y dyddiau hyn yn Lloegr. Fe fu amser pan nad allai Cymru lai nag edrych gyda gofid mawr ar y gwaith yr ochr arall i glawdd Offa; oblegid er iddo ddechreu yno bedair blynedd yn gynt, eto nid ydoedd am lawer o amser ond symudiad ymhlith gweithwyr, ac yr oedd llawer o'r rhai a ddadleuent o'i blaid y tu allan i gylch crefydd, os nad yn wir yn ei darostwng; tra yr oedd y bobl barchus a dysgedig yn ei ddiystyru, a'r crefyddwyr a gweinidogion yr Efengyl yn ei gondemnio. Dan y fath amgylchiadau ni allai ei lwyddiant fod ond pur gymedrol. Yn Nghymru, o'r ochr arall, y bobl oreu yn yr holl wlad oedd fwyaf blaenllaw i noddi yr achos, ac ymdaflasant â'u holl galon i'r ymdrech o'i blaid; ac mewn canlyniad, yr oedd y llwyddiant a fu arno yn ddigyffelyb. Mewn llawer o ardaloedd yr oedd y tafarnau wedi sychu i fyny, a lliaws mawr o feddwon yn cael eu dwyn dan ymgeledd yr Efengyl, ac yn cael eu gwneyd yn ddynion newyddion. Ond erbyn hyn y mae pethau wedi newid yn fawr. "Felly y rhai olaf a fyddant yn flaenaf, a'r rhai blaenaf yn olaf." Fe allai fod y fantais o ieuengrwydd eu zel ac angerddoldeb eu "cariad cyntaf" yn cyfrif i ryw fesur am ragoriaeth ein cymydogion arnom ni y dyddiau hyn mewn ymdrechion o blaid sobrwydd. Pa fodd bynag, y maent yn awr yn llawer mwy ymdrechgar nag ydym ni yn Nghymru. Mae yn wir fod yn ein plith ninnau lawer o Ddirwest bur ac egwyddorol, ond yr ydym yn ofni ein bod yn fwy dyledus am hyny i lafur y blynyddoedd gynt nag i ymdrechion y dyddiau presennol, tra y mae hudoliaeth y ddiod yn barhaus ar waith, ac yn darpar, oni chaiff ei gwrthweithio, drwch o drueni yn y dyfodol na all lai na phrofi i'n cenedl yn felldith drom. Os mynai y darllenydd gael golwg ar linell gorllanw y gwaith da yn Lloegr y dyddiau hyn, ni allai wneyd yn well na darllen y ddau lyfr arall a nodasom uwch ben yr erthygl hon. Yr oedd y *National Temperance Congress* a gynnaliwyd yn Liverpool mis Mehefin diweddaf, ymhob ystyr yn llwyddiant diammheuol, ac y mae ei holl weithrediadau, yn cynnwys y nifer mawr o bapyrau gwerth-

fawr a ddarllenwyd ynddi ar wahanol agweddion y pwnc, wedi eu cyhoeddi yn yr ail gyfrol a nodasom, yr hon sydd yn un hardd a gwerthfawr iawn, tua dau gant a hanner o du dalenau, ac i'w chael am 5s. Mae y trydydd llyfr, *Annual y National Temperance League*, dan olygiad Ysgrifenydd gweithgar y Gymdeithas dda hono, yn awr yn cael ei gyhoeddi am y bummed flwyddyn, ac yn cynnwys cymaint o fater dyddorol ac addysgiadol fel nad allai unrhyw gyfaill i sobrwydd a roddai ei swllt am dano lai na theimlo ei fod wedi cael bargen ragorol. Mae y ddau lyfr yn gyfaddas i adael argraff ar feddwl y darllenydd ag y byddai yn anhawdd iddi beidio ei wneuthur yn well.

Yr oedd sefyllfa y deyrnas yn y mater o anghymedroldeb wedi dyfod y fath fel ag i beri fod gwerth tra mawr yn y deffröad y cyfeiriwn ato yn Lloegr o blaid yr achos Dirwestol. Wedi sefydlu Masnach Rydd yn 1847, a phasio diwygiadau cyllidol pwysig eraill o gyffelyb natur, y rhai y mae genym i ddiolch am danynt yn gwbl i'r blaid Ryddfrydig, fe fu dirfawr gynnydd ar gyfoeth y deyrnas. Am y deuddeng mlynedd yn terfynu 1842, nid oedd gwerth ein holl allforion ond £551,272,000, neu £45,939,000 yn y flwyddyn; tra am y deuddeng mlynedd yn terfynu 1882, cyrhaeddent £2,679,974,000, neu £223,331,000 yn y flwyddyn, sef yn agos i *bum' waith* yr hyn ydoedd ddeugain mlynedd yn ol, tra nad ydoedd cynnydd y boblogaeth ond 37 y cant. Neu, i osod y peth mewn gwedd arall, yn y cyfnod cyntaf allforiasom werth 36s. y pen o nwyddau, ond yn yr olaf werth tua £6 8s. y pen. Ac mae yn ddiammeu fod y dosbarth gweithiol wedi cael eu rhan yn dra helaeth o'r llawnder hwn. Yn ei araeth yn Rochdale, ar ben ei 70ain ml. oed, dangosai Mr. Bright fod cyflogau crefftwyr a gweithwyr yn gyffredinol yn y wlad hon wedi codi yn ystod y deugain mlynedd diweddaf o 40 i 80 y cant, ac mewn rhai achosion fwy na hyny. Mae yn amlwg y dylasai hyn oll ychwanegu yn ddirfawr at eu cysuron. Gyda'r gwelliantau mawrion mewn gwyddoniaeth, peiriannau, a rhaniad llafur, fe geir y gall llafur un dyn yn awr gynnyrchu digon, nid yn unig i ddiwallu eisieu, ond i sicrhau cysuron bywyd i ddeuddeg neu bymtheg o bersonau. A'r fath ddirfawr wahaniaeth yn yr un cyfeiriad sydd wedi cymeryd lle trwy ddilëad cynifer o'r tollau a fyddent yn gymaint baich ar y boblogaeth yn nyddiau da Toryaeth! Dywedai Mr. Trevelyan, mewn araeth ddiweddar o'i eiddo, nad oedd raid i etholydd i Mr. Gladstone yn Dalkeith dalu mwy na 6c. yr wythnos yn bresennol mewn tollau, tra y buasai raid iddo ddeugain mlynedd yn ol dalu 3s. 4c. yr wythnos, a hyny yn unig ar angenrheidiau bywyd, heb son am ddiodydd meddwol a thybaco; a thra y mae cyflog gŵr, na fuasai y pryd hyny ond 20s. yr wythnos, yn awr yn 80s. yr wythnos! Ac y mae y cyfnewidiad yn debyg trwy y deyrnas oll. Ac eto, wrth ddesgrifio sefyllfa y dosbarth gweithiol, dywedai Mr. George Potter, yr hwn a ddylai adnabod eu sefyllfa yn dda: "Mae sefyllfa y dosbarthiadau gweithiol, fel rheol, yn un galed. Ni ellir gwadu hyny. Gyda nifer helaeth o honynt mae bywyd yn drueni hollol. Er y gallai nad ydynt yn cwbl newynu, y maent yn dyoddef mwy neu lai o eisieu bwyd o'r naill wythnos i'r llall. Mae eu cylch trymaidd o lafur yn cymeryd yr holl ddiwrnod, ac mae eu cartrefi yn anneddau nosweithiau truenus sydd yn anfynych yn rhydd oddiwrth afiechyd, yr hwn a wneir yn fwy annyoddefol gan dlodi." A hawdd

fuasai llïosogi desgrifiadau cyffelyb. Yr oedd yr arian a dalwyd mewn cynnorthwy i dlodion am y flwyddyn 1882, yn fwy nag am y flwyddyn 1852, ddeng mlynedd ar hugain yn ol, o 68 y cant, er nad yw cynnydd y boblogaeth yn y naill flwyddyn ragor y llall ond 45 y cant, a hyny er yr holl gynnydd yn nerbyniadau y bobl, ac er yr holl lymder â pha un y gommeddir cynnorthwy oddiallan, neu *out-door*, yn awr ragor y pryd hyny. Ond mae trueni mwy fyth yn cael ei brofi. Yn 1879 fe ddengys adroddiad y Cofrestrydd Cyffredinol fod y marwolaethau yn y *workhouses* am Loegr a Chymru yn un o bob *pymtheg* o'r holl farwolaethau; ond yn Llundain, y ddinas gyfoethocaf yn y byd, yr oedd yn un o bob *naw*. Am droseddau, fe garcharwyd o rai dros un ar bymtheg oed yn 1861, 103,343; ond yn 1882 yr oedd eu nifer yn 175,360. Drachefn yn 1852 nifer y gwallgofiaid yn Lloegr a Chymru oedd 21,158; ond yn 1881 yr oedd eu nifer yn 73,113,—cynnydd o 245 y cant! Dadleuai Mr. Bright ac eraill dros ddilëad deddfau yr ŷd fel y "real cure for many of the nation's woes;" ond mae y ffeithiau ofnadwy hyn yn dangos fod ein teyrnas, er ei holl fanteision cyllidol mawrion, wedi bod yn myned i lawr yn hytrach nag yn ymddyrchafu. Dywed Mr. John Morley yn hanes bywyd Cobden:—"Gofid beunyddiol ei fywyd ydoedd gwrthodiad cyndyn y rhai y cynnorthwyasai i wlawio arnynt gyfoeth a llawnder, i wrando yr hyn oedd ganddo i'w ddyweyd am y gwelliantau cymdeithasol i ba rai y dylasai eu cyfoeth arwain. O'r diwedd gorfodid ef i ddyweyd wrtho ei hun, fel yr ysgrifenai at gyfaill, 'Nid ydyw cenedloedd eto wedi dysgu dal llwyddiant, rhyddid, a heddwch. Fe'i dysgant mewn ystâd uwch o wareiddiad. Yr ydym yn tybied ein bod yn gynlluniau i'r rhai sydd yn dyfod ar ein hol, tra nad ydym ond ychydig well na rhybuddion i'w cynnorthwyo i ochel y creigiau a'r sugndraethau.'" Mae diwygiadau pwysig yn angenrheidiol, mae yn wir, mewn ffyrdd eraill, tuag at wella ein sefyllfa; ond y mae *un* achos mawr o drueni sydd yn anfesurol fwy na dim arall ag y gallem gwyno o'i herwydd, a hwnw ydyw ein hanghymedroldeb. Mae nifer y temtasiynau i ymyfed, a hyny dan sêl awdurdod y Llywodraeth, wedi eu llïosogi yn dri chymaint ag a fyddent; oblegid tra yn 1829 nad oedd yn Lloegr a Chymru ond 50,442 o dafarnau, heb ddim *beershops*, *wineshops*, *grocers' licenses*, na *licenses* achlysurol, yr oedd genym yn 1881, 150,000 o dai i yfed, a 40,000 yn ychwanegol o drwyddedau achlysurol, neu arbenig. Mae y pethau hyn yn naturiol yn cynnyrchu eu ffrwyth, ac y mae hwnw yn "alar, a gruddfan, a gwae." Fel y mae y dalenau hyn yn myned drwy y wasg mae yn ddrwg genym weled, yn ol y cyfrif blynyddol a wneir gan Mr. Hoyle, fod gwario y deyrnas ar ddiodydd meddwol am 1884 dros £126,000,000, ac yn fwy o £871,981 nag ydoedd yn 1883, er bod y swm y flwyddyn hono yn llai nag am 1882 o £774,084. Am y deng mlynedd yn terfynu 1880, yr oedd yr arian a wariwyd yn y deyrnas ar ddiodydd meddwol, at eu gilydd, yn £136,000,000 bob blwyddyn. Mae y *Diagram* prydferth a wnaed gan Mr. Joseph Spencer oddiwrth y cyfrifon a gasglosid gyda'r fath ofal manwl gan Mr. Hoyle—cyhoeddedig gan John Heywood, Manchester, pris dwy geiniog, neu ar gerdyn destlus deunaw y cant,—yn deilwng o'r ystyriaeth fwyaf difrifol. Dengys faint cymhariaethol ein treuliadau mawrion mewn colofnau cyfochrog. Mae

colofn y cenadaethau ymron yn anweledig o fechan, ddim ond £1,050,000 yn y flwyddyn. Nid yw colofn nwyddau llïan ond £6,000,000; nac addysg ond £11,000,000; na nwyddau cotwm ond £14,000,000; na glô at wasanaeth tai ond £15,000,000; mae tê, coffi, a cocoa yn dyfod i £20,000,000; siwgr i £25,000,000; llaeth i £30,000,000; ymenyn a chaws i £35,000,000; y mae colofn ardrethi tirol yn £60,000,000, ac un ardrethi tai yn £70,000,000; a'r un faint ydyw colofn bara, sef £70,000,000: ond y mae colofn ddu y diodydd meddwol yn ymddyrchu i'r uchelder, ymhell goruwch y cyfan, yn £136,000,000! Hyny yw, yr ydym yn talu am y pethau hyn yn unig, yn agos gymaint ddwywaith ag am fara; yn agos gymaint bedair gwaith ag am ymenyn a chaws; bedair gwaith a hanner gymaint ag am laeth; mwy na phum' waith yr hyn a dalwn am siwgr; ac yn agos i saith waith yr oll a dalwn am de, coffi, a cocoa. Yr ydym yn talu mwy am ddiodydd meddwol na holl ardrethi tiroedd a thai y deyrnas i gyd; a thua dwywaith yr oll a wariwn am bob nwyddau gwlan, cotwm, a llïan! Ac fe gydnabyddir fod ein colledion *an*uniongyrchol ynglŷn â'r gwario andwyol yma ar ddiodydd meddwol,—heb son am y trychinebau a achlysurir ganddynt nad oes dim ffigyrau a all eu gosod allan,—yn llawn £100,000,000 yn ychwanegol. Beth pe buasai cyfran fechan o'r £236,000,000 yma yn cael ei rhoddi at brynu nwyddau eraill a gynnyrchir yn ein teyrnas, o ba rai y mae cynifer o'n hystordai mawrion yn llawn, ac o eisieu pa rai y mae cynifer o filoedd o'n cyd-ddeiliaid yn dyoddef y fath ddygn drueni? A beth pe gellid cau y llifddorau a agorir gan y gwario yma, trwy ba rai y mae cymaint o dlodi, ac afiechyd, a throseddau, a gwallgofrwydd, a marwolaethau yn ymdywallt arnom? Nid ydyw geiriau y Barnwr Hawkins yr haf o'r blaen yn mrawdlys Durham, ond engraifft o lawer o ymadroddion cyffelyb a draethir y blynyddoedd hyn gan Farnwyr ei Mawrhydi, ond fe deimla pob dyn ystyriol eu bod yn dra phwysfawr:—

"Pan ddeuaf," meddai, "i edrych trwy y calendar, a phan welaf y nifer o droseddau a gyflawnwyd dan ddylanwad y ddiod feddwol, ni allaf lai na dyweyd gair neu ddau ar y mater. Bob dydd yr wyf yn byw, mwyaf ydwyf yn feddwl am y peth, a mwyaf sicr yr ydwyf yn dyfod i'r casgliad mai gwreiddyn pob trosedd ymron ydyw y ddiod, y gorthrymydd adgas hwnw sydd yn cyrhaedd pobl o bob oedran, a phob rhyw; ieuanc, canol oed, a hen: tad a mab, gŵr a gwraig, mae yr oll yn eu tro yn dyfod yn ebyrth iddo. Y ddiod, gan mwyaf, ydyw achos uniongyrchol y cwerylon ofnadwy hyny yn yr ystrydoedd y nos, sydd yn terfynu mewn niweidiau difrifol, neu ryw gynddaredd arall. Y ddiod gan mwyaf sydd yn ysgogi dynion i anonestrwydd. Y ddiod sydd yn peri fod cartrefi yn cael eu tlodi, ac y mae olion y trueni a achosa i'w gweled mewn aml fwthyn, wedi ei ddynoethi o'r angenrheidiau a'r cysuron mwyaf cyffredin, y rhai ydynt wedi myned i'r *pawnshop* yn unig er mwyn gwasanaethu y gorthrymydd adgas, y ddiod. Yr ydwyf yn credu, gyda'r wybodaeth sydd genyf, ac wedi trwy brofiad gael tynu fy sylw at y peth, fod naw o bob deg o'r troseddau yn y wlad hon yn cael eu cenedlu o fewn drysau y tafarnau."

Nid rhyfedd i Mr. Bright ddyweyd pe gellid gwneyd i ffwrdd â'n hanghymedroldeb, "y byddai ein gwlad wedi newid yn gymaint, a newid yn gymaint er gwell, fel pe yr edrychem arni mai prin yr adwaenem hi drachefn." Fe brofir trwy gyfrifon nad oes lle i ammeu eu cywirdeb, y byddai y defnyddiau ymborth a arbedid trwy hyny yn ddigon i gynnal dwy filiwn o bobl; fe ryddheid at orchwylion mwy

cydweddol â llwyddiant y wladwriaeth hanner miliwn sydd yn awr ar waith y naill ffordd neu y llall ynglŷn â'r fasnach feddwol; ac fe fyddai y bywydau a arbedid, ynghyd a'r amser, y dalent, a'r llafur sydd yn awr yn cael eu gwastraffu trwy y ddiod, yn ychwanegiad o lawn y ddegfed ran at allu cynnyrchiol y deyrnas. Ac am y cyfnewidiadau mewn ffyrdd eraill, nad yw yn ngallu ffigyrau eu harddangos,—mewn cysur, cariad, a daioni,—ni allai neb amgyffred ei faint.

A thra yr oedd effeithiau andwyol ymyfed yn eu gwthio eu hunain trwy y pethau yna yn fwyfwy i sylw y wlad, yr oedd dynion meddylgar mewn cylchoedd eraill hefyd yn cario ymlaen ymchwiliadau nad allent lai na dangos mor niweidiol a pheryglus, ië, a dinystriol, raid fod yr ymarfer â'r diodydd meddwol. Yr ydym yn cyfeirio yn neillduol at y gwŷr enwog ymysg y meddygon, y rhai mewn blynyddoedd diweddar a wnaethant y cwestiwn o Alcohol a'i effeithiau ar y cyfansoddiad dynol yn efrydiaeth arbenig. Mae y dychymyg wedi hen ffynu ymysg y meddygon, fel ymysg y werin, y rhaid fod y diodydd hyn yn fanteisiol i iechyd ac yn fagwriaethol i nerth. Ac ni raid am esgusawd dros i ni ddefnyddio y gair "dychymyg," oblegid mae yn amlwg, erbyn hyn, na chymerwyd erioed drafferth i chwilio am sail wyddonol i'r syniad o gwbl. Yr oedd dadl y "mynych wendid," bid siwr, ar flaen bob tafod, ac yr oedd y diodydd yn "ddiodydd cryfion;" beth a ellid yn amgen, os oedd eisieu nerth, na'u defnyddio? Ac nid ydyw yn anhawdd deall fel yr oedd llawer un yn barod i gondemnio y rhai a siaradent yn eu herbyn fel gelynion yr hiliogaeth! Ond erbyn hyn, trwy drugaredd, y mae goleuni mawr wedi cyfodi ar y mater yma, ac y mae yn ymweithio, os yn araf, eto yn sicr, i holl gylchoedd cymdeithas. Cyn bo hir iawn, fe fydd yn beth mor ddyeithr cael neb yn ddigon anwybodus i ddadleu dros ddiodydd meddwol er iechyd a nerth, ag a fyddai darganfod mastodon yn ymheulo ar un o lethrau y Wyddfa. Ac wrth sôn am hyn fel cyfnewidiad diweddar, ni a ddylem egluro nad ydyw felly ond yn yr ystyr mai yn ddiweddar yr ennillodd yr arbenigrwydd sydd yn peri ei fod yn cyrhaedd meddwl y deyrnas. Yn 1800, ar y dybiaeth fod fe allai 200,000 yn Llundain yn byrhâu eu hoes trwy anghymedroldeb ddim ond pum mlynedd yr un, yr ydym yn cael Colquhoun yn gwneyd fod miliwn o flynyddoedd o lafur felly yn cael ei golli ganddynt, yr hyn yn ol dim ond £25 y flwyddyn, a wnelai golled i'r deyrnas o £25,000,000 bob blwyddyn, heb son am y drygau aneirif mewn ffyrdd eraill. Yr oedd Pwyllgor Seneddol a wnelai ei adroddiad i'r Parliament yn 1834, ymysg pethau eraill o gyffelyb natur, yn dadgan "Fod yr awdurdodau meddygol uchaf, a arholasid mewn nifer mawr o'i flaen, oll ymron yn unffurf yn eu tystiolaeth, fod gwirodydd yn hollol wenwynig i'r cyfansoddiad dynol, ac nad ydynt o gwbl yn angenrheidiol, neu hyd yn nod yn ddefnyddiol i rai mewn iechyd; eu bod bob amser, ymhob amgylchiad, ac yn y radd leiaf, yn ddrwg, yn niweidiol, neu ddinystriol, yn ol y cyfartaledd y cymerir hwynt i'r cyfansoddiad; ac nid yn unig fod peth anferth o ymborth dynol yn cael ei ddinystrio trwyddynt, tra yr oedd miloedd heb gael ymborth digonol, ond fod yr ymborth hwnw yn cael ei ddinystrio yn y fath fodd fel ag i niweidio yn fawr y cynnyrchwyr amaethyddol eu hunain, am ŷd pa rai, oddieithr am y camddefnydd andwyol yma o hono, y byddai mwy na dwbl yr alwad

bresennol, at wasanaeth y rhai nad ydynt yn awr yn cael digon o ymborth." Coffeir dadganiad Dr. Benjamin Rush, meddyg Americanaidd enwog o'r ganrif o'r blaen: "Gallai wasanaethu i symud cyfeiliornad â pha un y mae pobl anghymedrol yn eu cysuro eu hunain, i sylwi, fod gwirodydd poethion yn fynych yn dwyn ymlaen anhwylderau marwol, heb gynnyrchu meddwdod. Mi adnabûm lawer a ddinystriwyd ganddynt, na fuont yn gwbl feddw yn eu hoes. Nid ydyw ambell i engraifft o hirhoedledd a gyfarfyddwn yn awr a phryd arall mewn yfwyr mawr, yn gwrthbrofi yn fwy effeithiau niweidiol gwirodydd poethion, nag y mae ambell adferiad o farwolaeth ymddangosiadol trwy foddiad yn profi nad oes dim perygl i fywyd o fod corff dynol yn gorwedd am awr o dan ddwfr." Dywedai Munro, y difynydd a'r meddyg enwog o Edinburgh, a hyny gyda chraffder gwyddonol ag oedd lawer o flaen ei oes, "Nad oedd ar ddyn mewn iechyd fwy o eisieu gwin neu wirodydd na buwch neu geffyl." Mae ysgrifeniadau Dr. F. R. Lees yn gyfoethog o ddyfyniadau o gyffelyb natur, a hefyd o ffrwyth ei ymchwiliadau ef ei hunan, y rhai, er yr edrychid arnynt am flynyddoedd gan lawer fel penboethni Dirwestol, y mae yr awdurdodau uchaf erbyn hyn yn cydnabod eu gwerth gwyddonol, ac yn synu at y dallineb a barai eu hesgeuluso cyhyd. Ond er hyn oll rhaid dyweyd fod gwerth tra mawr yn llafur ein meddygon yn y blynyddoedd diweddaf yn y cyfeiriad hwn. Mae yn debyg mai tröad y llanw yn nghylch uchaf yr alwedigaeth feddygol ydoedd gwaith Dr. Richardson, er mwyn gwneyd i ffwrdd am byth â haeriadau y penboethiaid Dirwestol o berthynas i niweidiau Alcohol ar y cyfansoddiad dynol, yn ymgymeryd â gwneyd ymchwiliadau llafurfawr i'r mater, ond wrth wneyd hyny yn cael ei orfodi i ddyfod i benderfyniad cwbl wahanol i'r hyn a ddysgwyliai. Wedi i wyddoniaeth gael ei galw gan ei dysgybl ffyddlawn i ddyfod i felldithio y Dirwestwyr, wele ni fynai ond eu bendithio, gan sicrhau fod alcohol yn fwy o elyn i'r cyfansoddiad nag yr oedd ond ychydig o honynt erioed wedi meddwl. Wedi ei argyhoeddi, fodd bynag, er mor groes i'w ddysgwyliadau, ni phetrusodd y Doctor parchus wneyd yn hysbys i eraill yr hyn a ddysgasid iddo ef ei hun, yr hyn a wnaeth i ddechreu mewn chwech o ddarlithiau a draddododd yn niwedd 1874 a dechreu 1875, fel y *Cantor Lectures*, o flaen y *Society of Arts*, y rhai, wedi hyny, a gyhoeddwyd ac a gawsant gylchrediad helaeth. Yr oedd yr ymchwiliadau hyny yn dangos fod alcohol mor bell o fod yn gynnorthwyol i dreuliad ymborth fel y mae yn arafu treuliad, ac yn ei wneyd yn anmherffaith; ei fod yn parlysu y gewynau sydd yn rheoleiddio cylchrediad y gwaed ac yn dal mewn sefyllfa addas y mân waed-lestri; ei fod yn hysbyddu ac yn crebachu mân ronynau neu *corpuscles* y gwaed, a thrwy hyny yn lleihau y cyflenwad o *oxygen* i'r rhanau, ynghyd a symudiad *carbonic acid* o honynt; ei fod yn darostwng ardymheredd y corff; ei fod yn prysuro, yn gwanhau, ac yn blino y galon; tra yn, a thrwy, y weithred o gynnyrchu y teimladau hyfryd hyny y mae dynion yn ei yfed er eu mwyn, ac ydynt mor beryglus, ei fod yn niweidio mân gelloedd y gewynau, gan bylu teimladrwydd gewynol, ac yn raddol yn creu eisieu a dymuniad sydd yn hanfod a dechreuad chwant y meddwyn; ei fod, trwy ei effaith neillduol ar yr ymenydd a madruddyn y cefn, yn dyrysu ac yn gwan-

hau y cynneddfau dealltwriaethol a moesol, yn gadael y ffrwyn ar war y tueddiadau isaf, ac yn ansefydlu symudiad gïeuol; ei fod, yn lle rhoddi gallu, yn treulio y nerthoedd bywydol; yn lle cyflenwi sylwedd maethol i'r cyfansoddiad, ei fod yn dinystrio; yn lle cadw y corff yn gynhes, ei fod yn ei wneyd yn fwy agored i anwyd; ei fod yn arwain i lawer o ffurfiau o anhwylderau parhaol; ei fod yn rhedeg i lawr y peirianwaith dynol cyn ei amser; ac, yn olaf, ei fod yn gosod ar natur fewnol dyn warthnod nad all byth ei ddileu, a drwg ag y mae yn drosglwyddo i'w blant ar ei ol. Ac y mae y pethau hŷn oll mor bell o fod yn ddychymygion neu yn haeriadau, fel y maent bellach wedi eu sefydlu, a hyny trwy y profion mwyaf diammheuol, fel ffeithiau nad ydyw yn bosibl eu gwadu. Ac erbyn hyn, heblaw Dr. Richardson ei hunan, yr hwn sydd yn wastad yn barod i ddwyn ei dystiolaeth yn erbyn y ddiod feddwol, y mae genym nifer mawr o feddygon enwocaf y deyrnas—wedi eu llwyr foddloni am effeithiau niweidiol diodydd alcoholaidd ar y cyfansoddiad dynol—yn dysgu hyny trwy eu hysgrifeniadau, ac yn ei areithio er rhybudd ac addysg i'w cydwladwyr yn lleoedd amlaf y bobloedd. Tra yn ysgrifenu yr erthygl hon yr ydym yn gweled yn y *Temperance Record* fod Dr. W. B. Carpenter, F.R.S., y *physiologist* enwog, wedi traddodi, ychydig ddyddiau yn ol, araeth bwysig i ryw 300 o wŷr ieuainc yn un o *warehouses* mawrion y brifddinas. Dywedai er ei fod dros ddeg a thriugain oed, ac wedi gweithio can galeted â neb, nad oedd erioed wedi teimlo eisieu diodydd alcoholaidd i gadw i fyny ei nerth. A daliai nad oedd yn eu gallu i wneyd hyny; fod alcohol mor bell o gynnorthwyo treuliad, fel y mae yn ei rwystro; fod cyfansoddiad a chylchrediad y gwaed, sydd mor bwysig i iechyd, yn cael eu dirfawr anmharu ganddo; am yr anadliad, ei fod yn yspeilio yr *oxygen* sydd mor anhebgorol i'r natur, ac yn llesteirio llosgiad ymaith y defnydd treuliedig y mae yn angenrheidiol ei gael o'r ffordd; nad allai fod camgymeriad mwy na meddwl fod alcohol yn gymhorth i ddal anwyd, ac nad oedd dim wedi ei brofi yn fwy na'i fod dan y fath amgylchiadau yn hollol niweidiol. Dywedai fod Dr. Richardson wedi cyfeirio at rai ymchwiliadau o'i eiddo ef ar y mater hwnw fel o flaen yr amser, ac mai efe ydoedd y cyntaf i'w ddysgu; ond dywedai mai ei brif awdurdod ef oedd y diweddar Syr George Richardson, cydymaith Franklin. Cofiai glywed, driugain mlynedd yn ol, tua 1825, am y dyoddefiadau yn yr ymgyrch dros y tir a wnaethai efe a Franklin yn y rhanbarthau pegynol. Yr oedd ganddynt ychydig wirod ac ychydig dê, a phan ofynasai i Syr George Richardson beth oedd ei brofiad gyda golwg ar alcohol, atebai eu bod yn gwneyd llawer mwy o ddefnydd o hono i ferwi dwfr at eu tê nag i'w osod yn eu cylla. Yr oedd Richardson wedi myned i gyfarfod Franklin dros y tir gyda myntai o wirfoddolwyr, ond gwnaethai yn ammod iddynt oll fod yn llwyrymwrthodwyr; ac wedi dychwelyd dywedai fod ei brofiad wedi cadarnhau yr oll a ddywedasai o'r blaen, fod alcohol nid yn unig yn ddiddefnydd, ond yn hollol niweidiol mewn hinsoddau tra oerion. A'r un oedd profiad Dr. Joseph Hooker, meddyg y fyntai a aethai allan dan Syr John Ross, tua 1842. Am nerth, dywedai Dr. Carpenter fod y prawf yn gyffredinol bellach mai heb alcohol y mae y cryfder mwyaf i'w gyrhaeddyd. Ac y mae hyny yn ddiammheuol. Tystiolaeth bwysig ydyw yr eiddo

Mr., wedi hyny Syr William Fairbairn, o Manchester, o flaen yr Ymchwiliad i "Sanitary Condition of the Labouring Population of Great Britain." Pan ofynid iddo a ydoedd yn gwybod ei fod yn farn gyffredin fod diod gref yn angenrheidiol fel cynhyrfai i gyflawniad llafur, atebai: "Yr wyf yn gwybod mai dyna oedd y farn a ffynai ymysg meistriaid, ond yn awr y mae yn bur gyffredin wedi ei rhoi i fyny; y mae, er hyny, *foundries* lle y mae yfed trwy gydol y dydd. Ond fe sylwir nad ydyw y dynion yn gweithio cystal; mae eu canfyddiad wedi ei gymylu, ac y maent yn hurt a hwyrdrwm. Yr wyf fi wedi darpar dwfr at wasanaeth y dynion ymhob rhan o'r gweithfëydd. Yn yr hâf mae y dynion sydd yn y gwaith trymaf, megys y tarawyr yn y gefeiliau mawrion, yn yfed dwfr yn dra helaeth. Yn gyffredin mae y dynion sydd yn yfed dwfr, mewn gwirionedd yn fwy heinyf, ac yn gwneyd mwy o waith, ac yn fwy iachus na'r gweithwyr sydd yn yfed diodydd gweithiedig. Mi sylwais, ar daith ddiweddar i Gaercystenyn, nad ydyw y cychwyr neu y rhwyfwyr ar y cadlongau *(caiques)*, y rhai ydynt, fe allai, y rhwyfwyr cyntaf yn y byd, yn yfed dim ond dwfr, ac y maent yn ei yfed yn helaeth yn ystod misoedd poethion yr haf. Cychwyr a dwfr-gludwyr Caerystenyn ydynt yn sicr, yn fy marn i, y dynion gwychaf yn Ewop o ran eu cyfansoddiad corfforol, ac y maent oll yn yfwyr dwfr." Mae eu cyd-Fahometaniaid, yr Arabiaid, y rhai y dyddiau hyn sydd yn peri cymaint o drafferth a cholled i un o fyddinoedd perffeithiaf Ewrop, yr un modd yn llwyrymwrthodwyr, ac y mae Arglwydd Wolseley wedi deall mai wrth ymgadw yr un ffunud oddiwrth ddiodydd meddwol y gall milwyr Prydain eu cyfarfod a'u trechu. Y mae yn sylw cyffredin ymysg y Mahometaniaid, pan welant ddyn meddw, ei fod wedi gadael y Prophwyd a myned at grefydd yr Iesu! Dwfr, yr un modd, ydyw diod y Chinëaid, y Bwdhiaid, a'r Hindwaid, ac y maent yn gallu cyflawni arno, a hyny heb lawer o ymdrech, orchestion ag y synai llawer Prydeiniwr yn fawr, sydd yn breuddwydio fod ei ddiod feddwol yn rhoi nerth iddo, pe meddyliai neb am iddo ef allu eu cyflawni. Ac yn y wlad hon, y mae erbyn hyn wedi dyfod yn eithaf gwybyddus, os ydyw dynion am gyrhaedd y perffeithrwydd uchaf mewn iechyd a nerth, fod yn rhaid iddynt ymwrthod â'r diodydd meddwol, a chyda'r Dirwestwyr ddefnyddio y diodydd y mae natur wedi ddarparu ar eu cyfer. Ni allwn ni feddwl am y *Prize Ring* ond gyda chywilydd a gofid; y mae un gwirionedd mawr, sut bynag, y mae y *Ring* yn ei ddysgu ag y mae yn rhyfedd fod neb yn methu ei weled; sef pan mae y paffwyr yn myned dan *draining* er cyrhaeddyd y gallu uchaf sydd yn bosibl iddynt mewn dyoddef ac ymosod, eu bod yn llwyrymwrthod â phob diodydd meddwol. Yr un modd mewn rhwyfo, annelu, chware *cricket*, &c., mae llawryf y campau uchaf y blynyddoedd hyn yn cael eu hennill gan Ddirwestwyr. A'r flwyddyn ddiweddaf, yn neillduol, y mae Edmund Payson Weston wedi gwneyd gorchest fel Dirwestwr mewn cerdded, na wybuwyd erioed am ei chyffelyb. Yr oedd efe wedi gwneyd llawer camp y ffordd hono o'r blaen, ac wedi profi ei hun yn brif gerddwr y byd. Ond yn yr amgylchiad hwn, ac mewn ffordd o ddangos mai heb y ddiod feddwol y mae dyn yn alluog i wneyd y goreu sydd yn bosibl iddo, yr oedd y gamp yn cael ymgymeryd â hi

ar gais un o feddygon enwocaf y brifddinas. Cerdded hanner can' milldir y dydd, am gan' niwrnod, heb orphwys ond ar y Sabbothau; neu gerdded mewn can' niwrnod *bum' mil o filldiroedd!* Nid yn unig nid oedd un dyn erioed wedi gwneyd y fath beth, ond honid nad oedd yr un ceffyl wedi troedio y ddaear a allasai ei gyflawni. Ond fe'i gwnaed gan Weston. Fe'i cychwynwyd i'w daith wrth Bont Westminster, hanner nos, Tachwedd 21ain, 1883, a dilynwyd ef yr holl ffordd gan dri o farnwyr oeddynt yn gweled fod pob milldir yn cael ei cherdded yn onest a dihoced. Fe'i gwylid yn fanwl gan y meddygon, a chyhoeddid adroddiadau parhaus i ddangos sut yr ydoedd yn dal; yr ydoedd hefyd bob nos yn traddodi yn y manau lle dygwyddai fod araeth fywiog a ffraeth ar Ddirwest: ac am naw o'r gloch y 15fed o Fawrth, 1884, ar orpheniad ei daith fawr, fe'i croesawid yn y *Royal Victoria Coffee Hall* gan gwmni teilwng, dan nawdd meddygon adnabyddus, a chan mwyaf yn gynnwysedig o feddygon. A mawr y croesaw a roid iddo! Yr ydoedd, yn anffodus, dan anwyd yn cychwyn, ac yn fuan wedyn fe aeth ei sawdl yn ddolurus, a chafodd lawer iawn o boen oddiwrtho. Fe gymerth *frandy* i'w gymhwyso at y sawdl oddiallan! Ond er y cwbl, fe gyflawnodd y gamp yn anrhydeddus, a dywedai y noswaith hono yn y *Victoria Coffee Hall*, os dewisid ei wystlo i hyny—ac i'r arian fyned at achos da—y buasai yn cerdded i Brighton ac yn ol y dydd Llun canlynol! Tystiolaethai Dr. Richardson hefyd, ynghyd a'r meddygon eraill, ei fod ar derfyn ei orchest ddigyffelyb mewn iechyd perffaith, yn llawn mor gryf ag ydoedd ar gychwyniad ei daith. Nid ydyw, wrth reswm, yn dilyn y gallai pob Dirwestwr wneyd yn gyffelyb; ond mae y ffaith yn aros fod gŵr wedi cyflawni yr orchest fawr hon heb gynnorthwy yr un dafn o ddiod feddwol. Ac heblaw hyny, y mae yn sicr yn beth *i'w brofi*, y gallai neb wneyd ei chyffelyb ar ddiod feddwol.

Pan mae yr iechyd a'r nerth goreu sydd yn bosibl i ddyn yn dyfod i'w ran felly ar dir llwyrymwrthod â'r diodydd meddwol, nid ydyw yn rhyfedd fod yr un dull o fyw yn cael ei ddilyn gan hirhoedledd. Am bwy bynag "a chwennych fywyd, ac a gâr hir ddyddiau i weled daioni," mae yn amlwg bellach, nid yn unig oddiwrth addysg y Gair, a phrofiad cyffredin dynolryw, ond hefyd oddiwrth gyfrifon yr ystadegau cyhoeddus, mai nid trwy yfed diodydd meddwol, ond trwy ymwrthod â hwynt, y mae hyny i'w gyrhaeddyd. Pe buasai rinwedd yn y diodydd hyn at estyn dyddiau, fe allesid yn rhesymol ddysgwyl i'r tafarnwyr fyw yn hir, oblegid y maent hwy yn gyffredin yn yfed cryn lawer o honi: ond dengys cyfrifon y Cofrestrydd Cyffredinol, am bob 100 sydd yn marw yn y deyrnas mewn galwedigaethau eraill, fod 118 o'r tafarnwyr yn marw. Ni a fyddem yn arfer arswydo wrth glywed fod 60,000 bob blwyddyn yn marw yn y deyrnas trwy anghymedroldeb; ond bellach, yn ol y cyfrifon manwl a gofalus a wnaed gan Dr. Norman Kerr—y rhai a osodwyd mewn papyrau o flaen amryw o gymdeithasau dysgedig ac a dynasant sylw mawr, ond na wrthbrofwyd gan neb—rhaid i ni gymeryd fod lladdedigion ymyfed, yn uniongyrchol ac anuniongyrchol, nid yn 60,000 yn y flwyddyn, ond yn 120,000! Ac y mae llawer o wŷr gofalus yn credu fod ffigyrau Dr. Kerr islaw y nôd, yn hytrach nag uwchlaw iddo. Galwai Dr. McMurtry, o Belfast, mewn papyr galluog a ddarllenodd yn y *Congress* yn Liverpool, ei gyf-

rifiad yn "ridiculously low estimate." Ond fe ddadleuid, fe allai, fod pobl sydd yn yfed *yn gymedrol* yn byw yn hir, ac fod yn debyg mai hwynt sydd yn byw hwyaf. Wel, bywydau pobl gymedrol *yn unig* a ellir yswirio gan y Cymdeithasau Yswiriol, ac y mae gan y rhai hyny, ar bob llaw, bethau rhyfedd i'w dyweyd wrthym ar y mater yma. Fel un engraifft, gallem gyfeirio at y "Sceptre Life Association," adroddiad yr hon a gyhoeddwyd yn ddiweddar. Mae gan y gymdeithas hono fel *rhai* eraill, ddwy adran, y "General" a'r "Temperance." Mae ganddi 5,730 yn y gyntaf, a 3,270 yn yr ail. Yn ei chyfrifiad diweddaf, yr oedd y marwolaethau yn y "General" yn 68, neu tua 12 y fil; yn y "Temperance" nid ydoedd ond 12, sef llai na 4 y fil. Ac wedi cymeryd cyfrif er sefydliad y gymdeithas, ugain mlynedd yn ol, fe geid fod y marwolaethau yn y gyntaf am y cyfnod hwnw yn 12 y fil, ac nad oeddynt yn yr olaf ond 7 y fil. Yn y pum' mlynedd diweddaf fe ddysgwylid i alwadau y *Temperance section* fod yn 153; ond nid oeddynt ond 53, neu tua'r drydedd ran o'r nifer a ddysgwylid yn ol cyfrifon cyffredin yswiriaethau! Ni ellid dymuno prawf mwy manwl wyddonol o briodoldeb y geiriau a osodid yn y dyddiau da gynt ar fanerau Dirwest, "Hir hoedl sydd yn ei llaw ddehau hi," fel y mae yr holl ddaioni cymdeithasol a sicrhâ yn dangos mai "ar ei llaw aswy y mae cyfoeth a gogoniant." Mae Dr. Richardson yn golygu, pe diddymid yn y deyrnas hon yr ymarfer â'r *diodydd meddwol*, yr ychwanegid at oes ei thrigolion tua'r drydedd ran.

Ac fel y gallesid dysgwyl, tra yr oedd yr holl gorff yma o wirionedd yn cael ei ddwyn i'r golwg mewn perthynas i'r niwed, a'r golled, a'r trueni, a'r dinystr, a achosid trwy y diodydd meddwol, yr oedd ymdrech gref ac egnïol yn cael ei gwneyd i waredu ein teyrnas oddiwrthynt. Mae llawer o'r Cymdeithasau Dirwestol wedi dal ati hi i weithio yn ddyfal o'r dechreuad. Ond wrth weled yr anfantais fawr y llafurient dani o herwydd llïosogrwydd y cyfleusderau i ymyfed, y rhai, dan nodded y Llywodraeth, a osodid mor aml ac mor hudoliaethus yn nghanol y bobl, fel yr oedd ymron yn anmhosibl iddynt, er dymuno, allu ymgadw rhagddynt, fe ddaethpwyd i deimlo fod yn angenrheidiol dysgu y wlad am y mawr angen am ddeddfwriaeth a osodai attalfa ar, os nad a symudai ymaith, demtasiynau llïosog y fasnach ag oedd yn eu drygu yn gymaint. Ni lwyddodd neb yn gymaint i gael gan bobl gymeryd yr ardystiad Dirwestol â Father Matthew gyda y Gwyddelod, a diammeu iddo fod felly yn foddion i wneyd dirfawr les; ond yr oedd yn ddigon i dori ei galon i weled y trueiniaid hyny drachefn wrth y miloedd yn syrthio, a hyny am eu bod yn rhy wan i ochel yr hudoliaeth nad allent droi eu hwyneb i unrhyw gyfeiriad heb ei bod yn barhâus yn cael ei chadw o'u blaen. Nid rhyfedd fod ei holl enaid yn llawenhau yn ffurfiad yr *United Kingdom Alliance for the Suppression of the Traffic in Strong Drink*—y "Grand Alliance" fel y clywsom Arglwydd Brougham yn ei alw—yr hwn sydd â'i amcan i ddileu y fasnach feddwol yn gwbl oll. Mae y symudiad yma o'r dechreuad wedi bod y mwyaf nerthol o holl symudiadau cymdeithasol y deyrnas, ac y mae yn anmhosibl mesur y lles a wnaeth. Y mae er ys dros ddeng mlynedd ar hugain wedi cadw y goleuni i lewyrchu yn gryf ac yn gyson dros y deyrnas oll, ac nid oes haiach gilfach erbyn hyn nad ydyw wedi ei

chyrhaeddyd. Y mae wedi dwyn miloedd ar filoedd, na feddylient o gwbl am beryglon y fasnach, i weled y mawr niwed y mae yn beri, ac i deimlo fod yn "rhaid gwneyd rhywbeth," er fod llawer o honynt heb weled yn glir beth a fyddai oreu i'w wneyd, mewn trefn i amddiffyn y bobl rhagddi. Fe roddes y symudiad pwerus y cyfeiriwn ato rym neillduol i ymdrechion eraill er cyfyngu ar y fasnach feddwol. Y mae y tafarnau yn Scotland wedi eu cau ar y Sabboth er ys dros chwarter canrif, ac nid oes yr un ymgeisydd Seneddol a feiddiai son am eu hagoryd drachefn. Mae tafarnau yr Iwerddon hefyd, oddieithr mewn pump o'r trefydd, wedi eu cau ar y Sabboth er ys chwe' blynedd, ac y mae y genedl mor falch o'r cyfnewidiad fel y mae, gydag unfrydedd neillduol, yn galw am eu cau yn y pum' dinas hefyd, a'u cau am byth trwy y wlad oll. Fel un peth sydd yn dangos yn amlwg fawredd y cyfnewidiad, fe geir fod yn ystod y flwyddyn 1883, 89,526 wedi eu cymeryd i fyny yn Iwerddon am anghymedroldeb, ond nad oedd y nifer a gymerid i fyny ar y Sabboth—a chymeryd i fewn y nifer yn mhum' dinas y tafarnau agored—ond 4,195 ; tra am bob un o'r dyddiau eraill, pan fyddai y tafarnau yn agored am bymtheg o oriau, yr oedd nifer y cymeryd i fyny yn 14,000. Felly pe buasai pob diwrnod arall yn Iwerddon dan gyffelyb amddiffyn rhag y fasnach feddwol â'r Sabbothau, fe fuasai nifer y cymeryd i fyny am feddwdod yn 1883 yn llai na 30,000, yn lle bod yn 90,000—neu mewn geiriau eraill, ni fuasai ond y drydedd ran o'r peth ydoedd, a hyny er fod y pum' dinas fwyaf eu poblogaeth â'u tafarnau oll yn agored ! Ac y mae tafarnau Cymru wedi eu cau ar y Sabboth, ac nid ydyw yn debyg yr agorir hwy mwyach ddyddiau y ddaear. Mae ychydig o'r bobl sydd yn y fasnach, gyda rhyw nifer bychan o eneidiau sychedig sydd yn ymlawenychu yn eu nawdd, yn ceisio dwndro tipyn a thaeru fod pethau yn llawer gwaeth, ac fod mwy o yfed ar y Sabboth yn Nghymru wedi pasio y ddeddf. Fe haerid hyny yn hyf yn Nhŷ y Cyffredin gan Mr. Warton, ac o herwydd mai felly yn ddiammeu yr oedd pethau, fe gynnygiai y gŵr enwog hwnw fod Deddf Cau y Tafarnau ar y Sabboth yn Nghymru yn cael ei dileu. Ystori dda a gafodd Dafydd Dafis, Cowarch, ymysg y penbyliaid. Wedi syrthio o ddyn meddw unwaith i'r ffos, penbwl bychan—oedd wedi dychrynu cryn lawer wrth y trwst, ond wedi hyny a synai wrth faint y dyn—a ofynai i'w dad, "O nhad, dyma benbwl mawr ! Tybed y bydda' i byth yn gymaint penbwl a hwn ?" Gwell hyd yn nod i'r ieuengaf o'n darllenwyr beidio dychymygu am gyrhaedd mesurau Mr. Warton. Nid drwg ydoedd digrifwch ein cydwladwr doniol, y Parch. Thomas Evans, yn awr o Preston, pan mewn golwg ar ddyfodiad y ddwy filiwn,—y llawenychai yn gymaint wrth glywed eu *tramp !*—y dadganai ei obaith y byddai y gŵr hwn cyn pen ychydig fisoedd, yn lle bod yn *Wart on*, yn *Wart off.* Mewn cyfeiriad at yr haeriadau fod pethau yn waeth yn ein plith wedi pasio y ddeddf, dywedai Cardinal Manning yn y *Congress* yn Liverpool : "I always when I hear that put my hands to my eyes to know whether I have sight still left." Llawer mwy y teimlwn ni felly, y rhai ydym yn byw yn Nghymru, ac yn gweled trwy yr holl wlad yr effeithiau bendithfawr sydd wedi dilyn dygiad y ddeddf ddaionus hono i rym. Fe geisir cwyno ychydig mewn rhai o'r prif drefydd, megys

Caerdydd, Abertawe, a Wrexham. Ond er pobpeth, mae y cyfnewidiad, hyd yn nod yn y manau hyny, yn fawr ac amlwg. Fe ddywedai boneddwr o Gaerdydd, "Fod y tafarnwyr, cyn i'r ddeddf ddyfod i weithrediad, yn dadgan yn ddigêl y gwnaent eu goreu i'w throi yn llythyren farw." Un arall, *Alderman* ac Ynad o'r un dref a ddywedai, "Yr wyf yn gallu tystiolaethu i weithrediad llesol Deddf Cau y Tafarnau i Gymru, ac y mae genyf resymau da dros ddyweyd fod troseddau, a chymeryd i fyny, a chosbi wedi lleihau. Mae eglwysi a chapelau yn llawnach, yr heolydd yn fwy trefnus, a chartrefi ein pobl yn cael gwell gofalu am danynt." Dywedai un sydd yn berchen gwaith mawr yn Sir Forganwg: "Yr ydym ni yn cadw 2400 o ddynion. Ein profiad yn amlwg ydyw ein bod yn cael llawer mwy o waith ar ddyddiau Llun a Mawrth er pan basiwyd Deddf y Cau ar y Sabboth." A phethau tebyg a glywn o Abertawe, ac o holl wlad boblogaidd Morganwg.* Ysgrifenai cyfaill teilwng o Wrexham: "Y mae genym yma gynifer sydd *yn dymuno ac yn penderfynu gwneyd y ddeddf yn fethiant*, fel nad ydyw yn rhyfedd i ni, sydd yn adnabod y dref a'r gymydogaeth, fod yfed ar y Sabboth yn myned ymlaen i fesur. Mae yr heddgeidwaid yn gwneyd eu dyledswydd yn dda, ac ystyried nad ydynt ond *mewn rhan* yn cael eu cefnogi. Mae y dref yn *llawer tawelach;* mae y meistriaid yn tystio fod eu gweithwyr yn dyfod at eu gwaith ddydd Llun yn llawer mwy rheolaidd: ac, mewn gair, er gwaethaf ein hagosrwydd at derfyn Lloegr; er gwaethaf dylanwad tra nerthol y fasnach yn Wrexham (lle

* Wedi ysgrifenu y llinellau uchod derbyniasom lythyr dyddorol oddiwrth gyfaill parchus o Bontypridd. Mewn atebiad i amryw ymofyniadau o'r eiddom ysgrifenai fel y canlyn:—"1. *A ydyw Temlyddiaeth Dda yn cicio acw yn awr?* Ydyw, ac y mae ei chiciadau yn ddiweddar yn dyfod yn fwy grymus. Wedi'r cwbl, yr *organization* goreu a gawsom ydyw. 2. *Beth sydd yn dyfod o symudiad y Ruban Glas?* Y mae wedi gwneyd rhyfeddodau *yma*, yn enwedig. Fe ysgubodd y dref feddw hon, a pharodd ddiwygiad rhyfeddol yn yr eglwysi. Fe ddygodd ddwsinau ac ugeiniau, os nad cannoedd, o'r cymeriadau mwyaf anobeithiol at draed yr Iesu, ac y maent yn awr yn eistedd wrth ei draed, yn eu dillad, ac yn eu hiawn bwyll. Y mae cyfarfodydd yn cael eu cynnal bob wythnos yn rhai o'r trefydd mwyaf mewn cysylltiad â'r Ruban Glas. Yr ydym ni yn cynnal *mission* am bythefnos ddwywaith yn y flwyddyn, ac y mae genym gyfarfodydd yn yr awyr agored bob prydnawn Sadwrn, lle y mae llawer yn cymeryd yr ardystiad. Mae y cyfarfodydd hyn yn yr awyr agored yn gwneyd dirfawr les, ac yr ydwyf yn llawn argyhoeddedig mai dyma y ffordd oreu i gario ymlaen waith Dirwestol a Chenadol o Mawrth hyd Hydref, a chael cyfarfodydd dan dô am y misoedd eraill. Y mae Dirwest yn cymeryd pob ffurf yn ein plith ni. Y mae genym *Lodge* gref o Demlwyr Da; Pabell Rechabaidd gref; *Bands of Hope* ynglŷn â'r gwahanol eglwysi; a dyna symudiad y Ruban Glas, yr hwn yn wir ydyw gweithrediad cenadol yr holl achos Dirwestol. 3. *A oes rhyw sail i'r cri a gedwir i fyny mor ddyfal gan gyfeillion y fasnach fod Deddf Cau y Tafarnau ar y Sabboth wedi profi, yn enwedig yn y wlad acw, yn hollol fethiant?* Yr ydych yn ddiammeu yn gwybod fod Pontypridd yn cael ei phrofi yn fwy yn yr ystyr yma nag un man yn Nghymru. Y mae yn ganolbwynt rhwng dyffrynoedd Rhondda, Merthyr, ac Aberdar. Y maent yn ymdywallt iddo o bob cyfeiriad. Mae gan y tafarnwyr a'u cyfeillion *brakes* a cherbydau o bob math i gymeryd pobl o le i le ar y Sabbothau, yn neillduol i'w dwyn i lawr o ddyffryn Rhondda. Mae ein hynadon yn gadael i'r bobl wneyd fel y mynont; ni raid iddynt ond myned dair milldir a chânt wneyd fel y byddont yn dewis. Nid oes un lle yn y Dywysogaeth y dylai ynadon fod yn fwy manwl nag yma; ond mae arnaf ofn nad oes un lle y maent mor lac. Yr oeddem yn gwneyd yn bur dda nes y collasom Mr. Gwilym Williams, pan wnaed ef yn Farnwr, . . . . Eto, er gwaethaf y cwbl, y mae Deddf Cau ar y Sabboth yn gweithio yn dda ymhob man. Wrth reswm yr ydym ni yn gweled yr ochr waethaf oll iddi yma, oblegid yma y mae pob troseddwyr yn crynhoi eu nerthoedd. Ond nid ydwyf yn meddwl, gyda holl lacrwydd y fainc a'r heddgeidwaid, fod cymaint o yfed yn myned ymlaen ag oedd cyn i'r *Act* ddyfod i rym; ond yr ydym yn awr, wrth reswm, yn ei weled. Cyn hyny arosai y trueiniaid yn y tafarnau nes y troid y *tap*, ac yna llithrent adref dan gysgodion tywyll y nos. Yn awr rhaid iddynt rodio yr heolydd gefn dydd goleu, canys ni allant lechu yn hir yn y tafarnau. Ond nid

mae ein tafarnau yn 1 am 120 o'r trigolion, tra nad ydynt yn Liverpool ond 1 am bob 243); ac er gwaethaf yr elyniaeth agored y cyfeiriais ati, nid wyf yn petruso dyweyd fod Deddf y Cau ar y Sabboth, ïe, yn Wrexham, prif gaer y fasnach yn Nghymru, wedi bod yn llwyddiant." Ac am y wlad yn gyffredinol mae genym y fath gorff o dystiolaethau am ei llwyddiant, a hyny oddiwrth rai ag y mae yn anmhosibl ammeu eu gair, fel y mae yn rhyfedd yn wir fod neb—ac *nid oes* neb ond cyfeillion y fasnach—yn ceisio haeru ei bod wedi profi yn fethiant. Mae yn dda genym weled hefyd fod mesurau wedi eu dwyn i'r Senedd yn galw, ac yn galw yn gryf, am ymwared cyffelyb i ranau eraill o'r deyrnas, megys Durham, Northumberland, Swydd York, Mynwy, a Cornwall. Ac y mae y symudiad dros gau ar y Sabboth trwy y deyrnas oll, erbyn hyn, wedi dyfod mor nerthol fel y mae un o bob chwech o'r bobl, fel y dywedai Mr. Edward Whitwell dro yn ol, wedi dadgan eu teimlad mewn ysgrifen ar y mater, ac o'r rhai hyny y mae *saith am un* yn galw am gau ar y Sabboth! Mewn lliaws o ffyrdd eraill hefyd y mae attalfeydd wedi eu gosod ar y fasnach feddwol ag y cwynir yn gethin o'u plegid. Ac yn neillduol, mae yr hen olygiad a goleddid mor garedig gan y tafarnwyr, Trwydded unwaith, trwydded byth,—erbyn hyn wedi darfod am dano, a'r brawdlysoedd uchaf wedi cadarnhâu nad ydyw y drwydded ond trwydded am flwyddyn, ac ar derfyn y flwyddyn y gellir ei hattal, gyda rheswm neu heb reswm, fel y gwelo yr awdurdodau yn dda. A gwaeth fyth, y mae byddin gref yr *Alliance* a'u cyfeillion yn pwyso y gwarchae ymlaen mewn dull mor ofnadwy o rymus! Am flynyddoedd nid oedd Syr Wilfrid Lawson â'i *Bermissivз Bill* ond pethau i chwerthin am eu pen. Wedi hyny fe ddaethpwyd i weled fod yn rhaid dadleu yn eu herbyn. Erbyn hyn nid oes nemawr i'w wneyd heblaw eu cashâu a'u melldithio. Pan oedd gan y tafarnwyr allu yn yr etholiadau, fel yn amser cynghrair ardderchog y "Bîr a'r Bibl," nid allai ein haelodau Seneddol ddim fforddio anufuddhau iddynt. Cynnorthwyent hwy y gwŷr anrhydeddus i fyned i'r Senedd, a dysgwylid iddynt, wedi cyrhaedd y senedd, eu cynnorthwyo hwythau, ac amddiffyn eu masnach. Dywedai Arglwydd Derby, y pryd hyny, pe buasai y drefn i drwyddedu tafarnau yn cael ei gosod o flaen y Tŷ trwy y balot, y buasid yn eu dinystrio mewn un noswaith. Yn etholiad 1880, sut bynag, fe ddaeth chwalfa ryfedd ar allu y fasnach, ac fe gaed dynion i gynnrychioli y bobl yn y Senedd yn rhydd oddiwrth ei hiau haiarnaidd. Y canlyniad ydyw fod, rhwng 1880 a 1884, 59 o fesurau wedi eu dwyn ger bron oeddynt oll â'u tuedd i amddiffyn y deiliaid rhag y fasnach feddwol; ac er gwaethaf pob anhawsder ac anffawd a gwrthwynebiad, y mae 33 o'r rhai hyny wedi eu gwneyd yn ddeddfau. A mwy, y mae Syr Wilfrid Lawson wedi pasio ei benderfyniad trwy fwyafrif sylweddol, a hyny ar dri o wahanol achlysuron, yn ystod y Senedd hon. A mwy fyth, y mae Llywodraeth ei Mawrhydi

wyf yn dysgwyl llawer oddiwrth yr heddgeidwaid na'r fainc. Rhaid newid llawer ar y trefniad am y *bona fide traveller*, neu ei ddiddymu, yr hyn yn sicr fyddai oreu o lawer. Yr wyf yn gobeithio y bydd Deddf y Cau ar y Sabboth yn cael ei gwella mewn canlyniad i'r Cyfarfodydd Jubili. Dylem godi ein llef yn erbyn y camddefnydd dybryd o fraint *travellers;* ac am y "clybiau" y maent ymron i gyd yn eiddo tafarnwyr a'u cyfeillion. Byddai yn dda i'r wlad wybod y ffaith yna. Fe'm hysbysir ar awdurdod dda fod bron yr holl glybiau yn Nghaerdydd yn perthyn, yn uniongyrchol neu anuniongyrchol, i'r rhai sydd yn y fasnach feddwol."

wedi dadgan yn y modd mwyaf diammwys ei chymeradwyaeth o'r egwyddor y dadleua efe drosti, sef rhoddi gallu ar y fasnach yn nwylaw y trethdalwyr, ac wedi ymrwymo i ddwyn mesur i fewn, can gynted ag y byddo yn bosibl, yn ei chorffori. Mae sefyllfa pethau y dyddiau hyn yn y Senedd yn dra dyeithr, pan y mae mympwyon ffol a chwerylau plentynaidd yn llyncu cymaint o amser gwerthfawr fel nad oes hamdden i ystyried mesurau sydd yn hanfodol i lwyddiant a daioni y deyrnas. Mae arnom ofn yn ein calon rhag i'r eisteddiad yma eto fyned heibio heb basio y mesur o Addysg Ganolraddol i Gymry, yr hwn, fel y dywedir wrthym, sydd wedi ei barotoi er ys dros ddwy flynedd, ac y mae ein hanwyl wlad, o ddiffyg ei gael i rym, yn dyoddef y fath ddirfawr golled. A dyma, mae yn ddiammeu, yw y rheswm pam na fuasai mesur wedi ei ddwyn i mewn yn corffori egwyddor y *Permissive Bill*. Ond mae yn amlwg y rhaid fod hyny bellach wrth y drws. Ac mae yn anhawdd meddwl, fel y mae pob helaethiad ar yr etholfraint wedi peri dirfawr hyrwyddiad ar fesurau poblogaidd, na fydd i lais y ddwy filiwn sydd yn awr am y waith gyntaf yn cael eu derbyn i gylch y cyfansoddiad, beri ei glywed yn gryf ac yn groch ar bwnc y fasnach feddwol. Nid oes neb yn deall yn well na chyfeillion y fasnach hono beth ydyw y llais hwnw yn debyg o fod. Mae hyd yn nod y rhai sydd yn rhy wan i basio drws y dafarn heb droi i fewn, er eu bod trwy hyny yn eu handwyo eu hunain a'u teuluoedd, eto yn barod i wynfydu na fa'i modd cau y tai peryglus hyny oll ac am byth. Ac y mae y profiad a gaed mewn manau lle nad oes tafarnau, y fath fel ag i ddangos mai y gymwynas oreu a allai y bobl wneyd iddynt eu hunain ac i'w teuluoedd ac i'w gwlad, fyddai symud y tafarnau ymaith yn gwbl. Mae genym bob sicrwydd fod diddymiad y fasnach hon yn Maine a'r taleithiau eraill yn America, ynghyd a Canada, wedi profi yn fendithiol iawn i'r bobl. Yr oedd y tystiolaethau a gafwyd gan Bwyllgor Confocasiwn Caergaint yn 1868 yn dangos bod 1500 o blwyfydd yn y deyrnas hon heb dafarnau o'u mewn, a'u bod yn llawer mwy dedwydd na'r plwyfydd lle yr oedd tafarnau. Ac am Saltaire, a Bessbrook, a Tyrone, a Shaftesbury Park, a'r rhan o Liverpool sydd yn perthyn i'n cydwladwyr parchus, Meistri David Roberts a'i Fab, ynghyd a manau eraill cyffelyb, y maent oll, am eu bod yn rhydd oddiwrth dafarnau, yn heddychol a llwyddiannus a dedwydd iawn. Ac mae yn anhawdd meddwl, pan y gadewir y mater i'w benderfynu gan y bobl eu hunain, na fydd iddynt roddi eu llais o blaid diogelu iddynt eu hunain ac i'w hanwyliaid y daioni ag y mae Rhagluniaeth dirion yn osod yn eu ffordd, ac na fynant mwyach adael i'r fasnach beryglus yma eu handwyo. Yr unig beth ag y teimlir pryder yn ei gylch ydyw fod y Llywodraeth wedi awgrymu yn lled amlwg mai trwy y Byrddau Sirol a fwriedir ffurfio y meddylia am adael llywodraeth y fasnach feddwol yn llaw y bobl, ac felly mai y cwbl a gânt fydd pleidleisio yn etholiad dynion fydd i ofalu am y mater yma, ac, fe allai, am ddwsin o bethau eraill yn gystal. Mae y drefn yma yn Scotland yn awr, ond yn gweithio mor anfoddhaol fel y mae y *Scottish Permissive Bill* yn cael galw am dano mor gryf gan y wlad fel y bydd raid cyn pen ychydig fisoedd ei wneyd yn ddeddf. Ac yr ydys wedi cael digon o brofiad ar gymeryd pleidlais uniongyrchol y bobl mewn achosion lleol—megys penderfynu cael dwfr at wasanaeth

Manchester o Lyn Thirlmere, &c.,—fel na fyddai ond ychydig o anhawsder cael ïe neu nage pob trethdalwr ar y cwestiwn—Tafarnau, ai peidio?

Ond er yr holl yni iachus a chanmoladwy a ddangosir felly gyda'r ymdrech i gael attalfeydd cyfreithiol ar y fasnach, y mae yn dda iawn genym alw sylw at yr ymdrechion cryfion sydd yn cael eu gwneyd y dyddiau hyn yn Lloegr i berswadio y bobl ac i'w hennill i fod yn Ddirwestwyr. Crybwyllasom am yr hen Gymdeithasau. Mae y *National Temperance League* yn arbenig yn gweithio gydag yni ac ieuengrwydd sydd yn peri fod ei lafur yn fendithiol iawn. Dan nawdd y gymdeithas hono y cynnaliwyd y *Congress* yn Liverpool, a lle bynag y gwel le i weithio—ymysg y meddygon; gyda gwŷr dysgedig y *British Association;* yn *drawing-rooms* y mawrion; gydag efrydwyr y colegau duwinyddol a'r *training colleges;* ymysg ysgolfeistriaid; yn y fyddin, lle y mae bellach tua 25,000 o lwyrymwrthodwyr; neu yn y llynges, lle y mae dros 12,000; neu ymysg y rhai sydd ar waith ynglŷn â'r rheilffyrdd, lle y mae o 40,000 i 50,000 yn llwyrmwyrthod; heblaw cyfarfodydd cyhoeddus cyffredinol,—ymhob man ac ymhob ffordd y mae y *League.* yn fyw ac yn gweithio, a mawr ydyw y lles a wna. Ac nid y lleiaf o'i gymwynasau ydoedd sefydlu ynglŷn â'i swyddfa yn 337 Strand, "National Temperance Publication Depôt," lle y gellir cael pob llenyddiaeth sydd yn dwyn cysylltiad â'r achos da, a lle y cyhoeddir hefyd, ynglŷn â Dirwest, lawer o lenyddiaeth ragorol. Un o arwyddion goreu yr amseroedd ydyw y deffröad mawr sydd yn ddiweddar wedi cymeryd lle mewn cysylltiad â Dirwest ymysg y gwahanol gyfundebau crefyddol. Y mae erbyn hyn 3,000 o ganghenau cysylltiedig â Chymdeithas Ddirwestol Eglwys Loegr, ac y mae ei haelodau, o'r ddau ymrwymiad, yn 553,152,—gryn lawer dros hanner miliwn. Dywedir hefyd fod ei chyllid am y flwyddyn ddiweddaf yn £50,000. Y mae pymtheg o ysgrifenyddion, clerigol a lleygol, yn gweithio gyda hi; denfyn genadon i lafurio yn y *police courts* yn Llundain ac mewn amryw drefydd eraill; mae Undeb y Merched sydd yn perthyn iddi yn llwyddo yn dda, ac y mae Undeb y Plant yn gweithio yn rhagorol. Mae gan Gymdeithas Ddirwestol Eglwys Iwerddon dros 50,000 o aelodau. Mae Cymdeithas Ddirwestol yr Annibynwyr yn dyfod rhagddi yn dda. Allan o 2,589 o weinidogion yn yr enwad, y mae 1,385 wedi dadgan eu bod yn llwyrymwrthodwyr, a chredir fod llawer ychwaneg. Allan o 82 o weinidogion sydd newydd eu sefydlu, y mae 75 yn proffesu eu hunain yn llwyrymwrthodwyr; ac allan o 354 o efrydwyr yn y deuddeg coleg enwadol, y mae 309 o ochr Dirwest. Mae Cymdeithas Llwyrymwrthodiad y Bedyddwyr yn rhifo ymysg ei haelodau 1,100 o weinidogion; 2,462 o swyddogion eglwysig a thanysgrifwyr; ac o 223 o efrydwyr, y maent oll felly, oddieithr 16. Mae Pwyllgor Dirwestol *Conference* y Wesleyaid yn rhoddi nifer eu *Bands of Hope* yn 2,821, mwy o 177 na'r flwyddyn o'r blaen; a'u haelodau yn 291,989, mwy o 20,289 na'r flwyddyn o'r blaen. Nifer cymdeithasau y rhai mewn oed ydyw 337, gydag aelodaeth o 26,713. Ac yn debyg y cawn gyda chyfundebau crefyddol eraill. Yn ddiweddar y mae y rhan fwyaf o honynt wedi dyfod allan yn yr achos hwn, ond y maent yn ymgymeryd yn galonog âg ef ac yn gweithio yn egnïol drosto. Mae y *Band of Hope*

*Union*, a chymdeithasau eraill sydd yn llafurio gyda y plant, yn gweithio gyda'r oes sydd yn codi mewn ffordd ag sydd yn profi yn dra llwyddiannus. Ac ni fyddai yn addas i ni beidio crybwyll am y Rechabiaid, a'r *Sons of Temperance*, ac yn enwedig y Temlwyr Da, y rhai yn Lloegr yn enwedig sydd yn dal eu tir yn rhagorol. Ac yn ddiweddar y mae yr Undeb Dirwestol Efengylaidd, neu Fyddin y Ruban Glas, wedi bod yn gweithio yn dra grymus dros y deyrnas oll, a miloedd ar filoedd o feddwon wedi eu sobri trwyddi, ïe, a lle cryf i hyderu fod llawer iawn o honynt wedi dyfod at draed y Ceidwad. Ac y mae yn sicr yn arwydd dda fod y fath lwyddiant gwych wedi bod bron ymhob man gyda'r ymdrech i sefydlu tai cyhoeddus i'r bobl fyned iddynt, lle na byddo diod feddwol i'w temtio, megys *British Workman's Public Houses, People's Coffee Houses, People's Cafés*, &c. Nid ydyw yn ymddangos eu bod yn dyfod rhagddynt yn gystal yn Llundain, am na wnaed y prawf yno dan yr amgylchiadau mwyaf manteisiol. Fe ddechreuwyd eu sefydlu yn y deyrnas tua deng mlynedd yn ol, a hyny oddiar gymhellion o ddyngarwch, heb ddysgwyl ennill arianol, ond gyda'r amcan o gael tai cysurus i'r bobl droi iddynt, ac ymborth maethlon a blasus, a'r cwbl am bris mor isel ag oedd yn bosibl. Ond y maent yn gyffredin wedi dwyn llogau ar yr arian a osodwyd ynddynt o lawn ddeg punt y cant. Dywedir fod llwyddiant o'r dechreu wedi dilyn y symudiad mewn o leiaf dair ar hugain o'r trefydd mwyaf poblogaidd,—y llôg lleiaf yn bum' punt y cant, ac yn myned i fyny gymaint a dwy bunt ar bymtheg, ac ugain punt y cant. Gellir gweled mawredd eu llwyddiant yn Liverpool yn y ffaith fod yn 1883, £85,000 wedi eu derbyn ar y *counters* mewn dimeiau a cheiniogau, ac fe gyfrifir fod tua 25,000 o alwadau yn cael eu gwasanaethu bob dydd yn y gwahanol ganghenau sydd yn y ddinas hono. Ac y mae erbyn hyn dros 30,000 wedi cymeryd yr ymrwymiad Dirwestol yn y tai hyn yn Liverpool, ac y mae y 400 sydd yn ngwasanaeth y Cwmni oll yn Ddirwestwyr. Mae yn dda genym ddyweyd fod anturiaeth y *People's Café* yn Mangor—yn cynnwys dau dŷ yn Mangor ac un yn Nghaernarfon—am y pum' mlynedd diweddaf wedi gweithio yn rhagorol, ac yn rhoddi llôg o ddeg punt y cant, heblaw fod y tai yn llawer o ddiogelwch, ac yn rhoddi llawer iawn o gysur i'r rhai sydd yn myned iddynt. Mae yn ddiammeu fod yfed mawr iawn yn y deyrnas er yr holl ymdrechion hyn, ynghyd a llawer eraill ag y buasai yn hyfryd genym eu henwi: ond fe ellid yn rhesymol ofyn, Gyda'r llwyddiant mawr sydd wedi bod trwy holl gylchoedd cymdeithas, a chyda'r holl demtasiynau sydd ymhob cyfeiriad yn cael eu gosod yn ffordd dynion i ymyfed, pa faint mwy a fuasai ein hanghymedroldeb a'n trueni, pe na buasai am y fath ymdrechion ag y soniwn am danynt gan gyfeillion sobrwydd a rhinwedd?

Ond yn ngwyneb yr egni a'r gweithgarwch mawr a chanmoladwy a ddangosir gydag achos sobrwydd mewn rhanau eraill o'r deyrnas, beth a ddywedwn am Gymru? Ni raid i lawer o honom fod yn hen i gofio amser pan yr oedd Cymru yn edrych i lawr gyda gresyndod, os nad hefyd gyda gradd o ddiystyrwch ar y difrawder, ïe y gwrthwynebiad, a ddangosid mewn llawer cylch yn rhanau eraill y deyrnas. Nid ydym yn sicr, yn wir, nad oeddym i gryn fesur, fel y gŵr parchus y sonir am

dano yn y ddammeg, yn barod i ddiolch "nad oeddym ni fel yr oedd dynion eraill," ac yn arbenig fel y Saeson, y rhai yr oedd lliaws o'u gweinidogion a'u dynion goreu yn condemnio Dirwest fel anffyddiaeth, &c. Ond er fod miloedd lawer o honom, yn ymarferol, yn gystal llwyrymwrthodwyr ag sydd yn anadlu awyr; er yr ychydig yspeidiau poethion a fu yn ein hanes o zel fyranadlog gyda Themlyddiaeth Dda, a symudiadau cyffelyb; er y nerth â pha un y galwasom fel un gŵr am gau y tafarnau ar y Sabboth; ac er ein bod, gannoedd o weithiau, mewn cyfarfodydd a thrwy ddeisebau wedi anfon ein llais i'r Senedd o blaid *Local Option*, ac nad oes etholiadaeth o fewn ein gwlad lle y gwrandewid am amrantiad ar ymgeisydd a broffesai wrthwynebu hyny,—er hyn oll, yr ydym yn ofni y rhaid addef fod Jubili y Diwygiad Dirwestol wedi dyfod ar Gymru pan mae ei "holl ddaear," gyda'r achos da hwn, i fesur tra mawr "yn eistedd ac yn llonydd." Nid allem lai na theimlo dwfn ofid wrth weled dros bedwar ugain o gymdeithasau—rhai yn wir yn lleol, ond y rhan fwyaf o lawer yn *organisations* yn cynnwys canghenau lawer—yn cael eu cynnrychioli yn swyddogol yn y *Congress* ardderchog a gynnaliwyd yn Liverpool, ond heb fod yr un gymdeithas Gymreig yn cael ei chynnrychioli o gwbl, na dim son am Gymru—oddieithr ar ddamwain ynglŷn â'r cau ar y Sabboth—mwy na phe buasai y wlad ag y sonir weithiau am Liverpool fel ei "phrifddinas," heb gymaint ag un Dirwestwr o fewn ei chyffininiau. "Chwi a redasoch yn dda; pwy a'ch rhwystrodd chwi?" Gwych yn wir ydyw fod gan bobl hanes o gwbl. Ac am yr hen bobl, gallwn wrando yn hyfryd arnynt hwy yn adrodd, hirnos gauaf, fel y "gwelsant ddydd," ac am y gorchestion a gyflawnasant yn nyddiau eu nerth. Ond pan mae y gelyn yn y wlad, yn ei goresgyn, ac yn ei difrodi, ai y cwbl a geir gan filoedd ag y mae eu holl nerth ynddynt, ac y gellid o honynt filwyr o'r fath fwyaf pybyr, ydyw son fod eu tadau, fel y dengys llyfr Dr. Thomas, wedi ymladd yn ddewr,—ac yna plethu eu dwylaw i edrych yn dawel ar y bobl yn cael eu lladd?

Yr ydym yn hyderu yn fawr nad felly y bydd, ac y ceir y flwyddyn hon adnewyddiad trwy ein holl wlad a dry yn weithgarwch cyson a diorphwys, nes bod ein hanghymedroldeb wedi ddarfod am dano. A phaham na cheid ef? Y mae ei eisieu, fe ŵyr pawb. Mae y profion o hyny o'n hamgylch ymhob man, ac y maent yn alaethus iawn. Ac y mae genym gyflawnder o adnoddau tuag at ddwyn adnewyddiad oddiamgylch. Am ymron holl weinidogion yr efengyl yn Nghymru—yn enwedig gyda'r enwadau Ymneillduol, ac y mae Clerigwyr y Sefydliad os nad wedi deffro, yn barod i hyny—onid ydynt yn Ddirwestwyr? Ac yn arbenig, onid ydyw y tô ieuanc o bregethwyr, a'r efrydwyr yn ein colegau, a'r holl wŷr ieuainc yn ein heglwysi sydd â'u bryd ar lafur yn y cyfryw gylch, yn yr ystyr yma, os yw hyny yn bosibl, yn "well na'u tadau?" Galwer y llu mawr yma i'r maes, gyda'r lleygwyr parchus a galluog ag y byddai yn dda ganddynt gydweithredu,—a dyna at ein gwasanaeth ddigonedd o allu i areithio na fyddai yn hawdd bod ei well. Ac nid oes eisieu dywedyd, fel canlyniad i'r bywyd grymus sydd yn llanw ein hardaloedd gyda cherddoriaeth, mai

**Môr o gân yw Cymru i gyd.**

Ac y mae, dybygem, yn enwedig mewn llawer o'n hardaloedd, ymron yr oll sydd yn gwneyd i fyny ein côrau yn Ddirwestwyr, a lliaws mawr o honynt yn bobl ieuainc grefyddol; a diammeu y byddai yn hyfrydwch ganddynt roddi eu cymhorth mewn cyfarfodydd Dirwestol trwy ganu, er ceisio sobri a lleshau eu cymydogion ag y mae y ddiod yn eu temtio, ac er diogelu y rhai ieuainc rhag y ffordd ddrwg. Y mae genym, yn ychwanegol at y gerddoriaeth ragorol a astudir yn awr gan ein côrau yn gyffredin, lawer o ganiadaeth werthfawr sydd yn neillduol gyfaddas at gyfarfodydd o'r fath ag y cyfeiriwn atynt; ac y mae awen Cymru mor fyw a ffrwythlawn fel y byddai yn hawdd iddi gynnyrchu cyflawnder yn ychwanegol. Ac yn ddiau y mae y profiad a gafwyd yn y deyrnas hon ac mewn gwledydd eraill o wasanaeth anmhrisiadwy cerddoriaeth gyda'r gwaith o achub y meddwon, yn dangos y byddai, yn sicr, yn werth i'n cyfeillion teilwng sydd yn rhagori yn y ddawn hon feddwl am ei throi i'r fath amcan teilwng, ac y gallai eu gwobr yn eu gwaith fod yn anfesurol uwch na'r hyn a olygir yn gyffredin fel yn ddigon i foddhau uchelgais yn y gelfyddyd. A phell ydym o feddwl mai rhyw erthyl o gyfarfod sydd yn eisieu, fel y peth marw-yn-fyw y llusgir ymlaen ei fodolaeth mewn amryw o'n trefydd am hanner awr wedi pedwar brydnawn Sabboth. Nid ydyw hwnw, er ys llawer o flynyddoedd, yn ateb unrhyw ddyben sydd yn gwneyd yn werth ei barhau. Paham nad allai Dirwest yn Nghymru hefyd, fel mewn manau eraill, ac yn awr fel yn y dyddiau gynt, gael adegau cymhwys i'w dwyn o flaen y bobl? Nid ydym yn gaeth i unrhyw draddodiadau. Y mae *missions*, neu olyniad o gyfarfodydd bob nos am yspaid o amser—wythnos neu bythefnos, neu fwy—mewn llawer o fanau, ac mewn rhai manau yn Nghymru, wedi ateb dyben rhagorol: ai ni fyddai yn werth rhoddi prawf ar hyny mewn manau eraill hefyd? A phaham nad allai Dirwest gael noswaith at ei gwasanaeth? Y mae *nos Sadwrn* yn un ag y gellid, dybygem, ei neillduo i'r fath amcan gyda mantais arbenig. Y noswaith hono ydyw yr un fwyaf peryglus o'r cwbl i'r rhai ag sydd eisieu eu gwaredu. Maent y pryd hyny yn gyffredin yn meddu ychydig hamdden, ac mae eu cyflogau yn eu llaw; ac y mae y tafarnau yn cael eu gwneyd mor hudoliaethus er eu denu iddynt! Beth pe gosodai cyfeillion sobrwydd o'r gwahanol eglwysi a chynnulleidfäoedd yn ein cymydogaethau, eu penau ynghyd er sefydlu Cyfarfod Dirwestol nos Sadwrn, ac astudio pa fodd i'w wneyd — trwy gerddoriaeth dda, adroddiadau dyddorol, anerchiadau llawn o oleuni a gwres, a gweddïau ar Dduw am ei fendith—mor ddeniadol ag a fyddo yn bosibl, ac ar yr un pryd yn llawn o amcan i adferu a chadarnhau mewn rhinwedd? Y noswaith hono hefyd fe ellid ymhob man sicrhau gwasanaeth y gwŷr da fydd i lanw pulpudau ein hardaloedd y Sabboth dilynol, ac yn sicr nid oes yr un o honynt na fyddai yn anfesurol well ganddo anerch cyfarfod ar adeg felly, ond anfon gair ato yn ei gylch, na cheisio siarad i ddyrnaid o bobl am hanner awr wedi pedwar y Sabboth, a hyny heb ateb nemawr ddyben amgen na'i anghymhwyso ei hun at y gwaith a ddysgwylir oddiwrtho yn odfa yr hwyr. Ac y mae yn anhawdd meddwl y byddai neb o'r gweinidogion yn anfoddlawn i wneyd a allo mewn cyfarfodydd felly. Am y Dirwestwyr sydd hyd ein

hardaloedd, dylent hwy wasanaethu fel curwyr y twmpathau, a mynu eu cymydogion, yn neillduol y rhai ag y mae angen arbenig eu cael i'r fath gyfarfodydd, i ddyfod iddynt; dylent hefyd eu cymeryd dan eu gofal mewn modd neillduol wedi hyny, a pheidio gorphwys nes y byddont wedi eu hachub; ac wedi eu hachub, dylent feddwl am eu gosod hwythau ar waith i "gadarnhau eu brodyr." Dylai y cyfarfodydd hyn fod yn hyfryd a dysglaer, ac nid oes achos cau o honynt ddim a'u gwnelo yn ddyddorol neu yn hawdd eu mwynhau; ond dylent, uwchlaw pobpeth, fod yn llawn o galon ac yn llawn o ffydd, ac yn amcanu yn onest at ddaioni penaf y rhai a ddelont iddynt. Gwelsom ambell dro yr elfen "adloniadol" yn cael ei gosod fel ymron yr unig attyniad mewn cyfarfodydd felly, a thra yn llwyddo i'w gwneyd yn rhyfeddol o ddwl, yn aflwyddo yn gwbl i fod yn attyniad iddynt, eithr yn hytrach yn peri i'r bobl edrych ar y rhai a'u dygent ymlaen, gyda dirmyg a brofai yn rhwystr anorfod iddynt allu eu lleshau. Ond o'u dwyn ymlaen fel yr awgrymwn, mae yn anhawdd meddwl na phrofai y cyfarfodydd nos Sadwrn, yn ychwanegol at sobri dynion, yn help tra gwerthfawr hefyd at ddwyn y bobl i foddion gras ar y Sabboth, ac felly i wrthweithio y paganiaeth ymarferol ag y mae lle i ofni ei fod yn ffynu mewn llawer o'n trefydd, &c., er ein holl gyflawnder o ordinhadau. Clywsom rai yn ofni y codai gwrthwynebiad i hyn am y byddai raid cynnal y cyfarfodydd gan mwyaf yn y capelau, ac y byddai hyny yn eu diwyno erbyn y Sabboth. Hyfryd, bid siwr, i bobl syber ydyw cael yr addoldai yn lân; ond a fynai ein cyfeillion hawlio hyny ar draul cau allan yr afradloniaid a allont, trwy y fath gyfarfodydd ag y soniwn am danynt, ddymuno dychwelyd i dŷ eu Tad? Am ffurfiau neillduol ar yr achos Dirwestol, megys Temlyddiaeth Dda, &c., lle y maent yn gweithio, a heb "gyflawni eu rhedfa," fel y dywedir am y Bedyddiwr, dymunwn o galon bob llwyddiant iddynt. Ond yr ydym yn awr yn awyddu yn enwedig am weled deffröad ar yr achos mewn rhyw ffurf yn yr hon y gallo yr holl fyddin Ddirwestol sydd ar y maes ymuno, a chrynhoi ei nerth yn erbyn y gelyn cyffredin. Fe allai y teimlir mewn rhai manau y byddai y Ruban Glas, fel y ffurf symlaf, ac eto ffurf sydd yn rhoddi math o fodolaeth gweledig i'r Gymdeithas, yn wasanaethgar. Os felly cymerer ato. Pa fodd bynag, yr ydym yn hyderu yn fawr y gwneir rhywbeth: a phe byddai i ddarllenwyr parchus y TRAETHODYDD benderfynu ar unwaith na adawant ddim heb ei wneyd sydd yn bosibl iddynt er dwyn oddiamgylch y diwygiad yn yr achos hwn ag y mae ein gwlad yn y fath angen am dano, pwy all amgyffred y lles a ddilynai?

DANIEL ROWLANDS.

# NODIADAU LLENYDDOL.

***Life of Edward Miall, formerly Member of Parliament for Rochdale and Bradford.* By his Son, ARTHUR MIALL. London: Macmillan & Co.**

MAE ein darllenwyr yn cofio i erthygl ragorol ar Mr. Miall ymddangos yn y TRAETHODYDD am 1882, yn lled fuan wedi ei farwolaeth. Fe ddeallid y pryd hyny fod ein cydwladwr parchus Mr. Henry Richard, yr hwn am lawer o flynyddoedd oedd wedi bod yn gyfaill mynwesol iddo, wedi ymgymeryd âg ysgrifenu hanes ei fywyd. Ond fel y dangosir mewn llythyr oddiwrth Mr. Richard yn rhagymadrodd y gyfrol hon, yr oedd pwysau trafferthion eraill, gyda'r teimlad nad ydyw nifer ei flynyddoedd wedi ei adael mewn meddiant o ŷni y dyddiau a fu, yn ei orfodi, er yn hwyrfrydig, i roddi y fath amcan i fyny. Ond fe ddarfu i fab Mr. Miall ymgymeryd â'r gwaith, ac y mae wedi ei gwblhâu mewn modd tra theilwng. Y mae hanes bywyd ei dad yn cael ei roddi ganddo yn gyflawn a gofalus; ac yr oedd ei waith ef mor amlwg, ac yr ydoedd hefyd yn derbyn oddiar law cylch ëang o oreugwyr y genedl y fath gydnabyddiaeth o'i werth, fel nad oedd raid i unrhyw ledneisrwydd yn sefyllfa ei fywgraffydd ei lesteirio i osod ger bron y darllenydd syniad cywir am yr hyn ydoedd, ac hefyd am ei wasanaeth ardderchog. Mae yn anmhosibl fod gwrthgyferbyniad mwy nag sydd rhwng y golygiad a geisir roddi am dano gan rai o'i wrthwynebwyr, a'r hyn ydoedd Mr. Miall. Yn lle bod yn derfysgwr diegwyddor, a'i fryd ar gysegrysbeiliad a didduwiaeth, fe wêl y darllenydd wrth ddarllen y gwaith hwn—fel y profodd yn gymaint syndod i filoedd a ddaethant i gyffyrddiad âg ef yn ei ddydd—fod Mr. Miall yn foneddwr ac yn ysgolaig; yn ŵr o goethder a lledneisrwydd mawr; ac yn un o'r rhai mwyaf dwfngrefyddol a chydwybodol o feibion dynion. Y mae yn taro llawer fel peth hollol anmhosibl fod un a wnaeth gymaint at ddwyn y cwestiynau o ddadgysylltiad a dadwaddoliad i'r sefyllfa y maent yn y deyrnas hon yn bresennol, yn meddu unrhyw hawl ar barch ac edmygedd dynion. Ond mae yn gwbl amlwg ei fod ef wedi cael ei dueddu at y gwaith i ba un y cysegrodd ei fywyd, nid er gwaethaf, ond *oblegid* y rhagoriaethau mawrion hyny yn ei gymeriad ag oeddynt yn arbenig yn ei nodi fel boneddwr a Christion. Dywedai mor fore ag 1839, pan yn anfon ei ymddiswyddiad fel gweinidog ar yr eglwys oedd dan ei ofal yn Leicester, fel y gallai ymroddi yn gwbl i'r genadaeth ag y teimlai fod Rhagluniaeth yn ei alw iddi, fod sefyllfa ddarostyngedig Eglwys Crist yn y deyrnas yma wedi bod iddo am rai blynyddau yn fater o bryder dwys; yr oedd ei hundeb gorfodol â nerthoedd y byd hwn yn anurddo ei phrydferthwch, yn diffrwytho ei hyni, yn gosod allan gamargraff am ei chymeriad, ac yn dianrhydeddu ei Harglwydd. Ac ymddangosai iddo mai y wasg gyfnodol oedd yr offeryn mwyaf cyfaddas i ddwyn oddiamgylch olygiadau a theimladau gwahanol mewn perthynas i hyny. Hyderai yr agorai ffordd i ymdrech fwy uniongyrchol a difrifol ac unedig, er dwyn oddiamgylch ryddhâd yr eglwys. Yr oedd cyfleusdra i lafur yn y cyfeiriad hwnw, meddai, yn agor iddo ar y pryd, ac er y carasai weled rhywun mwy cymhwys yn ymgymeryd â'r gwaith, eto yr oedd efe yn ddwfn argyhoeddedig y dylai *rhywun*, mewn pob difrifwch, ac mewn ysbryd o ddibyniad defosiynol ar Dduw, wynebu ar y gwaith hwnw; ac er, mewn trefn i'w wneyd yn effeithiol, fod yn rhaid iddo roddi i fyny y swydd fugeiliol, fe deimlai nad oedd *hyny* yn ddarostyngiad, tra yr amcanai wasanaethu yr eglwys gyffredinol. Gan nad ydoedd, ar y pryd, neb a fuasai ymhob ystyr yn gymhwys, ac ar yr un pryd yn ewyllysgar, i ymroddi i'r amcan hwnw, yr ydoedd yn foddlawn i gynnyg arno ei hunan, ac wedi ei dueddu i ddywedyd wrth yr Arglwydd, mewn cyfeiriad at y neges hono, "Wele fi, anfon fi." A phan ymddangosodd y rhifyn cyntaf o'r *Nonconformist*, yn Ebrill, 1841, dyma y cywair a darawai:—

"Prif amcan y *Nonconformist* ydyw dangos fod sefydliad cenedlaethol o grefydd yn hanfodol ddrwg o ran ei gyfansoddiad, a hyny yn athronyddol, yn wleidyddol, ac yn grefyddol; dwyn dan sylw cyhoeddus y drygau aneirif a gynnyrchai; cyffroi dynion, ac yn fwy neillduol y rhai ydynt, yn agored ac ar dir crefydd, yn ei wrthod, o'r difrawder marwol â pha un yr edrychant ar ei barhâd a'i helaethiad; dwyn i weithredu arnynt bob cymhelliad a ddylai lwyddo i beri iddynt ddyfod ymlaen ac ymuno a gweithio er dwyn ysgariad cyfiawn a heddychol ar yr Eglwys oddiwrth y Wladwriaeth—dyma amcan mawr y rhai sydd yn sefydlu y papyr." A dyna yr amcan ag y treuliodd yntau ei dymmor i'w wasanaethu. Fe gafodd ei ran yn helaeth o ddigalondid a rhwystrau, a hyny yn neillduol o gyfeiriadau ag y gallasai ddysgwyl pethau gwell. Ond yn uniondeb uchel ei amcan, a'i ddwfn ffyddlondeb i Grist a'i deyrnas, fe aeth yntau ymlaen,

Fel gloew seren
Yn y ffurfafen,
Heb brysuro
Ac heb orphwyso,
Nes cyflawn orphen
Y gwaith rowd iddo.

Ac y mae dylanwad ei lafur pur a ffyddlawn, erbyn hyn, wedi treiddio trwy holl gylchoedd cymdeithas yn ein teyrnas, ac wedi dwyn dadsefydliad a dadwaddoliad yn un o gwestiynau mwyaf amlwg ein gwleidyddiaeth. Yr oedd y *Times* yn lled ddiweddar yn edrych yn bur ysgoew ar amcan Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd o ddwyn hyn i sylw fel rhan o waith gwleidyddol y misoedd nesaf yma; yr oedd yn barnu fod y teimlad cyhoeddus ag oedd dro yn ol yn lled ffafriol i ddadsefydliad, erbyn hyny wedi cyfnewid yn fawr, ac fod mwyafrif y genedl wedi dangos gwrthwynebiad amlwg i'w hystyried yn bleidiol i'r fath amcan. Am y llafurwyr amaethyddol a ychwanegwyd at yr etholiadaeth, y maent, meddai ef, gan mwyaf yn Eglwyswyr, ac ystyriai fod yn debyg y ceid yn eu plith y gwrthwynebiad mwyaf penderfynol i ddadsefydliad. Mae yn ddyddorol sylwi ar y gwahaniaeth rhwng y dadganiad mympwyol yma y mae y *Times* yn awr yn teimlo ar ei galon wneyd, a geiriau y diweddar Canon Girdlestone, yr hwn a wyddai fwy am y llafurwyr amaethyddol ac a ennillasai fwy o'u hymddiried na neb o'i holl frodyr. Dywedai efe: "Mae yn rhyfeddol leied o ddyddordeb y mae y clerigwyr wedi gymeryd yn llwyddiant tymmorol a sefyllfa gymdeithasol y llafurwyr. Y maent wedi eu rhybuddio yn erbyn gadael yr Eglwys. Y maent wedi eu hargyhoeddi am fod yn Ymneillduwyr ac yn feddwon, ac weithiau yn gymaint am y naill ag am y llall. Maent wedi pregethu yr efengyl iddynt. Ond i unrhyw ymgais at wella eu sefyllfa gymdeithasol, i gael iddynt gyflog teg am ddiwrnod teg o waith, i roddi iddynt gyfleusdra i gynnilo erbyn afiechyd a henaint, i'w galluogi i daflu ymaith hunllef cardotaeth, i wneyd dynion annibynol o honynt—rhai fo yn cael eu talu nid mewn bwyd neu ddiod, neu roddion, da neu ddrwg, yn ol ewyllys y meistr, ond yn arian y deyrnas, a chyfnewid am yr hyn a elwir yn deimlad da rhwng meistriaid a gweision—nad ydyw yn fynych amgen na nawddogaeth ar y naill law a gwaseidd-dra ar y llall annibyniaeth Prydeiniad rhydd-anedig,—gyda nifer fach o eithriadau, nid yw y clerigwyr wedi rhoddi ond ychydig, os dim cefnogaeth. Trwy yr esgeulusdra hwn y maent wedi colli cyfleusdra da, ac y maent eisoes i raddau helaeth wedi gwanhâu nerth Eglwys Loegr yn y rhanbarthau gwledig." Ac eto fe dybiai y *Times*, pe buasai yn bosibl i'r clerigwyr ymgais am aelodaeth Seneddol, a phe buasent yn malio am hyny, y byddai yn syndod mawr i Gymdeithas Rhyddhâd Crefydd weled cynifer o honynt a ddychwelid gan yr etholwyr newyddion! Er hyn, ychydig ddyddiau yn ddiweddarach, fe ddywedai yr un oracl, wrth edrych ar ragolygon y flwyddyn 1885: "Fe ymosodir mae yn ddiammeu ar yr Eglwys Sefydledig yn Scotland, ac ychydig obaith sydd y bydd iddi orfyw yr ymosodiad. Mae Eglwys Loegr mewn sefyllfa wahanol ymysg

pobl o dymher wahanol, ond gan y crêd y rhai a geisiant derfynu ei chysylltiad â'r Wladwriaeth yr ychwanega diwygiad lawer at eu nerth, rhaid iddi fod yn barod i'w hamddiffyn ei hun yn erbyn ymosodiad llawer mwy difrifol na dim a brofodd er ys hanner cant o flynyddoedd." Ac fel un o lawer o fewn yr Eglwys ei hunan sydd yn teimlo fod y diwedd yn anocheladwy, ac mai yr unig beth doeth i'r Eglwyswyr yn awr ydyw parotoi goreu y gallont ar ei gyfer, ysgrifenai y Parch. Septimus Buss yn ddiweddar yn un o bapyrau Llundain fel y canlyn :—"Y cwestiwn mewn gwirionedd ydyw, nid pa un a ddadsefydlir yr Eglwys, ond pa un a fydd i'r oruchwyliaeth sydd eisoes ar waith gael ei chario ymhellach. Oblegid mae yr Eglwys eisoes wedi mwy na'i hanner dadsefydlu a'i dadwaddoli. Mae prawf-lwon Seneddol wedi eu hysgubo ymaith, y dreth eglwys wedi ei diddymu, yr Eglwys Wyddelig wedi ei dadsefydlu, addysg enwadol wedi ei gau allan, a dysgu y Bibl wedi ei ddarostwng yn ysgolion y Byrddau ; mae yr hen ysgolion plwyfol yn graddol gael eu bwyta i fyny gan y *Charity Commissioners;* mae y mynwentydd wedi eu taflu yn agored i bawb. Mae y diwygiadau neu y camdriniaethau hyn wedi eu corffori mewn amryw actau Seneddol, ac y mae cyfnewidiadau eraill wedi eu cynnyg i'r Ddeddfwriaeth, a gallant, cyn pen nemawr, ddyfod yn rhanau o gyfraith y tir: megys Mesur Cadwraeth Cofrestrau, Mesur *Affirmation*, a Mesur Bwrdeisdrefol y Brifddinas; ac yn ychwanegol, y mae cri poblogaidd yn bygwth seddau yr Esgobion yn Nhŷ yr Arglwyddi. Y mae cymaint wedi ei wneyd eisoes yn nghyfeiriad Dadsefydliad, fel y mae yn dyfod yn gwestiwn teg, pa un, wedi cymaint o ddadsefydlu, ai ni fyddai yn dda galw am y ddyrnod derfynol. Mae y Sefydliad wedi ei rwygo yn y fath fodd fel y gallwn yn rhesymol ofyn pa un a ydyw yn werth ymryson am y darnau sydd, gydag anhawsder, yn dal wrth eu gilydd. Beth bynag am hyn, mae yn amlwg y dylem fod yn barod i ba beth bynag a ddygwyddo." Mae yn wir, fel y dywedai Arglwydd Randolph Churchill, "fod Eglwys Loegr yn allu gwleidyddol mawr ar yr ochr Doryaidd." Ond fe fydd yn dra dyeithr, er hyny, os gwelir y ddwy filiwn o etholwyr ag y mae eu rhydd-freiniad—fel yn wir ymron bob daioni gwladwriaethol arall—wedi dyfod iddynt er gwaethaf yn Eglwys, yn taflu eu tarian drosti er cadw draw ei dadsefydliad. Haws genym gydweled âg Arglwydd Richard Grosvenor, yr hwn a ddywedai y dydd o'r blaen wrth anerch ei etholwyr yn Connah's Quay, "fod dadsefydliad yn un o'r cwestiynau mawrion sydd yn rhwym o ddyfod ger bron y Senedd newydd, ac nad oedd ganddo ef un ammheuaeth na fyddai iddo gael ei benderfynu mewn ffordd a fyddai yn foddhaol i Gymru." Nid oedd angen myned trwy y ffurf o hysbysu pa ffordd a fyddai hono ! Drwg genym weled fod rhai o'r curadiaid y dyddiau hyn yn ddigon ehud i feddwl eu bod yn gwasanaethu yr Eglwys trwy ymostwng i driciau dirmygus mewn ffordd o aflonyddu ar gyfarfodydd dadsefydliad. Ni allent wneyd dim yn fwy effeithiol tuag at brysuro y diwedd. Ond na fydded i gyfeillion cydradd-oldeb crefyddol gymeryd eu temtio ganddynt i anghofio mawredd eu hamcan, ac na ddeled gair o'u genau ond a fo yn deilwng o urddas, a chrefyddolder, a doethineb addfed Edward Miall.

Clark's Foreign Theological Library.—*Revelation : its Nature and Record.* By HEINRICH EWALD, late Professor in the University of Göttingen ; Author of "The History of Israel," "Prophets of the Old Testament," etc. Translated from the German by the Rev. THOMAS GOADBY, B.A., President of the Baptist College, Nottingham.

*Encyclopœdia of Theology.* By Dr. J. F. RABIGER, Ordinary Professor of Evangelical Theology at the University of Breslau. Translated, with Additions to the History and Literature, by the Rev. JOHN MACPHERSON, M.A., Findhorn.

Y DDWY gyfrol olaf am 1884 o'r *Foreign Theological Library*, a'r naill fel y llall yn llafurfawr a meistrolgar. Mae yn rhyfedd na fuasai rhai o ysgrifeniadau Ewald wedi

eu cyhoeddi yn y *Gyfres* hon cyn hyn, canys y mae efe yn adnabyddus er ys llawer o amser fel "gŵr cadarn nerthol," er ei fod yntau erbyn hyn wedi myned i orphwys. Mae y llyfr cyntaf a nodasom yn gyfieithiad o'r gyfrol gyntaf o waith mawr o'i eiddo ef ar "Athrawiaeth y Bibl am Dduw;" a chan ei fod yn hono, yn barotöawl i amcan neillduol y gwaith, yn ymdrin â'r cwestiwn pwysig o Ddadguddiad, fe farnwyd yn eithaf priodol ei chyhoeddi fel yma yn Saesoneg ar wahân. Mae yn amcanu delio â Dadguddiad, Crefydd, a'r Ysgrythyrau, yn ngoleuni hanesiaeth gyffredinol a phrofiad cyffredin dynolryw, a chyda chyfeiriad parhâus at holl gyfundrefnau crefyddol y byd. Ofer a fuasai i neb wynebu ar y fath dasg heb ei fod o gymhwysderau tra eithriadol. Ond yr ydoedd Ewald, o herwydd ei gydnabyddiaeth helaeth â llenyddiaeth Ddwyreiniol, ei feistrolaeth ar ieithoedd y Bibl, ei gynnefindra â hanes Israel, a'i efrydiaeth ddyfal ar hyd ei oes o'r Ysgrythyrau, ac yn neillduol o herwydd ëangder, grym, a threiddgarwch ei feddwl, ynghyd a dwfn onestrwydd a difrifoldeb ei amcan, yn neillduol gyfaddas i ymgymeryd â'r fath waith; ac y mae wedi myned drwyddo fel y gallesid dysgwyl i'r fath feistr wneyd. Mae y gyfrol hon yn gyfraniad o'r fath fwyaf gwerthfawr at lenyddiaeth y mater, yr hon bellach nid ydyw na phrin na thlawd. Mae ei safle yn briodol iddo ei hun. Mae yn gweled gwerth a dwyfoldeb mewn llawer o bethau na feddyliai pobl uniongred am droi eu llygaid i edrych arnynt, ac ar yr un pryd yn gwneyd chwalfa ar gadernid rhesymoliaeth, a hyny oddiar ei chestyll ei hunan. Mae ei drefn yn fanwl wyddonol. Nid yw ond dibwys ganddo beth, ar y naill llaw, a ddywed traddodiadau, pa mor hybarch bynag; na pheth, ar y llaw arall, ydyw yr ymffrost a wneir fod astudiaeth wyddonol wedi dymchwelyd sylfeini Cristionogaeth. Teimla nad oes ganddo ddim i'w wneyd ond wynebu ar yr ymchwiliad oedd o'i flaen—fel y mae y rhesymolwyr yn dragywyddol yn hònï y dylid gwneyd—yn gwbl yr un fath ag yr wynebai ar unrhyw efrydiaeth arall; ond wrth wneyd hyny, y mae ar bob llaw yn cael fod y goleuni a dywynai arno mor gryf, fel y mae yn anocheladwy yn cael ei arwain i'r golygiadau llawnaf a mwyaf boddhaol ar Ddwyfol darddiad yr Ysgrythyrau sanctaidd. Mae y gyfrol, fel y dywed Dillmann, "yn brawf arall o feddwl dwfn, gwreiddiol, a threiddgar Ewald, o'i ysbryd parchedig a syml, ei fyfyrdod bywiol, ei arddull hyawdl ac ysbrydlawn, a'i fedr meistrolgar, digyffelyb, mewn dwyn i'r golwg feddyliau a theimladau mwyaf cuddiedig yr hen amseroedd." Fe deimla y darllenydd fod y gwaith cryf a chyfoethog hwn yn dyfod ymron gyda grym tystiolaeth newydd ac annibynol i gadarnhâu yr hyn nad ewyllysiai ei ammheu; ac fod y dystiolaeth hono yn fwy gwerthfawr fyth am ei bod yn codi, nid o ryw ystyriaethau o amgylch neu y tu allan i gynnwys y Llyfr sanctaidd, ond o fawredd y rhagoriaethau sydd yn gynhenid iddo ef ei hun.

Mae yr ail gyfrol y rhan gyntaf o waith sydd yn ymwneyd âg efrydiaeth sydd yn bur newydd yn y wlad hon, er fod Germany wedi bod yn gweithio arni er ys cryn amser, Gwyddoniadur Duwinyddiaeth. Ymddengys mai y cyntaf i ddefnyddio yr enw yma ydoedd Mursinna, 1764. Buasai Räbiger ei hun yn ei galw *Theologik*, yn cyfateb i'r hen ymadrodd *studium theologicum*, efrydiaeth dduwinyddol. Mae yn wahanol i dduwinyddiaeth, ac hefyd i hanes duwinyddiaeth, ac yn rhagdybied y naill a'r llall. Amcana at roddi amlinelliad cryno o holl gwrs efrydiaeth dduwinyddol er mwyn y rhai sydd yn dechreu ei hastudio; a hefyd, er mwyn rhai o addfedrwydd mwy, nodi allan waith a therfynau gwahanol adranau duwinyddiaeth, eu cydberthynas y naill â'r llall, ynghyd ag â'r gwyddorau eraill. Mae rhai yn cyfyngu eu hunain yn yr efrydiaeth hon i'r *ffurf*, gan foddloni ar nodi allan yn unig yr egwyddorion sydd yn hanfodol iddi; y mae eraill, yn ychwanegol, yn rhoddi hefyd, yn fwy neu lai cryno, *fater* yr efrydiaeth yn ei gwahanol ganghenau. Ac felly y gwna yr awdwr hwn. Mae ei waith felly yn rhoddi llawer iawn o wybodaeth werthfawr ynghylch duwinyddiaeth, yn gystal ag yn dyweyd llawer am yr hyn ydyw, ac wrth reswm yn dangos y ffordd i'r rhai a ewyllysiont wneuthur ymchwiliadau pellach. Y mae wedi dwyn at y gwaith beth anferth o wybodaeth, ac yn

**dangos yn y defnydd a wna o'r gorlawnder o fater oedd at ei law farn a doethineb neillduol. Fel y dywed beirniad galluog, "Ni all neb godi oddiwrth unrhyw adran o'r llyfr heb fod wedi derbyn awgrym ac addysg."**

***Liebniz.*** **By JOHN THEODORE MERZ.**
***Vico.*** **By ROBERT FLINT, Professor in the University of Edinburgh, Corresponding Member of the Institute of France, etc. Blackwood and Sons.**

DWY gyfrol arall o'r *Philosophical Classics* ag yr ydym amryw weithiau bellach wedi galw sylw ein darllenwyr atynt. Yr oedd Leibniz hefyd yn un o'r cedyrn, ac y mae y llyfr hwn yn adrodd ystori ei einioes helbulus a'i lafur gwerthfawr mewn dull clir, cryno, a darllenadwy. Nid llawer o feddylwyr mawrion sydd wedi gadael y byd mewn cymaint o ansicrwydd am eu golygiadau, a hyny i fesur helaeth o herwydd ei ddull achlysurol ac anghyflawn o'u gosod ger bron. Fe ddylid hefyd cymeryd i'r cyfrif y gwahanol raddau o addfedrwydd a arddangosai ei olygiadau mewn gwahanol amserau. Sut bynag y mae y desgrifiadau a wnaed o hono, o wahanol safleoedd, yn gwahaniaethu cryn lawer oddiwrth eu gilydd, ac fel Locke yn y wlad hon y mae ei ddysgeidiaeth wedi fforchogi i gyfundrefnau athronyddol ag y buasai yn ddyeithr ganddo ef ei hunan, mae yn dra thebyg, feddwl am danynt. Am dymmor maith fe dderbynid deongliad Wolff ar ei gyfundrefn fel peth na ellid ei gwestiyno; ond erbyn hyn mae y rhai sydd wedi gwneyd astudiaeth ddyfnach o'i ysgrifeniadau yn cael fod Wolff ymhell o fod wedi ei adnabod. Dywedai Lessing pe mynasai Leibniz roddi allan gyfundrefn, mai nid yr eiddo Wolff a fuasai; a dysgai Herder yr un ffunud, fod ystyr a bywyd dysgeidiaeth ffrwythlawn yr athronydd wedi eu sychu i fyny gan ei esboniwr a'i ganlynwyr i ffurfiau ac arwirebau, nes bod ei iaith "yn sefyll fel coeden ag yr oedd y lindys a'r chwilod wedi gadael ar bob deilen uchanianaeth o edafedd sychion, fel yr oedd *dryad* [duwies y coed] yn wylo yn dosturus—Leibniz, Leibniz! ymha le yr oedd dy ysbryd?" Yn ngoleuni astudiaeth ddyfnach y mae y gwaith hwn wedi ei ysgrifenu, a thra y mae yn rhoddi syniad cywir a byw o'r hyn ydoedd ac wnaeth Leibniz, y mae yn arweiniad tra gwerthfawr i weithiau eraill sydd yn fwy cyflawn, ac yn enwedig i astudiaeth o ysgrifeniadau yr athronydd mawr ei hunan. —Nid ydyw Vico yn adnabyddus ond i gylch bychan yn y deyrnas hon, er nad yw hyny yn myned ymhell i brofi na haeddai gael ei adnabod yn llawer gwell, mwy nag y mae y dygn anwybodaeth sydd ar y Cyfandir am Esgob Butler yn profi na fuasai pobl Ffrainc a Germany ac Italy lawer ar eu hennill o fod i ryw raddau yn gydnabyddus â'r Cyfatebiaeth a'r Pregethau ar y Natur Ddynol. Italiad ydoedd Vico o Naples, a flodeuai tua dechreu y ddeunawfed ganrif. Arweiniodd fywyd dystaw a neillduedig ysgolaig a meddyliwr, ac er iddo lithro trwy y byd heb i'w gydoeswyr wybod ond ychydig yn ei gylch, fe ddaeth wedi hyny i gael ei adnabod ac i gario dylanwad cryf ac iachus ar ei genedl. Y mae gyda golwg ar Italy a'i hathroniaeth, yn llanw lle tebyg i'r eiddo Descartes yn Ffrainc, Locke yn Lloegr, a Kant yn Germany. Yr oedd ei athroniaeth o natur ysbrydol a dyrchafedig, ac y mae ei dylanwad parhâus ar feirniadaeth, moeseg, a chrefydd, y fath ag sydd yn codi meddyliau dynion uwchlaw y pethau amlwg sydd yn ymwthio i'w sylw, at y nerthoedd dirgelaidd sydd o'r golwg, ond sydd yn peri teimlo eu gallu fel yr unig bethau a all esbonio dirgelwch y greadigaeth a thynged ryfeddol dynolryw. Mae y gyfrol hon yn ei gylch wedi ei chyfansoddi gydag addfedrwydd cyffelyb i'r hyn sydd yn nodweddu cyfrolau eraill y gyfres werthfawr hon.

*Cofiant a Llythyrau, ynghyda Phregethau y Parch. John Foulkes-Jones, B.A., Machynlleth.* Dan olygiaeth JOSEPH OWEN, Machynlleth. Yn ddwy ran: gyda Darlun. Machynlleth: Evan Jones.

MAE yn debyg fod llawer o'n darllenwyr eisoes wedi mwynhâu yr hyfrydwch o

ddarllen y llyfr hwn, ac os nad ydym yn mawr gamgymeryd fe'i gwerthfawrogir fel hoff lyfr gan nifer mawr o'n cydwladwyr am amser maith. Yr oedd Mr. Foulkes-Jones ymhob ystyr yn "ŵr anwyl." Nid oedd yn bosibl bod neb yn fwy pur, ac uniawn, ac anrhydeddus; ond yn ychwanegol at y rhagoriaethau cryfion a gwerthfawr hyn, yr oedd ynddo y fath gyfoeth o foneddigeiddrwydd a hawddgarwch fel yr oedd pawb a'i hadwaenai, nid yn unig yn rhwym o'i barchu, ond hefyd yn ei garu yn fawr. Fe fyddai yn anhawdd meddwl am neb ag yr oedd ei grefyddolder yn fwy diammheuol; ac eto yr ydoedd yn hyny mor berffaith naturiol fel nad oedd berygl i neb feddwl am fynyd fod ei dduwioldeb yn rhywbeth gwneyd, neu fod ynddo ddim honiadusrwydd. Clywsom am un gŵr ag oedd wedi ennill yn y gymydogaeth lle yr ydoedd yn byw yr hynodrwydd anhawddgar o gael ei adnabod fel "y dyn duwiol câs." Yr ydym yn ofni fod eto rai brodyr iddo; ac nid oes bobl ar y ddaear ag y mae eu bywyd yn llawnach "o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel," neu sydd yn dwyn mwy o anfri ar yr "enw rhagorol yr hwn a elwir arnynt." Yr oedd Mr. Foulkes-Jones, o'r ochr arall, mor lawn o "hynawsedd Crist" fel yr oedd yn hawdd i bawb nesâu ato, a pho agosaf y ceid y fraint o fyned, mwyaf yn y byd y teimlid yr hawddgarwch a'r nefol dlysni sydd mewn purdeb a daioni. Ac nid ydyw yn anhawdd synied y gallasai fod rhai anhawsderau ar ei ffordd i allu arddangos yn y cylch lle y triöai y rhagoriaethau a osodasant y fath addurn ar ei gymeriad. Yr oedd ei amgylchiadau yn ei osod gryn lawer uwchlaw lliaws y rhai ag y cafodd ei hun yn eu plith. Yr ydoedd ei addysg dda, purdeb a lledneisrwydd ei chwaeth, ei foneddigeiddrwydd, a'i gymhwysderau i ennill ffafr cylchoedd uchel cymdeithas, y fath fel na fuasai mor ryfedd pe buasai yn cael ei demtio i gilio o'r cylch yr ydoedd ynddo i un a ddaliai o'i flaen ddeniadau a gyfrifir yn gymaint mwy eu gwerth. A chyda'r cariad at bregethu ag oedd yn ei feddiannu o'i febyd, yr oedd y rhagolygon yn ei Gyfundeb, yn nyddiau ei ieuenctyd, am gyfleusderau i wneuthur a allasai yn y ffordd hono mor anfoddhäol fel na buasai yn rhyfedd pe buasai yn digaloni. Mae yn debyg hefyd fod lledneisrwydd ei natur yn peri iddo ymgroesi yn fawr rhag pob peth ag yr ofnai iddo gael ei gamddeongli fel ymgais am unrhyw fantais annheg, ac felly fe wnaeth am gryn amser gam âg ef ei hunan a cham â'i ddefnyddioldeb trwy fod yn rhy araf i gymeryd y lle ag yr oedd parch a chariad ei frodyr mor foddlawn iddo ei gael. Pa fodd bynag yr ydoedd yn dal ati hi i astudio, ac i fyw yn dduwiol, ac i wneuthur unrhyw wasanaeth a ddelai yn ei ffordd gyda theyrnas yr Arglwydd Iesu, ac felly yn dyfod yn fwy-fwy addfed a chymeradwy. Ac wedi i'w hen gyfeillion yn Machynlleth ei alw i ymgymeryd â gofal bugeiliol yr eglwys a gafodd y fraint o'i fagu, fe ddaeth, yn y cylch pwysig hwnw, i lanw lle mewn gwasanaeth a defnyddioldeb ac anrhydedd ag oedd yn fawr mewn gwirionedd. Mewn ffyddlondeb a chariad sanctaidd fe ellid ymhob dim gyfrif arno hyd eithaf ei allu, ac yr oedd y parch a'r anwyldeb a goleddid tuag ato, yn arbenig yn y cylch a gafodd y fraint o fwynhau fwyaf o'i wasanaeth, ymron yn ddifesur. Yr ydoedd mor bur, mor dirion, mor agos at bawb, ac yn neillduol mor ffyddlawn i'w lles a'u daioni penaf. A phan welodd ei Arglwydd mawr yn dda ymweled âg ef â'r cystudd maith a phoenus, a fu yn y diwedd yn foddion i'w gymeryd ymaith, yr oedd rhagoriaethau mawrion ei gymeriad yn llewyrchu gyda'r fath hawddgarwch fel yr oedd y bobl yn ei fawrhâu ac yn ei anwylo fwy-fwy. Nid rhyfedd oedd i'r dyn hanner-call yn Machynlleth, pan ofynid iddo pa Mr. Jones ydoedd yn feddwl, ei ddynodi fel "Mr. Jones Iesu Grist;" neu i'n cyfaill ffyddlawn a chynhes, Mr. David Rowlands o Bennal, pan ydoedd Mr. Jones yn gadeirydd yno i ddarlith ar hanes Iesu Grist, ddyweyd, "mai efe oedd y tebycaf i Iesu Grist o bawb y gwyddai efe am danynt." Fe fuasai y pethau hyn yn ddigon i osod mawredd arno ac i wneyd ei enw yn beraroglaidd iawn, pe na buasai yn hynod am ragoriaethau eraill. Ond mae y gyfrol hon yn dangos yn amlwg, nid yn unig ei fod yn feddiannol ar, ond hefyd ei fod yn gyfoethog mewn rhagoriaethau eraill. Yr ydoedd yn efrydydd manwl a llafurus, ac felly wedi ystorio ei feddwl â gwybodaeth helaeth a

gwerthfawr. Yr ydoedd yn feddiannol ar allu mawr, ac am hyny yn meddwl gyda goleuni, a chraffder, a barn dda, ag y buasai dynion llai yn gofalu am wneuthur yn llawer mwy ymddangosiadus. Ac yn ychwanegol at hyn oll, yr oedd ynddo lawer o'r dyeithrbeth hwnw, athrylith—

> The light that never shone on sea or land,
> The inspiration and the poet's dream.

Mae llawer o'r pregethau yma, heblaw eu bod yn egluro y Gair yn y modd mwyaf athrawaidd, ac o'r buddioldeb uchaf o ran eu hamcan ymarferol, hefyd yn gyfoethog o farddoniaeth fyw. Ychydig a geir ynddynt o "odidogrwydd ymadrodd," yn enwedig fel y mae rhai yn cyfrif godidogrwydd; yn wir, yr oedd gogwyddiad ei feddwl yn gryf iawn at ymadroddion gwerinaidd a dulliau cartrefol o lefaru, pethau ag y buasai llawer o bobl gymhen yn ymgroesi rhagddynt gyda dychryn; ond yn nerth gwir awen, ac yn arbenig pan ar dân gan angerddoldeb ei deimladau crefyddol, mae y geiriau gwerinaidd a chyffredin ganddo, nid yn anfynych, yn dysgleirio gan oleuni o'r nef, a meddyliau o'r tlyaui mwyaf yn llewyrchu drwyddynt. Ac y maent oll yn dyner. Yr oedd

> Ei fron yn galon i gyd,

a phob ymadferth ynddi ar garu a mawrhâu wedi ei gysegru mor lwyr i'r Un mawr a fuasai farw drosto, fel mai prin y gallai mewn unrhyw ffordd gyffwrdd â phwnc y cariad Dwyfol, nad oedd ei phïol, nid yn unig "yn llawn," ond hefyd yn ol y cyfieithiad Saesoneg ar y gair, yn "rhedeg drosodd." Ychydig allai efe wneyd o fynydd y melldithion; mynydd Sïon, lle "y gorchymynodd yr Arglwydd y fendith, sef bywyd yn dragywydd," oedd y fan lle yr hoffai efe sefyll, a'r wedd fwyaf ysgeler iddo ar bechod oedd yr anniolchgarwch â pha un y "troai ymaith oddiwrth yr Hwn sydd yn llefaru o'r nef." Er mwyn y rhai hyny o'n darllenwyr a allont fod yn ddyeithr i'n cyfaill anwyl, yr hwn a lithrodd drwy einioes gymaint yn fwy dystaw nag y buasai yn ddymunol, fe allai y dylem ychwanegu ychydig ddyfyniadau fel engreifftiau o'r helaethrwydd o bethau da a gânt fwynhau wedi iddynt wneyd y gyfrol werthfawr yn eiddo iddynt.

A welwch chwi y weddw dlawd yna? Mae hi yn byw—pe b'ai hi yn *byw* hefyd, druan—mewn rhyw seler *damp* afiach oer yn un o'n trefydd mawr ni. Mae yna filoedd yn pasio heibio iddi—yn brysio ac yn gyru, a phawb yn mhen eu helynt; ond 'does neb yn gweled y *poor widow!* Ond O ein Duw ni—mae yr "Hwn sydd yn rhifo rhifedi y ser ac yn eu galw hwynt oll wrth eu henwau," yn gweled hona! Yr oedd hi yn dlawd, yn fudr, yn afiach, yn newynllyd, yn resynus ei chyflwr ymhob ystyr. Ond dyna y Bugail mawr wedi ei gweled hi yn nghanol holl lïosogrwydd ei ddeadellau a holl amrywiaethau ei gorlanau—yn nghanol holl "namyn un um' ugain" yr *universe* i gyd!

Felly Duw—mae ganddo yntau deulu llïosog. Am yr "etholedig angelion" ni fuont hwy erioed oddiwrtho nac allan o'i wasanaeth. Maent hwy wedi bod ar ei aelwyd erioed—maent "yn wastadol gydag Ef," ac yn ewyllysgar i weini iddo bob amser. Ond O y Duw mawr, dyn sydd wedi tynu ei galon allan yn fwy na neb—bachgen drwg y teulu, mab afradlawn y greadigaeth! Er ei holl annheilyngdod y mae wedi rhyw ddotio ar hwn er tragywyddoldeb; i hwn y mae wedi gwneyd fwyaf, ac y mae wedi poeni a phryderu mwy gyda hwn na chyda'i greaduriaid i gyd.

Yr wyf cyn hyn wedi bod yn sefyll wrth lygad ambell ffynnon ar benau rhai o'r hen fynyddoedd; ac yn barod i ofyn iddi,—"Wyt ti, y llygedyn bach, yn meddwl myned i'r môr rywbryd?" "Ydwyf," meddai hithau, yn ei hiaith; a dacw hi yn dechreu cychwyn, ac yn dal i weithio ymlaen drwy y gwastadedd. Mae llawer o bethau yn tyfu ar hyd ei glanau, ond nid yw hi yn gwneyd sylw o neb na dim; i'r môr mae hi yn myned—arllwys ei holl gynnwys i'r môr. P b dafn o fewn ei cheulanau, pob brigyn a deilen ar ei gwyneb—mae tynfa'r cwbl tua'r môr. O bobl! ystyriwn i ba le yr ydym

yn myned, â'n Sabbothau, â'n misoedd, â'n blynyddoedd, â'n geiriau segur, â'n meddyliau ofer, â'n bywyd diweddi—O cofiwn fod a wnelo y cwbl â'r fuchedd dragywyddol!

Mae rhyw flodau—Blodau y Gauaf y gelwir hwynt, *Winter Flowers.* Nid ydynt i'w cael yn yr haf, yn y gauaf y maent yn d'od. Onid yw y Creawdwr mawr yn dda iawn yn rhoddi ambell un o'r rhai'n i ni yn y gauaf; ac yn wir fe fydd yn dda genyf fi weled eu gwynebau bach tua mis Rhagfyr a'r Nadolig, wedi i friallu y gwanwyn a rhosynau yr haf ein gadael. Felly y mae rhai o rasusau yr Efengyl—Grasusau y gauaf ydynt. Beth yw amynedd, dyoddefgarwch, profiad, ymostyngiad tawel i ewyllys Duw, ond rhyw *winter flowers,* a diolch am danynt!

Ni glywsom am Farnwyr yn y llŷs gwladol yn dangos graddau o deimlad wrth fwrw rhai i gael eu colli ar y dienyddle; yn wir, wrth gwisgo y *Black Cap* unwaith gorchfygwyd Telford dyner-galon gan ei deimladau, ac wylai ar y fainc wrth gondemnio rhyw adyn euog i farw ar y crogben. Ond pwy glywodd am un *Judge* aeth i'r crogben i farw dros yr euog?—Do, gan gofio, ni a glywsom am Un, a bendigedig fyddo ei enw byth! Barnydd yr holl ddaear, *Lord Chief Justice* creadigaeth Duw, dacw Efe yw ddiwrnod yn disgyn oddiar y fainc, ac yn myned at yr adyn euog i'r carchar; mae yn gwisgo am dano ei Hun yn nillad y carcharor, yn dringo croesbren cyfiawnder Duw, ac yn marw yn ei le ger bron nefoedd a daear! O farw digyffelyb, O gariad digymhar! Mae yn rhyfedd na b'ai peth fel hyn wedi toddi calon y byd er's llawer dydd bellach, ac na b'ai holl lwythau y ddaear cyn hyn wedi dyfod i ymostwng i'r Hwn fu farw rhwng y lladron!

Ond rhaid ymattal. Mae yn hyfryd iawn meddwl fod y cysuron mawrion y llefarodd gymaint a chyda'r fath eneiniad am danynt, yn cynnal ei enaid ef ei hun, ac yn rhoddi y fath dangnefedd i'w enaid pan ddaeth yn gyfyng arno. "The blackest cloud has a silver lining," meddai; a rhyw bythefnos cyn ei ymadawiad dywedai "ei fod yn canfod y *silver lining* i bob cwmwl—mai nid llain gul ydoedd, ond ei fod yn lletach na'r cwmwl du." A thua'r un adeg, medd yr hanes, tra y defnyddid y wyntyll mewn moment o ddiffygiant arno, dywedai, dan ei heffaith adfywiol,—"I am going away, fanned with love, and surrounded with the sweet aroma of dear and loving friends." Ac os *oddiwrth* y fath ddaioni, yn sicr *at* ddaioni anfesurol fwy!

Mae yn dda genym weled fod Mr. Owen wedi cael y fath gyfoeth o ddefnyddiau at ei law i ysgrifenu y Cofiant, yr hwn sydd ddyddorol a darllenadwy iawn. Mae ychydig amryfuseddau wedi dianc. Yn y Frongoch yr oedd modryb Mr. Jones yn byw yn Mhentraeth, ac nid yn y "Ty Coch." Dyfynir y geiriau "euraidd danau tynerwch" wrth son am lythyrau Mr. Jones at ei blant. Tybed mai y geiriau yn "Hiraeth Cymro am ei wlad,"—

Tannau euraidd tynerwch
Gyffry wrth fy lletty llwch—

oedd yn ceisio ymwthio i gof yr awdwr? Os felly, fe ddylasai ei lygad a'i glust ef fod yn ddigon dysgybledig i deimlo fod rhywbeth go fawr o'i le yn y wedd yr ysgrifenai y dyfyniad. Clywsom gyfaill yn ddiweddar yn son am Mr. Owen, gydag un arall a deimlai yn garedig at brydyddu, yn ymryson cynghaneddu, pan oedd efe yn byw yn Nhalysarn; ac wedi i gryn amser lithro heibio pan oeddynt felly yn ymbleseru gyda'r gorchwyl dyddan, dywedai un o honynt, wedi sylwi beth ydoedd o'r gloch,

Yn wir ddyn mae hi 'n un ar ddeg;

ond y llall, gan deimlo er hyny yn ddigon hamddenol, a'i hatebai ar unwaith,

Diweddwn tua deuddeg.

Dylasai y wasg hefyd fod dan arolygiaeth llymach. Yn un o'r pregethau sonir am y dyn wrth lyn Bethesda, "yr hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd a deugain." Faint ydyw hyny? Mewn un arall, wedi dyweyd fod bylchau yn hanes dyn lle mae y byd yn colli ei holl ragoriaeth a'i werth, ychwanegir, "Mae megis o gystudd yn ddigon i daflu bythol ddiflasdod ar ei holl felysion." Mae yn debyg mai "mis o

gystudd" a ddylasai fod. Am wallau manach y maent i'w cael gryn lawer yn rhy fynych. Diammeu y symudir y meflau hyn yn yr ail argraffiad, am yr hwn yr ydym yn hyderu y bydd galwad buan. Mae yn dda genym longyfarch Mr. Owen ar y dull rhagorol ymha un y mae efe wedi gwneyd ei waith. Dywed nas gall beidio a llawenhau yn y rhagorfraint a syrthiodd, rywfodd, i'w ran, o gael dwyn i'r amlwg gynifer o eiriau grasusol Mr. Jones, pan mae y gwefusau anwyl a'u llefarodd yn seliedig yn y bedd. Mae yn dra gwerthfawr hefyd i goffadwriaeth y gweinidog anwyl, ac i'r lliaws fydd trwy y gwaith hwn yn cael yr hyfrydwch o gymdeithasu âg ef, fod parotöad y gyfrol wedi disgyn i ofal un ag oedd, nid yn unig yn coledd y fath anwyldeb at yr hwn yr ysgrifenai am dano, ond oedd hefyd yn meddu y fath allu a'r fath addfedrwydd mewn barn a chwaeth i wneyd cyfiawnder â'r ymddiried pwysig a osodwyd yn ei law. Mae y darlun a roddir yn photograph tra rhagorol o Mr. Foulkes-Jones, a cheir dano *fac-simile* o'i lawysgrifen. Pris y llyfr yw 5s.

*Oesau Cristionogaeth: neu Grynodeb o Hanes yr Eglwys yn gyffredinol o amser Iesu Grist hyd y flwyddyn* 1885. Gan y Parch. JOHN PUGH, B.A. Treffynnon: P. M. Evans & Son.

*Hanes yr Eglwys Gristionogol drwy y Byd, o ddyddiau yr Apostolion hyd yn bresennol.* Gan DAVID GRIFFITH, Dolgellau. Caernarfon: O. R. Owen.

MAE yn dda genym weled y ddau lyfr rhagorol yma wedi eu cyhoeddi ar Hanes yr Eglwys, a hyderwn na fydd ein cydwladwyr yn fyr o roddi i'r naill a'r llall y croesaw cynhes ag y maent yn ei deilyngu oddiar eu llaw. Mae yn sicr na fyddai eisieu i lawer o honynt ond dechreu myned i mewn i'r efrydiaeth ddyddorol hon na theimlent mor ddifyrus ac mor addysgiadol ydyw. Mae i ddyn gael ei gau i fyny o fewn terfynau cyfyng y presennol yn attal tyfiant ei feddwl, ac yn peri fod ei ysbryd yn gul a thlawd. Ond yn ffodus y mae hanesyddiaeth yn agor yr oesoedd o'n blaen, ac yn rhoddi ini gyfleusdra i ymgyfoethogi ar ddoethineb a phrofiad ein cyd-ddynion ymhob gwlad ac ar bob adeg. Ac y mae hyn yn arbenig werthfawr ynglŷn â Hanes yr Eglwys Gristionogol. Pan y mae cynifer o sefydliadau, a fuont gymaint yn fwy eu rhwysg, ac yn ymddangos gymaint yn fwy tebyg i barhau, wedi hen ddarfod am danynt,—fel y mae y tonau mawrion cryfion yn myned yn ol ac yn cael eu colli yn yr eigion,—onid ydyw yn neillduol ddyddorol gweled y sefydliad yma, a ymddangosai y mwyaf dinod o'r cyfan, ac yn erbyn pa un y mae y byd ymhob oes wedi crynhoi ei ymadferthoedd, yn parhau, ac nid yn unig yn parhau, ond hefyd o oes i oes yn dirfawr ychwanegu cryfder, ac yn prysur feddiannu y ddaear oll? Onid yw yn hyfryd ac yn dra addysgiadol gweled mor araf, ac mewn canlyniad i'r fath "ymdrech mawr o helbulon," y daethpwyd i gael syniad clir am wirioneddau sydd erbyn hyn wedi hen gymeryd eu lle fel sêr o'r maintioli mwyaf yn ein ffurfafen? A phan y mae y gwrthwynebwyr, y naill ar ol y llall, ac yn groch eu hymffrost, yn dwyn ymlaen eu hymosodiadau mawrion, a hyny mewn ff.rdd sydd yn peri i rai bryderu "am arch Duw," onid yw yn gysur neillduol gweled fod ymosodiadau cyffelyb wedi bod yn cael eu gwneuthur ar yr eglwys filoedd o weithiau o'r blaen, ac nad ydynt wedi menu arni, mwy nag ymosodiad yr awelon ar gryfder y mynydd? Hyn oll, ynghyd a llawer iawn o ddaioni pwysig yn ychwanegol, a ennillid i ddyn o ymgydnabyddu â hanesiaeth eglwysig. Wrth reswm, nid ydyw y gweithiau sydd o'n blaen yn myned ond yn gynnil i'r pethau hyn, oblegid nid oedd yn bosibl dirwasgu i gylch mor fychan ond ychydig mewn cymhariaeth o'r cyflawnder mawr o bethau dyddorol sydd yn ymgynnyg i'r meddwl ynglŷn â'r fath efrydiaeth; ond y maent yn arweiniadau rhagorol, ac yn rhoddi golwg dra gwerthfawr ar y wlad ag y maent ar yr un pryd yn gymhelliadau mor gryfion i'r darllenydd, trwy astudiaeth fwy llawn, fyned drosodd i'w meddiannu. Y byraf ydyw yr eiddo Mr. Pugh. Nid ydym yn deall yn iawn paham y galwai efe ei lyfr yn "Oesau Cristionogaeth." Yn ol rhediad y gwaith,

buasai yn fwy priodol ei alw yn Gyfnodau Cristionogaeth, oblegid ymwneyd y mae â'r cyfnodau yn hanes yr eglwys dan ba rai yr ydys yn gyffredin yn dosbarthu ei helyntion, ac nid ydyw yn ymddangos fod unrhyw reswm neillduol dros alw y rhai hyny yn oesau. Fel y gallesid dysgwyl, y mae y gwaith yn gynnwysfawr, cryno, a choeth; mae detholiad ei fater wedi ei wneuthur dan lywodraeth barn dda, ac y mae yn cael ei osod ger bron yn eglur a phriodol; mae agoriad yr ymdriniaeth ar y gwahanol gyfnodau yn feddylgar ac awgrymiadol, ac nid yn anfynych yn brydferth; ac y mae ei holl gynnwys y fath ag a adawai ar feddwl y darllenydd argraff iachus o ddoethineb a defosiwn. Dylai gael darlleniad helaeth. Ei bris yw 5s.—Crybwyllasom am waith Mr. Griffith yn ein rhifyn diweddaf, ar ol gweled rhai o'r rhanau a ddaethent i'n llaw. Mae yn dda genym ei weled oll allan erbyn hyn mewn cyfrol wythplyg hardd o tua chwe' chant o du dalenau. Ei bris yw 7s. Mae yn dda genym gadarnhau yr oll o'r ganmoliaeth uchel a roisom i'r gwaith hwn yn ein rhifyn diweddaf. Mae ei ddosbarthiad ef yn ol y Canrifoedd, a thra y gesyd ger bron ymhob canrif brif ffeithiau yr hanes yn y gwahanol wledydd mewn paragraffau wedi eu rhifnodi, y mae yma a thraw trwy gorff y gwaith yn gwneyd toriadau, ac yn rhoddi mewn llythyren lai lawer o fater dyddorol mewn bywgraffiadau a hanesion lleol, &c., pethau a fuasent yn tori yn ormodol ar unoliaeth yr hanes pe wedi eu gosod fel rhan o'r testun, ond a ddarllenir fel y maent gyda llawer o foddhâd. Nid ydyw y naill na'r llall o'n cyfeillion parchus hyn wedi trafferthu nemawr gyda drychfeddwl mawr Neander a'r haneswyr diweddar, o geisio dangos hanes yr eglwys fel dadblygiad o'r tumewnol, gan esbonio y ffeithiau oddiallan fel delw ac adlewyrchiad y bywyd ag oedd yn ymweithio oddifewn. Mae gwahaniaeth tra mawr rhwng hyny a chyfleu mewn olyniad amseryddol, neu yn ol unrhyw drefn arall, lïosogrwydd o ffeithiau ac amgylchiadau, pa mor ddyddorol bynag y gallont fod. Mae i gorff hanesyddiaeth, fel y corff dynol, ei enaid byw, sydd yn rhoddi iddo ei ffurf a'i brydferthwch, ac yn gwneyd ystyr i'w holl ysgogiadau; ac mae yn dda genym weled y chwyldröad y mae y sylw a delir i hyny yn ddwyn oddiamgylch yn y wedd ag y mae hanesyddiaeth yn cael ei hastudio yn y dyddiau hyn. Mae meistroli drychfeddwl cyfnod, y gallu sydd yn ei greu ar ei lun a'i ddelw ei hun, yn anfesurol well na gallu ystwffio i gilfachau y côf ei fyrdd myrddiwn o ffeithiau. Yn y wedd yma y mae hyd yn nod hanes cyfeiliornadau yn ddyddorol a llawn o addysg; a llawer mwy y mae yn rhoddi i efrydiaeth uchel hanes yr eglwys ystyr a goleuni a dueddant mor gryf at wneuthur y neb a'i hastudio yn ddoeth a phur. I amcan y gweithiau hyn yr oedd peth felly ymron yn gwbl allan o'r cwestiwn. Ond mae y ddau waith yn dra gwerthfawr, ac yn hynod o gyfaddas i roddi i lïaws o'n cydwladwyr syniad am yr hanes helyntfawr sydd wedi bod i eglwys Crist. Mae y naill a'r llall yn dangos synwyr cryf a barn dda, ynghyd ag ymlyniad parchedig wrth y gwirionedd; a thra y mae y naill awdwr wedi dygwydd ei gael ei hun yn Annibynwr, a'r llall yn Fethodist Calfinaidd, mae pob un o'r ddau, mewn ëangder a chatholigrwydd, yn ei brofi ei hun yn deilwng o'r gymdeithas fawr "sydd ar wahân fel y tonau, eto yn un fel y môr."

*Emynau y Cysegr. Casgliad o Salmau a Hymnau: wedi eu dethol o Weithiau yr Awduron goreu, hen a diweddar; ynghyd a Chorganau ac Emynau Seisnig.* Dinbych: T. Gee a'i Fab.

Nid anghyffelyb ydyw y llyfr hwn "i rwyd a fwriwyd yn y môr, ac a gasglodd o bob rhyw beth." Y mae yn sicr o ran cyflawnder yn gasgliad yr holl gasgliadau. Cynwysa 2,687 o Emynau, heblaw y Corganau, ac y mae llyfr yn agos i bum' cant a hanner o dudalenau, wedi ei argraffu a'i rwymo yn ddestlus, ac i'w gael am swllt. Y mae y llyfr rhataf o lawer a ddaeth erioed allan o'r wasg Gymreig. Ac am nifer tra mawr o'r "Emynau" neu yr "Hymnau"—mae y ddau air yn cael eu ddefnyddio yn y teitl, ond heb fod yn amlwg am ba reswm—y maent o angenrheid-

rwydd yn dda, ac yn dda iawn, canys y mae y llyfr yn cynnwys y rhan fwyaf o lawer o'n hemynau mwyaf cymeradwy; ond am liaws o rai eraill a geir yma, mae yn anhawdd meddwl paham y rhoddwyd hwynt i fewn, oddieithr ar egwyddor yr "*omnium gatherum*," fel y boddhäer ychwaneg, ac y gwneler y llyfr "yn bob peth i bawb." Nid ydym yn gwybod pa un a fernir yn addas ei ddefnyddio yn rhai o gynnulleidfaoedd Cymru; fe ellid meddwl ei fod yn llawer rhy helaeth i hyny, heblaw fod y gwahanol ffurfiau a ddyry ar y pennillion sydd wedi eu cyfnewid yn peri fod yn anhawdd gwybod pa un o honynt i'w ddefnyddio; ac heblaw hefyd fod gan y gwahanol gyfundebau crefyddol eu casgliadau neillduol eu hunain â pha rai y maent wedi cynnefino, a chyhoeddiad pa rai a ddewisant gadw yn eu llaw eu hunain. Ond fel llyfr i'w ddarllen gartref y mae yn dra gwerthfawr, a hawdd genym gredu y daw felly yn hoffly fr gan laweroedd. Mae llawer o emynau gwerthfawr iawn wedi eu gadael allan o'n holl gasgliadau, a rhai eraill, digon sâl, ysywaeth, yn llanw y lle a ddylasent hwy gael. Ond yn y llyfr hwn yr ydys yn dra thebyg o gyfarfod y rhai hyny hefyd, os ceir yn ychwanegol nifer mawr nad oes odid neb a faliai am eu gweled. Am y llyfr a ddygwydd fod fynychaf yn ein dwylaw ni, yr ydym lawer gwaith wedi ei deimlo fel "anwiredd i'w gosbi gan farnwyr" fod y fath odlau â'r rhai canlynol wedi eu gadael allan o hono:—"Am Iesu Grist a'i farwol glwy';" "Archoffeiriad uwch na'r nefoedd;" "Iesu'n, Harchoffeiriad mawr;" "Diolch i Ti, yr Hollalluog Dduw;" "O f' enaid, gwêl addasrwydd;" "O pwy, all chwilio ddyfais Dwyfol glwy';" "Wele angeu llym ei gledd;" "Mae gelynion câs yn llu;" "Deffrowch fy holl serchiadau;" "Pan esgynodd 'r Hwn ddisgynodd;" "Af yn mlaen, a doed a ddelo;" "Wele'n chwysu'r dafnau gwaedlyd;" "Dôd gyfiawnder y Messiah," &c. Goreu po gyntaf i bennillion fel y rhai hyn gael eu hadferu at wasanaeth y Methodistiaid, canys ni allant fforddio gwneyd hebddynt. Y maent oll, fodd bynag, yn y llyfr newydd sydd o'n blaen ynghyd a llawer eraill; a dylai ei gydwladwyr deimlo yn ddiolchgar i Mr. Gee am eu diogelu mewn ffordd mor fanteisiol at eu gwasanaeth.

*Daniel Rowlands, Llangeitho.* Gan T. L.—*Nadolig Angel.* Wedi ei Gymreigio gan T. L.—*Drws y Bwthyn, a'r hyn a welais ac a glywais yno.* Wedi ei roddi yn Gymraeg gan T. L.—*Duw yn Geidwad.*—*Yr Arweinydd Dwyfol.*—*Cawodydd Bendith.* Llundain: Cymdeithas y Traethodau Crefyddol.
*Thomas a'i Geiniog.* Wrexham: Hughes a'i Fab.

MAE y llyfryn ar *Daniel Rowlands, Llangeitho,* yn gwneyd y pedwerydd o'r "Traethodau Bywgraffyddol" y mae Mr. Levi wedi ysgrifenu. Galwasom sylw o'r blaen at y llyfrau ar Syr Hugh Owen, Rhys Prichard, a Griffith Jones, Llanddowror. Da genym weled fod rhai eraill i ddilyn ar Howell Harries, William Williams, Thomas Charles, Christmas Evans, &c. Nid ellid meddwl am un ffordd fwy cyfaddas i wneyd enwau a gorchestion y cedyrn ag y mae genym fel cenedl gymaint o achos i fod yn falch o honynt na chyhoeddi eu hanes mewn llyfrynau prydferth, a hylaw, a rhadlawn fel y rhai hyn. Mae y darlun o Rowlands yn hardd iawn. Dylai miloedd lawer o'r llyfr fod yn nwylaw ein hieuenctyd. Mae *Nadolig Angel* a *Drws y Bwthyn* yn gyfieithiadau o lyfrau bychain deniadol a da a gyhoeddodd Cymdeithas y Traethodau yn Saesoneg, ac mae yn ammeuthyn gweled rhai mor ragorol a destlus i'w rhoddi yn nwylaw plant Cymru. Mae *Duw yn Geidwad, Yr Arweinydd Dwyfol,* a *Chawodydd Bendith,* yn becynau swllt o ddeuddeg cerdyn, fel y *Christmas* a'r *New Year Cards.* Mae yn foddhâd tra mawr gweled pethau mor hynod o brydferth wedi eu cyhoeddi yn Gymraeg. Da y gwnelai ein cenedl gyfarfod yn llawer mwy calonog barodrwydd a dymuniad y Gymdeithas ragorol hon i'n gwasanaethu trwy Mr. Levi. —Mae *Thomas a'i Geiniog* yn llyfryn destlus, difyr, a thra addysgiadol. Byddai yn dda iddo gael ei ddarllen gan filoedd lawer o ddeiliaid ein Hysgolion Sabbothol.

RHIFYN CLVIII.

# Y TRAETHODYDD.

## GORPHENAF, 1885.

CYNNWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF HYDREF 1, 1885.*

TREFFYNNON:
P. M. EVANS AND SON, CYHOEDDWYR.

PRIS DEUNAW CEINIOG.

# Y TRAETHODYDD.

## CANMLWYDDIANT YSGOLION SABBOTHOL CYMRU.

### I.

#### CYCHWYNIAD A CHYNNYDD YR YSGOLION.

MEWN erthygl ar Dr. Livingstone, yn fuan ar ol ei farwolaeth, dywedai Syr Bartle Frere ddirgelwch am dano gyda golwg ar amcan ei daith ddiweddaf yn 1865, nad oedd yn hysbys, dybygid, ar y pryd, i neb ond efe. Y mae yn gofus i'r darllenydd, o bosibl, ddarfod i'r doctor ar y daith hono alw yn Bombay ar ei ffordd i Affrica. Wedi glanio yno, bu o 1865 hyd 1872 heb i neb glywed gair am dano, a'r dybiaeth yn cynnyddu o hyd y rhaid ei fod wedi syrthio yn aberth i un o'r myrdd peryglon â pha rai yr ydoedd yn rhwym o fod yn wastadol wedi ei gylchynu. Ond er syndod a diolchgarwch, daeth y newydd i'r wlad fod ein cydwladwr Stanley, y pryd hwnw gohebydd neillduol y *New York Herald*, wedi dyfod o hyd iddo yn Ujiji, a'i fod ar gychwyn drachefn i wynebu yr un peryglon ag y buasai ynddynt yn ystod y saith mlynedd blaenorol. Cyn pen blwyddyn yr ydoedd un o glefydon marwol y wlad wedi ymosod arno a chael yr oruchafiaeth, er pob cadernid cyfansoddiad a gwroldeb ysbryd; a dygwyd ei gorff yr holl ffordd o'r canolbarth i'r glanau, gan ei weision ffyddlawn, ac oddiyno i Lundain, i orphwys yn dawel gyda gwroniaid glewaf ac enwocaf ein gwlad, yn mynachlog Westminster, hyd ganiad yr udgorn diweddaf.

Ond dyma'r dirgelwch. Dywed Syr Bartle fod pobl yn cwyno y pryd hwnw ei fod wedi cychwyn ar y daith hono heb ddyweyd wrth y byd pa beth oedd ganddo mewn golwg drwyddi, a'u bod am hyny yn analluog i farnu pa mor bell yr ydoedd wedi cwblhâu yr hyn a fwriadai. Pan yn aros gyda Syr Bartle yn Bombay, yn 1865, gofynodd ei westwr iddo pa beth oedd cynllun ei weithrediadau. Dywedodd y Dr. wrtho ei fod o bwrpas wedi peidio a chyhoeddi ei gynlluniau cyn gadael Lloegr, gan ei fod yn sicr y byddai raid iddo gilio o sylw Ewrop am lawer o fisoedd ynghyd, a'i fod yn bosibl wedi iddo gilio i galon Affrica y gwneid ymdrechion i'w gynnorthwyo, ond ei fod ef yn

awyddus i beidio cefnogi y fath gynnygiadau trwy unrhyw grybwylliad am ei fwriadau, tra yr ydoedd yn wrthwynebus naturiol i gyhoeddi cynlluniau, pa rai y gallai gael ei luddias i'w cwblhâu gan amgylchiadau anorfod ac anmhosibl eu rhagweled. Ond ei brif amcan, meddai wrth Syr Bartle, ydoedd cyflawni dymuniad Syr Roderick Murchison ar i derfynau afonbant *(basin)* y Nile gael eu dynodi; ac yr ydoedd ef yn bwriadu, ar ol penderfynu ar y dwfr-raniad rhwng afonbant y Nile a ffrydiau yn rhedeg i'r cefnfor yn ddeheuol a dwyreiniol, dilyn y dwfr-raniad o amgylch i holl ymyl y *basin*, ac felly, os yn bosibl, ddynodi y terfynau o fewn i ba rai y gallai teithwyr diweddarach chwilio *am y ffrydiau mwyaf penodol o'r miloedd adlifoedd a allent feddu yr hawliau uchaf i'r anrhydedd o fod yn darddiad i'r afon Nile.*

Ond yn hyn, fel yn ei holl ymgymeriadau, yr oedd darganfyddiadau daearyddol i fod yn hollol ddarostyngedig i amcanion uwch. Dymunai efe benderfynu dyrysbwnc mwy anhawdd daearyddiaeth Affrica yn syml fel darpariaeth angenrheidiol i ollwng goleuni i mewn i galon y cyfandir. Gwyddai y rhaid i'r teithiwr ragflaenu y masnachydd a'r cenadwr, ond edrychai efe ymlaen at yr oll a allai gyflawni fel darganfyddwr, yn benaf megys moddion defnyddiol tuag at ledaeniad Cristionogaeth a gwareiddiad. Ei amcan cyson ydoedd dyrchafiad yr hil Negröaidd yn Affrica. Yr oedd diddymiad y gaethfasnach a chaethwasaeth, cynnydd gwareiddiad a thrafnidaeth, yn ei feddwl ef yn is-wasanaethgar i bregethiad yr efengyl, yr hyn a olygai efe fel yr unig feddyginiaeth olliachäol i'r lliaws drygau sydd wedi bod yn dreftadaeth i Affrica am gynifer o oesau.

Megys ag y mae y teithiwr wrth sefyll ar lan afon ardderchog—yr hon oddiwrth y maintioli y mae wedi ei gyrhaedd sydd yn dyweyd wrtho am yrfa o amryw filoedd o filldiroedd, a'r hon nid yw yn ammeu sydd wedi ffrwythloni llawer gwlad eang neu sychu llawer dyffryn prydferth, heblaw bod yn gyfrwng cymundeb rhwng trefi mewndirol pellenig, a thrafnidaeth i boblogaeth fawr—yn naturiol gywreingar i olrhain y ffrwd i fyny i'w tharddiad, felly hefyd y mae ein cywreingarwch ninnau yn cael ei gynhyrfu yn naturiol i olrhain dilyniad Ysgolion Sabbothol Cymru, y rhai sydd wedi cynnyddu mor raddol, wedi cyrhaedd dadblygiad mor eang a threfnus, ac wedi sicrhâu y fath fendithion anmhrisiadwy i'r boblogaeth, hyd at y cynnulliad syml a diymhongar hwnw i'r hwn y maent oll yn ddyledus am eu bodolaeth. Ond nid boddloni cywreingarwch yw yr unig gymhelliad a ddylai ein hysgogi i chwilio am eu cychwyniad. Gall edrych ar y darlun hwn o'r hyn ydynt heddyw, a'r darlun acw o'r hyn oeddynt gan' mlynedd yn ol, esgor ar effeithiau daionus hefyd gyda golwg ar eu dadblygiad am gan' mlynedd ymlaen. Fel ag yr ydoedd Dr. Livingstone yn edrych heibio i gywreingarwch wrth chwilio am darddle y Nile—er ei fod yn cydnabod grym y teimlad hwnw—at lesoliad moesol a chrefyddol yr hil Negröaidd, felly hefyd amcan mawr adolygiad gorphenol ein Hysgolion Sabbothol ddylai fod eu perffeithiad yn y dyfodol. Wrth edrych yn ol, ceir mantais i sylwi ar y cynlluniau a ddefnyddiwyd tuag at eu lledaeniad, y modd y cyfaddaswyd hwy o dro i dro i gyfarfod amgylchiadau newidiol y ganrif, y llafur, y draul, a'r zel a ddangoswyd gan eu pleidwyr tuag at eu gwneyd yn effeithiol; ond ffrwyth penaf yr adgof o'r hyn a

wnaeth Duw drwyddynt yn yr amser aeth heibio ddylai fod ymgais i'w gwneyd, trwy ddylanwad ei Ysbryd Sanctaidd, yn foddion defnyddioldeb mwy yn y dyfodol. Sylweddolwyd prophwydoliaeth Adam Smith am danynt gyda golwg ar y ganrif sydd wedi myned heibio: "Nad oedd un cynllun yn addaw newidiad ar foes ac ymddygiad gyda'r fath hawsdra a symlrwydd er dyddiau yr Apostolion." A dylai y ffaith hon fod yn galonogiad i beri iddynt fod yn gyfryw hefyd gyda golwg ar y ganrif ddyfodol, a holl ddyddiau y ddaear.

Hyfryd fuasai gallu cyfeirio at ryw un sefydliad penodol o'r hwn y lliosogwyd yn ddifwlch yr hyn a adnabyddir heddyw fel y gyfundrefn o Ysgolion Sabbothol yn Nghymru. Pe buasai yr adeilad yn sefyll—bydded gapel, ysgoldŷ, neu ysgubor—diau y buasai yn wrthddrych sylw neillduol, a dynesasid ato gyda'r un teimlad ag y gwneir at fanau genedigaeth prif ddynion y byd. Hyfryd fuasai gallu cofnodi yn fanwl y dydd o'r mis yr agorwyd yr ysgol gyntaf, pwy oedd ei harolygwr, ei hysgrifenydd, ei holl athrawon, ynghyd a'r trefniadau y cytunwyd arnynt i ddwyn y gwaith ymlaen. Ond yn hyn oll ymddengys y rhaid i ni ymfoddloni i aros heb ein boddloni. Y mae dechreuad y gyfundrefn yn fwy tebyg i'r wawr wedi ymwasgaru ar y mynyddoedd, heb neb yn gallu cyfeirio yn benodol at y llecyn y cyffyrddodd y goleuni gyntaf â thiriogaeth y tywyllwch. Gwir yr enwir manau penodol lle y cynnaliwyd ysgolion ynddynt, hyd yn nod cyn dyddiau Mr. Charles, a rhai hefyd yn ei amser ef. Ond nid un o'r rhai hyn oedd dechreuad y gyfundrefn; ac y mae yn ammheus am lawer o honynt, er cael eu galw yn Ysgolion Sabbothol, a oeddynt yn ddim ond dosbarthiadau holwyddoregol ar aelodau ieuainc, ag sydd wedi bod yn rhan hanfodol o'r eglwys ymhob oes o'r byd. "Canys mi a'i hadwaen ef," meddai Duw am Abraham, "y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd." Ac y mae hyny yn ddiau yn cynnwys rhyw ddarpariaeth i'w haddysgu. Dyma ymddiriedaeth hefyd a gyflwynodd Moses ar derfyn ei oes i bob penteulu yn Israel, gyda golwg ar y gyfraith: "A bydded y geiriau hyn, yr ydwyf yn eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon, a hysbysa hwynt i dy blant (Saesoneg: *and thou shalt teach them diligently unto thy children*] . . . . a rhwym hwynt yn arwydd yn dy law; byddant yn rhagtalau rhwng dy lygaid." Gorchymyn yr Arglwydd Iesu i Pedr wrth ei adferu i'w swydd ar ol ei gwymp, ydoedd, "Portha fy ŵyn." "Ewch i'r holl fyd a dysgwch yr holl genedloedd," ydoedd ei gomisiwn i'r holl Apostolion pan yn esgyn oddiwrthynt i'w ogoniant. A dyma drefn yr eglwys hyd ddiwedd amser: "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon, i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist." Yr oedd Charles yn foreu yn ymhyfrydu mewn addysgu. Pan ei penodwyd i guradaeth Llanymowddwy, yn nechreu y flwyddyn 1784, adgyfododd yr hen arferiad da o gateceisio y plant bob prydnawn Sabboth, gyda llwyddiant neillduol, yr hyn, ynghyd a'i lafur ffyddlawn ymhob cylch arall, a fu yn achlysur i'w blwyfolion bydol a daearol anfon cwyn yn ei erbyn ef at y rheithor, yr hwn a roes rybudd iddo derfynu ei gysylltiad â'r plwyf ar y cyntaf o Ionawr, 1785. Ar ol tori ei gysylltiad â Llanymowddwy, ffurfiodd ddosbarth addysgol yn y

Bala, yn ei dŷ ei hun, ac wedi hyny yn y capel. Fel hyn y dywed ei fywgraffydd, y Parch. Edward Morgan, Syston, am dano yn y cyfwng hwn, sef ar ol colli curadaeth Llanymowddwy, a chyn ymuno â'r Methodistiaid yn haf 1785:—"Ni fynai ei feddwl gweithgar ei adael yn hollol ddiwasanaeth. Ennynwyd ei gydymdeimlad gan yr anwybodaeth oedd yn ffynu ymhlith yr ieuenctyd yn y Bala. Gwahoddodd hwynt i'w dŷ, i roddi iddynt hyfforddiant ysgrythyrol, ac i'w cateceisio. Ei ddiffyg gorchwyl a'i harweiniodd i'r llafur cariad hwn, yr hyn, y mae'n debygol, a barodd iddo ennill y chwaeth a'r cyfaddasder hwnw ato a'i gwnaeth ar ol hyny mor enwog, a'i lafur yn y ffordd hon mor lesol i'r holl wlad. Yr oedd ei ddull o drin y plant yn nodedig o hynaws, caruaidd, a dengar. Byddai y cariad a'r tynerwch gyda pha rai y cyfarchai hwynt, yn aml yn eu toddi i ddagrau; daeth ei dŷ yn fuan yn rhy fach i gynnwys y rhai a ddilynent. Cynnygiwyd iddo wasanaeth eu capel gan y Methodistiaid Calfinaidd, y rhai oeddynt y pryd hwnw, ac am lawer o amser ar ol hyny, mewn cysylltiad â'r Eglwys Sefydledig, megys ag yr oedd y Methodistiaid ar y cyntaf yn Lloegr. Derbyniodd y cynnyg hwn, ac yno yr addysgai ac y cateceisiai y plant lliosog a ddeuent ynghyd. Yr oedd y gwaith hwn yn hyfrydwch calon iddo. Dyma, mewn gwirionedd, ddechreuad Ysgolion Sabbothol, yn flaenorol mewn amser i unrhyw un a sefydlwyd yn Lloegr." Y mae un camgymeriad, o'r hyn lleiaf, yn y dyfyniad uchod; gan mai at ddechreuad y flwyddyn 1785 y mae yn cyfeirio, nis gallasai fod dosbarth Mr. Charles o flaen sefydliad Ysgolion Sabbothol yn Lloegr, yr hyn sydd sicr bellach a gymerodd le yn 1780. Nid oes brawf amlwg fod y dosbarth hwn o eiddo Mr. Charles yn Ysgol Sabbothol, yn ystyr briodol y gair. Nid oes grybwylliad fod ynddi drefniant i ddysgu darllen o gwbl, dim ond cateceisio, na chyfeiriad at un athraw ond efe ei hun; ac ni wyddys ychwaith a gynnaliwyd y dosbarth ymlaen, neu a drowyd ef i ffurf o ysgol gyffredinol wedi i Mr. Charles yn haf yr un flwyddyn ddechreu ar ei deithiau pregethwrol gyda'r Methodistiaid.

Yr unig ffaith ddilys ynglŷn â dechreuad y gyfundrefn o Ysgolion Sabbothol yn Nghymru, ydyw ddarfod iddynt gael eu dadblygu o'r ysgolion cylchynol a sefydlwyd drwy lafur ac ymroddiad diflino Mr. Charles. Pa un o'r ysgolion cylchynol a drowyd gyntaf yn Ysgol Sabbothol, nid ydym yn gwybod y gall neb benderfynu, nac ychwaith y dyddiad penodol y cymerodd hyny le. Y mae yn eithaf posibl, ac yn wir yn debygol, i'r trawsffurfiad pwysig hwnw, yr hyn a fu yn achlysur cyn hir i roddi gwedd newydd arnynt, ac a bery i'w nodweddu bellach holl ddyddiau y ddaear nyni a obeithiwn, gymeryd lle cyn terfyn y flwyddyn fythgofiadwy, 1785. Amcan Mr. Charles i ddechreu ydoedd sefydlu ysgolion cylchynol yn benaf i ddysgu darllen ynddynt, ar gynllun ysgolion y Parch. Griffith Jones, Llanddowror, y rhai a gychwynwyd yn y flwyddyn 1730, ond oeddynt cyn dyddiau Mr. Charles wedi darfod yn llwyr. Yn ystod ei deithiau drwy y wlad, canfu fod rhanau helaeth o honi wedi suddo i ddygnaf anwybodaeth. Mewn rhanbarthau eang ni cheid cynifer ag un o bob ugain o'r boblogaeth yn gallu darllen, ac am rai cymydogaethau byddai yn anhawdd cael un o gwbl mor bell a hyny ymlaen. Yr oedd efe wedi cael digon o

brofiad nad ydoedd hyd yn nod ei gateceisio yn ateb nemawr o ddyben, tra yr ydoedd pobl a phlant yn analluog i ddarllen. Er mewn amryw fanau fod llawer wedi cael eu hennill i gael pleser mewn gwrando yr efengyl, ac fel gwrandäwyr Ioan Fedyddiwr yn barod i lawenhau dros amser yn y goleuni, eto fe deimlai Mr. Charles eu bod yn rhwym o aros mewn anwybodaeth cymharol o'i gwir brydferthwch, nes iddynt allu darllen y Bibl drostynt eu hunain, ac i ryw foddion gael ei sefydlu i'w hegwyddori yn ei wirioneddau hanfodol. Wrth fyfyrio yn bryderus pa fodd i wella yr agwedd ddifrifol hon ar bethau, nis gallai, meddai ef, feddwl am ddim gwell cynllun na danfon ysgolfeistri i'r parthau mwyaf tywyll i addysgu yn rhad bawb a ddeuai atynt i ddarllen y Bibl yn eu hiaith, ac i'w hyfforddi yn egwyddorion cyntaf y grefydd Gristionogol. Dechreuodd gydag un ysgolfeistr, ond cynnyddodd y nifer cyn hir i ugain; ac am gyflog o £12 i £15 y flwyddyn, cylchdeithiai y fyntai hon o le i le, gan aros o chwech i naw mis ymhob cymydogaeth, nes cyn hir iddynt lanw y wlad yn lled gyffredinol o ddarllenwyr y Gair. Hawdd casglu fod llafur Mr. Charles yn ddifesur i gadw y cynllun hwn i weithredu. Efe fyddai i ddechreu yn penderfynu ar le i godi ysgol; ymwelai â'r trigolion i'w perswadio i wneyd defnydd o honi; yn aml iawn byddai ganddo i barotoi athraw at y gwaith; ymwelai drachefn a thrachefn â'r ysgol i galonogi yr athraw ac i gadw i fyny zel y bobl tuag ato, drwy roddi arddangosiad ffurfiol o'r effeithiau daionus ar y plant a rhai mewn oed drwy gateceisio yn gyhoeddus; ac mae yn bosibl mai y llafur penaf oll oedd casglu ynghyd yr arian angenrheidiol tuag at gadw yr holl beiriant i ysgogi, oblegid yn y gwaith hwn yr oedd y pwyllgor, y casglydd, yr ysgrifenydd, a'r trysorydd oll yn gorfod cyfarfod yn yr un dyn.

O'r sefydliadau hyn y cyfododd yr Ysgolion Sabbothol. Penderfynir y pwnc hwn tu hwnt i bob dadl gan eiriau Mr. Charles ei hun. Wrth ddesgrifio ei lafur mewn llythyr at foneddiges yn Lloegr yn 1796, dywed wrth son am un o'r ysgolion cylchynol: "Sefydlais hefyd Ysgolion Sabbothol a nosol, er mwyn y rhai oeddynt yn rhy brysur, neu yn rhy dlawd, i wneuthur defnydd o'r ysgolion dyddiol. Y mae y cynnygiadau a wnaethum yn y cyfeiriad hwn wedi bod yn rhyfeddol o lwyddiannus. Y mae y wlad wedi ei llenwi o ysgolion o ryw fath neu gilydd, ac addysgir y cyfan ar yr un pryd." Erbyn y flwyddyn 1811 yr ydym yn cael yr ysgolion cylchynol, fel tŷ Saul, yn myned wanach wanach, a'r rhai Sabbothol, fel tŷ Dafydd, yn myned gryfach gryfach. Fel hyn y mae efe yn egluro y cyfnewidiad hwn mewn llythyr at ysgrifenydd y Gymdeithas Gaelaidd yn Edinburgh: "Darfu i fy athrawon, fel yr oedd yr adnoddau yn cynnyddu, lïosogi o un i ugain; ond yn ddiweddar y mae y nifer wedi lleihau, gan fod yr angenrheidrwydd am ysgolion dyddiol yn darfod fel y llïosogir Ysgolion Sabbothol, ac y mae fy sylw yn cael ei dynu at ledaeniad y rhai hyn gymaint ag sydd bosibl. Yr ysgolion dyddiol cylchynol sydd wedi bod y moddion penaf tuag at gyfodi Ysgolion Sabbothol, oblegid heb y blaenaf yr oedd ystâd y wlad y fath fel nas gallasem gael athrawon i ddwyn ymlaen y rhai diweddaf; ymhellach, gosodwyd i fyny Ysgolion Sabbothol ymhob lle y buasai ysgolion dyddiol." Pa un a

oedd yn nghynllun Charles i sefydlu Ysgolion Sabbothol ynglŷn â phob ysgol gylchynol o'r cychwyn, sydd anhawdd ei benderfynu. Braidd na thybiem fod yr amgylchiadau yn ffafrio y golygiad mai drychfeddwl pellach ydoedd hwn, wedi ei awgrymu gan angenrheidrwydd pethau. *Necessity is the mother of invention.* Felly y bu gydag ysgol Jenkin Morgan (un o athrawon Madam Bevan) yn y Crawlom, ger Llanidloes, yn 1770. Ar y cyntaf nid ydoedd hono ond ysgol ddyddiol gylchynol. Sylwodd yr athraw cyn hir, er hyny, fod llawer o'r rhai mewn oed, oeddynt yn sychedu am wybodaeth, yn awyddus i ddilyn yr ysgol gyda'r plant, ond yn ei gael yn beth anghydnaws i ddilyn eu gorchwylion a'r ysgol yr un pryd. I gyfarfod â'u hachos, penderfynodd Morgan gynnal ysgol nosawl bob Mercher, lle y gallai pob oedran ymgasglu. Fel ag yr oedd deiliaid yr ysgol hon yn cynnyddu yn eu gwybodaeth, a'r chwaeth yn cynnyddu hyd yn nod wrth ei gyflenwi, er mwyn cyfarfod eu hawydd am fwy o wybodaeth ysgrythyrol, penderfynwyd cynnal ysgol ar nos Sabboth hefyd. Gan y byddai Jenkin Morgan yn absennol y rhan fynychaf ar y Sabboth ar ei deithiau pregethwrol, byddai y dynion a'r gwragedd ag y buasai efe yn foddion i'w haddysgu yn yr ysgol nosawl ar brydnawn Mercher, yn eu tro yn gwneuthur yr un gymwynas i'r rhai anllythyrenog oedd dan eu gofal yn yr Ysgol Sul. Fel hyn cychwynodd y sefydliad tra yr ydoedd efe eto yn aros yn eu plith, ond gyda phob darpariaeth a diogelwch iddo gael ei barhau wedi iddo symud ei babell i wasanaethu ar eraill gyda'i ysgol gylchynol. Y mae llythyrau Mr. Charles yn dangos yn eglur mai fel hyn y cychwynodd yr Ysgol Sabbothol gydag yntau; ac wedi iddo weled cyfaddasder y cynllun i ateb ei ddybenion penaf, fe ymroddodd â'i holl egni i'w ledaenu a'i berffeithio. Y mae geiriau y Parch. T. Jones o Ddinbych, un o'i fywgraffwyr Cymreig cyntaf, yn hynod o fywiog ar y mater hwn:—"Yn y Cyfarfodydd Misol, a Chymdeithasfäoedd Chwarterol y Methodistiaid Calfinaidd, pa le bynag a pha bryd bynag y byddai efe yn bresennol, anaml, am lawer o flynyddoedd, y byddai yn gadael i'r cyfleusdra ddianc, heb annog ei frodyr yn daer i roddi pob cynnorthwy o fewn eu gallu i hyrwyddo y gwaith ymlaen. Ni chaniatäwyd i'w annogaethau lliosog, serchog a bywiog, fyned heibio heb eu gwobrwyo. Cafodd allan ugeiniau, cannoedd, a miloedd o gynnorthwywyr ewyllysgar, yn ol eu hamrywiol alluoedd, y rhai ar y goreu nad oeddynt ond cyfyngedig, yn ngwahanol ranau y wlad; ac y mae pob lle i ddysgwyl y bydd ffrwyth lawer yn dilyn ymhen oesoedd i ddyfod. Hyd yma y mae y gwaith wedi bod yn myned ymlaen ac yn cynnyddu yn y Cyfundeb a grybwyllwyd; ac nid yn unig y mae cyrff Anghydffurfiol eraill wedi dangos zel gyffelyb, ond y mae yr Eglwys Sefydledig hefyd yn rhoddi allan ymdrechion ffyddlawn i'r un perwyl."

Ymholiad tra naturiol ynglŷn â sefydliad y gyfundrefn o Ysgolion Sabbothol yn Nghymru ydyw, Pa mor bell y darfu i sefydliad Ysgolion felly yn Lloegr rai blynyddoedd yn flaenorol ddylanwadu ar feddwl Charles o ran ei waith a'i gynllun ef? Fod y Saeson wedi cael y flaenoriaeth arnom yn nghychwyniad y gyfundrefn sydd erbyn hyn yn berffaith amlwg ac anwadadwy. Cytunir yn ddïeithriad i Raikes ddechreu ei ysgolion ef yn Gloucester yn 1780, tra na cychwynwyd rhai

Charles hyd 1785, a chymeryd y dyddiad boreuaf. Gan fod y Saeson wedi dathlu eu canmlwyddiad hwynt yn 1880, a rhai Ysgolion Cymreig wedi cyduno yn y llawenydd hwnw, y mae ymholiad pwysig arall yn dibynu ar yr uchod. A ydym fel cenedl yn cael ein cyfiawnhâu mewn cynnal dathliad Cymreig hollol ar wahân i eiddo y Saeson? Wrth edrych i mewn i holl amgylchiadau yr achos, yr ydym yn credu ein bod i'n cyfiawnhâu, a bod dechreuad y gyfundrefn Gymreig wedi cymeryd lle yn hollol annibynol ar y cychwyniad Seisonig. Un ystyriaeth sydd yn ein harwain i'r casgliad hwn ydyw, *fod amgylchiadau cychwyniad y ddwy gyfundrefn yn hollol wahanol.* Wedi'r cyfeiriadau a wnaed eisoes at y dull y dadblygwyd y gyfundrefn yn Nghymru o'r ysgolion cylchynol, bydd yr ychydig fanylion canlynol o hanes Raikes yn ddigon i osod y gwahaniaeth yn hollol eglur.

Yn y flwyddyn 1780, dywedir i Mr. Robert Raikes, yr hwn y pryd hwnw ydoedd ŵr digon dinod mewn cymdeithas, fyned i gyflogi garddwr i un o isdrefi dinas Gloucester, lle yr oedd y dosbarth iselaf o'r bobl, y rhai oeddynt, gan mwyaf, yn wneuthurwyr pinau, yn trigiannu. Nid ydoedd y dyn y daethai i'w gyflogi gartref ar y pryd, a thra yn aros ei ddychweliad, blinid ef yn fawr gan nifer o fechgyn tyrfus, truenus, a ymyrent â'i ymddyddan gyda gwraig y dyn ynghylch y neges ar ba un y daethai. Holodd a oedd y plant hyny yn perthyn i'r rhan hono o'r dref, a gresynai wrth eu trueni a'u seguryd. "Ah, syr," meddai y wraig, "pe gwelech chwi y rhan hon o'r dref ar y Sabboth, brawychid chwi yn wir; oblegid y pryd hwnw y mae yr heol wedi ei llenwi gan dorfeydd o'r trueiniaid hyn, y rhai y dydd hwnw, yn rhydd oddiwrth waith, ydynt yn treulio eu hamser mewn dadwrdd a therfysg, gan chwareu cis, a thyngu a rhegu mewn dull mor ofnadwy fel ag i gyfleu i unrhyw feddwl pwyllog ddrychfeddwl am uffern yn hytrach nag unrhyw le arall." Awgrymodd yr ymddyddan i Raikes y dymunoldeb o geisio rhoddi attalfa ar yr halogiad hwn o ddydd yr Arglwydd. Argraffwyd y gair "ceisio" mor rymus ar ei feddwl, nes ei arwain ar unwaith i ysgogi; ac ymhen llawer blwyddyn ar ol hyny sylwai wrth Joseph Lancaster, "Nis gallaf byth fyned heibio y llecyn y daeth y gair 'ceisio' mor rymus i fy meddwl, heb ddyrchafu fy nwylaw a'm calon i fyny i'r nefoedd mewn diolchgarwch i Dduw am roddi y fath feddwl yn fy mhen." Yma mae y gwahaniaeth yn amlwg. Ymhlith manylion eraill gallwn nodi mai anfoesoldeb darawodd sylw Raikes gyntaf; anwybodaeth, Charles: anfoesolaeth mewn dinas, a rhan o'r ddinas, i ddechre gyda Raikes; anwybodaeth wrth sylwi ar ran helaeth o'r wlad gyda Charles: peth sydyn ydoedd yr argraff ar Raikes; ond yr oedd cydymdeimlad Charles â chyflwr ei wlad yn ffrwyth blynyddoedd o brofiad a sylw.

Ystyriaeth arall ynglŷn â chychwyniad y ddwy gyfundrefn ydyw eu bod yn gwahaniaethu *yn y dull a gymerwyd i ddwyn oddiamgylch ddiwygiad.* Wedi i Raikes gael pedwar o bersonau oeddynt yn gyfarwydd âg addysgu plant i ddarllen, cyflogodd hwynt yn ol swllt yr un y dydd, i dderbyn ac addysgu y cyfryw blant ag a ddanfonai efe atynt, bob Sabboth. Yr oedd y plant i ymgasglu yn fuan ar ol deg yn y bore, ac i aros hyd ddeuddeg; yna yr oeddynt i ddychwelyd adref, ac ymgynnull drachefn am un, ac ar ol darllen gwers, i gael eu harwain yn drefn-

us i'r Eglwys. Ar ol gwasanaeth yn yr Eglwys, yr oeddynt i dreulio hyd hanner awr wedi pump mewn adrodd y *Catecism*, ac yna i'w gollwng, gyda gorchymyn i fyned tuag adref yn dawel, a pheidio ar un cyfrif a gwneyd unrhyw derfysg ar yr heol. Yn yr holl amgylchiadau hyn, nid oes dim i awgrymu fod Charles wedi benthyca ei ddrychfeddwl oddiwrth Raikes. Fel y gwelsom, dadblygiad o'r ysgolion cylchynol ydoedd Ysgolion Sabbothol Charles; ni sefydlodd efe unrhyw adeg a threfn benodol i'r Ysgolion ymgasglu; yn aml y pryd hwnw yn Nghymru, cynnelid Ysgolion ar nos Sabbothau. Nid ynglŷn â'r Eglwys Wladol y cychwynwyd hwynt yma, ond gydag Ymneillduaeth. A'r gwahaniaeth penaf oll o dan y penawd hwn ydyw gwirfoddolrwydd yr addysg o'r cychwyniad cyntaf; oblegid beth bynag am gyflog yr athrawon yn yr ysgolion cylchynol, nid oes un engraifft fod un athraw nac athrawes yn yr Ysgolion Sabbothol erioed wedi cael unrhyw gydnabyddiaeth arianol.

Gwahaniaetha y ddwy gyfundrefn hefyd *yn null eu lledaeniad*. Drwy gyhoeddi hanes yr Ysgolion yn y newyddiaduron y lledaenwyd hwynt yn benaf yn Lloegr. Raikes ydoedd perchenog a chyhoeddwr y *Gloucester Journal*, a thrwy y cyfrwng hwn yn benaf y gwnaeth efe yn hysbys i ddechreu ei gynllun rhagorol i wella cymdeithas. Y mae yn wir nad oedd ei ddyfeisgarwch yn brin o lunio cynlluniau eraill i roddi cyhoeddusrwydd iddynt. Ymhen dwy flynedd ar ol eu cychwyniad yn St. Catherine Street, gwahoddodd Raikes ychydig gyfeillion i foreubryd ato; yr oedd ffenestr yr ystafell lle yr oeddynt wedi ymgynnull yn agor i ardd fechan, ac yno y gwelwyd yn eistedd ar feinciau y naill uwchlaw y llall, blant yn yr Ysgol Sabbothol gyntaf, wedi eu gwisgo yn drefnus. Dangoswyd hwy o bwrpas i'r cwmni er mwyn ennill eu dyddordeb yn y cynllun. Mor ychydig, er hyny, ydoedd y gwerthfawrogiad o hono gan lawer ar y pryd fel y meiddiodd un chwaer o'r Crynwyr geryddu y dyngarwr yn y geiriau canlynol: "Gyfaill Raikes, pan y gwnei di elusen, 'na wyped dy law aswy beth a wnel dy law ddehau.'" Ond anghofiodd y foneddiges deg adnod arall ydoedd lawn mor gyfaddas i'r amgylchiad: "Llewyrched felly eich gweithredoedd da ger bron dynion, fel y gwelont hwynt, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Am dair blynedd cyfyngid lledaeniad yr ysgolion i'r gymydogaeth lle yr oedd Raikes yn byw; ond wedi dechreu cyhoeddi eu hanes yn y *Gloucester Journal*, daeth rhanau eraill o'r deyrnas i deimlo dyddordeb yn y symudiad. Cymerodd rhai o bapyrau Llundain y mater i fyny o'r *Gloucester Journal*, a thrwy gyhoeddi llythyr o eiddo Raikes at Colonel Townley, Stockport, yn y *Gentleman's Magazine*, yn egluro yn llawn holl fanylion y cynllun, ennynwyd zel mewn amryw ar hyd a lled y wlad i gychwyn sefydliadau cyffelyb. Mor wahanol yw hyn oll eto i ddull Charles o fyned ymlaen? Nid oedd ganddo ef un newyddiadur i ennill cydymdeimlad y wlad o'i blaid; ni chyfyngodd efe ei ymdrechion i un dref nac i un sir neillduol; ymwelai yn bersonol â phob cymydogaeth i gychwyn y sefydliad, a deuai oddiamgylch at bob un yn ei dro, i gadw i fyny y zel a'r ymroddiad. Byddai yntau hefyd yn gwneuthur arddangosiad i'r trigolion o'r daioni a effeithiwyd drwy'r ysgolion, ond nid i gwmni urddasol ar foreufwyd; yn hytrach yn yr addoldŷ, pryd yr ymdrechai wneyd y cynnulliad yn foddion gras i'r gwrandäwyr, a mynych yr ymwahanai'r

dorf o'r cyfarfodydd, gan deimlo mai da oedd iddynt ddyfod ynghyd, am fod Duw yn wir yn y lle.

Y mae hyn yn ein harwain at wahaniaeth mawr arall, a'r olaf a enwn rhwng cychwyniad y ddwy gyfundrefn, ac y mae hyn, dybygem, yn ddigon ynddo ei hun, i brofi fod yr un Gymreig wedi dechreu yn gwbl annibynol ar yr un Seisonig. Yr ydym yn cyfeirio at *y wedd fewnol neillduol sydd wedi nodweddu yr Ysgolion Cymreig o'r dechreuad.* Ysgolion i blant a sefydlodd Raikes, a chan mwyaf, os nad yn gyfangwbl, i blant tlodion. Nid oedd plant y dosbarth canol ac uchaf yn arfer eu mynychu am lawer o flynyddoedd, a phrin y mae neb o'r dosbarth diweddaf hyd y dydd heddyw yn dewis manteisio ar eu haddysg. Dysgu y plant i ddarllen, ac nid eu gwreiddio yn athrawiaethau mawrion Cristionogaeth, ydoedd nod penaf Raikes. Mor wahanol y mae wedi ac yn bod yn Nghymru gyda golwg ar yr holl fanylion hyny. Yma yr oeddynt o'r dechreuad yn ysgolion i'r holl boblogaeth. Gwir mai i blant y bwriadwyd yr ysgolion cylchynol yn benaf, ond achlysur arbenig sefydliad Ysgolion Sabbothol ydoedd er mwyn rhai mewn oed. Wedi dechreu ymgymysgu, nid hawdd eu gwahanu mwyach. Rhoes presennoldeb rhai mewn oed gymeriad neillduol i addysg yr ysgolion. Heblaw dysgu darllen, dechreuwyd cael blas ar *chwilio* yr Ysgrythyrau a deall manylion trefn yr iachawdwriaeth yn ei holl gysylltiadau. Ni feddyliai y plant am adael yr ysgol wedi iddynt ddysgu darllen yn weddol rwydd, ond edrychent ymlaen at gael eu codi i'r dosbarthiadau uchaf, i esbonio'r Bibl. Yn mharotoad y *Pwnc*— neillduolrwydd arbenig yr ysgolion Cymreig,—ac yn enwedig mewn ateb cwestiynau oddiwrtho, rhoddid lle i'r talentau a'r galluoedd uchaf i ddyfod i'r golwg; a thrwy fod hyn oll yn cael ei ddwyn ymlaen ar g'oedd yr holl Ysgol, yr oedd yma ddigon o symbyliad i gydymgais, fel mai nid yn aml y byddai'r gwasanaeth yn ymollwng o herwydd diffyg dyddordeb. Ac mor aml hefyd, yn llaw holwyddorwr o ddawn, zel, a naws ysbrydol, y byddai holi'r *Pwnc*—pa un bynag ai pwnc o athrawiaeth ai mater ymarferol—yn codi yr holl Ysgol i hwyl nefolaidd, yn foddion argyhoeddiad i liaws o eneidiau o'r newydd, ac nid yn anfynych, fel y tystia amryw o lythyrau Charles, yn gychwyniad diwygiad crefyddol i effeithio ar ranau helaeth o'r wlad, yn ystod yr un ymweliad, gan Ysbryd yr Arglwydd.

Er nas gellir penderfynu y mater tu hwnt i bob dadl, y mwyaf tebygol yw na wyddai Charles am fodolaeth yr Ysgolion Seisonig pan y dechreuodd ef ar ei waith. Yn 1783 y dechreuodd yr ysgolion ymledu yn gyffredinol hyd yn nod yn Gloucester; yr oedd wedi myned yn ddiwedd y flwyddyn hono cyn i bapyrau Llundain godi yr hanes am danynt o'r *Gloucester Journal*, ac ni chyhoeddwyd llythyr Raikes at Colonel Townley yn y *Gentleman's Magazine* hyd 1784. Yr ysgol gyntaf a sefydlwyd yn Llundain ydoedd ynglŷn âg addoldŷ newydd y Parch. Rowland Hill, y *Surrey Chapel*, ac y mae rhyw gymaint o ammheuaeth pa un ai yn 1784 ai yn 1785 y bu hyn. Ond y mae yn eithaf sicr na chynnyddasant yn gyflym hyd nes y dechreuodd Mr. Thomas Cranfield, hen filwr dychweledig, ar ei lafur cariad tua diwedd 1791. Os clywsai Charles am danynt o gwbl, o Lundain, y mae yn fwyaf tebygol, y cymerasai hyny le. Ond nid oedd efe wedi dechreu gwneuthur ymweliadau â'r Brifddinas yn 1785, ac nid oedd lledaeniad newyddiad-

uron a misolion Seisonig mor gyffredin yn Nghymru ag ydyw yn ein dyddiau ni. Gwir y dywedir fod y Parch. W. Williams, Glangwenlas, yr hwn a sefydlodd Ysgolion Sabbothol yn Cilycwm ger Llanymddyfri, yn Llanbrynmair, ac Aberystwyth, yn hysbys o ysgolion Raikes; ond y mae rheswm da am hyny yn y ffaith iddo fod yn aros yn Bristol cyn dechreu llafurio yn y maes hwn yn ngwlad ei enedigaeth. Ni thybir, er hyny, iddo gychwyn yr ysgol yn Cilycwm cyn 1785, a sefydlwyd rhai Llanbrynmair ac Aberystwyth, yn sicr, rai blynyddoedd yn ddiweddarach. Ond un o'r rhesymau cryfaf dros y ddamcaniaeth na wyddai Charles yn 1785 am fodolaeth yr Ysgolion Seisonig, ydyw y ffaith nad oes un cyfeiriad, hyd yr ydym yn cofio, at sefydliadau ein cymydogion yn un o'i lythyrau na'i weithiau. A rhoddi yr holl ystyriaethau hyn at eu gilydd, y mae yma gadwen gref o brawf amgylchiadol fod Ysgolion Sabbothol Cymru yn hollol frodorol o ran tarddiad yn gystal ag o ran eu nodweddion mewnol.

Wrth edrych ar gychwyniad yr Ysgolion Sabbothol yn Nghymru, un peth neillduol sydd yn taro pob sylwedydd meddylgar ydyw y cynnydd cyflym a wnaethant yn ystod y blynyddoedd cyntaf. Mae yn wir fod gan y sylfaenydd a'i gydweithwyr zelog rwystrau lawer i'w gorchfygu, yn enwedig yn yr arbrawf cyntaf o honynt; ond wedi i'r gwrthglawdd hwnw gael ei symud, y mae y llifiad yn symud ymlaen yn gryfach o herwydd croniad y dyfroedd gan y gwrthwynebiad cyntaf. Dylid priodoli hyn, nid i ymdrechion Charles yn unig, ond i'r ffaith fod y wlad wedi ei pharotoi *i waith* yn nheyrnas ac amynedd Crist Iesu ein Harglwydd. Gwelir hyn ynglŷn â'r sefydliadau Seisonig yn gystal a'r rhai Cymreig. Hanner can' mlynedd cyn trefniant yr Ysgol Sabbothol gan Raikes, yr oedd diwygiad mawr y ganrif o'r blaen wedi dechre trwy'r byd Cristionogol yn bur gyffredinol. Yn 1729 y dechreuasai Jonathan Edwards bregethu ei bregethau athrawiaethol a diwygiadol yn America; yr un modd James Rolee yn Ysgotland yn 1740, a Christian David hefyd ymhlith y brodyr Morafaidd. Yn 1732 cawn ychydig o efrydwyr ieuainc Rhydychain, yn treulio o chwech hyd naw o'r gloch am chwe' noswaith yr wythnos, i ddarllen ac ystyried y Testament Groeg, ac i ymddyddan am brofiad crefyddol. Mae yn wir y gelwid hwynt yn "Glwb Duwiol," yn "Bryfaid Biblaidd," ac yn "Benboethiaid Biblaidd;" ond eu desgrifiad hwy eu hunain o'u hamcan—a hwnw yn unig erbyn heddyw sydd yn sefyll—ydoedd, eu bod wedi ymffurfio yn gymdeithas "er mwyn ymweled â'r carcharorion a'r cleifion i'w cynnorthwyo, i ddosbarthu Biblau a llenyddiaeth grefyddol, i egluro'r Catecism i blant teuluoedd tlodion, ac i estyn swllt neu ychwaneg i'r teuluoedd hyny lle canfyddent wir angen." Dyna ddechreuad y Diwygiad Methodistaidd yn Lloegr.

Cyffelyb hefyd ydoedd agwedd pethau yn Nghymru pan y cychwynodd Charles a'i fyntai o wirfoddolion allan ar eu hymgyrch ddyngarol. Yr oedd Howell Harris a Rowlands o Langeitho wedi dechre cynhyrfu y wlad i wrando'r efengyl er 1735, ac o hyny hyd gychwyniad yr Ysgolion yr oedd yr oddaith sanctaidd wedi ymledu dros y Dywysogaeth,

O Lanandras i Dŷddewi,
O Gaergybi i Gaerdydd.

Wedi i'r dychweledigion gael eu cynhyrfu gan gariad Crist i weithio drosto, a chael eu cyfeirio at y maes neillduol hwn fel cyfleusdra i ddangos eu cariad, a'u boddloni hefyd nad oedd yn un anghysondeb â chysegredigrwydd y Sabboth i addysgu yr annoeth ar ddydd yr Arglwydd, ond yn hytrach ei fod y dyrchafiad uchaf ar ei amcan arbenig—gan fod y Sabboth wedi ei wneuthur er mwyn dyn, ac nid dyn er mwyn y Sabboth—nid oedd angen mwyach yn Nghymru, fel yn Lloegr, i ddarparu trysorfa tuag at dalu i athrawon ac athrawesau am eu llafur. Eu harwyddair hwy bellach oedd, "Derbyniasom yn rhad, rhoddwn yn rhad." O herwydd y diffyg hwn, fe lesgäodd y gwaith yn Lloegr o dro i dro, mewn llawer man, nes yn y flwyddyn 1800, megys ar ddamwain, drwy gyfrwng y brodyr Wesleyaidd, iddo syrthio i ddwylaw ymroddgar yr egwyddor wirfoddol. Ffaith hynod ynglŷn â'r Ysgolion Seisonig ydyw iddynt ballu, hyd yn nod yn Gloucester ei hunan, am ryw gyfnod, a hyny yn ystod bywyd Raikes. A'r unig reswm am hyny, dybygid, oedd diffyg mabwysiadu yr egwyddor wirfoddol. Pan yr ymgynghreiriodd y chwe' gwŷr ieuainc hyny â'u gilydd, o fewn ugain llath i'r llecyn y llosgwyd y merthyr Hooper, i ailsefydlu, deued a ddelai, Ysgolion Sabbothol yn Gloucester, ac i'w dwyn ymlaen heb dâl na chydnabod, ni welwyd pall arnynt mwyach. Rhoes y teimlad hunanol a masnachol le i deimlad o haelfrydedd a chysegredigrwydd; ac nid fel gweision cyflog yn dyheu am derfyn y dydd, y gwelid myntai fawr o athrawon ac athrawesau mwyach yn dwyn y gwaith ymlaen, ond oddiar y cymhelliad o allu ennill cymeradwyaeth yr Athraw mawr, "Da, was da a ffyddlawn," ac fel y gellid dyweyd ganddo Ef am bob un, "Yr hyn a allodd hwn efe a'i gwnaeth."

I ddylanwad yr egwyddor wirfoddol yn Nghymru, o'r cychwyn, y mae i'w briodoli yn benaf, y cynnydd cyflymach a wnaeth yr Ysgolion yma o'i gymharu â Lloegr, a'r cyfartaledd uwch a gyrhaeddodd yr aelodau i rif y boblogaeth yn ebrwydd wedi dechreu, yr hyn hefyd sydd wedi ei gadw i fyny hyd heddyw. Y mae y ffigyrau yn gosod y Dywysogaeth allan i fantais amlwg iawn. Yn y flwyddyn 1833, cyfartaledd yr aelodau i'r boblogaeth yn Lloegr a Chymru—ac yn hyn y mae Lloegr yn cael mantais o undeb â Chymru—ydoedd 11 y cant. Ond yn Nghymru ei hunan yr ydoedd yn 20·27 y cant. Yn 1851, yn Lloegr a Chymru eto, nid ydoedd ond 13·8 y cant, tra yn Nghymru ei hunan yr ydoedd yn 1846—bum' mlynedd yn flaenorol—yn ol cyfrif Dirprwywyr y Llyfrau Gleision, yn 26 y cant. Erbyn 1880 nid oeddynt yn Lloegr yn meiddio hawlio, ar antur heb gyfrif, ond oddeutu 15 y cant, tra y ceir drwy gyfrif manwl yn Nghymru fod y cyfartaledd yn 34·1. Yn nghynnydd cyflym a chyffredinol yr Ysgolion yn ein gwlad, braidd na thybiem glywed adsain o'r oes Apostolaidd am gynnydd yr eglwysi yn cael ei wirio hefyd am danynt hwythau: "A gair Duw a gynnyddodd; a rhifedi y dysgyblion yn Jerusalem a gynnyddodd yn ddirfawr;" a thrachefn, "A gair Duw a gynnyddodd ac a amlhaodd;" a thrachefn, "Mor gadarn y cynnyddodd gair yr Arglwydd, ac y cryfhaodd."

Ar derfyn can' mlynedd cyntaf ein Hysgolion Sabbothol a gwawriad yr ail, pe gofynid i ni am rhyw *un* nodwedd arbenig yn ein tadau ag sydd yn deilwng o'n hefelychiad ni yn y dyddiau hyn, ni phetrusem ddyweyd mai yr un hwnw ydyw, *eu llafur diorphwys, a'u hymroddiad*

*diflino i ddwyn y gwaith ymlaen.* Felly y mae Charles yn cael ei gadw yn nghof y genedl yn benaf, fel gweithiwr dihafal. Felly yr adnabyddid ef gan ei gydoeswyr, ac yn y cymeriad hwnw y gosododd ei ddelw yn annileadwy ar ei oes. Sonid am dano fel un yn codi yn fore i wneuthur daioni; dilynai ymlaen gyda'i orchwyl mewn cysondeb; mewn teithiau yn fynych, drwy y wasg, drwy y pulpud, drwy yr areithfa, ceisiai hyrwyddo lles uchaf ei genedl ymhob cyfeiriad; treuliodd ac ymdreuliodd i addysgu, i athrawiaethu, i hyfforddi mewn cyflawnder; a phan y bu farw yn yr oedran cymharol gynnar o 58 mlwydd oed, teimlad dibetrus y wlad ydoedd iddo dreulio, ac nid rhydu allan. Beth bynag am natur ei athrylith, yr oedd yn athrylithgar tu hwnt i bob dadl, yn ol deffiniad Carlyle o athrylith—"an immense capacity for painstaking." Rhai felly hefyd ydoedd ei gydweithwyr. Heblaw yr enwau sydd wedi ymddyrchafu yn ddigon uchel i gael lle ar lechres hanesiaeth y wlad yn y cysylltiad hwn—megys y Parchn. Ebenezer Richard; Owen Jones, o'r Gelli; a Lewis Williams, Llanfachreth—yr oedd y tô o athrawon cyffredin yr oes o'r blaen yn ddynion llawn zel ac ymroddiad gyda'r Ysgolion Sabbothol. Yr ydoedd yn uchelgais gan lawer o wladwyr cyffredin a mynyddig i fod yn offerynau i gychwyn Ysgolion Sabbothol mewn lleoedd newydd, ac nid yn unig i'w cychwyn, ond i'w gweled yn tyfu fel y gronyn o had mwstard, nes dyfod yn bren mawr. Canmolai Charles yn ddïeithriaid yr ysgolfeistri cylchynol oedd yn ei wasanaeth fel dynion llawn zel ac ymroddiad i'w gwaith. Yn nathliad y canmlwyddiant, dymunol gan hyny fyddai rhoddi cyfleusdra arbenig iddo yn yr adgof o hono, "er wedi marw, gael llefaru eto," i gynhyrfu yr oes bresennol i weithgarwch. Fel ysbryd John Brown yn "ymdaith ymlaen," i hyrwyddo egwyddorion rhyddid gwladol, er wedi gadael y babell bridd, felly hefyd bydded i ysbryd gweithgar Charles o'r Bala a'i gydoeswyr gael ei adgyfodi ar ddechre pob canrif newydd o barhâd ei Ysgolion Sabbothol hyd ganiad yr udgorn diweddaf, i ailennyn y dawn nefol hwn yn ein cydwladwyr.

Na wawried y ganrif na'r flwyddyn byth pan fydd Cymru wedi colli ei choron fel y wlad fwyaf goleuedig mewn gwybodaeth grefyddol o bob gwlad ar wyneb y ddaear. Yr Ysgol Sabbothol yn ddiau yw y cyfrwng mwyaf pwrpasol i ddiogelu hyn; ond ni ellir hebgor gwasanaeth yr ysgolion dyddiol hyd yn nod yn Nghymru. Er fod cyfartaledd deiliaid yr Ysgolion Sabbothol, o'i gymharu â'r boblogaeth, yn uchel yn Nghymru, eto y mae yn rhaid addef fod cannoedd a miloedd yn y gweithfeydd poblogaidd yn rhwym o ddianc heb dderbyn gair o addysg ysgrythyrol, oni cheir ef yn yr ysgolion dyddiol. Y mae llawer o rieni yn eithaf boddlawn i'w plant dderbyn y cyfryw addysg, ond nid oes ganddynt ddigon o zel i'w sicrhâu drwy eu hanfon i'r Ysgol Sul. Gwyddant fod yn *rhaid* i'w plant ddilyn yr ysgol ddyddiol; ac am lawer o honynt, teimlent yn fwy boddhäol i *raid* arall, o fyned o dan gwrs o addysg Ysgrythyrol pe mabwysiedid ef yn yr ysgolion, nag i'r rhaid o orfod mynychu yr ysgol o gwbl. Y mae ger ein bron yn awr *syllabus* o'r cwrs o addysg Ysgrythyrol a fabwysiadwyd gan Fwrdd Ysgol Liverpool yn 1875, ac yr ydym yn llwyr argyhoeddedig mai bendith fawr fyddai mabwysiadu cynllun cyffelyb gan bob Bwrdd Ysgol yn

Nghymru. Bob bore wrth agor yr ysgol, cenir hymn, yna ymunir yn y weddi neillduol i'r diwrnod, yr hon a ddilynir gan Weddi yr Arglwydd. Ar ol hyny rhoddir addysg grefyddol yn unol â'r "Cwrs o Wersi" a dynwyd allan gan y Bwrdd. Ar derfyn yr ysgol yn y prydnawn hefyd, cenir hymn, yn cael ei dilyn gan y weddi brydnawnol am y dydd, yn diweddu gyda Gweddi yr Arglwydd. Y mae'r gweddïau yn meddu amrywiaeth mawr—un dosbarth yn gyfaddas i syniadau y babanod, a'r llall i'r safonau uchaf. Yn y "Cwrs o Wersi," trefnir rhanau neillduol o'r Hen Destament a'r Newydd i'w darllen o flwyddyn i flwyddyn, ac adnodau i'w dysgu allan a'u hadrodd o'r cof. I'r *Pupil Teachers* a'r *Monitors*, mae y cwrs yn llawer uwch a mwy trwyadl; prin y gofynir mwy gan ymgeiswyr am y weinidogaeth yn ein plith ni. Nis gellir yn hawdd amgyffred beth raid fod effeithiau daionus y fath gynllun. Y mae yn rhoddi yn llaw yr athrawon un o'r offerynau mwyaf cyfaddas tuag at sicrhâu dysgyblaeth dda yn yr ysgolion, ac i wreiddio y plant yn nechreuad eu ffordd mewn moesoldeb uchel, heb son am grefydd. Gyda'r hymn a'r weddi, cychwynir gwaith y dydd mewn defosiwn; ac yn yr addysg Fiblaidd sydd yn dilyn caiff yr athraw fantais na cheir ei chyffelyb oddiwrth unrhyw wers-lyfr arall i addysgu y plant mewn geirwiredd, gonestrwydd, ufudd-dod, a'r holl ffrwythau cyfiawnder sydd yn tarddu o "ddechreuad doethineb," yr hyn yw "ofn yr Arglwydd." Yn ngwyneb y cydymgais mawr fydd yn Nghymru bellach am gael holl amser y plant at addysg fydol, dyledswydd arbenig pawb sydd yn caru eu lles tragywyddol ac uchaf, fydd ceisio hyrwyddo, ymhob ffordd gyfreithlawn, eu cynnydd mewn gwybodaeth Ysgrythyrol.

Nis gallwn, ar ddiwedd hyn o sylwadau, grynhoi ein hannogaethau i weithgarwch gyda golwg ar ddyfodol addysg grefyddol ein gwlad, yn well na thrwy fabwysiadu ymadroddion cryfion, ond hapus gŵr ag y mae lles uchaf ei wlad wedi bod bob amser yn agos at ei galon. Mantais, dybygem, i'w eiriau gael ystyriaeth ddyladwy ein holl ddarllenwyr, fydd i ni ychwanegu fod eu hawdwr yn llenwi un o'r swyddi uchaf yn eglwys Crist, yn meddu syniadau uchel am, a pharch mawr i'n Hysgolion Sabbothol, a chyn yma wedi dyrchafu ei neillduolion ger bron Saeson a Chymry, yn ei araeth agoriadol fel llywydd un o'n Heisteddfodau Cenedlaethol. Mewn llythyr at yr ysgrifenydd, yn attegu ei sylwadau, mewn cyfrwng arall, ar y dymunoldeb o gael undeb a chydweithrediad yr holl enwadau yn Nghymru, nid yn unig yn y dathliad canmlwyddol, ond hefyd i ddarparu ar gyfer addysg grefyddol Cymru yn y dyfodol, dywed:—

"Y mae buddiannau goreu ein gwlad yn gofyn am leihâd o'r arwr-addoliaeth a'r eiddigedd enwadol sydd yn ffynu. Dyoddefa y rhan oreu a mwyaf sylweddol o'r gwaith crefyddol yn y tir, oddiwrth yr awyrgylch o gystadleuaeth gyda pha un y mae yn cael ei gylchynu. Y dyn, pa un bynag ai â phin neu â'r genau, ag sydd yn llafurio i drwytho meddyliau arweinwyr y bobl gydag amcanion uwch a dymuniadau rhagorach nag y gall yr eiddigedd enwadol hwn byth ei gynnyrchu, ydyw yr hwn sydd yn teilyngu oreu i gael ei alw yn Gristion a gwladgarwr. Y mae angen dwys am weithredu yn y pwnc. Diau fod ein Hysgolion Sabbothol yn lliosocach, a'r nifer sydd yn eu dilyn yn fwy nag mewn dyddiau a aethant heibio—yr hyn y mae rhai o honom yn ei gofio; ond teimlwyf y gwesgir fi i'r grediniaeth boenus nad yw y gwaith a gyflawnir mor sylweddol ag ydoedd ddeg ar hugain neu ddeugain mlynedd yn ol.

Y pryd hwnw yr ydoedd yn addysg Ysgrythyrol ddiledryw. Diogelai eu hysgoleigion, y pryd hwnw, iddynt eu hunain swm rhyfeddol o wybodaeth Fiblaidd. Yr oedd yr aradr-was, y llaeth-forwyn, y crefftwr gwledig, y dynion a'r bechgyn oedd yn dilyn yr amrywiol alwedigaethau, y pryd hwnw yn ysgoleigion Biblaidd gwirioneddol a allent sefyll arholiad pur galed. Cynnyrchai efrydu *un* llyfr ffrwythau rhyfeddol. Darparai yr ymarferiad ardderchocaf i'r meddwl; cyflenwai y dealltwriaeth oedd yn galluogi y bobl i gymeryd gafael yn, dirnad, a meddiannu, y gwirioneddau a leferid gan eu hathrawon. Ni fynwn wneuthur na dyweyd dim a gymhellai ysbryd cecrus, beirniadol, yn ein cynnulleidfäoedd; ond byddai hyny yn well na chael y gynneddf feirniadol yn analluog neu yn anfoddlawn, i gael ei galw i ymarferiad. Y mae rheidrwydd didosturi, yn codi yn benaf o anymddiried yn y naill y llall, wedi alltudio addysgiaeth grefyddol o'n hysgolion dyddiol; o hyn y tardd yr angen mawr am wneyd ein Hysgolion Sabbothol mor effeithiol ag sydd bosibl. Ni byddant byth yn foddion effeithiol o feithriniaeth grefyddol heb i'n hathrawon gael eu hyfforddi yn ofalus; nis gellir cymeryd gormod o ofal gyda hwynt.

Y mae materion cysylltiedig â'r Dywysogaeth—materion yn terfynu ar gadwraeth gwirionedd efengylaidd, ar ein rhagorfreintiau Protestanaidd, ar holl fywyd ysbrydol y genedl, ag sydd yn hawlio ystyriaeth ddwys pob dyn da. A ydyw yn rhy ddiweddar i wneuthur yr arbrawf o ddwyn ynghyd ychydig o arweinwyr mwyaf blaenllaw a chyfarwydd gwahanol gyrff crefyddol y Dywysogaeth, i ymgynghori ar agwedd bresennol crefydd yn ein gwlad, ac i awgrymu rhyw foddion i roddi mwy o fywyd yn y darpariaethau lliosog ond tra anelwig tuag at gynnydd moesol a chrefyddol sydd ar hyn o bryd mewn gweithrediad? Gall Cymru fod yn unedig i ddybenion eraill—megys er mwyn hyrwyddo addysg uwchraddol, lledaeniad yr Ysgrythyrau, darparu cyfryngau er mwyn dadblygu galluoedd deallol y genedl, ac amaethiad ei harchwaeth gerddorol. Ai ynglŷn â materion yn perthynu i'w chrefydd yn unig y rhaid i wahaniad ac ymddyeithriad fodoli? Po fwyaf diwylliedig a sylwgar y daw y genedl, mwyaf fydd y drwg a ddeillia o hyn. Nid oes angen aberthu egwyddor i ddwyn oddiamgylch gyfnewidiad. Y mae effaith ein hymraniadau ar ein Hysgolion Sabbothol, yn enwedig yn achos ein dynion ieuainc sydd yn brochi yn erbyn rhwymau gyda phenderfyniad cynnyddol fel y mae blynyddoedd yn myned ymlaen, pa un bynag a yw y rhwymau hyny yn codi o'r cartref ai o'r eglwys, yn boenus o fawr. Mae y dyddiau yn beryglus. Ceir yr hyn oedd yn nhysbys yn Nghymru ddeugain mlynedd yn ol yn gweithio ei ffordd, ac yn aflonyddu ar feddyliau ein hieuenctyd—yn arwain i ddadblygiad ammheugarwch, a'r hyn sydd weithiau yn teilyngu enw garwach. Clywir y taclau angori, oedd yn dal ein cyndadau, yn clecian. Y mae yn ein tir ddadleuwyr hyfforddus i Anffyddiaeth. Ein diogelwch, o dan fendith Duw, yw gwneuthur ein Hysgolion Sabbothol yn allu ac yn ffaith."

DAVID EVANS.

*Gelligaer Grammar School.*

---

II.

LLAFUR YR YSGOL SABBOTHOL I'W DDWYN YMLAEN MEWN YSBRYD CARIAD.

Nid oes dim yn amlycach nag fod yn rhaid i'r Ysgol Sabbothol, fel pob sefydliad daionus arall, wrth lafur mewn trefn i fod yn llwyddiannus. Nid gyda dwylaw plethedig a llygaid cauedig y llwyddir i ddadwreiddio y drain, braenaru braenar, a hau had gwerthfawr, yn y byd moesol mwy na'r byd naturiol. Tra yn diolch i Dduw ac yn cymeryd cysur wrth ganfod cymeriad uchel amryw o Ysgolion Sabbothol ein gwlad, ofnwn fod llawer ydynt yn rhy debyg i faes y diog, am ba

un y dywedai Solomon, "Wele, codasai drain ar hyd-ddo oll; danadl a guddiasai ei wyneb ef; a'i fagwyr geryg a syrthiasai i lawr." Nid oes ond un feddyginiaeth ar gyfer y rhai diffygiol hyn, a'r feddyginiaeth hono yw *llafur;* ond rhaid yw iddo fod yn llafur o rywogaeth uchel, nid amgen *llafur cariad.* Heb ysbryd cariad, ni bydd ond llesgedd gwanychol yn nodweddu holl waith yr Ysgol Sabbothol. Mae o bwys mawr cofio hyn yn wastadol, sef fod effeithioldeb yr Ysgol yn dibynu braidd yn hollol ar yr ysbryd a fyddo yn gweithio ynddi a thrwyddi. Perygl mawr yr Ysgol Sabbothol yn gystal a'r pulpud, yw cyflwyno crefydd i sylw y meddwl fel rhyw draddodiad difywyd, yn lle fel gwirionedd bywiol. Os am gyrhaedd y galon, nid mewn dull peiriannyddol yr ydys i weithredu; yn ofer yr arferir y geiriau mwyaf dewisol i'r pwrpas yma, os na fydd y galon i'w theimlo yn y geiriau. Yn yr Ysgol Sul yr ydys yn amcanu planu yn y meddwl ieuanc egwyddorion bywiol a fyddant iddo yn amddiffyn, yn gynnaliaeth, ac yn arweiniad, trwy fywyd i anfarwoldeb; ac, yn sicr, nid trwy gwrs o addysgiaeth beiriannyddol y llwyddir i wneyd hyn, ond yn hytrach trwy ddylanwad calon ar galon. Nid peth y gellir ei gyfranu rywsut yw gwirionedd yr efengyl; nid peth y gellir ei daflu megys o law i law ydyw; ond peth y rhaid i'r deall ei dderbyn, a'r galon ei deimlo, a pheth y rhaid i'r holl ddyn fod dan ei ddylanwad. Fel yr erys y gronyn gwenith yn ddiffrwyth hyd oni syrthio i'r ddaear, felly erys gair y gwirionedd yn farw a dieffaith hyd oni chaffo le yn y galon. Rhaid gan hyny i addysg Ysgrythyrol gael ei chyfranu mewn ffordd a fyddo yn tynu sylw, yn agor deall, ac yn ennill calon y dysgybl, mewn trefn iddi gael y dylanwad priodol arno. Mor bwysig yn ngwyneb hyn yw fod gwaith yr Ysgol Sul yn cael ei ddwyn ymlaen mewn ysbryd priodol.

Yma dymunem ddangos mai yr ysbryd a sicrhâ lwyddiant ac effeithioldeb yn ngwaith yr Ysgol ydyw *ysbryd cariad.* Rhaid wrth bethau eraill, wrth gwrs; megys deall da, a medrusrwydd mewn cyfranu addysg; ond heb yr ysbryd hwn, bydd yr eneiniad a'r nerth sydd i wneyd y cwbl yn effeithiol, yn eisieu. Gall yr athraw yn yr Ysgol Sul ddywedyd yn ngeiriau yr Apostol,—"Pe llefarwn â thafodau dynion ac angylion, ac heb fod genyf gariad, yr wyf fel efydd yn seinio, neu symbal yn tincian; a phe byddai genyf brophwydoliaeth, a gwybod o honof y dirgelion oll, a phob gwybodaeth; a phe b'ai genyf yr holl ffydd, fel y gallwn symudo mynyddoedd, ac heb genyf gariad, nid wyf fi ddim."

Heb ysbryd cariad *nis gall yr athraw ddysgu crefydd Crist yn briodol i'w ddosbarth.* Hanfod Cristionogaeth yw cariad. Y mae yr egwyddor hon nid yn unig yn amlwg yn mywyd a dysgeidiaeth Crist, ond hefyd yn ymdaenu fel goleuni llydan y nefoedd dros y grefydd oll. Cariad yw Gwrthddrych goruchel y grefydd hon,—"Duw cariad yw;" a chariad yw perffeithrwydd ei holl foesoldeb,—"cyflawnder y gyfraith yw cariad." Pob gorchymyn o'i heiddo, nid yw ond agweddiad a dadganiad o gariad. Pob gair a lefarodd, a phob cam a roddodd ein Harglwydd, a gymhellwyd ac a gyfarwyddwyd gan yr egwyddor ardderchog hon. Pa fodd y gall yr athraw, gyda'r Efengylau yn ei ddwylaw, roddi syniad iawn am danynt i'w ddosbarth, heb fod ysbryd Gwrthddrych mawr yr Efengylau wedi meddiannu ei galon? Y mae yr athraw i

arwain ei ddysgyblion at y Groes,—yr arddangosiad uchaf o gariad hunanaberthol; y mae i'w dysgu nad ydynt i fyw iddynt eu hunain, ond i Dduw; ac y mae i'w cyfarwyddo i wneuthur ewyllys Duw, nid mewn ysbryd hunangeisiol, ond oddiar gariad mabaidd; a pha fodd y gall efe wneuthur hyn yn effeithiol heb ei fod ef ei hun yn byw ar y tir uchel yma, ac yn gorfforiad byw megys o'r egwyddor hon o gariad?

Ymhellach, ysbryd cariad *a alluoga Gristionogion i lafurio fel y dylent* yn a chyda'r Ysgol Sul. Hyn a rydd gyfeiriad iawn i'w gweithrediadau, ac a rydd zel ac yni ynddynt yn nghyflawniad eu dyledswyddau. Meddylier am foment am waith yr athraw,—gwaith ag y mae iddo yr amcan uchaf mewn bod, sef tröedigaeth ac adeiladaeth y rhai sydd o dan ei ofal. I allu ymaflyd, heb son am ddal gafael, yn y fath orchwyl, rhaid i'w galon fod yn llosgi o gariad at Grist ac at eneidiau. Y cariad hwn yn unig a'i galluoga i ymddwyn fel y dylai tuag at ei ddysgyblion; hwn a rydd gyfeiriad i'w weddïau ar eu rhan, i'w barotoadau ar eu cyfer, i'w ffordd o gyfranu addysg iddynt, ac i'w holl ymwneyd â hwynt.* Heb ysbryd cariad bydd yn anhawdd i'r athraw *ymgadw gyda'i waith.* Fel llong na fyddo yn cael ei gyru gan ager, ond yn ddyledus i'r gwynt, felly fe fydd yntau yn ymddibynu ar amgylchiadau, ac nid ar un egwyddor lywodraethol. Y mae gwaith yr athraw yn gofyn am ysbryd hunanymwadol a dyfalbarhaol. Bydd mewn perygl yn aml o deimlo yn siomedig a digalon gyda'i ddosbarth; oblegid er ei holl ymdrechion i ennill eu sylw a'u dysgu, cyferfydd â llawer o bethau ynddynt i brofi ei amynedd. Fe allai pan y bydd efe yn eu cynghori, neu yn egluro rhyw wirionedd pwysig iddynt, y byddant hwy yn ddisylw, yn edrych o'u cwmpas, neu yn siarad â'u gilydd. Egwyddor cariad yn unig a'i galluoga i ymgodi uwchlaw digalondid o'r fath yma, ac a'i gwrola i ddal yn ffyddlawn gyda'i waith. "Y mae cariad yn hirymaros; y mae yn dyoddef pob dim, yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, yn ymaros â phob dim." Yr un egwyddor fendigedig ag a wna i athrawon i fod yn "sicr a diymmod," a'u galluoga hefyd i fod yn "*helaethion* yn ngwaith yr Arglwydd." Os na bydd cariad at waith, byddys yn fuan yn blino gydag ef, ac fel ambell i "weithiwr hur" lled ddiles, yn pwyso yn fynych ar ei raw, ac yn gofyn yn aml beth fydd hi o'r gloch. Ond lle byddo cariad at y gwaith, a'r cariad hwnw â'i sail yn nghariad Duw, ni chlywir na chŵyn na son am flino. Nid yn ddiog a musgrell, ac nid gyda llygad wasanaeth ychwaith y llafuria gwir gariad; ond yn hytrach, pa beth bynag a wnel, efe a'i gwna o'r galon, ac â'i holl egni. Mr. Charles o'r Bala a ddywedai:—"Fy rheol am lawer o flynyddoedd yw, i amcanu at bethau mawrion; ond os na allaf gyflawni pethau mawrion, i wneuthur yr hyn a allaf, a bod yn ddiolchgar am y ffyniant lleiaf, a phara i fyned ymlaen heb ddigaloni yn ngwyneb dydd

* "What element of usefulness is more important to teachers than a real, earnest love for those to whom they minister? It will labour in prayer for them. It will direct their whole utterance in actual teaching. It will lead to an observation and understanding of their individual characters and particular temptations. It will cultivate an affectionate intercourse with them,—call out their personal confidence and grateful regard,—and make the teacher known to them as their real and beloved friend. It is a blessed spirit, both as an instrument in the teacher's hand, and a dweller in the teacher's heart. It must be sought, watched over, and encouraged by every teacher."—H. S. Tyng, New York.

y pethau bychain, neu aflwyddiant annysgwyliadwy. Yr wyf wedi ei osod i lawr am flynyddau yn rheol i'm harwain, i beidio rhoi lle i fyny mewn anobaith o lwyddiant. Os na bydd dyn yn llwyddo, rhaid arfer moddion newydd; ac os na welaf lwyddiant y flwyddyn hon, fe allai y gwelaf y flwyddyn nesaf. Dymunwn o'r braidd dynu ffwrdd y gair annichonadwy o'm geiriadaeth, a'i ddileu o feddyliau fy mrodyr." Yr ysbryd nefol a nerthol hwn, yr hwn a weithiai mor rymus yn yr enwog Charles, a ddymunem weled yn llenwi ein Hysgolion Sul. Gyda'r ysbryd hwn deuai llafurio gyda'r Ysgol yn *fwynhad o'r fath hyfrydaf.* Y mae llawer ydynt yn gweithio yn galonog, ac yn cael eu gwobr; y maent yn "ddedwydd yn eu gweithred;" a phe dychymygai y lleill sydd yn diogi mor fawr yw y daioni sydd i'w gael, mae yn sicr na safent draw.

Ysbryd cariad eto, *a rydd i athrawon ddylanwad ar y rhai sydd dan eu gofal.* Nid oes dim yn ad-dynu fel cariad; a gellir bod yn sicr na all yr athraw wneyd dim o'r plant hebddo. Mae yn ddywediad cyffredin fod plant yn nodedig am eu gallu i adnabod dynion; fel yn reddfol darllenant deimladau pobl yn eu gwynebau, a hynod mor fuan ac mor sicr y deuant i wybod pwy yw eu cyfeillion. Nis gall yr athraw gyrhaedd calon y plentyn os na theimla ei fod yn ei garu. Nis gellir casglu eneidiau trwy nerth braich. Gall y Bwrdd Ysgol gasglu plant trwy nerth cyfraith; ond rhaid i'r athraw yn yr Ysgol Sabbothol gasglu a chadw ei ddosbarth trwy nerth cariad. Nid mewn arddangosiad o awdurdod y mae ei nerth ef. Eithr fe ddywed rhyw un, "Mae yn rhaid cadw plant dan awdurdod." Dywedwn ninnau: Os mynir gwneyd hyny yn effeithiol, rhaid iddynt deimlo fod rhwymau cyfeillgarwch o'u hamgylch, ac mai eu lles penaf sydd gan yr athraw mewn golwg. Nid yw yn nghalon plentyn beidio caru y sawl a'i caro. Todda ei galon ac ystwytha ei ewyllys o dan belydrau serch a thynerwch. Dylai fod gan yr athraw edrychiad serchog yn wastad i'r plentyn, a gair caredig i'w galonogi yn ei dipyn brwydr bywyd, oblegid i'r bach y mae yn un galed a phwysig. Gofynwyd i athraw nodedig o lwyddiannus, pa fodd y cawsai efe y fath ddylanwad ar y rhai ieuainc oedd dan ei ofal. Yr atebiad oedd, fod ei holl ymwneyd â hwy yn ddangosiad o serch didwyll; a hyn oedd dirgelwch ei lwyddiant. Edrycher ar dynerwch yr apostol Paul:—"Ni a fuom addfwyn yn eich mysg chwi, megys mammaeth yn maethu ei phlant. Felly gan eich hoffi chwi, ni a welsom yn dda gyfranu â chwi, nid yn unig efengyl Duw, ond ein heneidiau ein hunain hefyd, am eich bod yn anwyl genym." Ond uwchlaw pawb, edrycher ar esiampl ein Harglwydd bendigedig. Mor briodol y darlunia y prophwyd ef:— "A'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes." O am fwy o'i ysbryd yn athrawon ein Hysgolion Sabbothol yn gyffredinol.

Ysbryd cariad, eto, a geidw yr athrawon a'u dosbarthiadau rhag dylanwad *marweiddiol y cynnefindra hwnw â'r gwirionedd* sydd mor niweidiol i'r galon. Mae modd cynnefino, ie, hyd at ddideimladrwydd hollol, gyda'r gwirioneddau pwysicaf. Gall y geiriau mwyaf cysegredig ddyfod i gael eu defnyddio heb ystyr; a dichon i *realities* ysbrydol digon cyffrous i godi'r marw fyned i gael siarad yn eu cylch a darllen am danynt gyda difaterwch hollol. Onid oes miloedd yn ein gwlad

wedi myned i'r cyflwr hwn,—wedi caledu dan y gair, a'r Bibl wedi myn'd iddynt "fel peth heb ddim?" Ac y maent felly, nid am eu bod yn anghredu y gwirionedd, ond am eu bod wedi cynnefino â'i ddarllen ac â'i wrando heb ystyriaeth ddyladwy o'i werth a'i bwysigrwydd. Yn lle ei fod yn troi yn faeth i'w hysbrydoedd, y mae fel ymborth da yn aros yn annhreuliadwy, ac felly yn myned yn faich llethol yn lle yn feithriniaeth iachusol. Y mae yn ffaith ddifrifol i feddwl am dani, y gall "bywiol Air Duw" gael ei wneyd yn ddieffaith hollol, o ddiffyg bywyd a theimlad yn yr athraw fo yn ei ddysgu; a phan y mae Ysgolion Sabbothol yn cael eu llenwi âg athrawon cysglyd a difraw, y mae lle i ofni eu bod y pryd hwnw yn gwneyd mwy o niwed nag o les.* Nid oes dim a geidw ein Hysgolion Sabbothol rhag y fath ddirywiad gofidus ond ysbryd cariad. Rhaid i'r athrawon deimlo eu bod yn genadau dros Grist at y cynnulleidfäoedd bychain sydd dan eu gofal, ac y gall tragywyddol heddwch y cyfryw fod yn dibynu ar eu hymdrech hwy i'w goleuo a'u dychwelyd. A phan y gafaelir yn y gwaith gyda'r ysbryd hwn, fe deimlir ei ddylanwad bywiocäol yn y dosbarthiadau. Ni chaiff caenen oer a chaled o ddideimladrwydd fantais i ymffurfio am eu hysbrydoedd gwresoglawn; ond fel y daw anadl fywiol gwanwyn i adnewyddu wyneb y ddaear, felly y daw dylanwad deffröawl yr ysbryd hwn i beri bywyd newydd yn y dosbarthiádau. Pwy na ddymunai, yn iaith y prophwyd, "O anadl, tyred!"

Ysbryd cariad, eto, a sicrhâ yr *unoliaeth dedwydd hwnw mewn teimlad ac amcan* sydd mor angenrheidiol i wir lwyddiant yr Ysgol Sabbothol. Y mae peth amrywiaeth yn ngwaith yr Ysgol, ond un yw ei hamcan, a hwnw yn ddim llai na chael y rhai a ddysgir ynddi i adnabyddiaeth achubol o Dduw ein Hiachawdwr. I gyrhaedd yr amcan, rhaid egluro y gwirionedd iddynt; yn flaenorol i hyny, rhaid eu dysgu i'w ddarllen; ac er eu dysgu yn hyn, rhaid eu dysgu i adnabod y llythyrenau a sillebu. Y mae y naill waith mor angenrheidiol a'r llall i gyrhaedd yr amcan; a chyn y gellir ei gyrhaedd rhaid cael cydweithrediad cyson ymhob rhan. I fod yn llewyrchus, rhaid i'r holl ysgol fod o "un galon ac un enaid;" rhaid cael yr un ysbryd i dreiddio drwy'r cwbl o'r gwaith; yr athraw sydd yn dysgu y wyddor i'r rhai bach, i deimlo ei fod yn llafurio i'r un amcan â'r hwn sydd yn egluro'r gwirionedd i rai wedi tyfu i fyny; neb yn grwgnach, ond pob un yn gweithio yn llawen yn ei gylch oddiar gariad at yr un amcan mawr. Dan ddylanwad cariad yn unig y daw yr Ysgol Sabbothol i fod yn un peirianwaith trefnus, gyda phob olwyn a phin yn eu lle, a'r oll yn cydweithio yn llyfn a nerthol i amcan eu gosodiad. Gofaler gan hyny yn gyntaf dim am feithrin yr ysbryd hwn ynddi. Dymunem weled yr eglwysi yn gyffredinol yn ei wneyd yn fater neillduol i fagu a meithrin ysbryd cariad yn yr Ysgolion Sul. Hyderwn ein bod yma wedi llwyddo i ryw fesur i ddangos yr angenrheidrwydd mawr sydd am dano. A gawn ni yma daer ofyn ar bleidwyr yr Ysgol Sabbothol i wneyd hyn yn

* "The great danger of Sunday Schools is that they will fall into a course of mechanical teaching. . . . . . So great is my dread of tame, mechanical teaching, that I am sometimes almost tempted to question the utility of Sunday Schools. We, Protestants, in our zeal for the Bible, are apt to forget that the very commonness of the book tends to impair its power, that familiarity breeds indifference, and that no book, therefore, requires such a living power in the teacher."—CHANNING.

destun eu gweddïau ar ei rhan, ac yn nôd eu hymdrechion o'i phlaid? Gobeithiwn nad oes angen cymhell i hynyma. Os edrychir yn ystyriol ar amcan yr Ysgol Sabbothol, ynghyd a'i hanes gogoneddus, yn sicr ni bydd raid wrth gymhellion wedi hyny. Nid yw ei *hamcan* yn ddim llai na'r hyn a gymhellodd Fab Duw i adael gorsedd nef, pabellu ymhlith dynion, a dyoddef angeu y groes,—sef cadw eneidiau. Ac O, y fraint annhraethadwy a gynnwysir yn hyn: cael bod yn foddion yn llaw Duw i ddarparu eneidiau i fywyd o ddefnyddioldeb uchel yn y byd hwn, ac i ogoniant bythol yn y byd a ddaw! Onid yw meddwl am hyn yn ddigon i danio y galon oeraf?

Am *hanes* y sefydliad o'i gychwyniad hyd yn awr, digon yw dywedyd fod miliynau wedi eu bendithio a'u gwneyd yn fendith trwyddo. Pwy o ddarllenwyr y TRAETHODYDD nad yw yn ddyledus iddo? Onid yw yr Ysgol Sabbothol wedi bod fel "pren bywyd" yn parhaus ffrwytho er iechyd a chynnaliaeth ysbrydol i ni fel cenedl? Onid yw ein gwlad wedi ac yn medi cynauaf gogoneddus o'i llafur hi? Ac nid ein gwlad ni yn unig,—oblegid erbyn hyn y mae ei llinyn wedi myned agos trwy yr holl ddaear, a'i geiriau grasol hyd eithafoedd byd.

Edryched ein heglwysi gyda llygad clir ar amcan dyrchafedig yr Ysgol Sabbothol, a sylwant ar y daioni annhraethol a wnaeth ac a wna; a diau y teimlant ei bod yn hawlio i'w gwasanaeth gyda hi y cariad gwresocaf a'r zel fwyaf angerddol. Cariad,—yr egwyddor fawr sydd yn Alpha ac Omega trefn iachawdwriaeth, a'r ysbryd sydd yn treiddio trwy yr oll o wir grefydd,—a ddymunem weled, ac a raid gael i fod yn ysgogydd, yn gynnalydd, ac yn nerth bywyd, yn nygiad ymlaen waith yr Ysgol Sabbothol.

CHARLES DAVIES.

*Liverpool.*

---

III.

## CANU YR YSGOL SABBOTHOL.

Nid oes un ammheuaeth nad oes gwir angen am ddiwygiad gyda chaniadaeth yr Ysgol Sabbothol. Y mae y rhan hon o'r gwaith yn y nifer amlaf o amgylchiadau yn cael ei gyflawni yn hollol farwaidd a diamcan. Rhoddir pennill allan ar ddechreu yr Ysgol naill ai gan yr arolygwr neu gan y neb fo wedi ei benodi i ddechreu, heb unrhyw ragfeddwl, na chydag un amcan arall ond i gyflawni defod arferedig. Ni fydd gan ond ychydig o'r ysgolheigion lyfr; ychydig o honynt fydd wedi dyfod ynghyd, a nifer bychan iawn o'r rhai hyny a wnant un ymdrech i ganu; a llai o'r ychydig hyny drachefn fydd yn teimlo yr hyn a genir, nac yn derbyn ond odid un lles drwy y cyflawniad. Mewn llïaws o Ysgolion, y mae pennill neu ddau yn cael ei ganu ar ganol yr Ysgol, gan dybied, mae'n debyg, y bydd hyny yn tori rhyw gymaint ar drymder y llafur yn y dosbarthiadau, ac y cedwir rhai ag oeddent ar fin cwsg rhag syrthio yn hollol i'w afaelion. Ychydig o fywyd fydd yn y canu hwn drachefn; nid oes amser i amcanu at

ei gynnyrchu o ran hyny, ac nid oes ond ychydig yn meddwl fod i'r cyflawniad hwn un amcan uwch na'r un a nodwyd, sef cadw yr Ysgol yn effro.

Mewn rhai amgylchiadau lle y mae y plant yn cael eu dysgu ar wahan, y mae mwy o sylw yn cael ei dalu i'r canu. Gŵyr y rhai sydd yn llafurio gyda hwynt fod yn *rhaid* talu sylw arbenig i'r canu os ydys am gadw dylanwad ar y plant. Ond yn y goreu, hyd yn nod o'r ysgolion hyn, y mae yn ddiau fod modd gwneyd y canu yn llawer mwy effeithiol i ateb ei ddyben priodol nag y mae yn awr.

Ond pa beth ydyw ei ddyben priodol? Pa amcan ddylai fod mewn golwg wrth gyflawni y rhan yma o'r gwaith? A pha foddion ddylid eu harfer tuag at gyrhaedd yr amcan hwnw? I geisio ateb y cwestiwn hwn, edrychwn yn y lle cyntaf ar Ysgol yr hon mewn oed, ac yn ail, ar Ysgol y plant yn unig, ac yn olaf ar Ysgol yn yr hon y mae yr addysg yn cael ei gyfranu i bob oedran yn yr un ystafell. Nid oes un ammheuaeth yn meddwl yr ysgrifenydd nad ar eu penau eu hunain y dylai y plant fod pan yn cael eu dysgu. Y mae presennoldeb pobl mewn oed, ac yn enwedig rhyw ddosbarth arbenig o'r cyfryw, y dosbarth hwnw na fuont erioed yn blant eu hunain, neu os buont, nad oes neb o'u cydnabod, a llawer llai hwynt eu hunain, yn cofio hyny; y mae presennoldeb y cyfryw rai, yn ddiau, yn ei wneyd yn annichonadwy i fyned yn ddigon agos at y plant fel ag i wneyd argraff briodol ar eu meddyliau ieuainc. Ond y mae yn ddiammeu y bydd y pwnc hwn a rhai eraill cyffelyb yn cael eu dwyn ar y bwrdd gan ysgrifenwyr eraill. Edrychwn ar y canu gan hyny, yn y lle cyntaf, fel y dylai fod yn Ysgol,

1. *Y rhai mewn oed.* Mynych y clywir yr ymadrodd mai iaith teimlad ydyw cerddoriaeth. Ac yn wir iaith teimlad ydyw. Os na fydd yn ffrwyth teimlad, a thuedd ynddo i gynnyrchu teimlad, nid ydyw yn wir gerddoriaeth o gwbl. Os oes lle i gerddoriaeth gan hyny yn yr Ysgol Sabbothol, y mae rhywbeth a wnelo yr Ysgol âg amaethu y teimladau yn gystal a'r deall. Mae lle i ofni fod hyn yn rhy fynych yn cael ei anghofio. Tybir mai goleuo y pen, amaethu y deall, esbonio, athrawiaethu, a phyncio ydyw prif os nad holl waith yr Ysgol Sabbothol. Nid wyf am roddi i fyny i neb ar bwysigrwydd yr amaethiad deallawl hwn; nid ydym eto wedi teimlo ond ychydig iawn o'i bwysigrwydd. Ac yr wyf yn mawr lawenhau fod rhyw gymaint o gyffro yn Ysgolion Sabbothol ein gwlad er codi y rhan yma o'r gwaith i fwy o sylw. Pan ddaw daearyddiaeth gwlad Canaan a llenyddiaeth y Bibl yn ei holl ganghenau i gael mwy o sylw, pan ddaw ein Hysgolion i astudio llyfr Duw gyda mwy o drefn a phenderfyniad gonest i'w ddeall, mwyaf oll fydd ein parch iddo a'n gwerthfawrogiad o hono. Ar yr un pryd, nid yr amaethiad deallawl hwn ydyw unig na phrif waith yr Ysgol Sabbothol. Ni charwn weled y dosbarthiadau yn rhai *exegetical* hollol. Nid wyf am adael amaethiad y galon yn gyfangwbl i'r pulpud. Mae teimlo i fod ynglŷn â dysgu yn y dosbarth yn gystal ag yn y pulpud. Nid wyf yn hoffi yr athronyddu hwnw ar bynciau crefydd ar wahan oddiwrth bob teimlad. Os ydym am drin ar Berson Crist, gwneler hyny nes ein dwyn i'w addoli a'i garu. Yn wir y mae pob amaethiad deallawl yn ddiffygiol os bydd yn

terfynu yn y deall. Mae y deall i fod yn ddarostyngedig i'r serch; i wasanaethu arni. Yr *Emotions* ac nid yr *Intellect*, wedi y cyfan, ydyw y rhan uchaf o'r dyn. Os felly, y mae addysg yr Ysgol Sabbothol i gael ei gyfranu yn y fath fodd fel ag i gyffroi y serchiadau, i gynhyrfu y teimladau, i ryw fesur; ac os felly, y mae cerddoriaeth yn yr Ysgol i fod yn gyfrwng dadganiad a chyffroad y teimladau hyny.

Credwyf y dylai fod rhyw gydrywiaeth yn holl waith yr Ysgol; ac felly dylai y canu wasanaethu yr un amcan mawr â'r addysg yn y dosbarth. Os astudio Person Crist yr ydys yn y dosbarthiadau—a diau mai cyd-astudio yr un pwnc neu gyfran o'r Bibl gan yr holl ddosbarthiadau gyda'u gilydd sydd oreu o lawer—dylai y pennillion a genir fod yn yr un cyfeiriad, hyd y bo modd. Dylid eu dewis gan berson cymhwys, a hyny gyda meddylgarwch priodol, eu darllen yn ofalus a chyda theimlad dwys, a phawb eu canu yn ystyriol. I'r dyben hwn dylai pawb fod yn ei le mewn pryd. Pa bryd y gellir dysgu y wers hon i ni fel cenedl—prydlondeb? Y mae yn werth myned i drafferth fawr yn yr Ysgol Sabbothol i ddysgu y wers hon; y mae musgrellni gyda hyn, ymysg pethau eraill, yn andwyo moliant Duw yn nechreu ein cyfarfodydd, a byddai yr Ysgol Sabbothol yn lle manteisiol iawn i geisio cael diwygiad yn hyn. Dylid ymdrechu cael canu gwir dda, effeithiol a chyffredinol, yn nechreu yr Ysgol; canu ar yr hyn sydd i fod yn destun ymdrafodaeth yn y dosbarthiadau; canu nes byddo'r galon wedi ei chynhesu, ac y byddo pawb yn teimlo yn awyddus i wybod mwy am yr hyn sydd i fod dan sylw; a'r gwybod mwy hwnw drachefn yn adgyffroi y teimlad, nes bydd y canu yn y diwedd yr un mor fywiog ac adeiladol, ac yn fwy felly, os gellir, nag yn y dechreu.

Yn awr y mae yn anmhosibl i'r canu ateb y dyben daionus hwn heb fod pawb yn medru y geiriau a'r dôn yn dda, neu eu bod yn gallu darllen y naill neu y llall yn rhwydd, neu bob un o'r ddau. Os byddys mor ffol a rhoddi geiriau anadnabyddus allan, pan nad oes gan ond ychydig o'r bobl lyfrau hymnau, neu os dechreuir tôn nad oes ond ychydig o'r bobl yn ei medru, nis gellir dysgwyl un math o adeiladaeth drwy y gyfryw ganu.

Ond ai nid lle cyfleus iawn ydyw yr Ysgol Sabbothol i ddysgu tonau newyddion? Wel, os na cheir cyfleusdra arall, gwell cymeryd ychydig o amser—ychydig, meddaf, ac ychydig iawn—yn yr Ysgol i fyned dros dôn fyddo dipyn yn ddyeithr, yn hytrach na'i chanu yn afler yn yr odfa a pheryglu andwyo pob addoliad. Ond credwyf y dylid bod yn bur ochelgar gyda hyn. Gellir gwneyd niwed mawr hyd yn nod i achos y canu trwy ei lusgo i mewn ar adegau anmhriodol a'i gario ymlaen fel ag i fod yn faich ar rai; ac y mae rhai, fel y mae gwaetha'r modd, nad oes ganddynt flas ar ganu. Yn y dyddiau hyn pan y mae dysgu elfenau cerddoriaeth syml yr addoliad yn beth mor hawdd, dylai pobl ieuainc pob Ysgol fod wedi bod am dymmor yn yr ysgol gân ar noson waith; dylent fod wedi dysgu canu tonau syml ar yr olwg gyntaf yn weddol dda; a phan fyddo tôn newydd i gael ei chanu yn yr Ysgol Sabbothol fel rhagbaratöad i'w chanu yn yr addoliad cyffredinol, dylid rhoddi ychydig o fynydau yn ychwaneg at hyny, a dylai copi o'r dôn fod yn nwylaw pawb; dylai y nifer fwyaf fod yn alluog i ganu eu rhan allan ar unwaith, ac ni raid gwneyd hyny ond ychydig o weithiau,

o dan arweiniad person cymhwys, na fydd y dôn i'w chlywed yn soniarus yn bedwar llais, ac y bydd yr holl Ysgol yn teimlo pleser yn y gwasanaeth, ac ond odid yn profi y dôn yn gyfrwng hyfryd i arllwys allan y teimladau fo'n cael eu dadgan yn y geiriau. Ond cofier ni ddylid gwneyd hyn yn aml. Mwy o gamp ydyw cael canu da ar y tonau a'r geiriau sydd yn adnabyddus, na dysgu tonau newyddion yn sych gywir. Perygl y rhai a elwir mewn modd arbenig yn gantorion ydyw dymuno byth a hefyd i ddysgu tonau newyddion, heb gofio nad yw y lliaws yn dysgu tôn mor gyflym a hwy, a'u bod yn teimlo mwy o fwynhâd mewn canu tôn berffaith adnabyddus nag mewn ymgais i ddysgu un newydd. Y mae clywed torf fawr o bobl yn canu tôn soniarus a theimladol—boed y dôn â'r geiriau mor gynnefin ag sydd bosibl, ond bod yn dda—yn newydd-beth bob amser. Defnyddier yr Ysgol Sabbothol er dysgu ambell i dôn newydd, gan hyny, os bydd hyny yn angenrheidiol; gwneler y canu yn Ysgol y rhai mewn oed, bob amser, yn effeithiol, yn wasanaethgar i'r canu yn yr addoliad cyffredin; bydded iddo amcan arbenig, sef i ddwyshâu y teimlad priodol i'r addysg a gyfrenir yn yr Ysgol. Gwneler hyn, meddaf, ac fe deimlir fod i ganu ei le priodol yn ngwaith yr Ysgol Sabbothol. Nid difyrwch ydyw y canu i fod, er fod difyrwch mawr i gael gydag ef. Y mae chwareu â theimladau y galon ddynol yn beth tra niweidiol. Gwasanaethed y canu amcan priodol, a'r amcan hwnw yn y pen draw fyddo, moliannu Duw.

2. Ond beth am y canu yn *Ysgol y Plant?* Fel y sylwyd, os ydyw y plant yn cael eu dysgu ar wahan, y mae yn bur eglur y dylai y canu gael lle llawer mwy arbenig nag yn ysgol y rhai mewn oed; a dylid ei ddefnyddio i gyrhaedd amcanion helaethach. Pan mae y plant yn farwaidd ambell i brydnawn, y mae troi i ganu yn eu bywiogi ar unwaith. Gellir argraffu peth ar feddwl plentyn trwy ganu nas gellir, ond gyda thrafferth fawr, mewn un ffordd arall. Os ydys am ddysgu llyfr y Salmau, neu ryw ranau canadwy o'r Bibl i'r plant yn gyflym, dysger eu canu, a byddant wedi eu hargraffu ar y cof heb yn wybod iddynt ymron, a hyny mewn modd annileadwy. Y mae y pennillion y mae plant yn eu canu, ac yn neillduol os byddant yn eu mawr hoffi eu hunain, yn cael eu cofio ganddynt tra byddant byw; ond odid na fyddant yn eu cof yn awr angeu, os nad tu draw i angeu. Rhaid canu llawer gyda phlant os ydys am ennill unrhyw ddylanwad arnynt. Cymerer nifer o blant gwylltion anwaraidd y trefydd, casgler hwynt i'r un ystafell, a cheisier gwneyd trefn arnynt, ac fe deimlir ar unwaith mai gorchwyl anhawdd iawn ydyw. Mae y dyn mwyaf doniol a gwrol, a chryf ei gorff a'i feddwl, yn gwangaloni, ac ond odid yn aflwyddo. Ond y mae y llanc ieuanc ofnus, eiddil, neu fe allai y ferch ieuanc egwan, yswil, os gall ganu gyda hwynt, yn eu gwareiddio, a'u dofi, ac yn ennill dylanwad arnynt. Profwyd hyn mewn modd arbenig yn Edinburgh flynyddau yn ol. Casglwyd plant carpiog y dref i le priodol i geisio gwneyd rhywbeth er eu haddysgu; aeth nifer o wŷr ieuainc medrus a gwrol atynt; ond er ceisio noswaith ar ol noswaith, teimlid mai rhoi i fyny fyddai raid. Yr oedd y plant mor aflywodraethus fel yr oeddynt yn drech na'u hathrawon. Ond dywedodd un callach na'i gilydd, "Hang

up a modulator," ac yr oedd yr effaith ar ol gwneyd hyny yn anhygoel. Yr oedd llygaid a chlustiau y plant yn cael eu gosod ar lawn waith, y meddwl yn gweithredu yn fywiog, a dylanwad swynol y seiniau ar eu calonau, a'r cyfan yn cydweithredu i ddofi natur wyllt y plant, a pheri ei bod yn gymharol hawdd eu llywodraethu. Ydyw, y mae yn *rhaid* cael llawer o ganu gyda phlant, os ydys am feddu dylanwad arnynt. Ond y mae cwestiwn yn codi yma, Pa *fath* ganu, a pha fath bennillion? Dadleua rhai mai yr un tonau a'r un pennillion a ddylid eu canu gyda'r plant yn yr Ysgol Sabbothol ag a genir gan y rhai mewn oed yn yr Ysgol arall. Ar yr olwg gyntaf y mae llawer i'w ddyweyd dros hyn. Bu ysgrifenydd y llinellau hyn yn teimlo felly ei hun am faith amser. Ond y mae dau sylw ag y gellir eu gwneyd ar y mater hwn.

1af. Mae pob plentyn sydd yn mynychu lle o addoliad gyda'i rieni, yn cael yr un fantais ag y mae y rhai mewn oed yn ei gael i ddysgu tonau a geiriau yr addoliad cyhoeddus, a gellir bod yn bur sicr y bydd yn dysgu y tonau, os nad y geiriau hefyd yr un mor gyflym, ïe yn wir yn llawer mwy cyflym nag y bydd y rhai mewn oed yn eu dysgu. Mae yn ddiammeu mai y canu yw y rhan fwyaf dyddorol o lawer o'r addoliad cyhoeddus i'r plentyn. Bydd y bregeth, fe allai, yn llyncu meddwl yr un mewn oed, ac fe allai yr ä y canu heibio yn ddisylw ganddo. Am y plentyn drachefn, y mae y nifer amlaf o lawer o bregethau y dyddiau hyn ymhell uwchlaw ei gyrhaeddiadau; ond pan gyfyd y gynnulleidfa i fyny i ganu, os dangosir y dôn, ac os estynir y Llyfr Hymnau iddo, y mae ei lygaid yntau yn gloewi, ac y mae yn teimlo dyddordeb yn y gwasanaeth. Nid oes un perygl gan hyny na fydd y plentyn yn gymaint ar y blaen gyda hymnau a thonau y gwasanaeth cyhoeddus a nemawr un o'r rhai mewn oed fyddo yn bresennol. Nid doeth ychwaith fyddai peidio canu pennillion cyffredin yr addoliad yn Ysgol y plant. Er na fyddant bob amser yn deall y geiriau, nac yn gallu eu teimlo er eu deall, eto byddant yn mwynhâu pleser mawr yn ddiau wrth gael canu eu hunain yr hymnau a'r tonau y bydd eu tad a'u mam yn eu canu.

2il. Ond er hyn i gyd, y mae eisieu cofio, yn un peth, fod cylch tonau cynnulleidfäol yn gyffredin yn ormod i leisiau plant. Ac heblaw hyny, oni ddylent gael hymnau ag sydd yn fynegiant o'u teimladau plentynaidd hwy eu hunain? Oni ddylai teimladau crefyddol plentyn gael hymnau cyfaddas, mewn iaith syml, yn gyfrwng eu hymarllwysiad? Oni ddylid dysgu gwersi moesol i'r plentyn ar gân, weithiau, mewn iaith ag y gall efe ei deall a'i theimlo? Hawdd fuasai rhoddi engreifftiau o'r hyn ydys yn ei feddwl ar y mater hwn; ond gan fod ysgrifenydd y llinellau hyn wedi bod yn treio ei law yn y cyfeiriad hwn, er yn dra anmherffaith, gwell ganddo ymattal. Rhaid i'r plant gael hymnau a thonau iddynt eu hunain, hymnau mwy cymhwys i blant, a thonau mwy ysgafn a sionc na'r rhai a genir yn gyffredin yn yr addoliad cyhoeddus. Nid oes un perygl nas gall y plant eu dysgu, ac nid oes un perygl y bydd yn milwrio yn erbyn amcan mawr yr Ysgol Sabbothol. I'r gwrthwyneb bydd yn help mawr iawn i gyrhaedd yr amcan hwn.

Ond pa fodd y mae y plant i ddysgu y tonau a'r geiriau newyddion hyn? Am y geiriau nid oes dim i'w wneyd ond eu hargraffu ar eu cyfer, ac i'r plant nas gallant ddarllen, rhaid eu dyweyd yn ddigon

mynych yn eu clywedigaeth nes eu hargraffu ar eu cof. Am y tonau, y mae yn ddiammeu mai y llwybr mwyaf effeithiol o ddigon ydyw dysgu y plant, fel y sylwyd gyda golwg ar y bobl ieuainc yn yr ysgol gân, yn nghanol yr wythnos, fel ag i'w gwneyd yn alluog i ddarllen y nodau cerddorol. Mae y nodiant newydd yn dra manteisiol i hyn. Dylai fod dosbarth Tonic Sol-fa mewn cysylltiad â phob Ysgol Sabbothol. Os bydd mwyafrif y plant yn alluog i wneyd defnydd o'r nodau cerddorol—ac nid oes ond ychydig o drafferth yn angenrheidiol er eu cymhwyso i hyny—ac os rhoddir tôn newydd yn argraffedig o'u blaen ar y Sabboth, canant hi yn lled rwydd. Ni byddant yn ol i'r bobl mewn oed yn hyn. Ond pe byddai yn anghyfleus i roddi tôn argraffedig yn nwylaw pob plentyn, a fyddai rhyw anhawsder i ysgrifenu y dôn yn fras, naill ai ar fwrdd du neu ryw ffordd arall, o flaen llygaid yr holl blant? A oes rhywun yn awr yn ein mysg a dybiai hyny yn beth anmhriodol? Pa fodd bynag nid oes un ammheuaeth nad dyna fyddai y llwybr mwyaf effeithiol o ddigon. Byddai llygaid a chlustiau yr holl blant ar waith, ac y mae yn ddiammeu y teimlent ddyddordeb mawr yn y gwaith; a phan ddeuid i ganu y geiriau, os byddent yn rhai priodol i'r plant, gellid dysgwyl i argraff dda gael ei wneyd ar eu meddyliau.*

3. Ond beth am *Ysgolion Cymysg* o blant a rhai mewn oed? Pwy sydd i gael y canu yn y cyfryw ysgolion? Nid wyf yn petruso dyweyd y dylai y plant gael y rhan fwyaf o hono o lawer. Nid wyf yn dyweyd yr oll, ond y rhan fwyaf. Os ydys yn dysgwyl i'r plant ganu yn yr addoliad cyhoeddus, ac os dysgwylir iddynt wneyd hyny hefyd pan fydd tonau ac emynau yr addoliad cyhoeddus yn cael eu canu yn yr Ysgol, paham na chaiff y plant ganu eu hemynau a'u tonau eu hunain weithiau yn nghlyw y rhai mewn oed? Ië, mwy. Paham na chaiff y plant help y bobl mewn oed i ganu eu tonau eu hunain? Ai tybed ein bod mor hunanol ag i beidio gwneyd tipyn o aberth fel hyn er mwyn y plant? Ond paham y soniaf am aberth? Pa le y mae'r mab neu'r ferch na theimla ei galon yn cynhesu wrth gael y fraint o wrando ar, neu yn wir o gydganu gyda'r plant eu hemynau bywiog, ysgafn, a soniarus? Os oes rhyw un na theimla felly, gall fod yn bur siwr fod rhywbeth o'i le yn nghyfansoddiad ei feddwl. Na, y mae gallu myned i mewn i deimlad plentyn, gallu gosod yr argraff ar feddwl y plentyn

* Wrth son am yr ysgol gân ganol yr wythnos, goddefer i mi wasgu ar y rhai sydd yn llafurio gyda'r plant i beidio gadael i'r llafur sydd wedi bod mor lesol flynyddau yn ol i ddysgu elfenau cerddoriaeth i blant yn y nodiant newydd, gael ei ollwng i lawr. Llwyddwyd mewn ychydig iawn o amser i godi tô o blant i ddysgu darllen cerddoriaeth, nes y mae pawb sydd yn cyhoeddi dernyn o gerddoriaeth yn yr iaith Gymraeg yn awr yn teimlo dan angenrheidrwydd ei gyhoeddi yn y nodiant newydd, pa beth bynag am yr hen. Ond y mae lle i ofni fod y plant sydd yn codi yn awr yn cael eu hesgeuluso yn yr ystyr hwn. Mae y rhai sydd yn awr yn gallu darllen cerddoriaeth yn ymffurfio yn gôrau er difyrwch neu fudd iddynt eu hunain, ac yn anghofio fod to o blant yn codi ag y mae eisieu dysgu yr elfenau iddynt. Nac esgeuluser y gwaith hwn ar un cyfrif. Gwaith a dâl yn dda ydyw. Nid anhawdd ydyw creu ystwr mewn ardal, trwy argraffu darnau cerddorol i "fil o blant," mwy neu lai, eu canu mewn "cyngherdd mawreddog," a threulio wythnosau i'w hymarfer, gyda help offerynau a chantorion mewn oed; ond nid ydyw llafur o'r fath yn talu agos gystal a'r llafur a nodwyd. Y mae yn fwy *sensational*, mae'n wir, ond nid ydyw yr effeithiau mor arosol: ac y mae tymmor o farweidd dra yn dilyn pob cyffro o'r fath, ac yn lladd llafur sydd yn llawer iawn mwy defnyddiol a pharhaus.

ein bod yn teimlo dyddordeb ynddo, ac yn gallu bod yn blentynaidd gydag ef, yn rhoddi i ni ddylanwad er daioni arno nas gŵyr neb faint ei werth. Pa mor effeithiol bynag y dichon canu da cynnulleidfa o bobl mewn oed fod, y mae canu da yr un nifer o blant yn llawer mwy felly.

ELEAZAR ROBERTS.

*Hoylake (Liverpool gynt).*

---

IV.

YR ATHRAWON.

Mae yn rhaid i ymdriniaeth ar yr Ysgol Sabbothol ac Athrawon yr Ysgol Sabbothol gymeryd i ystyriaeth yn Nghymru elfenau na fyddai ond prin angen meddwl am danynt o gwbl o safle Seisonig. Mae ein Hysgolion Sabbothol ni—mewn egwyddor o leiaf—yr oll ag ydyw Ysgolion Sabbothol Seisonig, a llawer iawn yn ychwaneg. Pe gwneid cymhariaeth rhwng y peirianwaith er dwyn oddiamgylch addysgiaeth foesol y bobl, a'r un er dwyn oddiamgylch eu haddysgiaeth ddealltwriaethol, ni fyddai, fe allai, ymhell oddiwrth y nôd i ddyweyd fod Ysgolion Sabbothol Seisonig yn cyfateb i'n hysgolion elfenol dyddiol, tra y mae yr Ysgolion Sabbothol Cymreig yn cyfateb i ysgolion elfenol dyddiol, ysgolion dyddiol uwchraddol, a cholegau. Nid ydyw yr anhawsder i wneutbur yn berffaith glir i'r meddwl Seisonig beth y mae yr Ysgol Sabbothol wedi bod ac ydyw i Gymru—y fath ran fawr a chwery yn mywyd crefyddol y bobl, a'r fath anghenion pwysig, yn gymdeithasol, dealltwriaethol, ac ysbrydol y mae yn gyflenwi—mewn un modd yn fychan. Eto y mae yr olwg ar yr Ysgol Sabbothol Gymreig, gyda'i dosbarthiadau o hen wŷr wedi penwynu a hen wragedd, gwŷr canol oed a mamau, gwŷr ieuainc a gwyryfon, a phlant bach, wedi bod bob amser yn olygfa darawiadol.

Nid ellir gwadu, fodd bynag, nad ydyw llawer o honom—fe allai y rhan fwyaf—wedi synied yn briodol gymaint ydyw ein dyled i'r Ysgol Sabbothol, ac mor anmhosibl ei wneyd i fyny a fyddai ei cholli i Gymru. Ond y mae yn rhaid cadw mewn cof na all un ffurf ystrydebol o Ysgol Sabbothol, nac unrhyw sefydliad arall, gyfarfod yn gyflawn âg anghenion y naill oes ar ol y llall. Rhaid i sefydliadau fyned dan gyfweddiad graddol, fel y mae amseroedd yn cyfnewid. Pan sefydlwyd Ysgolion Sabbothol gyntaf yn Nghymru, yr ydoedd i'r dyben o ddarparu ar gyfer pobl anllythyrenog yr addysgiaeth fwyaf elfenol. Ni allai y werin hyd yn nod ddarllen. Yr oedd athrawon, o angenrheidrwydd, yn anhawdd eu cael, ac nid oedd unrhyw gymhwysder arbenig, tu hwnt i'r gallu i ddarllen, yn ofynol. Fe gymerid yr ysgolheigion goreu yn y dosbarthiadau mewn oed ymaith i wneyd gwaith athrawon. Mae sefyllfa pethau erbyn hyn yn gwbl wahanol. Y mae addysgiaeth elfenol yn cael ei rhoddi yn yr ysgol ddyddiol, ac mae yr Ysgolion Sabbothol—oddieithr yn y mater o ddysgu darllen Cymraeg, yr hyn hefyd y dylai yr addysg ddyddiol ei wneyd yn llawer rhwyddach

—yn rhydd i wneyd y gwaith mwy arbenig grefyddol o geisio deffro ac ymgeleddu bywyd ysbrydol y bobl. Mae yn amlwg, gan hyny, y rhaid i athrawon yr Ysgol Sabbothol yn ein dyddiau ni, i fod yn llwyddiannus, feddu cymhwysderau neillduol. Fe ddylai yr athraw iawn feddu syniad clir a phenodol o amcan Ysgol Sabbothol, ac yn arbenig o'r hyn a ddymunai efe gyrhaeddyd yn ei ddosbarth, a dylai weithio yn gyson er ei sicrhâu. Rhaid peidio anghofio hefyd fod yr elfen gymdeithasol yn yr Ysgol Sabbothol yn un o'r rhai mwyaf pwysig. Y mae ei nerth a'i phwysigrwydd mawr yn gynnwysedig, nid yn gymaint mewn cynnyrchu effaith dda ar bersonau unigol ar wahân, ag mewn cynnyrchu yr effaith dda o symud ymaith yr ysgariad, a dwyn ynghyd yr unigolion sydd ar wahân a'u rhwymo yn un cyfan; ac y mae hyn i'w wneyd trwy ddeffro yn y lliaws ddyddordeb cyffredin mewn materion o'r pwysigrwydd mwyaf sydd mewn bod. Mae y rhai hyny sydd yn eu habsennoli eu hunain o'r Ysgol Sabbothol dan yr esgus eu bod yn cael mwy o les trwy astudiaeth dawel yn eu cartrefi, yn colli golwg yn gwbl ar y wedd gymdeithasol yma ar y sefydliad. Y mae, gan hyny, yn dra hanfodol fod yr athraw bob amser yn cadw hyn o flaen ei feddwl. Dylai ymdrechu gwneyd ei ddosbarth yn deulu bychan, yn cael eu rhwymo ynghyd ar y dechreu gan gwlwm o ddyddordeb cyffredin, a hwnw yn cryfhâu mewn amser ac yn dyfod yn gwlwm o gariad pur. I gyrhaedd hyn, fe fyddai yn ddoeth ceisio attal pob dadleu ac ymryson. Ychydig iawn a ennillir byth trwy ddadleuon. Ni argyhoeddir neb, ac anfynych y paid drwg-deimlad a chamddealltwriaeth a chael eu cynhyrfu.

Fe ellir coledd meddylgarwch yn llawer mwy boddhaol trwy ddeffro a chalonogi aelodau y dosbarth i ddadgan eu golygiadau ar gwestiynau fo wedi eu parotoi yn ofalus gan yr athraw ymlaen llaw, gyda'r amcan o ddwyn allan rhyw bwynt arbenig. Ac yn neillduol, yr wyf yn meddwl y dylai yr athraw pan yn gwneyd ei barotöad, bob amser geisio cael allan yr egwyddorion moesol mawrion sydd yn rhedeg trwy y rhan o'r Ysgrythyr fo dan ystyriaeth; a thrwy gwestiynau wedi eu hystyried yn dda, fe ddylai ymgais at arwain meddyliau ei ddosbarth i ddarganfod yr egwyddorion drostynt eu hunain, a'u cymhwyso yn helyntion cyffredin bywyd. Os ydyw y Bibl i ddal ei afael ar y bobl, rhaid iddo gael ei deimlo fel llyfr gwirioneddol, yn ymwneyd â bywyd cyffredin; nid yn ddim ond casgliad o gyfarwyddiadau ac egwyddorion, ond yn llyfr sydd yn dadguddio meddwl Duw, sef yr egwyddorion moesol tragywyddol sydd hanfodol yn ei natur Ef, ac â pha rai y mae yn rhaid i'n bywydau ninnau gael eu cydffurfio.

Mae yr hen arfer, sydd eto yn ffynu yn gymaint, o wasgu ar bob aelod o'r dosbarth i ofyn cwestiynau ar ei adnod ei hun, yn un, yn ddiammeu, ag y mae llawer i'w ddyweyd o'i phlaid. Rhaid addef, sut bynag, ei bod yn arwain weithiau i ymwneyd—ni allwn ei alw yn astudiaeth—hynod o anfuddiol â'r Bibl. Fe ofynir cwestiynau yn unig er mwyn gofyn. Fe ddylai yr athraw ymwarchod rhag pob gwastraff anfuddiol felly ar amser. Os bydd efe ymlaen llaw wedi gweithio allan iddo ei hun bwyntiau pwysig y mater, ni ddylai gael un anhawsder i gymeryd y dosbarth gydag ef a deffro eu dyddordeb a'u meddylgarwch.

Mewn amseroedd o newidiad fel y dyddiau hyn, bydded i'n holl

athrawon, gyda mwy o ymroddiad nag erioed, ymdrechu cyflawni eu gwaith yn deilwng, trwy geisio myned i fewn i ysbryd yr amseroedd yn y fath fodd fel ag i gyfarfod anghenion y genedlaeth hon, gan deimlo yn gwbl hyderus, er fod y ffurfiau allanol yn newid o oes i oes, fod y gwirionedd hanfodol sydd yn rhoddi bywyd i ffurfiau, yn dal ac yn goroesi pob cyfnewidiad mewn ffurf.

R. D. ROBERTS.

*Clare College, Cambridge.*

---

V.

YR ATHRAW YN PAROTOI AR GYFER EI DDOSBARTH.

Ynglŷn â dathliad canmlwyddiant yr Ysgol Sul yn Nghymru, buddiol fyddai galw sylw at y dyledswyddau ag y mae cyflawniad dyfal o honynt yn angenrheidiol tuag at barhâu, heb sôn am ychwanegu ei heffeithiolrwydd fel prif foddion addysg grefyddol y genedl yn y dyfodol. Un o'r dyledswyddau hyny, ac un o'r rhai pwysicaf, ydyw parotoad gofalus a chydwybodol ar du yr athraw ar gyfer ei ddosbarth, a da fyddai genym allu ei chymhell gyda difrifwch a llwyddiant ar ddarllenwyr y TRAETHODYDD mewn ychydig eiriau.

Cymerir yn ganiatäol fod yr athraw o ran gallu naturiol a gwybodaeth Ysgrythyrol uwchlaw aelodau ei ddosbarth, a'i fod o ran cymeriad moesol a dawn i gyfranu addysg yn gymhwys i'w swydd. Ond pechod parod i amgylchu athraw felly ydyw ymddiried yn ei gyrhaeddiadau ar draul parotoi yn rheolaidd a phwrpasol ar gyfer ei ddosbarth o wythnos i wythnos. A pha mor ragorol bynag y byddo, mae esgeulusdra gyda golwg ar hyn yn sicr o effeithio yn niweidiol ar fuddiolrwydd a dyddordeb ei ddosbarth. Mae hyn yn wir mewn cylchoedd uwch na'r Ysgol Sabbothol. Cymerer athrawon galluog a dysgedig ein sefydliadau addysg uwchraddol, gan nad beth a fyddo dysgleirdeb eu talentau, cyflwyredd eu gwybodaeth a dyfnder eu dysgeidiaeth, nid oes un o honynt yn dysgwyl gallu cadw i fyny effeithiolrwydd dyladwy, heb wneuthur parotoadau pwrpasol a pharhâus ar gyfer ei ysgolorion. Neu y pregethwr, pwy bynag a fyddo yntau o ran athrylith a diwylliant, nid gwiw iddo feddwl am esgeuluso parotoad neillduol, y naill dro ar ol y llall, ar gyfer ei wrandäwyr. Ac y mae hyn yn cael ei deimlo a'i gydnabod yn gyffredinol yn ein plith yn y cylchoedd uchel a nodwyd, eithr prin y rhoddir iddo yr ystyriaeth ddyladwy ynglŷn â'r Ysgol Sabbothol, a hyny, mae lle i ofni, nid am ei fod yn llai niweidiol pan ddygwyddo, ond am ei fod yn dygwydd yn fwy cyffredin. Dywedodd un gŵr cyfarwydd y dydd o'r blaen, mai esgeulusdra yr athrawon i barotoi ar gyfer eu dosbarthiadau ydyw un o ddrygau mwyaf cyffredin ac andwyol yr Ysgol Sul ar hyn o bryd.

Dymunol fuasai gallu cymeryd yn ganiatäol hefyd fod yr athraw wedi ac yn cael ei barotoi ar gyfer ei ddosbarth. Y mae angen am hyn. Dylai fod dosbarth ynglŷn â phob Ysgol dan ofal gŵr cymhwys o bwrpas i barotoi dynion a merched ieuainc i fod yn athrawon, pan fyddo galwad am danynt, a phan fyddant hwythau yn addfed i ym-

gymeryd â'r swydd. Mewn llawer lle, gallai dosbarth felly gyfarfod ar noson waith yn gystal ag, neu hwyrach yn hytrach nag ar y Sabboth; a gellid trefnu i roddi tystysgrif yn dynodi graddau gwahanol mewn teilyngdod i'r ymgeiswyr am swydd o athraw yn ol fel y pasiont eu harholiad; ac mewn canlyniad deuai y swydd yn anrhydedd gwerth gan aelodau galluocaf yr Ysgol geisio am dani, ac yn gylch a lenwid gan bersonau cymhwys. Y mae rhai ysgolion wedi mabwysiadu y cynllun hwn eisoes, ac yn cael ei fod yn ateb pwrpas da. Ond pa mor fawr bynag ydyw y fantais sydd yn deilliaw oddiwrth y parotoad llawnaf ar yr athraw i'w swydd, nid yw yn gwneuthur y ddyledswydd a gynnwysir yn mhenawd yr ysgrif hon yn afreidiol, sef gwaith yr athraw yn parotoi ei hun o wythnos i wythnos ar gyfer ei ddosbarth.

Tra y mae y ddyledswydd o wneuthur hyn yn hunan-eglur, eto nid gorchwyl hawdd yw amlinellu y cynllun goreu, na thynu allan unrhyw gynllun o gymhwysiad cyffredinol, yn ol yr hwn y dylid parotoi ar gyfer y dosbarth. Y mae cymaint o wahaniaeth rhwng y naill athraw a'r llall o ran arferion meddyliol a gwybodaeth, a chymaint yn dibynu ar addfedrwydd aelodau y dosbarth, a threfniadau yr Ysgol i'r hon y perthyno, fel na fyddai yn ddoeth yn neb geisio gosod i lawr gynllun manwl o reolau ar y mater. Nid yw parotöad athraw dosbarth o blant yr un peth ag ymbarotöad athraw dosbarth o bobl mewn oed. Y mae tuedd yn y gwersi cydgenedlaethol a fabwysiedir yn awr gan lawer o Ysgolion i orfodi athrawon i feddwl am danynt ymlaen llaw, ac i ryw raddau i barotoi ar gyfer eu dosbarthiadau.

Dylai athraw dosbarth pobl mewn oed, feistroli y wers ymlaen llaw fel ag i allu *ei darllen yn gywir a phriodol.* Cwynir yn gyffredin mai ychydig o lefarwyr cyhoeddus sydd yn darllen yn dda, ac ysywaeth y mae i'r gŵyn hon ormod o sail am ddarlleniad y Bibl o'r tu allan yn gystal a thu fewn i'r pulpud. Y mae darllen yn gelfyddyd ag y byddai talu mwy o sylw iddi yn fantais i ni fel cenedl. Dylid darllen yn gywir—rhoddi ei sain briodol i bob llythyren, a gochel y bai cyffredin o gamddefnyddio y llythyrenau—iawn seinio geiriau, a gofalu rhag darllen y naill air yn lle y llall, nac fel rhan o'r llall. Darllen yn briodol hefyd gan ddangos y synwyr trwy gyfrwng iawn oslef a phwysleisiaeth; eithr ni ddichon neb wneuthur hyny yn llwyddiannus heb lawer o ymarferiad lleisiol, ac yn arbenig heb ddeall yr hyn a ddarllenir ganddo. Ar law yr athraw yn yr Ysgol Sul y mae dysgu hyn. Efe ydyw yr unig athraw a geir mewn darllen Cymraeg, ac arno ef y mae y bai am bob diffyg ag y cwynir o'i herwydd gyda golwg ar hyn, yn y sêt fawr ac yn y pulpud. Os nad yw yr athraw yn barod i ymgydnabyddu âg egwyddorion y gelfyddyd o ddarllen, dylai dreulio digon o feddwl ac amser uwch ben y wers benodedig fel ag i allu ei darllen yn gywir ac effeithiol cyn cymeryd ei le yn ei ddosbarth.

Dichon mai y peth nesaf y dylid talu sylw iddo wrth barotoi ar gyfer y dosbarth, yw *ystyr geiriau.* Nid yw hyn mor ddibwys ag yr ymddengys ar y cyntaf. Ychydig o'r bobl gyffredin, mewn cymhariaeth, sydd yn deall gwir ystyr geiriau yr iaith a lefarant bob dydd. Craffer arnynt yn siarad, yn enwedig pan yn amcanu arfer iaith uchel a duwinyddol; neu eled dyn o ddosbarth i ddosbarth drwy ein Hysgolion goreu i holi beth yw ystyr geiriau mwyaf y paragraph dan sylw, a cheir achos

i synu mor lleied o bobl sydd yn cyflawn ddeall gwir a phriodol ystyr geiriau. Os heb ddeall ystyr geiriau, pa fodd y gallant ddirnad y meddwl a fynegir trwyddynt? Heblaw fod gwneyd allan ystyr pob gair fyddo yn y wers ymlaen llaw yn angenrheidiol er mwyn dysgu y dosbarth i'w deall, tueddai hyn hefyd i buro ac i gyfoethogi iaith gyffredin yr athraw ei hun, ac i'w gymhwyso yn fwyfwy at y gorchwyl o gyfranu addysg. Gyda'n holl ymffrost yn rhagoriaethau ein hiaith, y mae'n drueni na ofalem am ei siarad yn drefnusach yn ein dosbarthiadau yn yr Ysgol Sabbothol. Pe ceid diwygiad yma, nid hir yr elai yr arferiad o ddarnio geiriau, benthyca rhai Seisonig, ac ymollwng i siarad mewn iaith garpiog a brawddegau anghywir ac afrosgo, allan o'r wlad. A buan y ceid diwygiad yn yr Ysgol, pe cymerai yr athraw hyn yn rhan o'i barotoad ar gyfer ei ddosbarth.

Rhan arall o'r gwaith ddylai gael ei sylw manwl yn ei ragbarotöad ydyw *cyfansoddiad grammadegol pob brawddeg yn y wers.* Pa un bynag a eilw sylw ei ddosbarth at hyny ai peidio, dylai fod yn berffaith glir yn ei feddwl ei hun am natur, lle, a swyddogaeth pob gair. Nis gall ddeall y meddwl, llawer llai ei egluro i'w ddosbarth heb hyn. Nid oes achos treulio llawer o amser yr Ysgol uwch ben grammadeg y wers, ac ni wneir hyny ychwaith os bydd yr athraw ei hun wedi ei meistroli ymlaen llaw.

Rhyfyg anesgusodol mewn athraw ydyw eistedd yn ei le fel arweinydd ei ddosbarth yn ngwirioneddau Gair Duw, heb edrych yn ofalus fod ei olygiadau yn gywir ar *leoedd* a *dygwyddiadau hanesyddol* a grybwyllir yn y wers dan sylw. Os tripia mewn pethau bychain o'r fath yma, pa fodd y gellir ymddiried ynddo am bethau trymion a phwysig y Gair? ac eto hawdd ydyw cyfeiliorni gyda golwg ar safle ddaearyddol lle neillduol, neu hanes person neu ddygwyddiad penodol ag y deuir ar eu traws, oddieithr fod yna ddwyn ar gof ac edrych i fewn iddynt ymlaen llaw.

Ac y mae y parotoi hwn ar gyfer y dosbarth yn fwy pwysig fyth gyda golwg ar *feddwl yr Ysbryd* yn y geirau. Ni ddylid gorphwys heb arfer pob moddion cyrhaeddadwy i ddeall beth yw prif faterion y wers, i feistroli yr ymresymiad a arferir ynddi neu yr athrawiaeth a ddysgir trwyddi. Ymgynghorer â'r esbonwyr goreu a ellir gael ar ystyr yr adran, ac ymrodder i ddarllen y gweithiau duwinyddol uchaf eu hawdurdod ar yr athrawiaeth a ddaw i'r golwg ynddi, fel pan ddêl amser yr Ysgol y byddo pob peth all yr athraw wybod ar yr adran hono yn ei feddwl yn barod at wasanaeth ei ddosbarth.

At hyny, dylai yr athraw barotoi ei hun ar gyfer ei ddosbarth trwy *feithrin dull* a darparu cyfryngau priodol i ennyn dyddordeb ac i gyfranu y wybodaeth a fedd. Gofaled am iaith dda, dywedaf eto, a chyflawnder o honi, i osod allan ei feddwl. Os bydd y paragraph yn ddyrys, darpared hanesyn neu gymhariaeth syml a tharawgar i'w egluro. Ac uwch ben rhanau hanesyddol, da fyddai gwneyd defnydd hael o dablau a mapiau. Rhaid cadw y dosbarth yn fyw a sylwgar, a thuag at hyny dylai yr athraw yn gystal a'r pregethwr fabwysiadu dull effeithiol o draddodi.

Am ben hyn oll, dylai yr athraw fyned trwy *barotoad ysbrydol* helaeth a dwfn o bryd i bryd, cyn ymddangos ger bron ei ddosbarth. Dylai

feddwl am gyflwr ysbrydol aelodau ei ddosbarth, teimlo i'r byw yn eu hachos, darparu defnyddiau budd i'w heneidiau, ac ymarfer gweddi ddyfal drostynt. Rhan o foddion gras Dydd Sanctaidd Duw ydyw yr Ysgol Sabbothol, amcan terfynol ei holl wasanaeth hi ydyw achub eneidiau ei deiliaid. Nid oes yr un athraw yn deilwng o'i swydd ond i'r mesur y mae yn sylweddoli hyn; ac os yw yn teimlo hyn yn ddyladwy, efe a ofala am fyned at ei ddosbarth o'i ystafell ddirgel. Yr athraw a wnelo y parotoad hwn ar gyfer ei ddosbarth a fydd ddifrifol ei feddwl a dwys ei ddylanwad ger bron ei ysgolorion. Ni faidd neb o honynt adrodd chwedlau ffol hen na-diweddar, nac ymollwng i ysgafnder uwch ben Gair Duw, yn ei ŵydd, llawer llai yr ymollyngai ef ei hun i iselwaith anweddus felly. Mae y dyn o ddifrif yn deimladwy o'i gyfrifoldeb am iachawdwriaeth dragywyddol ei ddosbarth, ac wedi bod yn meddwl am hyny wrth barotoi ar ei gyfer yn ystod yr wythnos.

Yn y prif bethau a nodwyd, mae parotoad athraw y plant ar gyfer ei ddosbarth yn gyffelyb. Rhaid iddo yntau feistroli y wers, mabwysiadu dull effeithiol i'w dysgu, ac ymddangos ger bron y plant yn llawn o naws y Gair a'r Ysbryd. Ac yn y naill gylch a'r llall, y mae yr olwg frysiog a gymerwyd ar y mater yn dangos nad gorchwyl dibwys ydyw bod yn athraw; hawlia allu uwchraddol, llafur parhâus, ysbrydolrwydd dwfn. Rhaid rhoddi amser lawer, ac arfer ymroddiad diflino i barotoi ar gyfer y dosbarth cyn y gwneir nemawr ddim o honi. Dyma nôd angen yr athraw llwyddiannus. Heb hyn, ni thycia yr athraw mwyaf talentog; os gwneir hyn gan yr athraw llesgaf sydd yn y swydd, efe a lwydda i gyflawni gwasanaeth effeithiol i'w genedl ac i'w Dduw. Caffed hyn lawer mwy o sylw yn y can' mlynedd nesaf nag a gafodd yn y can' mlynedd diweddaf yn hanes yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru.

*Llundain.* JOHN EVANS.

---

## VI.

### Y GELFYDDYD O ADDYSGU YN EI CHYSYLLTIAD A'R YSGOL SABBOTHOL.

Tra nad oes yr un sefydliad wedi bod o gymaint bendith i filoedd Cymru y ganrif ddiweddaf â'r Ysgol Sabbothol, rhaid cydnabod nad ydyw y llafur a gymerir gyda hi yn dwyn ffrwyth i'r graddau y buasai yn ddymunol. Ychydig mewn cymhariaeth o aelodau ein Hysgolion Sabbothol sydd yn feddiannol ar wybodaeth drwyadl a threfnus o hanesiaeth y Bibl, a ffaith nas gellir ei gwadu ydyw fod cyfartaledd mawr o blant Cymru, yn enwedig Ymneillduwyr Cymru, yn methu yn y rhan Ysgrythyrol o arholiadau lleol Rhydychain a Chaergrawnt. Dichon mai y cyfrif i'w roddi am hyn ydyw fod ein bechgyn pan yn parotoi ar gyfer yr arholiadau hyn yn *tybio* eu bod yn gwybod yr Ysgrythyrau yn barod, neu ynte fod y dull annhrefnus ymha un yr addysgid hwy yn ein Hysgolion Sabbothol wedi taflu diflasdod ar astudiaeth Fiblaidd iddynt. Y mae rhai gwelliantau wedi eu dwyn i mewn i'r dull o addysgu yn yr Ysgol y blynyddoedd diweddaf hyn, ond eto y mae lle i wella; a dymunol ar ddechreu yr eilfed ganrif o'i

hoedran fyddai edrych ai ni ellir cael y llafur a gymerir gyda hi i ddwyn mwy o ffrwyth.

Nid gorchwyl hawdd ydyw cyfranu addysg yn y fath fodd ag i ddadblygu galluoedd a llesâu eneidiau y dysgyblion. Cyn y gall athraw fod o wir les yn yr Ysgol Sabbothol rhaid iddo feddu cariad at y gwaith, dyddordeb yn yr hyn a addysgir, a dymuniad gonest am ddaioni uchaf y rhai a fyddant dan ei ofal. Nis gellir meddu cariad at y gwaith heb ryw gymaint o leiaf o allu i'w gyflawni, a bydd y cariad ato a'r pleser ynddo i raddau yn cydfyned â'r gallu hwn; ac nis gallwn ddirnad am un yn feddiannol ar yr anhebgorion eraill os na fydd wedi teimlo grym y gwirionedd ei hunan, heblaw mai "digon i'r dysgybl fod fel ei athraw."

Gan nad yr un cynllun o addysgu sydd yn gyfaddas i'r holl Ysgol, edrychwn arni yn gyfansoddedig o dair adran.

I. *Dosbarthiadau Plant.* Gan mai "y plentyn yw tad y dyn," ac mai "fel y plygir y blaguryn y tyf y pren," dyma yn ddiau yr adran o'n Hysgolion y dylid cymeryd mwyaf o ofal gyda hi; ac eto mor fynych y rhoddir i ofalu am ddosbarthiadau y plant rywrai ag y gellir hawddaf eu hebgor ymhob man arall. Dylai athrawon y dosbarthiadau hyn fod yn llawn medrusrwydd, yni, a chydymdeimlad, yn gallu myned yn agos at y plant, ac eto yn alluog i attal hyfdra gormodol o du y dysgyblion. Gyda'r rhan fwyaf o'n haddoldai mawrion ceir *vestry rooms*, o ba rai y dylid gwneyd defnydd i gynnal dosbarthiadau y plant ar wahan i weddill yr Ysgol. Dymunol iawn fyddai cael muriau yr ystafell wedi eu haddurno â darluniau wedi eu cymeryd oddiwrth bynciau Biblaidd, gan fod darlun yn deffro cywreinrwydd plentyn, yr hyn a ddylai fod y cam cyntaf tuag at ei addysgu. Y mae yr athraw i ofalu bod yno yn brydlawn, hyny yw yn rhy fuan, rhag bod y plant yn tyrfu yn ormodol o amgylch y drysau nac o fewn yr adeilad. Os bydd rhai o'r plant yn dyfod yn rhy fuan peidier a'u caethiwo yn ormodol, gadawer iddynt ymddyddan ychydig â'u gilydd; ond pan ddaw adeg dechreu myner perffaith ddystawrwydd.

Anfantais i ni y Cymry, nas gŵyr y Saeson lawer am dani, yw gorfod treulio cymaint o amser i ddysgu darllen. Ar hyn o bryd rhaid i'r pethau hyn fod felly i raddau; eto ni ddylai dysgu darllen fod yn unig na phrif amcan yr Ysgol gyda'r plant. Y mae plant ieuainc yn blino mor fuan wrth eu cadw gyda'r un gorchwyl fel mai dymunol ydyw rhoddi cymaint o amrywiaeth iddynt ag a fyddo modd. Gellid i fantais dreulio rhan o ddechreu yr Ysgol i ddysgu emynau a thonau addas i blant; ac wedi darllen cyfran o'r Ysgrythyrau tybiwn mai dymunol fyddai i'r plant gydadrodd Gweddi yr Arglwydd, neu weddi arall addas i blant ar ol yr athraw, fel y caffont eiriau gweddi. Yna deuid at y rhan o'r Ysgol a ddefnyddir i ddysgu darllen. Da genym weled fod defnydd yn cael ei wneyd mewn llawer man o daflenau yn lle llyfrau gyda'r wyddor a'r dosbarthiadau isaf mewn darllen. Wrth hyn addysgir yr holl ddosbarth yn yr un amser ag yr addysgid plentyn unigol yn ol yr hen ddull, ac hefyd cynnyrchir cydymgais ymhlith yr ysgolheigion. Wedi hyn daw y wers Ysgrythyrol, yr hon a ddylai gael rhan ymhob cyfarfod o'r Ysgol. Y mae yma fantais nas meddir mewn unrhyw fan ond ar aelwyd Gristionogol, i blanu egwydd-

orion y nefoedd yn y meddwl ieuanc. Cymerer unrhyw hanesyn Ysgrythyrol i'w adrodd yn gyntaf gan yr athraw, a gall yr athraw yn y peth hyn gymeryd gwers oddiwrth yr Athraw mawr trwy ddefnyddio cymhariaethau a phortreadau, fel ag i arwain y meddwl yn raddol oddiwrth yr hyn sydd wybyddus at yr hyn nad yw felly. Fe fydd i'r athraw da cyn myned at ei ddosbarth, feddwl nid yn unig am bwnc y wers, ond hefyd am y dull o'i chyfranu i'r dosbarth. Bydd yn ofalus rhag bod ei ymadroddion uwchlaw dirnadaeth y plentyn, ac o'r ochr arall na fydd ei iaith yn rhy sathredig, a hefyd rhag rhoddi mwy mewn gwers nag all y meddwl ieuanc ei ddal, ond "llin ar lin, llin ar lin; ychydig yma, ac ychydig acw." Ar ddiwedd y wers dyry ofyniadau i'r dosbarth arni, ac os bydd rhan o honi heb ei deall caiff gyfle i'w hail-adrodd. Wrth hyn bydd yr athraw yn cael y pleser o weled fod y dysgyblion wedi ennill yn y wers, a chânt hwythau hefyd arfer gwneyd eu meddyliau yn eglur.

II. *Dosbarthiadau Hanesyddol.* Pan y bydd y plant wedi dyfod i ddarllen yn rhwydd, ac i feddu dirnadaeth weddol am yr hyn a ddarllenir, gellir eu symud o'r *vestry-room* i'r ystafell lle y cyferfydd gweddill yr Ysgol. Y pryd hwn y mae angen am athrawon fyddant yn foddlawn i aros gyda hwynt, nid am fis neu chwarter, ond i gymeryd dyddordeb neillduol a pharhäol ynddynt fel eu heiddo. Bydd yr ysgolheigion yn dechreu yn awr ar ranau hanesyddol y Bibl, ac nis gellir rhoddi gormod o bwys ar gael *map* yn y dosbarth, a gofalu fod y dysgyblion yn deall safleoedd y gwahanol fanau, a symudiadau y personau y darllenir yn eu cylch.

Pan wedi dewis yr adran o'r Bibl y bwriedir ei darllen, yr hon yn ddiau ddylai fod un o'r Efengylau, gofaler fod ystyr pob gair mewn adnod yn berffaith ddealladwy i bob aelod cyn myned at yr adnod nesaf; yna ar ol darllen adnod (gyda'r dosbarthiadau ieuengaf), neu ddosbarthran o bennod (gyda rhai hŷn), cauer y Bibl ac edrycher fod y dysgyblion wedi deall ystyr yr hyn a ddarllenwyd, a'i wneyd yn eiddo iddynt eu hunain. Os na fyddant wedi gwneyd, yna ail ddarllener, a chynnygier drachefn, a'r drydedd waith os rhaid; oblegid y mae meistroli un ddosbarthran o bennod yn well na darllen Efengyl gyfan heb hyny. Ar ol gorphen y bennod, cauer y Bibl drachefn; holed yr athraw ar gynnwys yr holl bennod, a'r cysylltiad rhwng ei gwahanol adranau, a chymhwysed ei chynnwys, lle bynag y byddo modd, at amgylchiadau y dosbarth. Gofaler fod y gofyniadau yn cyfateb i oedran a sefyllfa ddeallol y dosbarth. Os ceir ateb anghelfydd, neu bell oddiwrth yr hyn fuasid yn ei ddysgwyl, peidier er unpeth a digaloni yr atebydd trwy ei ddirmygu; a pheidier hefyd a cholli amser i fyned ar ol yr atebiad; ond arweinier y meddwl i'r cyfeiriad a ddymuner. Gan fod bron yr oll o blant Cymru erbyn hyn yn alluog i ysgrifenu, dylid rhoddi gofyniadau bob Sabboth i'w hateb ar bapyr erbyn y Sabboth dilynol, ac wedi i'r athraw eu cywiro gartref, galwed sylw pob un at ei atebion; ac os bydd ateb fyddo yn neillduol o dda, darllened ef fel cynllun i'r dosbarth, neu os bydd diffygion fyddant yn ddiffygion cyffredinol arfered yr unrhyw foddion; ond peidier byth, fel y dywedwyd o'r blaen, a gwneyd gwawd o unrhyw ateb, gan fod sefyllfa dysgybl y fath nas gall ateb yn ol, neu os

gwna y mae yn rhwym o dynu yr athraw i lawr yn ngolwg ei ddosbarth. Tra dymunol hefyd fyddai i'r athraw nodi allan y rhanau hyny o'r Ysgrythyrau y mae ei ddysgyblion i'w dysgu ar eu cof. Y mae plant mewn angen cyfarwyddyd yn y peth hyn, a gallai yr athraw hefyd felly edrych dros y llafur—yr hyn y dylai ei wneyd ei hunan bob amser, ac nid ymddiried i'r naill ddysgybl wrandaw y llall—mewn llawer llai o amser.

Ond gweithio yn ddyfal a gofalus gyda'r cynllun hwn bydd yr ieuenctyd, yn ddwy ar bymtheg neu ddeunaw oed, wedi meistroli cryn lawer o ranau hanesyddol y Bibl.

III. *Dosbarthiadau Athrawiaethol.* Wrth y rhai hyn golygwn y rhai sydd yn alluog i gymeryd y rhanau athrawiaethol, ond na fyddant, ni a hyderwn, yn cyfyngu eu hunain i'r rhanau hyn. Cawn dri math o athrawon ar y dosbarthiadau hyn. 1. Y rhai na wnant ond darllen y bennod, a rhoddi ychydig ofyniadau arwynebol ar ei chynnwys. 2. Athrawon y deall, y rhai a dreuliant Ysgol gyfan gydag un adnod i gael allan ei meddwl, ond nad ydynt yn cymhwyso y gwirionedd at y dosbarth. 3. Athrawon da, y rhai ydynt yn cymeryd trafferth i oleuo y deall ac i agoryd y galon i dderbyn y gair. Perygl mawr athrawon y dosbarthiadau hyn—darllenwyr esboniadau—ydyw myned i bregethu i'r dosbarthiadau, yn lle tynu y dysgyblion allan. Y mae hyn i'w ochel. Perygl arall ag y mae rhai dosbarthiadau yn agored iddo ydyw treulio gormod o amser i geisio profi mân bethau, y rhai yn fynych nas gellir eu profi, a phe gwneid, nad ydynt o nemawr bwys: er engraifft, clywsom am ddosbarth yn treulio amser maith gyda'r wyrth o borthi y pum' mil i geisio gwneyd allan pa un ai ar yr ymborth ynte ar y bwytäwyr y cyflawnwyd y wyrth. Y mae dadleu o'r fath hwn yn waeth na difudd; y mae yn gyffredin iawn yn arwain i ysgafnder gormodol uwch ben Gair Duw, ac y mae y prif bethau yn myned yn ailraddol, os nad yn colli o'r golwg yn hollol, fel yn y dosbarth hwnw yn Ysgol Ll——, lle y darllenid am enedigaeth y Gwaredwr. Ymdröai yr aelodau am amser maith gyda'r seren, dadleuai rhai mai seren wedi ei chreu yn arbenig at yr amgylchiad ydoedd; eraill mai hen seren yn d'od ar ei chylch ydoedd; hònai rhai mai ei lliw oedd yn tynu sylw y doethion, eraill mai ei ffurf, &c. Wedi treulio llawer o amser gwerthfawr gyda'r seren, a neb yn foddlawn rhoddi ei olygiad i fyny, aed at yr Arolygwr i ofyn am ei farn ef yn derfynol ar y mater. Atebodd yntau nas gwyddai, ac nad ydoedd o nemawr bwys, ond fod arno ofn fod y dosbarth wedi myned mor bell ar ol y seren nes colli golwg ar y Mab Bychan. Gofala athraw da bob amser am roddi attalfa ar grwydriadau o'r fath yma ar eu cychwyn. Dymunol iawn fuasai i'r dosbarthiadau hyn weithredu yn gyffelyb i'r rhai hanesyddol yn y pethau eraill a nodwyd, lle y byddo yn bosibl, yn neillduol mewn cael atebion i ofyniadau wedi eu hysgrifenu ar bapyr, a chael arholiadau ar yr un cynllun yn achlysurol, gan fod ysgrifenu yn dysgu manyldeb mewn ateb i raddau ag y mae yn anhawdd ei feithrin mewn unrhyw ddull arall.

Cydnabyddwn mai anhawdd yw dwyn yr Ysgol Sabbothol ymlaen yn y dull a nodwyd, pa mor zelog a chydwybodol bynag fydd yr athrawon, heb ryw gymaint o hyfforddiad *(training)* ar gyfer eu gwaith.

Y mae athrawon ein hysgolion dyddiol yn cael eu haddysgu yn y gelfyddyd, ac yn cael eu harfer i roddi gwersi i ddosbarthiadau yn ngwyddfod eu cydefrydwyr a'u hathrawon, y rhai ydynt wedi hyny yn nodi allan ragoriaethau a diffygion y cyfryw, yr hyn sydd yn llesâd i'r oll o honynt. Carem awgrymu i "blant y goleuni" gymeryd gwers oddiwrth "blant y byd hwn" yn y peth hyn, a mynu dosbarthiadau hyfforddiadol i athrawon lle bynag y gellir cael personau i gymeryd eu gofal.

Dymunem wrth derfynu awgrymu y priodoldeb o gael nifer o gynllun-wersi wedi eu tynu allan er hyfforddiant i'r athrawon, a hefyd gael cynllun cyffredinol i Ysgolion Cymru weithio wrtho, dyweder mewn tynu allan safonau i'r ddau ddosbarth cyntaf a nodasom, ac arholwyr ymhob Ysgol neu gylch o Ysgolion i edrych fod gwaith un safon wedi ei feistroli cyn symud y dysgyblion i un uwch. Pe ceid hyn trwy Gymru yn gyffredinol, a thystysgrifau bychain i'r ymgeiswyr llwyddiannus, yna cawsai unrhyw blentyn pan yn symud o un ran o Gymru i ran arall fyned ymlaen gyda'r un gyfran ag y llafuriai ynddi yn flaenorol nes ei meistroli; yn lle fel y gwneir yn bresennol, newid bob tro y newidir Ysgol neu athraw, a heb feddu yn y diwedd ond gwybodaeth bur anmherffaith.

G. J. WILLIAMS.

*Blaenau Ffestiniog.*

---

VII.

SAFONAU ADDYSG YR YSGOL SABBOTHOL.

Cydnabyddir genym yn gyffredinol ein rhwymedigaeth i gyflwyno yr Ysgol Sabbothol i'n holafiaid yn yr un ystâd o effeithiolrwydd ag y cawsom hi gan ein tadau. Ond nid ydym mor ystyriol fod yr ystad hono o effeithiolrwydd y mae yn rhwymedig arnom ddwyn y sefydliad bendithfawr hwn iddi, yn golygu cynnydd a dadblygiad. Ni fydd yr Ysgol Sabbothol yn effeithiol i wynebu y dyfodol trwy gael ei chadw yn hollol yr un fath ag yr oedd gan ein blaenafiaid. Cafodd y tadau y rhagwelediad gwerthfawr o'i chyflwyno i ni mewn ffurf gyfaddas i'r oes yr oeddym i ymddangos ynddi; ac y mae yn rhwymedig arnom ninnau i wneyd ein rhan at drosglwyddo y sefydliad i'r genedlaeth sydd yn dyfod wedi ei gyfaddasu ymhob peth at yr amgylchiadau gwahanol y byddant hwy yn gorfod byw ynddynt a gwneyd y goreu o honynt. Diffyg ymdeimlad o'r ystyriaeth hon sydd wrth wraidd y gwrthwynebiad y rhaid cyfrif arno pan yn ceisio dwyn diwygiad i'r Ysgol i'w chyfaddasu at anghenion y dyfodol. Mor fynych y clywir rhai yn dyweyd, Y mae wedi gweithio yn rhagorol yn nyddiau ein tadau heb hyn neu arall, a phaham y rhaid newid dim arni yn ein dyddiau ni? Addefwn yn rhwydd wirionedd y rhan gyntaf, sef gwaith rhagorol yr Ysgol yn y gorphenol; ond credwn os ydym am ei gadael yn gynnysgaeth deilwng i'r oes a ddêl, fel gallu effeithiol i wynebu a gorchfygu ei hanhawsderau meddyliol a moesol, y rhaid i ni berffeithio ei chynllun, dadblygu yn ymarferol ei meddylddrych ardderchog, ac ymhob modd ei chyfaddasu

i'r dyfodol sydd o'i blaen. Nid ydyw y gwrthwynebiad i symud ymlaen ond ffurf arall ar y gwrthwynebiad y bu ein tadau, ar sefydliad yr Ysgol, yn gorfod ei wynebu, dadleu yn ei erbyn, a'i orchfygu. Yr un o ran natur ydyw y gwrthwynebiad i fabwysiadu cynlluniau dadblygedig y dyddiau hyn i gyfranu addysg, ag oedd y gwrthwynebiad ar y dechreu i gynnal yr Ysgol o gwbl ar y Sabboth, am fod cyfranu addysg yn annheilwng o sancteiddrwydd y dydd. Ffurf newydd ar hen syniad ydyw, ac y mae yn codi oddiar y geidwadaeth grefyddol sydd am gadw pobpeth i fod yn y dyfodol yn union yr hyn ydoedd yn y gorphenol. Bendith i Gymru a sicrhâi barhâd y sefydliad yn yr holl neillduolion a'r rhagoriaethau ydynt wedi ei wneyd yn gynllun-sefydliad o addysg Sabbothol i'r holl fyd Cristionogol fyddai, ein bod yn llwyr argyhoeddedig y rhaid symud ymlaen, a dwyn ein trefniadau allanol a mewnol i fod yn gyfaddasedig i amgylchiadau yn gystal ag i anghenion y dyfodol. Ni fu dyfodol pwysicach erioed i'r Ysgol Sabbothol wynebu arno na'r un sydd yn awr gerllaw. Y mae cynnydd a dadblygiad addysg elfenol gyhoeddus, y rhagolwg ar sefydlu drwy yr holl wlad ysgolion canolraddol effeithiol, a chychwyniad grymus ein prifysgolion ynglŷn âg addysg uwchraddol, yn galw arnom o ddifrif i ystyried y sefyllfa, i drefnu ein lluoedd gan eu dysgyblu i'r gâd yn erbyn anwybodaeth, ac i wneyd i'r Ysgol Sabbothol, yn y dyfodol dysglaer ac addawol sydd yn ein haros, gadw y lle a ennillodd, trwy deilyngdod yn unig, o gael edrych arni fel prifathrofa addysg grefyddol corff ein cenedl. Yr ydym yn hollol hyderus i wynebu y dyfodol gwir bwysig hwn ond cael sicrwydd ein bod yn ymdeimlo yn briodol â'n rhwymedigaeth i gadw i fyny effeithiolrwydd yr Ysgol Sabbothol, trwy ei chyfaddasu, o ran ffurf ac ysbryd, i'r neillduolion a nodweddant y genedlaeth y mae genym i ddarparu ar ei chyfer. Cedwir hi felly i fod yn allu, ac yn allu oll-bwysig yn addysgiaeth foesol a chrefyddol Cymru; a gallwn deimlo yn ddiogel, nid yn unig y gwna y tro i'r oes nesaf, ond y bydd mewn ystâd o effeithiolrwydd y gallant hwythau ei chyfaddasu i anghenion y genedlaeth a ddaw ar eu hol hwy, ac felly ei gwneyd yn fendith i Gymru a'r byd drwy oesau a chenedlaethau y dyfodol.

Un o'r materion y gwahaniaethir o ran barn yn ei gylch ynglŷn â chyfeiriad y sylwadau blaenorol ydyw testun ein hysgrif bresennol—SAFONAU ADDYSG YR YSGOL SABBOTHOL. Wrth *Safonau* yn y cysylltiad hwn y golygir rhanu gwaith yr Ysgol yn ddognau blynyddol, cyfaddas i oedran a chyrhaeddiadau yr aelodau. Bwriedir hyn gan mwyaf er effeithioli llafur ac addysgiaeth dosbarthiadau y plant a'r ieuenctyd. Dichon mai yr eglurhâd goreu ar y cynllun, i'r sawl nad ydynt wedi ei weled mewn ymarferiad, ydyw dyweyd iddo gael ei awgrymu i feddwl caredigion yr Ysgol Sabbothol fel trefniant doeth a rhagorol gan waith y Llywodraeth yn trefnu gwaith yr Ysgolion dyddiol Elfenol i *Standards*, gan dori allan swm penodol o waith i'w wneyd ymhob un o honynt mewn ystod blwyddyn. Wrth weled cynllun y *Standards* yn llwyddo mor dda yn yr ysgolion dyddiol, o ran trylwyrder ac effeithiolrwydd yr addysg a gyfrenir, daeth i feddwl cyfeillion cywirgalon oeddynt yn awyddus am lwyddiant yr Ysgol Sabbothol, y byddai mabwysiadu trefniant o'r fath yn foddion sicr i

beri adnewyddiad a llwyddiant arni hithau. Teimlid ar hyd y blynyddoedd fod y llafur Biblaidd yn ddinôd a diamcan, yn llafur ar antur, ac heb ddim canlyniadau clir, pendant, a digamsyniol yn bod o'i effeithiolrwydd. Yr oedd llafur mawr yn bod ac ymdrechion clodwiw yn cael eu gwneyd, ond yr oedd y cwbl yn rhy wasgaredig a dibwynt i ateb y dybenion helaethaf y gellid eu dysgwyl trwy sefydliad mor ardderchog. Y canlyniad fu, ceisio darbwyllo awdurdodau yr Ysgol Sabbothol mewn rhanau o'n gwlad i wneyd prawf ar y ffurf newydd hon, trwy dori allan waith blwyddyn mewn llafur Biblaidd i'r dosbarthiadau ieuengaf, a nodi brodyr cymhwys o ran gallu, ffyddlondeb, a chydymdeimlad, i weled fod prawf teg yn cael ei wneyd arno, fel y gellid penderfynu pa un a atebai y dyben mewn golwg ai peidio.

Nid ydym yn hollol sicr eiddo pwy ydyw y meddylddrych yn wreiddiol. Gwelwn oddiwrth *Gronicl yr Ysgol Sabbothol* am Ionawr 1878, fod Undeb Glanau Ceiriog yn trefnu maes llafur a gwaith i'r dosbarth ieuanc am flwyddyn o amser, yn cynnwys rhanau o'r Bibl i'w darllen yn yr Ysgol am bedwar chwarter y flwyddyn, ac yn trefnu rhanau i'w dysgu allan o'r *Hyfforddwr*, *Rhodd Mam*, a'r *Llyfr Hymnau*. Addewir gwobrwyon i'r rhai goreu o dan 10, 15, ac 21 mlwydd oed am ateb cwestiynau a dysgu allan o'r meusydd penodedig. Hysbysir y trefniant hwn nid fel peth newydd, ond fel yr hyn oedd arferedig yn eu plith yn flaenorol. Y mae hwn yn gam pwysig ymlaen yn y cyfeiriad sydd dan sylw, fel y mae yn ymgais i ddwyn adran yr ieuenctyd yn yr Ysgol i lafurio yn yr un maes am dymmor, ac i osod nod ac amcan i'r llafur fel y mae yn cyfeirio at yr arholiad oedd i fod yn adeg o brawf arno. Dichon fod y peth yn y wedd hon yn bod mewn amrywiol leoedd yn flaenorol i hyn, ond yn y rhifyn cyntaf hwn o'r *Cronicl* y dygwyddodd i ni weled y crybwylliad pendant cyntaf am y cynllun.

Y mae rhyw gymaint o wahaniaeth rhwng hwn eto a'r *Safonau* fel y golygir hwy yma, canys tra y mae trefniant Undeb Glanau Ceiriog yn gosod gwaith ar gyfer dosbarthiadau yr ieuenctyd, y mae cynllun y Safonau yn rhanu y dosbarthiadau hyny drachefn yn adranau manach, gan nodi allan swm o waith penodol mewn darllen, deall, a dysgu allan o Air yr Arglwydd mewn blwyddyn. Hyd y gwyddom ni, i frawd o weithiwr cyffredin, ond aiddgar ac ymdrechgar iawn o blaid yr Ysgol Sabbothol, ac yn enwedig felly ymhlith y plant, y perthyn yr anrhydedd o awgrymu y dymunoldeb i'r Ysgol Sabbothol gymeryd y ddalen hon o drefniadau yr ysgolion dyddiol elfenol. Y brawd hwn ydyw Mr. Robert Thomas, a ddaeth o baradwys Eden yn Môn i fynydddir gwyllt-ramantus godrau y Wyddfa yn Arfon, ac a fwriodd ei goelbren grefyddol gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yn Gorphwysfa, Llanberis. Cofus genym glywed darllen llythyrau oddiwrtho yn Nghyfarfod Ysgolion Dosbarth Dinorwig yn y blynyddoedd 1876 a 1877 yn egluro ei syniadau arno, ac yn ei argymhell yn daer ar yr Ysgolion. Lled annyben oedd y frawdoliaeth i'w fabwysiadu, gan y tueddai rhai i edrych arno fel breuddwyd nas gellid ei sylweddoli mewn ffaith. Ar ol ei daflu o bwyllgor i bwyllgor am gryn amser, daethpwyd i'r penderfyniad o geisio gan Ysgol Sabbothol Gorphwysfa roddi prawf ar y cynllun am flwyddyn, o dan arolygiaeth bersonol Mr. Robert Thomas ei hun, ac i ddwyn adroddiad arno i'r Cyfarfod Ysgolion. Gwnaed hyny.

Yn *Nghronicl yr Ysgol Sabbothol*, Rhagfyr 1878 (tu dalen 268), yr ydym yn cael manylion "Safonau Ysgol Sabbothol Gorphwysfa, Llanberis," a'r rheolau, saith mewn nifer, gyda golwg ar eu gweithiad allan. Y mae y Safonau yn chwech o ran rhif, a gwaith penodol yn cael ei drefnu ar gyfer pob un.

Trodd y prawf allan yn llwyddiant mawr. Gwelwyd fod y plant yn gafael yn y gwaith gydag awyddfryd a difrifwch, ac yr oedd y wobr a'r dystysgrif addawedig yn symbyliad effeithiol i lafur ac ymdrech. Parodd y symudiad wedd newydd ar Ysgol Gorphwysfa y flwyddyn hono ag y mae ei ddylanwad yn parhau hyd yn bresennol. Y canlyniad fu i'r Cyfarfod Ysgolion annog yn daer yr holl Ysgolion i'w fabwysiadu, yr hyn a wnaed yn y mwyafrif o honynt, ac y mae y cynllun yn gweithio ymhob man yr ymgymerir âg ef gyda phenderfyniad ac ymroddiad. Heb hyn, ni wna un cynllun y tro. Rhaid cofio, gan nad beth fydd rhagoriaeth unrhyw gynllun, fod ei lwyddiant a'i effeithiolrwydd yn dibynu i raddau helaeth ar zel a ffyddlondeb yr arolygwyr a'r arholwyr, ac ymgymeriad calonog yr athrawon a'r athrawesau âg ef, ac ar ysbrydiaeth ac awydd yn y rhai fydd dan eu gofal am ragori ar eu gilydd yn ngwaith pob blwyddyn.

Deallwn fod y cynllun erbyn hyn mewn gweithrediad y tu allan i gylch Arfon, a'i fod yn profi yn fendithiol iawn yn Ysgolion y trefi mawrion, lle y mae ysgoldai pwrpasol i gario y gwaith ymlaen ar ddelw yr ysgolion dyddiol, a lle y mae cyflawnder o bobl ieuainc bywiog a medrus i'w weithio allan. Nid oes ammheuaeth genym na ddaw bob yn dipyn i gael ei fabwysiadu yn gyffredinol fel un o anhebgorion dyfodol llwyddianus yr Ysgol Sabbothol. A'r hyn sydd obeithiol iawn am y dyfodol hwn ydyw y parodrwydd â pha un y mae y sefydliad gwerthfawr yma yn cyfaddasu ei hun ar gyfer cynnydd yr oes mewn tri o'i allanolion : sef, bod yr holl Ysgol yn llafurio yn yr un maes am dymmor penodol ; fod y maes hwnw wedi ei ranu yn ddognau cyfaddas i oedran a chyrhaeddiadau safonau yr Ysgol; a bod holl Ysgolion cylch y Cyfarfod Misol yn dyfod i gystadleuaeth â'u gilydd yn y maes hwnw mewn un arholiad blynyddol cyffredinol. Nis gellir dyweyd y lles a'r buddioldeb a ddeilliai i gorff ieuenctyd ein Hysgolion Sabbothol o'r trindod hyn o ymarferiadau y mae bys Duw, yn arweiniad ei bobl y dyddiau hyn, yn ein cyfeirio atynt fel ffordd llwyddiant ac effeithiolrwydd y sefydliad rhagorol hwn ar gyfer yr oes ddyfodol.

Y mae un cwestiwn eto ynglŷn â'r safonau hyn yr ydym yn cael galw arnom i'w wynebu : sef, pa un fwyaf effeithiol i amcanion yr Ysgol Sabbothol, fod yr holl safonau yn llafurio yn yr un maes Biblaidd yr un flwyddyn, ynte fod Hanesiaeth Fiblaidd yn cael ei ranu yn y fath fodd fel y gallai plentyn a elo drwy yr holl safonau o bum' mlwydd oed hyd yn un mlwydd ar bymtheg, fod wedi cael trem gyflawn ar gynnwys hanesiol y Bibl ? Ceir y diweddaf wedi ei drefnu yn rhagorol mewn llyfr chwe' cheiniog gan ein brawd galluog, y Parch. Evan Davies, Trefriw, yn ei *Lawlyfr ar Hanesiaeth y Bibl.* Y mae llawer i'w ddyweyd o blaid ac yn erbyn y naill a'r llall o'r trefniadau hyn, ac er nad oes genym ofod yn yr ysgrif hon i fyned i mewn iddo, y mae yn sicr genym y cawn ein harwain mewn penderfyniad arno i'r

hyn fydd oreu, am fod ein harweinwyr yn wŷr o ddoethineb ac yn gyfarwydd â chael allan feddwl Duw gyda golwg ar drefniadau yn gystal ag ysbryd y gwaith pwysig sydd ganddo i ni i'w gyflawni drosto ynglŷn â'r Ysgol Sabbothol. Tra y bydd y doeth a'r deallus yn penderfynu i ni y cwestiwn teilwng hwn, nid anmhriodol fyddai symud ymlaen i sicrhau unffurfiaeth safon yn ein hamrywiol Ysgolion; neu os deallir ef yn well, ni a'i galwn ef yn *safon safonau.*

Nid yr un ydyw gofynion y gwahanol safonau ymhob Ysgol. Gwahaniaethant yn swm y wybodaeth a ofynir er pasio yn llwyddiannus, yn gystal ag yn swm yr hyn y rhaid ei ddysgu i'r côf o air Duw, a'r amrywiol Holwyddoregau rhagorol sydd yn arferedig yn ein plith. Y canlyniad ydyw fod plentyn yn cael ei godi o un safon i'r llall mewn un Ysgol ar lai o wybodaeth a llafur nag mewn Ysgol arall; a thra y dichon i'r gwahaniaeth hwn fod mewn dwy Ysgol yn yr un dref neu bentref, y mae yn effeithio yn niweidiol, ac yn cario dylanwad anffafriol i lwyddiant ac effeithiolrwydd. Da iawn genym ddeall fod ein cyfeillion yn fyw i'r elfen hon o berygl, a'u bod yn ceisio trefnu ar ei chyfer. Gwelsom fisoedd yn ol gynllun unffurf o safonau, wedi ei fabwysiadu gan Gyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd, a ymddangosai yn cyfarfod yr anhawsder hwn yn rhagorol; a rhywbeth o'r natur yma y rhaid ei gael drwy holl gylch ein Dosbarthiadau Ysgolion a'n Cyfarfodydd Misol, er cadw i fyny enw da a chynnyddu defnyddioldeb yr Ysgol Sabbothol fel sefydliad addysgol ar gyfer gwerin Cymru.

Y mae ein sylwadau, fel y gwelir, yn gyfeiriedig at y trefniadau allanol angenrheidiol er llwyddiant y sefydliad i gyfarfod âg anghenion yr oes. Cofier drwy y cwbl y bydd pob perffeithrwydd trefniadau allanol yn ofer ac aneffeithiol heb i ni gael ein llwyr feddiannu âg ysbryd y gwaith. Rhaid cael Ysbryd y peth byw i roddi bywyd yn holl olwynion y trefniadau allanol. Angen mawr ein gwlad ydyw ymgysegriad ac ymroddiad llwyrach i'r gwaith yn ei amrywiol gysylltiadau. Tra yr oedd ein tadau yn dibynu ar yr arweiniad Dwyfol, nid yn unig am yr hyn oedd ysbrydol ynglŷn â'r Ysgol, ond i fesur helaeth am eu trefniadau allanol, gwyliwn ninnau, yn nghanol ein trafferth gyda'r trefniadau a'r cynlluniau, golli golwg ar y gwirionedd oll-bwysig mai gwasanaeth Duw ydyw yr Ysgol Sabbothol, a'i bod wedi ei hordeinio, pa wasanaeth bynag a wna er cynnyrchu meddylgarwch a dadblygiad dealltwriaeth, i fod yn foddion gras ac yn ymgeledd ysbrydol i eneidiau y rhai a roddant eu hunain o dan ei haddysgiaeth. Bydded y nôd hwn felly yn wastad o flaen ein meddwl yn yr holl gynlluniau a threfniadau,—ei gwneyd y moddion mwyaf cyfaddas, dan fendith Ysbryd yr Arglwydd, i sicrhâu iachawdwriaeth dragywyddol, yn gystal a chynnydd ac adeiladaeth ysbrydol yr holl aelodau. Yn y llafur cariad hwn gyda'r Ysgol Sabbothol, ystyriwn ein bod yn "gydweithwyr Duw" mewn gwirionedd.

*Llanberis.* JOHN OWEN JONES.

NODIAD.

**Er rhoddi dirnadaeth eglurach i'r rhai nad ydynt hysbys yn nhrefniant y safonau yn barod, barnwn yn ddoeth roddi i mewn yma gynllun o drefn a gwaith y safonau**

mewn tair ysgol wahanol am y flwyddyn 1885—6. Ychwanegir hefyd y cynllun y cyfeiriwyd ato o eiddo Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd, am yr amcenir ef i fod yn gyfaddas, nid i Ysgol unigol, ond i'w weithio allan mewn cylch ëang o Ysgolion gyda'u gilydd.

Bydd cyferbynu hyd yn nod y cynlluniau hyn yn sicr o ddwyn i'r golwg gryn wahaniaeth yn safon y safonau, yn ol barn yr amrywiol Ysgolion a'u mabwysiadant, a dengys ar unwaith yr angenrheidrwydd am drefniant unffurf o safonau, fel y byddom oll yn gweithio wrth yr un reol ac yn cydsymud yn ol yr un ddeddf. Dyma yr unig ffordd y bydd yn deg cymharu a chyferbynu un Ysgol âg Ysgol arall. Byddai yn dda genym pe'd arweiniai y sylwadau hyn, ynghyd a'r engreifftiau yma o lafur safonau, i symudiad cyffredinol grymus a sicrhâi yr un safon gwaith, ac a gyfranai at wir effeithiolrwydd llafur drwy yr holl wlad.

I.

## CYNLLUN SAFONAU YSGOL SABBOTHOL CAPEL COCH, LLANBERIS, AM Y FLWYDDYN 1885–6.

DOSBARTH RHAGBAROTOAWL.

1. Y Wyddor.
2. Sillebu a darllen geiriau un-sill.
3. Dysgu Gweddi yr Arglwydd a thair o adnodau.

SAFON I.

1. Sillebu a darllen geiriau o'r Llyfr Elfenol Cyntaf.
2. Adrodd *Rhodd Mam*, i—v.
3. Dysgu chwech o adnodau.

SAFON II.

1. Sillebu a darllen geiriau o'r Ail Lyfr Elfenol.
2. Adrodd y *Rhodd Mam.*
3. Dysgu chwech o adnodau.

SAFON III.

1. Maes Darllen.—Hanes Iesu Grist yn ol Taflen Gwersi y Cyfarfod Misol.
2. Sillebu geiriau deusill.
3. Adrodd y Deg Gorchymyn a *Rhodd Tad*, i—v.

SAFON IV.

1. Maes Llafur.—Hanes Iesu Grist yn ol y Daflen.
2. Daearyddiaeth y lleoedd y cyfeirir atynt yn y Maes Llafur (cwestiynau syml).
3. Sillebu geiriau teirsill.
4. Adrodd *Hyfforddwr*, i—iii., neu Matthew xiii., Marc iv. a v.

SAFON V.

1. Maes Llafur.—Hanes Iesu Grist yn ol y Daflen.
2. Daearyddiaeth ac ystyr geiriau yn y Maes Llafur.
3. Sillebu geiriau pedair sill.
4. Adrodd Matthew xiii., Marc iv—viii., neu *Hyfforddwr* iv—viii.

SAFON VI.

1. Maes Llafur.—Hanes Iesu Grist yn ol y Daflen.
2. Daearyddiaeth ac ystyr geiriau yn y Maes Llafur.
3. Sillebu unrhyw air.
4. Adrodd Matthew xiii., Marc iv—viii., a Ioan vi. vii., neu *Hyfforddwr*, ix—xiii.

SAFON VII.

1. Maes Llafur.—Hanes Iesu Grist yn ol y Daflen.
2. Daearyddiaeth Gwlad Canaan yn amser Iesu Grist.
3. Sefyllfa wleidyddol a chrefyddol yr Iuddewon yn amser Iesu Grist.
4. Sillebu unrhyw air, ac ystyr geiriau yn y Maes Llafur.
5. Adrodd Matthew xiii., Marc iv—viii., Ioan vii—x., neu *Hyfforddwr*, xiv—xvii.

Cymer Arholiad le ar waith y chwarter cyntaf yn mis Gorphenaf, a dymunir ar

i'r dosbarthiadau gyfyngu eu hunain i'r rhan hon hyd hyny, ac felly yn chwarterol o hyny allan.

Yn ychwanegol at yr uchod, telir sylw neillduol i'r presennoldeb, a rhoddir nifer o farciau ar gyfer hyny.

Rhoddir llyfrau i'r rhai fydd yn rhagori yn y meusydd uchod, nid fel gwobrau yn unig, ond fel cydnabyddiaeth o deilyngdod. Mae pob llafur Ysgrythyrol yn dwyn ei wobr ei hun.

Caiff y rhai a gyrhaeddant dair rhan o bedair o'r marciau, lyfrau o'r dosbarth cyntaf. Daw y rhai a gânt hanner y marciau i mewn am lyfrau o'r ail ddosbarth.

II.

## GWAITH Y SAFONAU YN YSGOL SABBOTHOL GORPHWYSFA, LLANBERIS, AM 1885—6.

SAFON I.

Meistroli y Llyfrau Elfenol, adrodd Gweddi yr Arglwydd, a'r saith pennod cyntaf o'r *Rhodd Mam.*

SAFON II.

Darllen yn weddol rwydd. Ateb holiadau ysgafn ar yr hyn a ddarllenir ar y pryd. Llythyrenu geiriau un a dwy sill. Adrodd o ddechreu yr wythfed bennod hyd ddiwedd y *Rhodd Mam.*

SAFON III.

Darllen yn rhwydd, gan gadw y prif nodau. Ateb holiadau ysgafn ar y rhagenwau, a phwy lefarodd yr adnodau. Llythyrenu geiriau dwy a thair sill. Adrodd y Deg Gorchymyn, a'r rhan gyntaf o'r *Rhodd Tad.*

SAFON IV.

Darllen yn rhwydd a chywir a ran y llythyrenau a'r nodau. Adrodd yr ail ran o'r *Rhodd Tad.* Sefyll arholiad ysgafn ar wersi y Cyfarfod Misol ar Hanes Iesu Grist.

SAFON V.

Darllen gyda phwyslais da. Adrodd y drydedd ran o'r *Rhodd Tad.* Sefyll arholiad yn y maes penodedig o Hanes Iesu Grist.

SAFONAU VI., VII., A VIII.

Darllen a sefyll arholiad yn y Maes Llafur ar Hanes Iesu Grist.

Ynglyn â thaflen safonau yr ysgol hon, argreffir hanner cant o gwestiynau arweiniol, y rhai a fwriedir at wasanaeth yr athrawon a'r ysgoleigion, a nodir allan nifer penodol o honynt i'w hateb yn ystod y flwyddyn gan yr aelodau yn ol eu gwahanol safonau.

III.

## YSGOL SABBOTHOL DISGWYLFA.

*Safon yr Arholiad am* 1885—86.

SAFON I.

Meistroli y Llyfrau Elfenol; llythyrenu geiriau un-sill; adrodd yr wyth pennod cyntaf o'r *Rhodd Mam;* adrodd deg o bennillion, rhif 152, 312, 443, 913.

SAFON II.

Darllen yn rhwydd gan gadw yr attalnodau, ac ateb holiadau syml oddiar y pennodau sydd yn cynnwys hanes Iesu Grist hyd yn ddeuddeg oed; sillebu geiriau un a dwy sill; adrodd 15 o bennillion, rhif 124, 127, 157, 175, 847; adrodd Matthew, y bennod gyntaf, o'r 18fed adnod hyd ddiwedd yr ail bennod.

SAFON III.

Darllen yn rhwydd gan gadw yr attalnodau; ateb holiadau ynghylch y Rhagenwau; sillebu geiriau dau a thri sill; ateb holiadau yn Maes y Llafur; adrodd y

pennodau i., ii., o'r *Hyfforddwr;* adrodd 20 o bennillion, rhif 249, 252, 361, 492, 891.

SAFON IV.

Darllen yn rhwydd a chywir o ran y llythyrenau a'r nodau; sillebu geiriau tair a phedair sill; ateb nifer o holiadau yn Maes y Llafur; adrodd y pennodau iii., iv., v. o'r *Hyfforddwr;* adrodd 30 o bennillion, rhif 131, 177, 300, 335, 354, 359, 369, 416.

SAFON V.

Darllen gyda phwysleisiad da; sillebu geiriau pedair a phum' sill; ateb nifer o holiadau yn Maes y Llafur; adrodd pennodau vi., vii., viii. o'r *Hyfforddwr;* adrodd y Deg Gorchymyn.

SAFON VI.

Darllen gyda phwysleisiad da; ateb holiadau yn Maes y Llafur; adrodd pennodau ix., x., xi., xii. o'r *Hyfforddwr.*

SAFON VII.

Arholiad ysgrifenedig yn Maes y Llafur; adrodd pennodau xiii., xiv., xv., xvi., xvii. o'r *Hyfforddwr.*

Ni wrandewir adrodd ar ol y Sabboth olaf yn Rhagfyr.

IV.

## CYNLLUN UNFFURF O SAFONAU, MABWYSIEDIG GAN GYFARFOD MISOL GORLLEWIN MEIRIONYDD I'R HOLL YSGOLION.

SAFON I.—*(Rhan Isaf.)*

1. Meistroli hanner y Llyfr Elfenol Cyntaf ar dafleni, sef o'r Wers I. hyd ddiwedd Gwers VII.

2. Dysgu allan *(a)* Gweddi yr Arglwydd; *(b)* Deg o adnodau; *(c)* Deg o bennillion.

SAFON I.—*(Rhan Uchaf.)*

1. Meistroli y Llyfr Elfenol Cyntaf.

2. Dysgu allan *(a) Rhodd Mam,* pen. i.—iii.; *(b)* Deg o adnodau; *(c)* Deg o bennillion.

SAFON II.

1. Meistroli Llyfr yr Ail Ddosbarth, o'r Wers I. hyd ddiwedd Gwers XV., ac ateb gofyniadau syml oddiar yr hanesion.

2. Dysgu allan *(a)* y *Rhodd Mam,* pen. iv. hyd ddiwedd viii.; *(b)* Psalm i.; *(c)* Deg o bennillion.

SAFON III.

1. Meistroli Llyfr yr Ail Ddosbarth, o Gwers XVI hyd ddiwedd Gwers XXXI., ac ateb gofyniadau oddiar yr hanesion.

2. Dysgu allan *(a)* yr *Holiedydd Bach,* pen. i. hyd ddiwedd pen. xi.; *(b)* Psalm xci.; *(c)* Pymtheg o bennillion am Dduw.

SAFON IV.

1. Matthew, pen. i.—iii., a Luc, pen. i.—iii.; gallu eu darllen yn dda, a meistr-oli yr hanes a geir ynddynt.

2. Dysgu allan *(a)* yr *Holiedydd Bach,* pen. xii. hyd xxi.; *(b)* y Deg Gorchymyn; *(c)* Cân Mair a Chân Simeon.

SAFON V.

1. Efengyl Marc; gallu ei darllen yn dda, a meddu gwybodaeth dda o'r hanes.

2. Dysgu allan *(a) Yr Hyfforddwr,* pen. i.—v.; *(b)* Marc xvi.; *(c)* Ugain o bennillion am Grist.

SAFON VI.

1. Efengyl Matthew; gallu ei darllen yn ddà, a meddu gwybodaeth fanwl o'i chynnwys.

**2. Dysgu allan *(a) Yr Hyfforddwr*, pen. vi.—ix. ; *(b)* Matthew xxvii. ; *(c)* Deg ar hugain o bennillion am y nefoedd.**

**SAFON VII.**

**1. Yr oll o Efengyl Luc, ynghyd a Ioan, pen. ii., xi., xx., xxi. (Gwyrthiau ychwanegol).**
**2. Dysgu allan *(a)* Ioan xvii. ; *(b) Yr Hyfforddwr*, pen. x. i ddiwedd xvii.**

**SAFON VIII.**

**1. Llyfr yr Actau; meddu gwybodaeth fanwl am y prif ddygwyddiadau a phersonau yn hanes yr eglwys yn y cyfnod hwn.**
**2. Dysgu allan Actau viii.**

**Wedi y meistrolir y gwaith yn y Safonau blaenorol, cymhellir fod i'r dosbarthiadau lafurio yn y maes a'r drefn a ganlyn :—Llyfrau Moses, Josua, a'r Barnwyr. Y flwyddyn gyntaf—Y prif ffeithiau yn hanes yr Eglwys Batriarchaidd hyd Sinai. Yr ail flwyddyn—O Sinai hyd Ganaan, yn cynnwys hanes y genedl, ei defodau crefyddol a'i threfniadau gwladol. Y drydedd flwyddyn—Yn Nghanaan—Llyfrau Josua a Barnwyr.**

**Yn dilyn y cynllun hwn y mae naw o reolau tuag at ei weithio allan yn effeithiol.**

---

## VII.

## HOLI.

Y mae cryn lawer o ymddyddan, ysgrifenu, a phregethu ar yr Ysgol Sabbothol y dyddiau hyn, a hyny gan oreugwyr ein cenedl. Y mae cyfarfodydd chwech-wythnosol, neu ddaufisol, yn cael eu cynnal yn yr amrywiol siroedd, o bwrpas i drin a thrafod y pethau a berthynant iddi. Ac y mae y gwahanol enwadau crefyddol yn eu Cyfarfodydd Misol a Chwarterol yn fynych yn cymeryd hamdden i edrych ar y sefydliad daionus hwn, ac i annog eu gilydd i fwy o zel ac ymdrech o'i blaid. Y mae llawer o bregethau wedi eu traddodi gan weinidogion enwog ar "Yr Ysgol Sabbothol," a dilys genym fod yr oll a wnaed wedi bod yn fendithiol i godi ein cenedl i feddwl yn uchel am y sefydliad gwerthfawr hwn. Ond er y cyfan sydd wedi ac yn cael ei wneyd mewn gwahanol gylchoedd o blaid yr Ysgol, y mae yn ymddangos fod rhan helaeth o drigolion ein gwlad eto yn ei llwyr esgeuluso. Hysbysid rai blynyddoedd yn ol yn Nghymdeithasfa y Methodistiaid Calfinaidd yn Ninbych fod 20,000 o drigolion y sir hono heb fod yn gwrando yr efengyl. Os gwir yr adroddiad uchod, ac os gwir hefyd fod siroedd eraill Cymru lawn mor bell yn ol, y mae yn eglur fod genym waith mawr heb ei gwblhau, a bod yn bryd i ni ddeffroi o gysgu, ac ymosod yn egnïol ar lafur cenadol yn ein gwlad ein hunain. "Y mae tir lawer eto heb ei feddiannu." Ond, er hyny, "na lwfrhawn, ac na ddigalonwn." Yr ydym wedi ennill llawer yn y blynyddoedd diweddaf; ac os parhawn yn ein zel a'n hymdrech, yr ydym yn bur sicr o ennill tir eto yn y dyfodol. Wrth edrych ar yr ystadegau, fe welir ein bod eisoes yn bur lïosog, a dylem fod oll ar waith. Byddai yn briodol dyweyd wrthym fel y dywedodd Josua wrth feibion Joseph: "Os pobl aml ydwyt, dos i fyny i'r coed, a thor goed i ti yno yn ngwlad y Phereziaid, a'r cawri, od yw mynydd Ephraim yn gyfyng i ti. . . . Pobl aml ydwyt, a nerth mawr

sydd genyt: ni fydd i ti un rhan yn unig; eithr bydd y mynydd eiddot ti; canys coediog yw, arloesa ef; a bydd ei eithafoedd ef eiddot ti; canys ti a yri ymaith y Canaaneaid, er bod cerbydau heiyrn ganddynt, ac er eu bod yn gryfion." A chan ein bod ninnau yn bobl aml, dylem fyned i fyny i'r coed, a gwneyd ein hol ar y rhan hono o'r boblogaeth sydd heb fod yn ddeiliaid o'r Ysgol Sabbothol. Y mae aml i gymydogaeth goediog a llawer mynydd diffrwyth heb eu harloesi eto; gan hyny dywedwn wrth yr Ysgol, "Bydd y mynydd eiddot ti, a bydd ei eithafoedd ef eiddot ti. Y mae genyt ti nerth i yru ymaith y Canaaneaid,—hen arferion pechadurus ein gwlad, er bod cerbydau heiyrn ganddynt, ac er eu bod yn gryfion iawn! Bydd galonog ac ymdrechgar, a thi a yri ymaith gyfeddach a meddwdod, cydorwedd ac anlladrwydd, cynhen a chenfigen, twyll ac anghyfiawnder, a phob drygioni allan o'r tir, a bydd y wlad wedi ei darostwng o'th flaen di."

Yr ydym yn credu fod i'n byd ni ddyfodol dedwydd, pan y bydd ei drigolion yn gyfiawn oll, a phob un yn aelod ffyddlawn o'r Ysgol Sabbothol. Ond a ydym ni yn gwneyd a allom tuag at ddwyn y cyfnod dedwydd hwnw oddiamgylch, ai ynte pregeth Josua wrth feibion Israel sydd yn amserol i ni,—"Pa hyd yr ydych chwi yn esgeuluso myned i oresgyn y wlad a roddes Arglwydd Dduw eich tadau i chwi? Moeswch o honoch dri wŷr o bob llwyth, fel yr anfonwyf hwynt, ac y cyfodont, ac y rhodiont y wlad, ac y dosbarthont hi." Felly am ein hanwyl wlad ninnau, y mae Arglwydd Dduw ein tadau wedi ei rhoddi i ni, ac yr ydym ninnau i'n beïo am beidio myned i'w meddiannu. Ac yr ydym mewn modd arbenig i ymdrechu gwneyd hyny trwy wneyd ein goreu i gael y boblogaeth oll i fod dan addysg yr Ysgol Sabbothol.

Ac ar ol cael y bobl at eu gilydd, y pwnc nesaf ydyw eu cadw ynghyd, a gwneuthur rhyw lesâd iddynt. Y mae yr anrhydedd uchel yma wedi ei hymddiried i athrawon ac athrawesau yr Ysgol. Tuag at gyrhaedd yr amcan, un peth pwysig ydyw meddu awydd angerddol yn y meddwl am fod o les i eraill. Dylai pob dysgawdwr fod yn debyg i'r Brenin Mawr yn hyn: "Ni thröaf oddiwrthynt heb wneuthur lles iddynt.Ië, mi a ymlawenychaf ynddynt, gan wneuthur lles iddynt; a mi a'u planaf hwynt yn y tir hwn yn sicr, â'm holl galon, ac â'm holl enaid." Fel hyn y dylai y dysgawdwr crefyddol fod, yn amcanu yn ddifrifol at wneyd lles i'r rhai sydd dan ei ofal. Y mae gan yr athraw fantais neillduol i wneyd lles i'w ddosbarth; y mae y cylch yn ddigon bychan, ac y mae hyny yn gwneyd fod yn haws cyrhaedd pob un. Yn y gynnulleidfa fawr y maent yn llechu yn nghysgod eu gilydd, yr unigol yn ymgolli yn y llïaws, y naill yn gwrando dros y llall; a'r pethau pwysig a draddodir, rhyngddynt oll, "yn cael eu gollwng i golli." Ond yn y dosbarth yn yr Ysgol Sabbothol, y mae pob un yn bersonol yn y cyrhaedd megys; gall yr athraw roddi ei law arno, a gwneuthur lles iddo. Ac un lles neillduol y dylai yr athraw bob amser amcanu ato, yn enwedig gyda yr ieuanc, ydyw ei gael i gynnyddu mewn gwybodaeth o bethau y Bibl. Ac un ffordd effeithiol i hyny, a'r fwyaf effeithiol yn ddiammeu, ydyw drwy HOLI. Perygl ambell athraw ydyw bod yn ormod o *bregethwr* yn y dosbarth, ac yn rhy fychan o *holwr;* esbonio i'r dosbarth yn lle gwneyd iddynt hwy esbonio iddo ef. Gwaith penaf a phwysicaf yr athraw ydyw, nid tywallt i mewn i'r rhai sydd dan

ei ofal, ond tynu allan o honynt. Dichon mai buddiol iddo weithiau fydd tywallt rhyw gymaint i mewn, yn debyg fel y bydd y llances gyda y pwmp ar adeg sych ar y flwyddyn, yn tywallt rhyw gymaint o ddwfr iddo mewn trefn i gael peth allan o hono. Cael dwfr yw amcan y lodes pan yn rhoddi iddo; ac ar ol tywallt ychydig i mewn, cewch ei gweled â'i holl egni yn pwmpio allan o hono. Felly yr athraw; tynu allan yw ei waith mawr ef,—cynnyrchu ysbryd ymofyngar yn y rhai fydd dan ei ofal; nid dyweyd cymaint wrthynt, ond cynhyrfu eu meddyliau hwy eu hunain i ddyfal chwilio ac ymofyn drostynt eu hunain. Y mae yr hyn a ennillir drwy lafur a thrafferth yn fwy o werth i'r ieuanc, a bydd yn llawer tebycach o'i gadw. Gan hyny y mae yn wir bwysig i'r athraw fedru codi ei ddysgyblion i gymeryd trafferth gyda y gwersi fydd dan sylw.

Un o'r ffyrdd mwyaf effeithiol i gynnyrchu trafferth, ac hefyd i wneyd y drafferth yn ddifyrus ydyw drwy *Holi.* Y mae gwaith yn fendith fawr i ddyn; y creadur di-waith, y segurddyn, ydyw y mwyaf annedwydd o bawb; treulia y gweithgar ei amser yn llawer mwy difyr na'r segur. Y mae yn hawdd adnabod dosbarth yr athraw sydd yn holi wrth yr olwg effro, fywiog, sydd arnynt; ac y mae yr Ysgol bob amser yn dybenu yn llawer rhy fuan ganddynt: tra ar y llaw arall y mae dosbarth yr athraw sydd yn pregethu, ac heb holi, yn cael hamdden i edrych o'u cwmpas, neu ynte yn hanner cysgu. Y mae cwestiyno yn cynnyrchu bywiogrwydd a meddylgarwch. Agorir llygaid y llanc i weled yr anhawsderau, ac i benderfynu ymosod arnynt o ddifrif. Daw i ddeall fod yno bethau ag y mae efe heb eu gwybod. "Y cam cyntaf mewn gwybodaeth yw gwybod ein bod heb wybod." A'r ffordd i gael yr ieuanc i roi y cam yna ydyw ei holi. Yna y mae yn agor ei lygaid i weled fod anhawsderau yn bod, a'i fod yntau ei hun yn anwybodus; ac erbyn hyn dyna gychwyn pur dda; fe aiff bellach i ymofyn ac i chwilio; ac ar ol dechreu trafferthu y mae yn cael blas ar y gwaith. A dyna y peiriant yn awr wedi cychwyn, yr olwynion wedi dechreu troi; a gwaith yr athraw bellach ydyw eu cadw i droi,—cadw i fyny yr ysbryd ymofyngar ac ymchwilgar yna. Ond cofier mai y ffordd fwyaf effeithiol i wneyd hyny ydyw drwy *holi.*

Y mae cryn dipyn o bwys pa fath gwestiynau a ofynir. Weithiau yr ydys yn holi er mwyn cael allan faint gwybodaeth y rhai a holir. Cyrhaeddir yr amcan yma drwy yr arholiadau ysgrifenedig a gynnelir yma ac acw ar hyd y wlad; a diammeu fod daioni mawr yn cael ei gynnyrchu drwyddynt, yn neillduol yn y parotoi fydd ar eu cyfer trwy y llafur blaenorol i'r arholiad; er ar yr un pryd fe ddichon fod perygl i ni fyned i eithafion gydag arholiadau. Y mae eisieu holi er cynnyrchu meddylgarwch a llafur yn y dysgyblion; ac hefyd holi pethau hawdd a syml, yn gystal ag ymwthio at y dwfn a'r anhawdd er mwyn cadw pawb ar waith. Yr ydym yn clywed ambell dro fod yr holi cyhoeddus ar ddiwedd yr Ysgol yn anfuddiol a diflas, a bod tymmor yr holi cyhoeddus ar ben, ac mai llawer gwell fyddai cael yr ychydig fynydau hyny yn ychwanegiad at yr amser yn y dosbarthiadau. Y mae un peth yn eglur beth bynag, fod yr holi cyhoeddus *wedi* ateb dybenion goruchel yn yr amser a aeth heibio; a rhaid i ni addef ein bod yn hynod o anmharod eto i'w roddi o'r neilldu a'i gondemnio. A theimlwn yn sicr mai nid an-

mhriodol fyddai cymeryd hamdden am foment i edrych ac ymofyn a oes dim modd "adnewyddu ieuenctyd" yr hen arfer dda eto fel yn y dyddiau gynt. Dichon fod yr holwyr yn barod i osod y bai wrth ddrws yr atebwyr, a hwythau yn ei daflu yn ol at ddrws yr holwyr. Ond pe yr ymofynem, nid yw yn annhebyg nad oes tipyn o'r bai ar y naill a'r llall, a dylai "pob un ysgubo ar gyfer drws ei dŷ ei hun." Y mae eisieu gofyn pethau syml fel y gallo yr holl gynnulleidfa gydateb; a pheth rhyfeddol o brydferth ydyw clywed lliaws yn cydadrodd hen wirioneddau mawr y Bibl—gwŷr a gwragedd, hen ac ieuainc, yn *cydadrodd* pennod o'r Bibl, neu o'r *Hyfforddwr*, yn un llais. Na ddifwyner yr hen arfer dda, canys y mae bendith ynddi. Ar yr un pryd y mae eisieu hefyd gofyn pethau ag y dylid bod yn feddylgar wrth eu hateb,—pethau a gynnyrchant lafur yn y bobl ieuainc. Buddiol, hyd y byddo yn bosibl, ydyw uno y ddau ddull o holi; nid pethau syml ac arwynebol yn unig, ond ymofyner hefyd am y dwfn a'r anhawdd. Y mae ambell holwr na cheir dim ganddo ond y syml a'r agos; ac meddai, "Y peth sydd bell a dwfn iawn pwy a'i caiff?" Nid yw efe am ymaflyd mewn cwestiwn anhawdd o gwbl. Ond y mae holwr arall yn teimlo mai gormod o iselhâd arno ef fyddai gofyn pethau bychain hawdd; ac o herwydd hyny y mae bob amser am "wthio i'r dwfn," a'r canlyniad yn fynych ydyw, gorfod "poeni ar hyd y nos ac heb ddal dim." Peth o werth fyddai uno y ddau fath o holi—sef holi yn y fath fodd ag a godo yr holl gynnulleidfa i *gydateb*, ac hefyd dori gwaith i'r meddyliau cryfaf o fewn y gynnulleidfa.

Mewn trefn i gyrhaedd yr amcanion uchod, dylai fod mwy o gysylltiad rhwng y llafur yn y dosbarthiadau a'r holi ar ddiwedd yr Ysgol. Tebyg ydyw yn ein Hysgolion Sabbothol yn awr, mewn rhai parthau o'r wlad, i'r hyn ydoedd yn Israel gynt, pan nad oedd ganddynt frenin: "ond pob un a wnai yr hyn oedd uniawn yn ei olwg ei hun." Felly y mae pob dosbarth yn darllen yn y man y myno, yn gwneuthur yr hyn sydd uniawn yn ei olwg ei hun; ac o herwydd hyny y mae llawer o amrywiaeth ymhob Ysgol, ac nid oes neb wedi sôn na meddwl am yr hyn sydd i'w holi ar y diwedd, nes y bydd yr Arolygwr wedi canu y gloch. Os bydd yr holwr ei hunan wedi parotoi ychydig, ni fydd neb arall wedi parotoi dim. Ond y mae eisieu parotoad ar yr holwr a'r atebwyr. Os nad ellir cael yr holl Ysgol i lafurio yn yr un maes—dios mai hyny fyddai y peth goreu,—dylid neillduo rhyw gyfran o amser yr Ysgol i barotoi ar gyfer yr holi yn y diwedd. Yn y fan hon dymunem grybwyll y dylai pob Ysgol fod yn dri dosbarth—sef plant; ieuenctyd; a phobl mewn oed; a dylid tori gwaith priodol i'r naill a'r llall. Yn yr Ysgolion lle nad oes ond dau ddosbarth, gellir bod agos yn sicr fod yno segurwyr, sef rhai rhy fawr i fod gyda'r plant, ac heb deimlo dim dyddordeb yn yr hyn fydd gan y bobl mewn oed; a pheth peryglus ryfeddol yw dechreu cael blas ar segura. Y mae hyny yn wir ymhob cylch; y mae y rhai segur yn temtio y diafol i'w temtio hwy. Torer gwaith i bawb; cadwer pawb gyda eu gwaith; a rhodder cyfleusdra iddynt i ddangos eu gwaith.

Dyna beth arall angenrheidiol tuag at godi yr holi cyhoeddus i fri, sef fod cyfleusderau i hyny yn cael eu rhoddi yn llawer amlach. Mewn

ambell gapel yn awr, nid oes dim holi cyhoeddus ond ar Sabboth y Cyfarfod Ysgolion yn unig. "Fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod felly." Y mae yn ddigon rhyfedd fod yr holi a'r ateb cystal ag yw, pan feddyliom leied o ymgeledd y mae yn ei gael. Y peth effeithiolaf i gadw yr erfyn yn loew ydyw ei ddefnyddio yn aml; nid rhyfedd fod llawer pregethwr heb fawr o flas i holi, gan mor anfynych y mae galwad arno i ymarfer â hyny. Diammeu y collai y blas ar bregethu, pe y byddai wrthi mor anaml ag y mae yn holi. Dylid neillduo un odfa ar y Sabboth unwaith bob mis, neu bob dau fis, ymhob capel i holi rhyw fater a fyddo dan sylw yr Ysgol; a bron nad ydym yn credu y cai y gynnulleidfa fwy o les ac adeiladaeth ysbrydol trwy hyny nag hyd yn nod wrth wrando y bregeth. Y mae gan amryw eglwysi bellach eu bugeiliaid, a'r rhai hyny yn pregethu yn fynych yn eu cartrefi, a chanmoladwy iawn ydyw hyny; dylai pob gweinidog bregethu yn aml i bobl ei ofal. Ac y mae yn sicr mai y gweinidog cartrefol fyddai y mwyaf cymhwys i holi y gynnulleidfa. Os rhaid cael y "gŵr dyeithr" i bregethu ambell waith, gadawer i'r "gweinidog cartrefol" gael cyfle i holi yn lled fynych, a derbynia lesâd ei hunan, a chaiff gyfle i wneyd lles i'w gynnulleidfa.

Dymunem grybwyll eto mai dymunol fyddai rhoddi ambell odfa ar y Sabboth i holi y plant hefyd: dyma y moddion effeithiolaf i gynnyrchu ysbryd llafur yn yr oes sydd yn codi. Y mae daioni mawr yn cael ei wneyd drwy y cyfarfodydd wythnosol a gynnelir gyda y plant, y Cyfarfodydd Ysgolion, a'r Cymanfäoedd blynyddol yn yr amrywiol siroedd a'r gwahanol ddosbarthiadau. Dylai yr oll o honynt gael pob cefnogaeth; ond dylid hefyd cael cyfarfodydd i holi yn amlach ymhob lle ar y Sabboth. Cwynir weithiau nad oes dim holwyr i'w cael; tebygol mai y rheswm dros hyny ydyw mai ychydig o alwad sydd am danynt. Er ys blynyddau yn ol yr oedd ysgolfeistriaid yn brinion iawn, ac ychydig iawn oedd yr alwad am danynt; ond yn y blynyddau diweddaf hyn y mae galwad mawr am ysgolfeistriaid, a pha fwyaf yw y galwad am danynt, mwyaf oll yw y cyflenwad o honynt. Felly hefyd, pe byddai galwad am holwyr yn amlach, y mae yn sicr y byddent yn haws i'w cael, ac hefyd y byddai genym well holwyr o lawer nag sydd genym yn awr. Hen gynllun ardderchog i weinyddu addysg ydyw holi ac ateb; a pha fwyaf yr arferwn âg ef, mwyaf oll a welwn o werth ynddo. Wrth derfynu, yr ydym bron a chael ein temtio i annog yr eglwysi i gadw eu gwŷr ieuainc am gryn amser i fod yn *holwyr*, ac nid eu gollwng ar unwaith i fod yn *bregethwyr*.

EVAN PETERS.

---

## VIII.

## CYSYLLTIAD YR YSGOL SABBOTHOL A'R BAND OF HOPE.

Y mae y Llywodraeth o fewn yr ugain mlynedd diweddaf wedi dwyn oddiamgylch welliantau pwysig tuag at berffeithio y dull o gyfranu addysg elfenol yn yr ysgolion dyddiol. Y mae adeiladau cyfleus wedi eu codi, digonedd o athrawon trwyddedig yn barod, a deddf i orfodi y

plant i fyned i dderbyn addysg. Ystyrir y trefniadau hyn yn dda a chyflawn, eto nid ydynt yn berffaith. Y mae dynion galluog yn barhâus yn gwneyd cyfnewidiadau ynddynt ac ychwanegiadau atynt er eu perffeithio. Gwelir fod gofal neillduol am addysg fydol yn ein plith, ac y mae effeithiau y cyfleusderau hyn i'w gweled mewn modd dymunol ac addawol ar y dosbarth ieuanc. Ond, ymha sefyllfa y mae addysg grefyddol yn ein gwlad? Y prif sefydliad i gyfranu yr addysg hon ydyw yr Ysgol Sabbothol. Hi sydd i ymafael yn llaw yr ieuenctyd i'w hyfforddi yn mhen eu ffordd. Erbyn hyn y mae yr Ysgol yn Nghymru yn gan' mlwydd oed; gwelodd lawer tro ar fyd, fel y dywedir; gwelodd un genedlaeth yn myned ymaith a chenedlaeth arall yn dyfod amryw weithiau; ond y mae hi yn parhâu yr un, heb fyned drwy ond ychydig o gyfnewidiad. Mewn un ystyr y mae hyn yn rhinwedd ynddi, gan ei bod wedi cadw meddiant o'r arbenigrwydd a'i nodweddai. Ond un o ddeddfau bywyd ydyw cyfnewidiad, neu ddadblygiad; a phan gofiwn hyny, yr ydym yn synu fod golwg mor iach ar yr Ysgol, pan y mae wedi symud a chyfnewid mor ychydig. Paham na fuasai wedi myned trwy gwrs o welliantau? Paham na fuasai iddi adeiladau cyfleus? Paham na fuasai ganddi fwy o athrawon galluog ac ymroddedig? Onid oes peth difaterwch a chysgadrwydd wedi bod ynglŷn â hi? Yn ddiau, fe wnaeth yr Ysgol Sabbothol waith mawr a daionus yn ystod y can' mlynedd diweddaf; ond, pa faint mwy o waith da a allasai fod wedi ei wneyd pe buasai ei threfniadau a phobpeth cysylltiedig â hi yn agos i'r hyn y dylasent fod. Ymha le y mae y diffyg? Ein cred ni yw, y dylid gwella y Dull o gyfranu addysg, ac hefyd y dylid Helaethu y Moddion i'w gyfranu.

Y mae pawb sydd yn dwyn rhyw gysylltiad â'r Ysgol Sabbothol yn gwybod yn dda am y *Dull* a arferir yn gyffredin ynddi i gyfranu addysg. Ychydig iawn o amser a fyddai yn eisieu i argyhoeddi unrhyw aelod o honi fod y dull yn un digynllun, ac i raddau pell yn aneffeithiol. Gofyner i fachgen deuddeg oed enwi rhai o apostolion Crist; gofyner i ddosbarth o enethod, deg, deuddeg, a phedair ar ddeg oed, enw ar beth ydyw Samaria, Moriah, &c., a cheir gweled fod mwy o anwybodaeth am hanesion syml y Bibl nag a fuasai amryw yn feddwl. Y mae y plant yn myned drwy arholiadau mewn safonau uchel yn yr ysgolion dyddiol yn llwyddiannus, ond mewn materion ysgrythyrol y mae yr un plant yn dangos anwybodaeth mawr. Y rheswm ydyw, na chawsant eu haddysgu yn briodol,—nad oeddynt dan athrawon oeddynt yn meddu cymhwysder i gyfranu addysg, onidê buasai eu cynnydd yn helaethach. Pan aeth y Llywodraeth i ddiwygio addysg fydol y wlad, chwiliwyd am athrawon cymhwys. Gan nad oedd ond ychydig i'w cael ar y dechreu, aed i *wneyd* rhai. A rhaid iddi ddyfod i hynyma gyda yr Ysgol Sabbothol—gwneyd athrawon, os ydyw am gyfranu addysg yn effeithiol. Gwneyd rhai fydd yn athrawon yn y ddau ystyr sydd i'r gair, sef rhai yn meddu gwybodaeth drwyadl o'r hyn y maent yn ei addysgu, a rhai yn meddu gallu i gyfranu y wybodaeth hono i eraill. Byddai sefydlu dosbarthiadau mewn cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol, gyda'r amcan o barotoi athrawon ar ei chyfer, yn dyfod â chwrs newydd o addysgiaeth iddi. Ac yn ddiddadl, nid ychydig o ddaioni a fyddai ynddo ei hun, heb gyfrif y lles a ddeuai i'r

Ysgol yn gyffredinol trwy gael athrawon cymhwys. Gellid dyweyd ei fod yn "*twice blessed.*" Buasai yn dda genym fyned ymlaen i gynnyg cynlluniau ar gyfer parotoi athrawon, ac i nodi rhai gwelliantau yn y dull o gyfranu addysg, yn enwedig ymhlith y dosbarthiadau ieuengaf; ond rhaid i ni gyfyngu ein hunain o fewn cylch ein testun. Felly awn ymlaen at yr ail sylw a nodasom, sef y dylid *Helaethu y Moddion i gyfranu addysg.*

Yr ydym yn deall fod ymdrech lled gyffredinol yn cael ei wneyd ar ryw noswaith o'r wythnos i addysgu y plant, heblaw yr hyn a wneir ar y Sabboth. Y mae effeithiolrwydd y cyfarfodydd hyn yn dibynu ar gymhwysder, zel, a ffyddlondeb y rhai sydd yn gofalu am danynt. Hyd yn hyn y maent ymhell o fod yn cael y sylw dyladwy. Yn fynych anghofir eu cyhoeddi, pan hysbysir cyfarfodydd eraill yr wythnos. A chan mai un neu ddau fydd yn cymeryd eu gofal, pan ddaw rhyw rwystr i'r rhai hyny fod yn bresennol, gwaith rhy anhawdd fydd cael neb i gymeryd eu lle, ac felly dyna wythnos yn myned heibio heb gyfarfod. Ystyrir y cyfarfod hefyd mor ddibwys fel y cymerir ei noswaith yn aml i gynnal rhyw gyfarfod a ddaw heibio yn achlysurol. O herwydd difaterwch mewn amrywiol ffyrdd y mae y cyfarfodydd hyn ymhell o fod yn effeithiol. O dan nawdd yr Ysgol Sabbothol y dylai cyfarfodydd y plant yn yr wythnos fod, a dylent gael eu hystyried fel helaethiad o honi. Yr un amcan sydd iddynt, a'r un addysg sydd i'w gyfranu, ond y gwneir hyny mewn dull ychydig yn wahanol. Yn y cyfarfodydd hyn gellid dysgu adnod i hanner cant gyda yr un faint o lafur ac amser ag a gymerai i'r athraw yn yr Ysgol i'w dysgu i hanner dwsin. Hefyd gwneid y gwersi yn gymaint mwy dyddorol trwy gymhorth mapiau, darluniau, *blackboard*, a phethau eraill priodol ar gyfer y gwaith, fel y dysgai y plant lawer mewn ychydig o amser, ac y byddai yr argraff ar eu meddwl yn fwy parhaus. Byddai ychwanegiad o'r fath yma at yr Ysgol yn sicr o effeithio yn ddaionus arni. Ceid mwy o fywiogrwydd ynddi, mwy o lafur; a gellid parotoi yn nghyfarfodydd yr wythnos fel ag i wneyd holi y plant ar ddiwedd Ysgol y Sabboth i ateb llawer gwell pwrpas.

Yr ydym yn deall mai er mwyn magu yr egwyddor Ddirwestol yn y plant y ffurfiwyd ar y dechreu y cyfarfodydd a elwir *Bands of Hope.* Y mae arnom ofn fod yr amcan hwnw i raddau wedi colli. Gresyn ydyw hyny. Ni fu erioed fwy o angen rhoddi nerth braich ac ysgwydd o blaid sobrwydd. Y *ddiod* sydd yn gwywo gobeithion teuluoedd, ac y mae fel pe yn annelu ei bwa at y rhai hyny sydd o herwydd eu talent, eu dysg, a'u hanrhydedd, wedi eu cymhwyso i lenwi safleoedd pwysig yn y wlad. Y mae y gelyn yma yn rhwymo baich o anghysur ar rywai yn ddiorphwys. Poena y rhieni trwy wneyd y plant yn feddwon. Dwg gywilydd ar y plant trwy lithio y rhieni. Llawn ydyw y wlad o gŵr i gŵr o ochain dystaw yn herwydd dinystriadau y ddiod. Er pregethu, er cyfarfodydd Dirwestol, y mae yfed anghymedrol yn ffynu, os nad yn myned ar gynnydd. Y mae dynion wedi myned yn rhy hen i ddiwygio; y mae chwant wedi eu meistroli; y mae arferiad wedi eu meddiannu. Ond beth am y plant? Y maent hwy yn gwneyd i fyny nifer mawr o'r boblogaeth, a hwynt-hwy ydyw gobeithluoedd y wlad. O fysg y rhai hyn y cyfyd seneddwyr, llywodr-

aethwyr, ac athrawon yr oes nesaf. Ië, ac o'u plith hwynt hefyd y dena y diafol ei feddwon a'i dyngwyr! Ond ni ddylai gael cymaint ag un, oddieithr er gwaethaf caredigion crefydd a sobrwydd. Dyma le i weithio—gyda'r plant. Magu cewri mewn rhinwedd a fyddant yn ofn i anfoesoldeb. Un ffordd effeithiol i wneyd hyn fyddai i bob ardal *Sefydlu Band of Hope mewn cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol.*

Yr ydym wedi sylwi eisoes y byddai cyfarfod yn yr wythnos yn ychwanegiad effeithiol at yr Ysgol i ddysgu moesoldeb a chrefydd, ac yr ydym am roddi lle arbenig yn y cyfarfod hwnw i ddysgu egwyddorion Dirwest i'r plant—eu magu yn llwyrymwrthodwyr, yn Ddirwestwyr trwyadl. Dysgir athrawiaethau crefydd iddynt yn yr Ysgol; arfogir hwy yn erbyn ammheuwyr, rhesymolwyr, ac anffyddwyr; ond nid oes ganddynt arf penodol ar gyfer y cawr-elyn—anghymedroldeb. Dengys hanesiaeth fod llawer o ieuenctyd a gawsant eu parotoi yn dda i wynebu y dosbarth cyntaf o elynion a nodasom, eto yn syrthio yn archolledig o flaen y gelyn hwn. Adroddir ffaith ddifrifol gan y Parch. W. Caine, caplan carchar Manchester. Dywedai iddo ymweled â 724 o garcharorion, ac nid oedd ond 80 o honynt na fuont yn aelodau o'r Ysgol Sabbothol. Felly dyna 644 o fewn muriau carchardŷ, fu unwaith yn blant yr Ysgol Sul, ac yn derbyn addysg ynddi. Dengys hyn yn amlwg nad ydyw hyfforddiant yr Ysgol yn ddiogelwch digonol i wynebu ystrywiau ac ymosodiadau y gelyn o gyfeiriad y *ddiod*—prif achosydd troseddau ein gwlâd. Rhaid i ni gan hyny gymhwyso yr arfogaeth i gyfarfod â'r gelyn. Yn ddioedi sefydler *Band of Hope* mewn cysylltiad â'r Ysgol, ac felly bydd y plant a fegir yn cychwyn allan i'r byd mewn cyflawn arfogaeth. Yn y *Band of Hope* dysgir y plant am natur alcohol a'i effeithiau; dangosir iddynt ddrygedd meddwdod fel y mae yn wastraff, fel y mae yn niweidiol i iechyd, fel y mae yn dinystrio cymeriad, ac yn arbenig fel y mae yn bechod yn erbyn Duw; nodir engreifftiau hefyd er mwyn cynnorthwyo y plant i ddeall, ac er mwyn cael cydsyniad eu cydwybod â'r hyn a ddysgir iddynt. Y mae meddwl a chalon y plentyn yn dyner, ac nid oes ynddo ragfarn i droi y gwirionedd y ffordd yma, na chwant wedi ei feithrin i ystwytho y gwirionedd ffordd acw; ond y mae ei feddwl a'i galon yn lân ac agored i dderbyn y gwirioneddau a'r argraffiadau a roddir arnynt. Mor bwysig gan hyny ydyw fod y gwirioneddau cyntaf a ddysga y plentyn, yr argraffiadau cynnaraf a wneir ar ei feddwl, yn rhai pur. Y mae yr arferion a'r addysgiadau cynnefin yn nhymmor plentyndod yn sicr o barhau yn hir yn eu dylanwad ar y dyn. Dywedai Cardinal Cullen:—"Rhoddwch i mi blentyn hyd nes y byddo yn naw oed, a chewch ei gymeryd i'r fan a fynoch wedi hyny." Dyma dymmor pwysig, tymmor argraffiadau annileadwy; ac am hyny y mae yn canlyn, ond hyfforddi plentyn yn mhen ei ffordd, pan heneiddio nad ymedy â hi. Yn y *Band of Hope* dysgir y plant i ffurfio arferion da. Gyda ni y mae y plant braidd oll yn Ddirwestwyr; nid yw eu hoedran a'u cyfleusderau yn caniatâu iddynt fod yn wahanol. Ond nid ydyw cartrefi yr oll o honynt yn Ddirwestol. Mewn rhai teuluoedd y mae y diodydd yn cael eu defnyddio yn rhwydd yn ngolwg y plant; ond y rhan fynychaf, mae yn debyg, defnyddir hwy fel meddyginiaeth, ac fel croesaw i ddyeithriaid. Y mae hyn yn rhoddi bri ar y ddiod yn meddyliau y rhai ieuainc, ac yn meithrin ynddynt

archwaeth tuag ati. Hau hadau anghymedroldeb y mae y teuluoedd hyn. A ydyw y *Band of Hope*, gan hyny, i ymladd yn erbyn yr argraffiadau hyn a wneir gan gartrefi y wlad? Ydyw yn ddiammeu. A'r unig obaith am lwyddiant yn erbyn gallu mor gryf ydyw y nerth hwnw sydd ymhob gwirionedd i orchfygu y gau. Rhaid i'r *Band of Hope* blanu yr *egwyddor* Ddirwestol yn y plant—eu gwneyd yn Ddirwestwyr *egwyddorol*, os am iddynt barhâu yn Ddirwestwyr ar ol tyfu i oedran, pryd y bydd temtasiwn yn cymeryd mantais o'u rhyddid a'u cyfleusdra i'w darostwng. Wrth gysylltu y *Band of Hope* â'r Ysgol, byddai dau allu yn uno i gydweithredu, a byddai lle cryf i hyderu y gwneid argraffiadau, ac y dysgid arferion, ac y plenid egwyddorion a ddalient i wrthsefyll temtasiynau er pob anfantais. Pe gellid codi oes o lwyrymwrthodwyr, oes ouraidd yn hanes y byd fyddai hono. Y mae Mr. Symonds, arolygydd carchar Canterbury, yn dyweyd fod dwy fil ar hugain o garcharorion wedi bod o dan ei ofal yn ystod pymtheng mlynedd, ond *nad oedd un yn llwyrymwrthodwr*. Onid ydyw ffaith fel hon yn cyhoeddi gwirionedd difrifol? Os ydym am gadw ein plant o'r carcharau, dygwn hwynt i fyny yn Ddirwestwyr. Y mae y wenynen yn aml yn disgyn ar flodeuyn digon gwenwynig, ond nid ydyw hi yn casglu dim ond mêl. Dylid meithrin archwaeth bur, tueddiadau gonest, arferion daionus yn y plant, fel y medront ymwrthod â'r drwg ac ethol y da. Os nad oes gan yr Ysgol Sabbothol y cyfleusderau a'r cymhwysderau i roddi lle arbenig i'r athrawiaeth Ddirwestol, nid ydyw hyny yn un rheswm dros i'r mater gael ei esgeuluso. Y mae ymhob ardal ddynion ewyllysgar i ymgymeryd â gwaith y *Band of Hope*, ond dwyn hyny i sylw. Yn y cyfarfod hwn gellid cynghori ac egwyddori, dyweyd ac ail-ddyweyd, nes y byddai meddyliau y plant wedi eu trwytho â gwybodaeth, a'u calonau wedi eu meddiannu gan yr egwyddor lwyrymwrthodol. Dyma ystyr y gair a ddefnyddir am arferiad yn yr iaith Seisonig—*habit*, o *habeo, I hold, I possess*—yr wyf yn gafael, yr wyf yn meddiannu. Hyn sydd eisieu gyda yr egwyddor lwyrymwrthodol, ei harferyd i'r plant nes i'r egwyddor gymeryd gafael ynddynt, a'u meddiannu yn ddeiliaid sicr iddi ei hun. Wrth roddi cymaint pwys ar lwyrymwrthodiad, nid ydym am esgeuluso materion eraill: y mae pob pechod i dderbyn saethau yn ei dro oddiwrth addysg y *Band of Hope*, ac y mae ofn yr Arglwydd fel y mae yn ddechreuad gwir wybodaeth ac yn grefydd plentyn, i gael ei le priodol; eto ystyriwn fod llwyrymwrthodiad yn rhinwedd sydd ynddo ei hun yn ffafriol i feithriniad pob rhinwedd arall, ac fel y cyfryw y mae yn haeddu y lle pwysig o fod yn ammod aelodaeth y *Band of Hope.*

Ond, *Pa fodd i ffurfio a chynnal Band of Hope?*

Yn y blynyddoedd hyn peth cyffredin iawn ydyw fod ystafell mewn cysylltiad â'r capelau. Y mae y rhai hyn yn dra manteisiol at wasanaeth y *Band of Hope*. Ond mewn rhai lleoedd nid oes ond y capel i'w cynnal. Hyd y gellir, dylid cael ystafell gyfleus. Dymunol hefyd fyddai fod ystafell fechan (*classroom*) ar gyfer dosbarth, mewn cysylltiad â'r brif ystafell. Gyda y ddwy ystafell hyn gellid rhanu y plant a'r brydiau i ddau ddosbarth. Gellid neillduo y rhai hynaf i'r ystafell leiaf i dderbyn gwers ar destun a fyddai uwchlaw amgyffredion

y rhai ieuengaf, megys y Pasg, Nazarëaid, &c., tra y byddai y rhai lleiaf yn y brif ystafell yn dysgu y *Rhodd Mam*, adnod, neu bennill. Yna gellid dwyn y plant ynghyd drachefn i ganu ac i dderbyn y gwersi cyffredinol. Ein hamcan gyda hyn ydyw gwneyd y cyfarfod yn ddyddorol i'r rhai hynaf o'r plant. Bydd amryw o'r rhai hyn yn y cyfwng rhwng bod yn blant a bod yn bobl ieuainc, a'r perygl ydyw iddynt gadw draw, os na wneir darpariaeth ar eu cyfer. Rhodder gan hyny ymhob cyfarfod wers neillduol i'r dosbarth hwn er creu hoffder ynddynt at wybodaeth, ac er eu cadw rhag dechreu llithro i ganlyn temtasiynau. Fel hyn, os bydd modd, dylid cael dwy ystafell. Wedi cael ystafelloedd rhaid cael dodrefn. Gofaler am y pethau anhebgorol angenrheidiol yn gyntaf, yna ychwaneger atynt bethau a wna yr ystafell yn ddymunol i'r llygad. Y mae lle prydferth yn attyniadol i'r plentyn. Dylai yr ystafell gynnwys, heblaw meinciau cyfaddas i blant, *modulator*, *blackboard*, mapiau, yn enwedig mapiau o wlad Canaan ac o deithiau yr Apostol Paul, darluniau o'r anifeiliaid, yr adar, y coedydd, a'r blodau a enwir yn y Bibl, ac ychydig adnodau neu arwyddeiriau byrion wedi eu hargraffu mewn llythyren fras. Gosoder y rhai hyn yn drefnus ar furiau yr ystafell, a thyner hwynt i lawr pan fo angen am danynt i egluro y gwersi. Nid ydym am nodi llyfrau i fod yn arosol yn yr ystafell, ond yr ydym am i'r athrawon a'r plant ddyfod â'u llyfrau gyda hwynt, a'u dychwelyd adref drachefn.

Y peth nesaf ydyw cael athrawon priodol. Bydd yn angenrheidiol cael arolygwr, arweinydd canu, ac ysgrifenydd. Dewiser yn arolygwr un a fyddo yn llwyrymwrthodwr, un a all fod yn gyson yn y cyfarfodydd, ac un a fyddo yn deall plant, fel y gallo eu llywodraethu yn ddidrafferth iddo ei hun ac yn ddidramgwydd i eraill. Dewiser yn arweinydd canu un a fyddo yn llwyrymwrthodwr, ac yn deall cyfundrefn y *Tonic Sol-fa*, am yr ystyriwn hon y fwyaf priodol ar gyfer y plant. Yn ysgrifenydd, dewiser un o'r plant hynaf, bachgen neu eneth; ac er mwyn rhoddi cyfleusdra i amryw o'r plant fod yn ddefnyddiol, gellid eu newid yn fisol neu chwarterol. Edrycher arni yn swydd o fri, fel y cyfrifid yn anrhydedd i un gael ei ddewis iddi. Yr ydym yn rhoddi pwys ar fod y rhai sydd â gofal y plant arnynt yn llwyrymwrthodwyr. Dywedir fod llwyddiant rhyfeddol Cesar mewn brwydrau i'w briodoli i'r modd y byddai yn anerch ei filwyr. Ni ddywedai un amser ewch, gwnewch fel hyn, ac fel arall, ond *awn* a *gwnawn*; a byddai geiriau fel hyn yn cerdded ei filwyr fel trydan nes eu codi fel un gŵr i'w ddilyn. Rhaid i'r *Band of Hope*, y milwyr ieuainc hyn, gael cadfridogion cyffelyb i Cesar, i ddyweyd wrthynt mewn geiriau a gweithredoedd "awn" a "gwnawn."

Pan ffurfir *Band of Hope*, hysbysa yr arolygwr i'r plant yr ammod neu yr ammodau i fod yn aelodau o hono. Y prif ammod ydyw yr ymrwymiad Dirwestol. Y mae pob plentyn sydd yn ardystio yn myned at lyfr priodol i arwyddo ei enw. Bydd llyfr arall o dan ofal yr ysgrifenydd i farcio presennoldeb yn y cyfarfodydd. Y mae marcio presennoldeb yn ffordd dra llwyddiannus i gael y plant i ddilyn yn gyson. Yr ydym yn rhoddi cyfrifoldeb y *Band of Hope* yn gyfangwbl ar yr arolygwr a'r arweinydd canu, gan adael at eu doethineb hwy i ddewis rhai atynt i'w cynnorthwyo. Dylai fod cyd-ddealltwriaeth rhwng

arolygwr y *Band of Hope* ac arolygwr yr Ysgol gyda golwg ar faes llafur y plant, fel ag i gydweithio yn yr un materion. Gallant hwy drefnu i athrawon ac athrawesau yr Ysgol ddyfod yn eu cylch i roddi gwers yn y *Band of Hope*. Byddai parotoi gwers, dyweder ar y Fantell Fabilonig, y Manna, neu rhyw destun Ysgrythyrol arall, a'i rhoddi i'r plant, yn ymarferiad llesol i feddwl ac ysbryd athraw neu athrawes. Nid yn unig byddent hwy yn cynnorthwyo y *Band of Hope*, ond byddent hefyd yn ychwanegu at eu cymhwysderau eu hunain i gyfranu addysg. Rhaid cofio hefyd fod eisieu dysgu canu i'r plant. Arferer y *Modulator*, a dysger y *Sol-fa* iddynt, a buan y daw y plant yn alluog i ddarllen tonau syml eu hunain. Dylid dysgu tonau cynnulleidfaol i'r plant. Y mae hyn yn un ffordd i wella caniadaeth y cysegr; bydd dysgu emyn a thôn yn waith amrywiol a dyddorol. Hefyd, gofaler am donau eraill priodol i blant, heb fod ar un llaw yn rhy anhawdd i'w digaloni, nac ar y llaw arall yn rhy rwydd, onidê ni fydd yr ysbryd gorchfygu sydd mor gryf yn y plentyn yn cael mwynhad. Dylai y Deg Gorchymyn a Gweddi yr Arglwydd gael eu dysgu yn ofalus i'r plant, a'u hadrodd ganddynt yn aml er mwyn eu cadw yn y cof, ac er mwyn i'r rhai ieuengaf a'r aelodau newyddion eu dysgu. Rhaid cofio fod ar blant angen am amrywiaeth; y mae deng mynyd, fel rheol, yn ddigon o amser i fod gyda'r un peth.

Tuag at fod yn llwyddiannus, yn gystal a bod yn drefnus, rhaid tori gwaith i'r plant. Gwaith i gymeryd chwe' mis, dyweder, i fyned drwyddo. Yna cynnalier cyfarfod cystadleuol cyhoeddus, fel y gallo y plant ymgystadlu mewn darllen, adrodd, canu, dysgu allan, a sefyll arholiad ysgrifenedig; a bydded pob cystadleuaeth hyd y gellir yn dwyn cysylltiad â llafur y chwe' mis. Yn y cyfarfod hwn hefyd, gofaler am wobrwyo y rhai ffyddlonaf i ddilyn y cyfarfodydd. Dylid rhoddi arbenigrwydd ar hyn, oblegid os na ddilyna y plant y cyfarfodydd yn lled gyson, anhawdd fydd iddynt ddysgu dim yn effeithiol. Yn ystod y cyfarfod hwn hefyd cenir gan y plant y tonau a ddysgwyd ganddynt yn ystod y chwe' mis, ac adroddir ganddynt ddarnau byrion er cael amrywiaeth a bywiogrwydd yn y cyfarfod. Y mae gweithio diamcan yn weithio dilwyddiant. Ein profiad ydyw fod rhyw fath o arddangosiad o waith, megys cyfarfod cyhoeddus neu arholiad, yn codi y plant i fwy o ymdrech, ac hefyd yn symbyliad i'r athrawon i weithio. A allem ni ddysgwyl y ffyddlondeb diwyro a'r llwyddiant sydd ynglŷn âg addysg yn ein hysgolion dyddiol, pe heb yr arholiad blynyddol? Daw awr ddigalon ar ei thro at yr athraw mwyaf diwyd, a theimlad o ddifaterwch at y tyneraf ei gydwybod; ond bydd cofio yr arholiad, cofio y cyfarfod cyhoeddus, yn adnewyddu yr ysbryd ac yn creu yni newydd i weithio. Felly bydd cyfarfod cystadleuol cyhoeddus i edrych ymlaen ato mewn cysylltiad â'r *Band of Hope* yn symbyliad i'r athrawon a'r plant i ddal i fyny mewn ffyddlondeb a gweithgarwch.

Pe buasai lle ac amser yn caniatâu, buasem yn hoffi rhoddi cynllun o feusydd llafur a'r modd i fyned drwyddynt, yn gystal â threfn y cyfarfod cystadleuol cyhoeddus ar ddiwedd y tymmor; ond ymfoddlonwn yn unig ar roddi cynllun o'r modd i gynnal un o gyfarfodydd wythnosol y *Band of Hope*:—

| Y GWAITH. | YR AMSER. |
|---|---|
| Cyflëu y plant yn drefnus ... ... ... ... .. Adrodd hymn a'i chanu ... ... ... ... ... | 10 mynyd. |
| Gwers ar y *Modulator* ... ... ... ... ... | 5 " |
| Marcio presennoldeb ... .. ... ... ... ... | 5 " |
| Dysgu a holi hanes Samuel. (Y maes llafur cyffredinol) | 10 " |
| Gwers gan athraw o'r Ysgol i'r rhai hynaf, yn y *classroom.* Testyn, Ail daith genadol Paul. (Maes llafur y dosbarth hynaf) ... .. .. ... .. ... Dysgu rhan o'r *Rhodd Mam* i'r rhai ieuengaf. (Eu maes llafur) ... ... .. ... ... ... ... | 15 " |
| Dysgu tôn newydd .. ... ... ... ... .. | 10 " |
| Cynghor. Testun—Ffyddlondeb i'r Ymrwymiad ... | 5 " |
| Canu tôn ... ... ... ... ... ... ... | 5 " |
| Adrodd Gweddi yr Arglwydd neu y Deg Gorchymyn ... | 5 " |
| Yr oll ... ... ... | 1 awr 10 mynyd. |

*Fourcrosses.* CERIDWEN PERIS.

---

## X.

### YR YSGOL SABBOTHOL YN LLOEGR.

Gyda chryn lawer o dosturi, ac ond odid dipyn o ddiystyrwch, y meddylia y rhan fwyaf o Gymry a fagwyd ar aelwyd yr Ysgol Sabbothol yn eu gwlad eu hunain, am ddrychfeddwl y Saeson o'r un sefydliad fel ei ceir mewn gweithrediad yn eu gwlad hwy. Pa fudd all ddeillio i'r Cymro o astudio dull y Sais o ddwyn ymlaen yr hyn a eilw ef yn Ysgol Sabbothol! Nid ydyw yr Ysgolion Sul Seisonig ar eu goreu, yn ei farn ef, yn ddim amgen nag ysgolion i fabanod neu ysgolion elfenol. Nid ydyw Ysgol i blant,—ysgol heb ddosbarthiadau o rai mewn oed, lle nad oes dadleuon brwd ar byncíau dyrys, lle nad oes holi yr *Hyfforddwr* na phynciau y *Cyffes Ffydd*, nac ond nesaf peth i ddim o ddysgu ac adrodd pennodau cyfain allan,—nid ydyw Ysgol Sul o'r fath yna yn deilwng o sylw pwyllog Cymro wedi ei drwytho â syniadau teilwng am urddasoldeb a phwysigrwydd yr Ysgol Sabbothol. Ond er hyny i gyd, hwyrach y gallai y Cymro, er mor barchus y synia am ei sefydliad ei hun, wneyd peth ynfytach na chymeryd cipdrem ar yr Ysgol Sul fel ei gwelir ymhlith ein brodyr ymarferol y Saeson.

Yn un peth, ni bydd y Cymro fymryn gwaeth o gofio y ffaith bwysig ganlynol,—Mai yr hyn ydyw yr Ysgol Sul yn awr yn Lloegr, hyny a fydd hi, gydag ychydig iawn o gyfnewidiadau, yn Nghymru hefyd cyn pen ond ychydig amser. Cyn y dathlir ail Ganmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru bydd llawer tro ar fyd ac eglwys. Yn 1985, beth bynag arall fydd yn aros, y mae yn bur sicr y bydd llawer *landmark* crefyddol sydd heddyw yn dal ei ben yn braf, wedi ei orchuddio

gan y llifeiriant Seisonig sydd yn barod yn dechreu ymgodi yn ein gwlad. Bydd y Gymraeg, fel iaith llafar gwlad, wedi rhoddi lle yn bur gyffredinol i'r Saesoneg. Nid ydyw Prifathraw Coleg Aberystwyth am roddi i ni ond pum' mlynedd ar hugain na fydd y Gymraeg wedi ei goddiweddu gan y llifeiriant. Beth bynag am hyny, yn gynt neu yn hwyrach—ac fe allai yn gynt nag y mae ein harweinwyr wedi sylweddoli—fe ddaw yr iaith Saesoneg i mewn gyda grym. Gyda'r Gymraeg fe ddiflana llawer o deithi ac elfenau mwyaf cartrefol y Cymry. Ymysg pethau eraill fe fydd y Methodistiaid Calfinaidd, fe ddywedir, nid *yn* bod, ond *wedi* bod. Byddant hwy, druain, a'u hiaith gyda hwy, wedi diflanu i'r hyn yr hoffa rhai pobl ei alw yn ebargofiant. Eu lle nid edwyn ddim o honynt mwy. Heblaw rhyw baragraph yn y *Liverpool Post* neu y *Mercury* o'r pryd hwnw, ar farwolaeth "Yr olaf o'r Methodistiaid" yn gant neu fwy o oedran, ni bydd son am danynt yn 1985. Ein brodyr siriol a pharchus yr Annibynwyr fydd pïa Cymru yr amser hono. Drwy ddoethineb a chraffder y diweddar Dr. Thomas Rees yn Neheudir Cymru, a Dr. John Thomas a'r Parch. D. Burford Hooke yn Ngogledd Cymru, yn yr hanner olaf o'r ganrif hon, bydd corff y boblogaeth, fel y dywedasom, yn eiddo i'r Annibynwyr. Ni a ranwn y gweddill rhwng yr Eglwys Rydd Esgobaethol, y Bedyddwyr, a'r Wesleyaid,—a gadawn yr Hen Gorff i'w dynged ebargofiantol. Y mae yr enwadau eraill i gyd â'u gwreiddiau ac asgwrn eu cefn yn Lloegr, ac nid oes dim yn fwy sicr nag y dygant gyda hwy ffurfiau a moddion Seisonig o ddwyn ymlaen yr Ysgol Sabbothol.—Gyda'r ychydig gellwair allai fod yn y brawddegau hyn, y mae ynddynt hefyd wirionedd pwysig sydd yn teilyngu ystyriaeth difrifol pob dyn sydd yn bryderus am ddyfodol y wlad a'i magodd. Ac oddiar hyn y cyfyd pwysigrwydd y testun sydd genym mewn llaw. Canys yr hyn fydd yr Ysgol Sabbothol yn Lloegr a fydd hi hefyd yn Nghymru pan ddaw iaith y Saeson yn iaith yr Ysgol.

Cawn afael ar reswm arall, paham y dylem sylwi ar sefydliad y Sais. Yr ydym yn cyfeirio at agwedd meddwl y naill genedl rhagor y llall tuag at yr Ysgol Sul. Am danom ni yn Nghymru gyda golwg ar yr Ysgol Sul, nid rhaid i ni arfer gweddi yr Ysgotyn hwnw,—"Lord, gie us a guid conceit o' ourselves;" o herwydd mae genym ni yn barod farn berffaith foddhäol am danom ein hunain. Ein perygl mwyaf ni ydyw plethu ein dwylaw a myned i gysgu, gan gredu yn sicr ein bod ni ar ben ein digon, ac y byddai yn rhaid i neb dyeithr godi yn bur fore a myned i'w wely yn bur hwyr y dydd y cynnygiai unrhyw welliant a fyddai yn werth ein sylw ynglŷn â'n Hysgol. Yn Lloegr, yr ochr arall, lle mae yr arferiad o bigo beïau a lladd arnynt eu hunain yn nodwedd genedlaethol, nid ydynt mewn un modd yn foddlawn ar agwedd bresennol eu sefydliad. Addefir yn rhwydd fod diffygion difrifol ynddi yn ei ffurf bresennol. Y maent byth a hefyd yn gresynu fod ganddynt can lleied o afael ar rai mewn oed yn yr Ysgol, ac fod cysylltiad mor wan rhwng yr Ysgol a'r eglwys. Er fod mwy o rai mewn oed yn eu Hysgolion nag a synir yn gyffredin yn Nghymru—mae llawer o Ysgolion â dosbarthiadau o 30 neu 60 o ddynion a merched ar wahân, pa rai sydd yn rhedeg o 15 i 70 mlwydd oed,—eto fe addefir er engraifft yn Llynlleifiad fod 1000 o

fechgyn a genethod rhwng 15 ac 16 oed yn cael eu colli o'r Ysgol yn flynyddol. Nid ydyw yn debyg y bydd y Sais ymarferol yn foddlawn o hyd ar ystad fel hyn ar yr Ysgol; a phe na b'ai yr un rheswm arall paham y dylai y Cymro gadw ei lygaid yn agored, byddai yn werth ei drafferth i sylwi ar y moddion a arferir gan y Saeson i orchfygu anhawsderau. A phwy a ŵyr nad all Cymru, drwy lynu wrth bethau goreu ei Hysgol hi, roddi awgrym i wledydd eraill gyda golwg ar fabwysiadu y drefn oreu o ddwyn y sefydliad gwerthfawr hwn ymlaen?

Y peth cyntaf a mwyaf arbenig ddaw i'n sylw ynglŷn â'r sefydliad Seisonig ydyw "Undeb yr Ysgolion Sabbothol." Y mae nifer ein Hysgolion ni yn Nghymru, perthynol i bob enwad, yn dra llïosog; ond nid ydynt, ac edrych arnynt yn eu cyfanswm, ond gronynau ar wahân, "a fortuitous concourse of atoms." Nid oes dim cyd-ddealltwriaeth a chydweithrediad rhyngddynt. Y mae yn dra gwahanol yn Lloegr; y mae Ysgolion pob enwad yno wedi eu cydwau yn un peirianwaith nerthol a threfnus, yn meddu ar yr holl drefniadau angenrheidiol i arwain a llywodraethu gwaith yr Ysgolion yn y wlad hon, ac hefyd i gario allan waith cenadol mewn cychwyn a chynnorthwyo Ysgolion newyddion mewn gwledydd eraill lle nad oes dim, neu ond y nesaf peth i ddim o Ysgol Sabbothol. Yn Llundain y mae canolbwynt neu gartref yr Undeb. Drwy undebau dosbarthiadol, etholir cynnrychiolwyr gan 14 o Undebau yn ac o amgylch Llundain, a chan 12 o Undebau Dosbarthiadol dros yr oll o Loegr, i'r llys uchaf; ac ymgyferfydd y cynnrychiolwyr hyn yn y brif swyddfa yn Llundain. Gwneir yr Undebau Dosbarthiadol i fyny o gynnrychiolwyr tua 209 o *Undebau lleol* dros yr holl wlad. Fel hyn, yn debyg fel y mae awdurdod y Gymanfa Gyffredinol yn disgyn i lawr drwy y Gymdeithasfa Chwarterol a'r Cyfarfodydd Misol i'r eglwysi neillduol, felly y mae trefniant Undeb yr Ysgol Sabbothol yn Lloegr yn sicrhâu cydweithrediad ac ufudd-dod pob Ysgol drwy yr is-undebau lleol a dosbarthiadol.

Amcana yr Undeb,

1. I gynnorthwyo a chefnogi athrawon gartref ac mewn gwledydd tramor i fwy o zel ac ymroddiad gydag addysg grefyddol.
2. I wella y moddion o gyfranu yr addysg hon.
3. I chwilio am gyfleusderau i agor Ysgolion newyddion mewn lleoedd y mae angen am danynt.
4. I gyfleu llyfrau a chelfi Ysgol am brisiau isel i leoedd fo mewn angen.

Ond cawn well drychfeddwl am natur a chylch y gwaith a gerir allan gan yr Undeb os edrychwn am fynyd ar yr hyn a gyflawnwyd mewn un flwyddyn (1884) gan un o'r undebau dosbarthiadol. Un o'r prif undebau yn Llundain oedd hwnw. Ond gallwn sicrhau y darllenydd y gwneir gwaith cyffelyb gan lawer o'r Undebau dospartholhyd y wlad. Cymerwn y gwaith cartrefol i ddechreu.

1. Darperir llyfrgell mewn lle canolog a phwrpasol, yr hon, fel y gwelir oddiwrth y dyfyniad canlynol o'r *Report*, sydd yn cynnwys bron bobpeth y gellir meddwl am dano fel yn debyg o gynnorthwyo athraw:—

Mae y llyfrgell hon, yr oreu o'i bath yn Llundain, yn cynnyg i athrawon yr Ysgol Sabbothol y cynnorthwy ymarferol mwyaf pwysig tuag at gasgliad o wybodaeth gyffredinol ac arweiniad eu hefrydiau yn y gwaith o addysgu yn yr Ysgol Sabbothol.

**Cynnwysa tua 7000 o gyfrolau yn y gwahanol ganghenau o Addysg, Eglurhadaeth Ysgrythyrol, Duwinyddiaeth, Hanesiaeth, Teithiau, Gwyddoniaeth, Bywgraffyddiaeth, a Llenyddiaeth Gyffredinol. Mae y Ddarllenfa wedi ei chyflenwi yn dda gyda chyfnodolion a newyddiaduron crefyddol, ac y mae ystafell ar wahân i'r merched. Mae yn agored bob dydd (oddieithr y Sabboth) o 12 hyd 9 30 y nos; dydd Sadwrn o 12 hyd 9. Gall unrhyw athraw neu athrawes mewn Ysgol gysylltiedig â Changen yn Llundain neu Undeb o'r wlad ymuno, ar gymeradwyad Arolygwr neu Ysgrifenydd, a thâl o un swllt yn y flwyddyn fel tanysgrifiad. Gall unrhyw ysgolor mewn oed mewn Ysgol gysylltiedig ymuno, ar gymeradwyad Arolygwr yr Ysgol ac Athraw y dosbarth, ac ar daliad o gyffelyb danysgrifiad.**

I ddangos fel y gwerthfawrogir cyfleusderau o'r fath, gallwn grybwyll fod 910 o athrawon a 413 o ysgolheigion yr Undeb hwnw wedi gwneyd defnydd o honi yn 1884. Rhoddwyd allan 10 o lyfrau i bob tanysgrifiwr ar gyfartaledd yn ystod y flwyddyn.

2. Darperir *Museum* Ysgrythyrol, lle y ceir mapiau, darluniau, cynlluniau o ddinasoedd enwog, *models* o'r tabernacl a'r deml, a phob math o bethau all gynnorthwyo yr athraw a'r ysgolhaig i ffurfio syniad mwy clir am y lleoedd a'r pethau y darllena am danynt yn ei Fibl.

3. Y mae Dosbarth Hyfforddiadol i athrawon, *Training Class*, yn cael ei gynnal unwaith bob wythnos drwy y flwyddyn. Yr amcan ydyw hyfforddi athrawon yn eu gwaith trwy roddi iddynt "wersi mewn amlinellau" gan athraw profiadol. Mae y rhai sydd yn dysgu babanod, ynghyd a'r dosbarthiadau canol ac uchaf, yn derbyn budd neillduol trwy dalu sylw i drefn. Fe geir nad gwybod ydyw yr unig beth sydd yn eisieu i wneyd athraw effeithiol. Mae y gelfyddyd o weinyddu gwybodaeth i eraill hefyd yr un mor bwysig, ac yn ein plith ni yn Nghymru y mae hyd yma gyda gwaith yr Ysgol Sabbothol wedi ei hesgeuluso yn fawr, os nad yn gwbl. Fod ein cyfeillion Seisonig yn rhagori yn hyn sydd amlwg oddiwrth y cofnodiad canlynol o waith a wnaed yn y cyfeiriad hwn mewn un Undeb :—"Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf y mae 49 o wersi wedi eu rhoddi, o ba rai yr oedd 32 yn wersi ymarfer; 5 yn rhai wedi eu hastudio a'u gweithio allan; 3 yn wersi ar y bwrdd du i ddosbarthiadau babanod; 3 o adolygiadau gwersi; a 4 o ddarlithiau ar addysgiaeth. Yr oedd y cyfartaledd oedd yn bresennol yn 63, dau yn llai na'r flwyddyn o'r blaen."

Dyma amlinelliad y pedair darlith ar "Egwyddorion y Gelfyddyd o Addysgu" a roddwyd gan Mr. Hassell yn Llundain yn ystod un mis. Fe roddwyd darlithiau cyffelyb, y rhai oeddynt yn dra addysgiadol, gan y Parch. Mr. McPhail yn Liverpool y gauaf diweddaf, ac y mae yr un peth yn cael ei wneyd yn nghanolbwyntiau yr Undebau mawrion.

**DARLITH I.—DYDD MERCHER, y 3ydd, 7 30 y prydnawn.**

I. Gwers i Ddosbarth Biblaidd ar "Farwolaeth Eli" ("International Course").
II. Sylwadau ar yr egwyddorion a ddygid allan yn y wers, sef :—
(a) Detholiad o fater priodol.
(b) Y drefn o osod ger bron y gwirioneddau.
(c) Yr offerynau a ddefnyddiwyd i weithio allan y syniadau.
(d) Y defnydd a wnelid o'r plant yn y wers.
III. Annerchiad byr ar y pwys o ddeall egwyddorion addysgiaeth, ynghyd a meddyliau y rhai fydd dan addysg.

**DARLITH II.—DYDD MERCHER, y 10fed, 7 30 y prydnawn.**

I. Egwyddorion dewisiad mater priodol i'r wers :—
1. *Fel y mae yn cael ei chymeryd o natur y Gwirionedd Dwyfol.* Mae Duw wedi

amlygu ei feddwl mewn gwahanol ffyrdd. (a) Trwy hanes. (b) Trwy ffugyrau. (c) Trwy osodiadau cyffredinol.

2. *Fel y mae yn cael ei chymeryd oddiwrth natur y plant.* Dadblygiad graddol meddwl plentyn: triniaeth benodol yn angenrheidiol mewn gwahanol gyfnodau.

II. Amlinelliad byr o gyfnodau dadblygiad meddyliol a moesol.

1. Meddyliol. 2. Moesol.

III. Defnyddiad ymarferol y wybodaeth hon:—1. Mewn dysgu. 2 Mewn llywodraethu.

DARLITH III.—DYDD MERCHER, yr 17eg, 7 30 y prydnawn.

Dulliau ac offerynau Athraw.

I. *Dulliau.*

1. Nid pregethwr ydyw Athraw; nid ydyw dyweyd o angenrheidrwydd yn ddysgu.
2. Gwir Athraw yn un sydd yn dadblygu drychfeddyliau.

II. *Offerynau.*

1. Rhestr o offerynau Athraw; defnydd a phwrpas pob un; engreifftiau o ddefnydd priodol ac anmhriodol o honynt.
2. Rheolau er cyfarwyddyd i athrawon ieuainc.

DARLITH IV.—DYDD MERCHER, y 24ain, 7 30 y prydnawn.

Yr angenrheidrwydd o osod y plant ar waith yn nerbyniad gwirionedd.

I. Pwysigrwydd adnabyddiaeth o natur plentyn.

1. *Rhaid i wirionedd fyned i mewn i'r meddwl.*
Y galluoedd meddyliol sydd yn weithgar mewn mebyd.
2. *Rhaid i wirionedd fyned i mewn i'r galon.*
Y galluoedd moesol sydd yn weithgar mewn mebyd.
Y gydwybod.

II. Perthynas yr Ysgol Sabbothol âg eglwys y dyfodol.

1. Y pwys o ddiwyllio y farn a'r rheswm.
2. Paham y dylid diwyllio parchedigaeth.
3. Rheolau ymarferol mewn dosbarthiadau rhai mewn oed.

Mae y dosbarthiadau uchod i athrawon sydd yn y gwaith, ac i ysgolorion hŷn sydd yn meddwl myned yn athrawon.

4. Cynnelir Cynllun-ddosbarthiadau, *Normal Classes.* Yn Undeb Llundain yr oedd 200 yn dilyn un dosbarth o'r fath yma, ac yr oedd y canolrif yn 122. Fel hyn y dywed yr hwn oedd yn cadw y dosbarth:—"Fe gynnaliwyd arholiad y dosbarth ar yr 17eg o Ionawr, gàn Mr. James Bailey, o Goleg Athrawol Southlands. Eisteddodd 34 am yr arholiad, a phasiodd 30. Rhoddwyd 6 o wobrwyon, 13 o dystysgrifau o'r dosbarth cyntaf, a 17 o'r ail ddosbarth. Mewn adroddiad tra galluog sylwai Mr. Bailey:—'Nid oes un olwg ar waith ein Hysgolion Sabbothol yn Mhrydain Fawr yn fwy nodedig, neu a all fod yn fwy boddhaol, na lledaeniad helaeth y wybodaeth am egwyddorion a dulliau addysgiaeth fel ag a ddangosir yn y papyrau hyn. Yn unig trwy gymharu ffrwyth y fath arholiad â ffrwyth arholiadau cyffelyb a gynnaliwyd rhyw ugain neu bum' mlynedd ar hugain yn ol, y gallwn yn deg ffurfio golygiad am y cynnydd sydd wedi ei wneyd mewn dealltwriaeth a chyfeiriad yn addysgiaeth ein Hysgolion Sabbothol. Y pryd hyny nid oedd ymgeisiau rheolaidd at hyfforddi athrawon yr Ysgolion Sabbothol yn Lloegr yn gyffredinol ond yn eu mabandod. Ni fyddai gwybodaeth o fanylion celfyddydol addysgiaeth yn unig, pa mor ragorol bynag, ond peth gwael i'w osod yn lle difrifoldeb duwiol athrawon goreu y dyddiau gynt. Yr hyn sydd yn eisieu yn awr, fel y pryd hyny, ydyw gallu yr Ysbryd Glân yn gweithio trwy fywyd, a dylanwad personol wedi ei fywhau gan gariad Crist, a chan gariad at blant. Ond nid oes

un rheswm dros gredu fod gwybodaeth ychwanegol o'r dulliau goreu o ddylanwadu ar feddwl, mewn unrhyw radd, wedi cymeryd lle gallu ysbrydol, tra y mae pobpeth i'n calonogi yn y gobaith ei fod wedi ychwanegu yn fawr swm a nerth dealltwriaeth sancteiddiedig.'"

Fe gymerai ormod o le i aros bob yn rhan ar yr holl waith a wneir gan yr Undeb trwy ei wahanol is-undebau yn y wlad ac yn yr ardaloedd. Cynnelir dosbarthiadau mewn gwahanol fanau er dysgu Hebraeg a Groeg i athrawon a ddymunant hyny. Cynnelir hefyd *Bands of Hope*, *Christian Bands*, *International Bible Reading Associations*, ac Arholiadau Lleol ar athrawon ac ysgolorion yn Llundain ac ar yr un pryd mewn 86 o ganolbwyntiau eraill yn y deyrnas. Anfonir Dirprwywyr oddiwrth yr Undeb yn Llundain ac Undebau y Siroedd i ymweled â'r Ysgolion ymhob Undeb lleol. Nodir Dyddiau o Weddi ar ran yr Ysgolion Sabbothol; gofelir am adran y Cyhoeddiadau; cynnelir Cynnadleddau o arolygwyr ac athrawon a chynnrychiolwyr yr Undebau, lle y darllenir papyrau gwerthfawr ac y ceir trafodaeth ar faterion yn dwyn cysylltiad â llwyddiant y gwaith,—ac nid yw yr holl bethau hyn, ac ychwaneg a allesid nodi, ond gwahanol amlygiadau o'r gallu sydd yn codi oddiar grynhöad nerthoedd gwasgaredig i ganolbwynt. Pwy all wadu, pe byddai genym ni y fath allu yn Nghymru, na fyddai iddo effaith fywhaol a chynhyrfiol ar lawer Ysgol gysglyd ac aneffeithiol? Gyda ein holl drefn ragorol, y mae genym rai pethau yn ein Hysgolion nad ydynt yn ddim amgen na gwarth. Pwy na ŵyr am Ysgolion lle y dysgir dosbarthiadau gan athrawon musgrell ac anfedrus? Am eraill lle y gall fod gan yr athraw allu a gwybodaeth, ond lle y caniateir i'r dosbarth wastraffu yr amser mewn hollti blew, neu ddadleu mân bwyntiau nad oes ynddynt unrhyw bwys, neu—bondigrybwyll!—mewn trafod gwleidyddiaeth, llenyddiaeth, neu helyntion y dydd? Fe allai Undeb Cyffredinol o Ysgolion Cymru, yn ddiammeu, wneyd llawer tuag at godi safon addysgiaeth, a gwneyd y fath arddangosiadau gwaradwyddus ag a geir yn awr mewn llawer dosbarth o rai mewn oed yn anmhosibl.

Ond nid ydyw yr Undeb Seisonig yn unig yn oruchwyliaeth gartrefol. Y mae hefyd yn gwneyd gwaith cenadol mewn gwledydd eraill, trwy weithredu yn arloesawl fel sefydlydd Ysgolion Sabbothol. Fe ddywedwyd nad oes gan un eglwys hawl i fodoli os ydyw yn foddlawn yn unig ar ddarpar ar gyfer ei bodolaeth hunanol ei hun, heb feddwl am hawliau y byd Paganaidd. Pa un a ydyw yr un sylw yn gymhwys at Ysgolion Sabbothol gwlad Gristionogol nid ydym yn gwybod; ond yn sicr y mae Undeb Seisonig yr Ysgolion yn gweithredu ar yr egwyddor hono. Er mwyn rhoddi syniad am y gwaith a wneir yn y cyfeiriad hwn, ni a roddwn ddyfyniad o'r adroddiad ar *The Continental School Mission*:—"Nifer y cenadon sydd ar waith yn lledaenu sefydliad Ysgolion Sabbothol ar Gyfandir Ewrop, ac yn cynnorthwyo a chalonogi y rhai sydd eisoes mewn bodolaeth, yn awr ydyw *pymtheg*, o ba rai y mae pump wedi eu penodi y flwyddyn ddiweddaf. Mae y brodyr hyn oll yn enedigol o'r gwledydd ymha rai y maent yn llafurio, ac y maent o dan gyfarwyddyd ac arolygiaeth uniongyrchol Pwyllgorau Lleol, y rhai sydd yn ymgymeryd â chyfarfod rhan o'u treuliadau, tra y mae yn hapus gan eich Cyfeisteddfod roddi sicrwydd am gyfran ychwaneg-

ol. Oddiwrth bob un o'r goruchwylwyr hyn derbynir adroddiadau yn rheolaidd yn rhoddi manylion am y manau yr ymwelant â hwynt, ac am y ffrwyth sydd yn dilyn eu llafur."

Wedi aros cyhyd ar y nodwedd fwyaf tarawiadol yn Ysgolion Sabbothol Lloegr, ni adawsom i ni ein hunain le i aros ar nodweddion eraill sydd yn dra theilwng o sylw. Na ddychymyged neb ein bod yn caniatâu rhagoriaeth ein cymydogion Seisonig yn "mhethau trymach cyfraith" yr Ysgol Sabbothol. Fe ellid dyweyd llawer mwy, wedi y cyfan, am ddiffygion y sefydliadau Seisonig nag am eu rhagoriaethau. Ar yr un pryd ni wnelai un niwed i ni, Gymry, i edrych ai ni allai fod rhyw bwyntiau yn eu cyfundrefn trwy ba rai y gallem ni fanteisio. Pe buasai lle yn caniatâu carasem gyfeirio, (1.) At y drefn a'r ddysgyblaeth ragorach a geir yn eu Hysgolion hwy. (2.) At yr addysg holwyddoregol fwy trwyadl a threfnus, yn enwedig yn Ysgolion Eglwys Loegr, a gyfrenir i'r plant. (3.) At y duedd gyffredinol a ddangosir i gymeryd i fyny holl brofiad a dulliau goreu Ysgolion y Byrddau can belled ag y mae a fynont â'r gelfyddyd o addysgu, ynghyd a'u trefn ragorol o gael dosbarth-ystafelloedd ar wahân i ysgolorion o gyffelyb oedran. Ond rhaid i ni ymfoddloni ar yr olwg a roddasom ar un fantais dra chref y mae yr Ysgol Sabbothol Seisonig yn feddu ar yr eiddom ni.

T. Apsimon.

---

## XI.

### YR YSGOL SABBOTHOL FEL MODDION GRAS.

Ar adeg fel hon, pan y mae Canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol yn cael ei ddathlu, edrychir ar y sefydliad o lawer o wahanol safleoedd. Y mae yn achlysur ar ba un y nodir ei golliadau yn gystal â'i rhagoriaethau gyda chryn lawer o fanylder. Edrychir gyda phleser a boddhâd dirfawr ar y gwaith y mae wedi wneuthur yn Lloegr, yn yr America, a'r Trefedigaethau; ac yn enwedig fe gâr y Cymro feddwl am y gwaith enwog y mae wedi wneuthur yn ei wlad ei hun. Nid oes yr un sefydliad wedi gwneuthur mwy dros Gymru na'r Ysgol, ond y cyfarfod pregethu; ac y mae genym y teimladau mwyaf dymunol pan yn edrych dros ei hanes yn ystod y ganrif. A phan edrychwn ymlaen, teimlwn yn galonog, er yn bryderus, gan hyderu y bydd i'r Duw a roddodd i'r tadau y ddoethineb oedd yn eisieu er peri iddynt wneuthur y gwaith oedd yn perthyn iddynt, roddi i'r eglwys i barhau rai fel meibion Issachar gynt, "yn deall yr amseroedd, i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur."

Y mae genym yn yr ysgrif hon i sylwi ar "Yr Ysgol Sabbothol fel moddion gras." Gofidus iawn yw genym, fel gan filoedd lawer o'n cydwladwyr, fod yr ysgrifell fedrus oedd i drin y pwnc hwn yn y Traethodydd wedi peidio symud er ys dyddiau bellach. Buasai yn ddiau gan Dr. Rees, Abertawe, lawer i'w ddywedyd, a hyny mewn dull tra dyddorol, am y sefydliad a wnaeth gymaint erddo ef yn nhymmor

ei ieuenctyd, ac i ba un y bu, trwy ei ysgrifeniadau a'i bregethau, y fath gymwynaswr trwy ystod yr oll o'i fywyd egnïol a llafurus. Y mae efe wedi gorphen ysgrifenu, cyfieithu, a siarad; ac nid oes genym ninnau ond gwneuthur ychydig sylwadau ar y testun tra phwysig hwn fel y mae amser ac amgylchiadau yn caniatâu.

Ar un golwg, amcan penaf yr Ysgol ar y cyntaf yn y wlad hon oedd dysgu dynion i ddarllen. Ond nid oedd hyny ond moddion er cyrhaedd amcan uwch, sef eu trwytho yn athrawiaethau crefydd a'u hymarfer i fyw yn ol gair yr Arglwydd.

Y Bibl oedd y llyfr oedd i gael ei ddarllen. Yr amcan mawr mewn golwg oedd dyrchafu y rhai a ddysgid i ddarllen, mewn crefydd a moesoldeb. Yr oedd yr Ysgol i fod yn foddion gras. Cafwyd allan yn dra buan fod y peirianwaith a osodwyd i symud fel hyn mewn modd syml a dirodres, yn ateb y dyben yn ardderchog. Dysgid y bobl i ddarllen, a dygid hwy wrth wneuthur hyny o fewn cylch dylanwad gwirioneddau Cristionogaeth a gweddïau taerion a chynghorion dwys eu hathrawon, y rhai oeddent wedi bod eu hunain wrth draed yr Iesu, os na fuont yn eistedd wrth draed yr un Gamaliel. Derbynient hefyd lawer o fudd oddiwrth y ganiadaeth syml, gysegredig, yn ymarferiadau yr Ysgol; ac felly troai y cyfan allan i fod iddynt yn foddion o ras amlwg iawn. Ymdebygent fwyfwy o dan yr addysg i'r Un oedd yn llawn gras a gwirionedd. Y cyfryw oedd dylanwad yr Ysgol ar y rhai a'i mynychent ar ei chychwyniad cyntaf; ac y mae wedi para felly i raddau mwy neu lai hyd y dydd hwn.

Y mae miloedd yn ein gwlad wedi arfer ei mynychu ar hyd eu hoes, ac fel moddion gras yn benaf yr edrycha llu mawr o honynt arni. Nid anfynych y clywir llawer na lwyddasant i ddysgu darllen ond yn anmherffaith, yn dyweyd ar ol ei dilyn am 60 mlynedd, "*Ni fynem er dim golli yr Ysgol.*" Nid oes yr un dosbarth, fel rheol, yn mawrygu yr hyn a glywant o'r pulpud yn fwy na'r rhai hyn. Y mae yr Ysgol wedi eu cymhwyso i allu gwerthfawrogi y bregeth yn fwy.

Y mae yr hyn sydd fel hyn yn wir am waith y dosbarthiadau yn yr Ysgol, yn wir hefyd am ei chyfarfodydd neu ei chymanfaoedd blynyddol. Edrychid ymlaen am flwyddyn gron at y Gymanfa Ysgolion mewn llawer ardal yn ein sir enedigol (Aberteifi) pan oeddem yn llanc, a mawr yr hwyl a geid wrth wrando rhai medrus yn holi ac ateb; ac ni anghofid wrth oleuo y deall "i yru y gwirionedd adref." Nid llai effeithiol y bu y gân lawer tro. Gwelsom gannoedd lawer yn wylo pan ganai un Ysgol dôn ar yr hen air melus—

Wrth gofio 'i ruddfanau 'n yr ardd, &c.

Cenid y dôn ar hyd y ffyrdd, ar yr heolydd, ac yn y meusydd am fisoedd rai ar ol dydd yr uchel-wyl, ac felly cedwid yr holl wlad fel yn hoeliedig wrth y groes. Y mae genym le cryf i gredu fod dylanwadau cyffelyb, neu rai cryfach, yn cael eu profi yn yr un cymydogaethau lawer o amser ymhellach yn ol na'r un y cyfeiriwn ato, oblegid mynych y clywsom am y dylanwadau anarferol a deimlid yn y cyfarfodydd pan fyddai dynion fel y diweddar Ebenezer Richard o Dregaron, a Dr. Phillips o Neuaddlwyd, yn arwain ac yn holi. Clywsom ugeiniau o'u dywediadau, eu gofyniadau a'r atebion roddid iddynt, yn cael eu

hadrodd, ac yr oedd yr argraff yn gryf ar feddyliau yr adroddwyr fod nerthoedd y byd a ddaw yn cael eu teimlo yr amseroedd hyny yn nghyfarfodydd yr Ysgol.

Felly nid oes un ammheuaeth nad yw yr Ysgol hyd yma wedi gwneuthur ei gwaith yn rhagorol. Bu yn Ysgol y Bwrdd ac yn Goleg Duwinyddol i rai o'r dynion dysgleiriaf a welwyd erioed yn esgyn grisiau areithfa mewn unrhyw wlad, a rhoddodd gyda llaw gychwyniad addysgawl i lawer o fechgyn gwlad y bryniau a ddaethant i enwogrwydd masnachol yn nhrefi mawrion gwlad y Sais.

Ond er hyn oll rhaid addef ein bod yn teimlo yn bryderus pan yn edrych ymlaen ar ddyfodol yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru. Y mae yn eithaf amlwg fod ein gwlad mewn ystâd o gyfnewidiad pwysig iawn. Y mae cynnydd cyflym addysg fydol, fel ei gelwir, yn effeithio ar bob sefydliad yn ein plith, a gwna hyny yn llawer mwy yn y dyfodol; ac nid oes yr un sefydliad yr effeithir arno yn fwy gan hyn na'r Ysgol Sabbothol. Unwaith yr oedd eisieu rhyw foddion i ddysgu plant a phobl mewn oed i ddarllen. Yn awr gwneir hyny yn effeithiol iawn gan ein hysgolion dyddiol. Gwir na ddysgir plant eto i ddarllen Cymraeg yn ein hysgolion cyhoeddus, ond ni ryfeddem na welir hyny yn y *New Code* ryw flwyddyn. Pa fodd bynag, nid oes achos ofni na fydd gan yr Ysgol Sabbothol ei chylch penodol ei hun yn y dyfodol, sef dysgu athrawiaethau ac ymarferiadau crefydd i'r llïaws. Hi fydd coleg duwinyddol y *llïaws* yn y dyfodol; oblegid amlwg yw y bydd i'n colegau cyhoeddus a dderbyniant gymhorth oddiwrth y Llywodraeth gyfyngu eu hunain i'r gwaith o gyfranu addysg fydol yn unig. Dyma y gwaith berthyna yn neillduol iddi hi, ac y mae o ran ei natur yn cyd-daro â'r prif amcan sydd mewn golwg ganddi, sef bod yn foddion gras i'w deiliaid. Credwn fod dirgelwch ei llwyddiant a'i heffeithiolrwydd yn y dyfodol yn ymddibynu ar y graddau y cedwir mewn golwg ac yr ymdrechir cyrhaeddyd y prif amcan hwn.

Gan mai rhan o'r eglwys yw yr Ysgol, ac mai aelodau a gwrandawyr y naill sydd yn gwneuthur i fyny ddosbarthiadau y llall, bydd yr Ysgol fel rheol, ar unrhyw adeg, o ran ei hysbrydolrwydd a'i heffeithiolrwydd fel moddion gras, yr hyn fydd yr eglwys yn yr ystyr yma. Pan ddirywia yr eglwys dirywia yr Ysgol; a phan fydd yr eglwys yn ëffeithiol fel moddion i ddwyn y byd at Waredwr, bydd yr Ysgol hefyd yn athrawes lwyddiannus i ddwyn y llïaws i wybodaeth y gwirionedd. Eto i gyd y mae yn bosibl i eglwys dda fethu dyfod i fyny â'r nod yn ei chysylltiad â'r Ysgol heb dalu sylw priodol iddi, a myfyrio pa fodd y gellir, yn y modd mwyaf effeithiol, ei gwneuthur yn foddion gras i'r rhai a'i mynychant. Er sicrhau hyn fe ddylid—

I. Gofalu am edrych arni mewn modd ymarferol fel *rhan o'r eglwys;* ar ei gwaith fel rhan bwysig iawn o waith yr eglwys, ac ar ei hymarferiadau, yr un modd â'r rhai mwyaf cysegredig o eiddo yr eglwys, fel moddion gras. Mewn rhai lleoedd y mae *tuedd* i beidio edrych ar yr Ysgol fel y gwneir ar y cyfarfod cymuno, y cyfarfod gweddïo, a'r gyfeillach grefyddol, fel rhan o'r eglwys, ond fel sefydliad i raddau mwy neu lai ar wahân oddiwrthi; a gwelsom fwy nag unwaith wrthdarawiadau annymunol yn cyfodi mewn canlyniad i hyny. Ffurfiai yr Ysgol fath o "deyrnas mewn teyrnas," ac yn gyffredin dilynai pethau

anhyfryd, croes i ysbryd yr efengyl. Heb fanylu, credwn y dylid, hyd y byddo yn ddichonadwy, edrych ar yr Ysgol yn ei holl gysylltiadau, fel yn dal yr un cysylltiad agos â'r eglwys a'r cyfarfod ymha un y cymunir, neu y gyfeillach, neu y cyfarfod gweddïo. Yr *eglwys trwy yr Ysgol*, sydd yn dysgu y byd ac yn adeiladu y saint. Nis gellir byth ei dwyn i gysylltiad rhy agos â'r dylanwadau mwyaf ysbrydol a dyrchafol sydd yn yr eglwys. Da iawn fyddai gallu cadw yn fyw yn yr amser a ddaw yr hyn a welid yn dra chyffredin dros dri chwarter cyntaf y ganrif—ac yn wir i raddau pell iawn, os nad llawn mor bell yn y chwarter olaf—sef gwaith y tadau a'r mamau oedranus yn mynychu yr Ysgol. Y mae dylanwad dirfawr er daioni ar rai ieuainc gan bresennoldeb yr hen a'r profiadol. Y mae presennoldeb dyn da, er nad yw ei wybodaeth o bosibl yn ddofn nac yn eang, yn gymhorth mawr i'r athraw yn ei ymdrech i wneuthur gwaith y dosbarth yn llwyddiant. Hir y parhao yr amser pan welir yr henafgwr penllwyd a'r hen chwaer brofiadol yn gwrando yn nosbarthiadau ein Hysgolion ar hanes Iesu yn cael ei egluro gan rai daniwyd gan ei gariad, ac yn gwneuthur yr un peth eu hunain er budd i eraill.

Y mae y Cymry wedi arfer edrych ar yr Ysgol, yn fwy na'r un genedl arall, fel rhan o'r eglwys, oblegid trwyddi hi y mae yr eglwys, yn eu tyb hwy, yn gwneuthur un ran bwysig iawn o'i gwaith, sef dysgu i'r byd athrawiaethau crefydd mewn ffordd neillduol. O dan arweiniad yr Ysbryd edrychant arni fel rhan hanfodol o'r eglwys, ac ystyrir hi ganddynt felly, fel yr eglwys, yn Ddwyfol yn ei sylfaeniad. Creda ambell un, fel y clywsom un pregethwr tra phoblogaidd yn dysgu, fod gorchymyn i sefydlu yr Ysgol mewn cysylltiad â'r eglwys yn y geiriau, "A phortha dy fynod gerllaw pebyll y bugeiliaid;" ac y mae llawer un, er sicrhau Dwyfoldeb ei sylfaeniad, yn myned yn ol at y dosbarthiadau hyny a gyfarfyddent yn rhai o'r ystafelloedd oedd o amgylch y deml yn amser ein Gwaredwr. Myn rhai i lygad craff Iesu ieuanc, wrth fyned i fyny i'r gwyliau, weled y daioni dirfawr a ellid wneuthur trwyddynt. Eisteddodd yno gan holi ac ateb, a rhoddodd felly, fel y credant hwy, sêl ei gymeradwyaeth byth ar yr Ysgol Sabbothol. O'r diwedd daeth amser Duw i sefydlu yr Ysgol o dan ei henw priodol, ac y mae yr eglwys yn Nghymru wedi hir arfer gweithio yn effeithiol trwyddi; a chredwn mai manteisiol ymhob modd er ei chadw yn effeithiol fel moddion i ddyrchafu y genedl mewn crefydd a moes, yw ei chadw mor agos ag sydd bosibl at ddylanwadau mwyaf ysbrydol yr eglwys.

II. Dylid gofalu ar fod ei hathrawon a'i swyddogion eraill yn cael eu cymeryd o blith aelodau mwyaf cymhwys yr eglwys, a'u bod i gadw yn barhâus yn eu cof fod i'r sefydliad amcan uwch hyd yn nod na chyfranu gwybodaeth Ysgrythyrol, sef gwella ac ysbrydoli y meddwl.

Dylai yr eglwys ymhob modd wneuthur ei goreu i osod dynion o ysbrydolrwydd dwfn yn gystal ag o wybodaeth ëang yn nghadeiriau yr Ysgol Sabbothol. Y mae yn gofyn cymhwysder neillduol i fod yn athraw da mewn ysgol ddyddiol, ac i fod yn ddiacon neu flaenor, yn fugail neu weinidog; ac y mae hefyd yn gofyn yr un peth i fod yn athraw yn yr Ysgol Sabbothol. A mawr yw y cyfleusderau a fedd y cyfryw i wneuthur daioni tymmorol ac ysbrydol i'r rhai a ddysgir

ganddo. A ydyw yr angenrheidrwydd am y cymhwysder neillduol hwn yn cael sylw digonol genym? Yr oedd rai blynyddau yn ol, yn un o eglwysi Liverpool, un a lanwodd swydd diacon mewn modd rhagorol iawn am lawer blwyddyn, a chanddo fab oedd yn ŵr ieuanc tra gobeithiol ymhob ystyr. Un diwrnod dywedodd y diweddar Gwilym Caledfryn wrth y dyn ieuanc, "Y mae eisieu i chwi fyned i'r Coleg i ddysgu bod yn bregethwr." "Na," ebe'r dyn ieuanc, "nid wyf fi am ddysgu bod yn bregethwr, ond yr wyf am ddysgu bod yn ddiacon." Gwnaeth hyny yn fater o astudiaeth, a llanwodd swydd diacon am yspaid hir er llwyddiant i'r eglwys a mawr gysur i'w weinidog. Gofynwn pa sawl dyn ieuanc geir heddyw yn ein heglwysi yn awyddus i *ddysgu* bod yn athraw da yn yr Ysgol Sabbothol? Oes, y mae yma waith caled i'w ddysgu, ond mawr fydd gwobr y neb a gymer y drafferth. Gwaith caled yw llenwi y meddwl â'r wybodaeth ddylai yr athraw feddu, a gwaith caled yw dyfod i feddiant o'r ysbrydolrwydd meddwl sydd yn angenrheidiol er galluogi un i egluro'r gair fel ag i beri gras i'r gwrandawyr, yn gystal a goleuni. Rhaid i'r athraw da yma, fel yr un yn y pulpud, "*ymboeni* yn y gair a'r athrawiaeth." Nis gall y gweinidog—y mae gofal yr areithfa, a mwy nag un areithfa, a llawer o bethau eraill arno, fel nas gall fod yn bresennol ond yn achlysurol—wneuthur ond ychydig o'r gwaith mewn unrhyw ddosbarth. Rhaid i'r un a wnelo y gwaith yn iawn fod yn bresennol yn ei le bob Sabboth. Bydd felly yn adnabod sefyllfa pob aelod o'r dosbarth o ran ei wybodaeth a'i brofiad, a gall yn y meddiant o'r adnabyddiaeth hono gymhwyso y gwirionedd fel ag i gael y dylanwad priodol er goleuo, dyrchafu, a moesoli ei ddysgyblion.

III. Credwn y gellid gwneuthur llawer iawn o ddaioni yn yr ystyr yma yn enwedig i'r dosbarthiadau ieuainc, trwy sefydlu llyfrgelloedd mewn cysylltiad â'n Hysgolion Sabbothol, a llenwi y cyfryw â llyfrau *da*, a fyddont yn sicr o dynu sylw, ac felly yn sicr o gael eu darllen gyda dyddordeb. Y mae llawer o'r cyfryw i'w cael yn barod yn ein hiaith ein hunain, ac y mae llawer iawn a ellid gyfieithu o'r Saesoneg ac ieithoedd eraill, ac y mae yn ein plith ddigon o wŷr galluog a dysgedig a allent ysgrifenu rhai ychwanegol i'r pwrpas. Gyda'r fath awydd y darllenir y "*last novel*" o hyd, un ar ol y llall! Heb ddywedyd ychwaneg yn y fan hon, gofynwn, Pa faint o amser gwerthfawr a wastreffir yn y modd hwn? Pe gellid troi yr awydd yma am ddarllen at lyfrau da, sylweddol, mewn duwinyddiaeth, barddoniaeth, hanesyddiaeth, gwyddoniaeth, ac athroniaeth, pa faint o ddaioni a wneid? Oni ellir cyfuno y dyddorol â'r addysgiadol? Y mae llawer llyfr da wedi bod yn foddion gras i filoedd na fedr neb eu rhifo, ac y mae llawer llyfr drwg wedi damnio nas gŵyr neb ond Duw pa gynifer; a chymerodd flynyddau i symud ymaith oddiar feddyliau eraill y dylanwad drwg a gafodd yn nhymmor ieuenctyd, pan oedd yn hawdd gwneuthur argraff a'r farn yn anaddfed. Dywedai y diweddar John Angell James yn Edinburgh, ychydig o amser cyn ei farwolaeth, wrth anerch dynion ieuainc, i ddarlun a welodd pan yn dair ar ddeg oed ei "*hauntio*" tra fu efe byw. Os gallai dyn fel efe ddywedyd hyny am beth a welodd, na ddylasai neb ei osod o'i flaen, pa mor amlwg ydyw ei bod yn annhraethol bwysig pa beth a *ddarlleno* y rhai a wnant i fyny ein Hysgolion Sabboth

ol. Anhawdd dirnad pa gymaint yw dylanwad llyfrau da, ac y mae y rhai sydd wedi talu llawer o sylw i wahanol ddulliau o wella rhai mewn ystyr ysbrydol yn gwybod hyny yn dda. Gwyddom am ferch i bendefig Cymreig a dalodd i un am gyfieithu *novel* Ddirwestol i'r Gymraeg er mwyn tynu y cyfieithydd oddiwrth ei arferiad o'r diodydd meddwol. Gobeithiwn iddi lwyddo yn ei hamcan clodwiw. Credwn y gall ein Hysgolion Sabbothol wneuthur llawer iawn yn y ffordd yma er cyrhaedd amcan penaf eu sylfaeniad a'u cynnaliad ymlaen.

IV. Dylid gofalu ar fod sylw priodol yn cael ei roddi i'r rhanau defosiynol o ymarferiadau yr Ysgol.

Credwn fod yn bosibl i ni, wrth fyned tros y gweddïo ar y dechreu a'r diwedd mewn modd ffurfiol a brysiog, wneuthur i ffwrdd i raddau pell â'u dylanwad fel moddion gras i'r gwyddfodolion. Edrychir ar hyn yn rhy fynych fel ffurf ddifywyd i fyned trwyddi mor gyflym ag y byddo modd, er mwyn dyfod *at y gwaith*—sef darllen, holi, ac ateb. Anghofir fod defosiwn ynddo ei hun yn bwysicach mewn gwirionedd na dim arall. Y weddi yw y peth pwysicaf o'r cwbl. Y mae yn bwysig ynddi ei hunan, a hi sydd yn rhoddi eneiniad ar y cyfan oll. Nid gormod yw dywedyd fod hon i'r holl waith yr hyn yw yr olwyn i'r cerbyd, yr hwyl i'r llong, a'r ager i'r peiriant. Heb hon yn cael ei hanfon i fyny gyda'r taerineb a'r difrifololdeb priodol, byddwn heb oleuni ac heb arddeliad. Heb hon, heb fendith Duw. Heb hon, ni fydd yr Ysgol yn foddion gras. Gyda hon, ni all beidio bod felly. Nid llai pwysig yw y ganiadaeth gysegredig, oblegid yr ydym, pan yn ymarfer â hi, yn fynych yn gweddïo yn gystal ag yn rhoddi i Dduw ogoniant ei Enw. Bu unwaith ragfarn yn erbyn y canu fel moddion crefyddol yn meddyliau dosbarth tra llïosog a phwysig, am yr ystyrid mai y trist a'r pruddglwyfus oedd yn gweddu yn benaf i'r addoliad crefyddol. Mae y rhagfarn yma wedi diflanu ymhob man, ni a gredwn, er ys llawer dydd bellach. Mawr yw yr effaith a gynnyrchwyd gan y gân mewn addoliadau crefyddol lawer tro. Dichon na bu yn cael lle *mwy* amlwg un amser nag a gafodd yn ddiweddar yn y gwasanaeth gynnelid mewn gwahanol fanau o dan lywyddiaeth Meistri Moody a Sankey. Methai llawer a deimlasant yn fawr yn y cyfarfodydd, benderfynu pa un ai areithiau y cyntaf ai caniadau yr olaf oedd fwyaf effeithiol. Nid oes yr un gallu a gyfyd yn fwy effeithiol lifddorau y teimlad yn meddwl llawer un all fod wedi caledu yn ffyrdd pechod ac anffyddiaeth, na chlywed canu yn effeithiol rai o hen ganiadau Sïon a'u swynent gynt pan oedd y meddwl yn dyner. Nid oes un ran o wasanaeth yr Ysgol yn fwy effeithiol na'r rhan hon, ac nid oes yr un yn gofyn mwy o sylw difrifol a doeth, am y gellir mor hawdd ei chamddefnyddio. Moddion gras effeithiol a *ddylai* fod bob amser. Cenir yn llawer cywirach yn awr nag y gwneid yn nyddiau rhai o'n tadau, ond dylem ofyn i ni ein hunain a ydym yn meddu eu *gwres* hwy, pan yn meddu goleuni ychwanegol? Dywedodd un, "Nid oes ar y nefoedd eisieu ein haflerwch a'n hanwybodaeth ni." Gwir, ond yn sicr gwell ganddi dipyn o'r rhai hyn na'n cywirdeb a'n goleuni *os yn amddifad* o ysbryd yr hen dadau. Yn y mwynhâd o'r goleuni rhagorach a feddir genym ar y rhan hon o wasanaeth yr Ysgol, dylem ei gwneuthur yn foddion gras llawer mwy effeithiol nag y bu erioed. Ni chenir yn awr fel cynt dônau lleddf ar

eiriau llon, ond elent hwy i hwyl orfoleddus wrth ganmol daioni Duw, bydded y dôn lon neu leddf. Yr oedd yr ysbryd mor gryf yn ein tadau nes marwhâu llythyren pob cyfraith allai fod ar eu ffordd. Gofalwn rhag i lythyren y gyfraith o'r tu arall ladd ysbryd y bywyd ynom ni.

V. Yn olaf, dylai yr Ysgol gael lle amlwg iawn yn ngweddïau dirgel a chyhoeddus yr eglwys. Gwnelai hyn yr eglwys ei hun yn oleu fel y wawr, yn deg fel y lleuad, a'r Ysgol a'i meibion a'i merched yn ofnadwy fel llu banerog.

THOMAS LEWIS.

*Bala.*

---

## XII.

### "CHWILIWCH YR YSGRYTHYRAU."

CANRIF arall sydd yn cilio,
A chenedlaeth yn ei llaw;
A chyn gwelir canrif eto
I'r tragwyddol fyd yn suddo,
Byddwn ninnau 'r ochr draw!
Llawer canrif halogedig
Aeth yn ddu i wyddfod barn;
Deddfau 'r nefoedd yn doredig,
A'i Sabbothau cysegredig,
Filoedd, dan eu traed yn sarn.

Godrau cwmwl du marwolaeth
Guddiai wyneb Cymru dlos;
Ar dywyllwch llygredigaeth,
Crogai niwloedd anwybodaeth,
Nes ei gwneyd yn *ddyblyg* nos;
Ond "yn nghanol y blynyddau,"
Wedi nos o hir barhâd,
Aed i chwilio 'r Ysgrythyrau,
Nes i Ddwyfol ddydd o olau
Dori 'n ddiluw dros y wlad.

Ble mae 'r hen lygredig gampau?
Ble mae 'r hap-chwareuon ffol?
Wedi dianc i'w llochesau,
A cherubiaid ar eu llwybrau
Yn gwahardd yr un yn ol;
Ymherodraeth drychiolaethau,
Ysodd Duw a'i sanctaidd dân;
Nis gall pechod fyw 'n y golau,
Rhaid i hwnw gael cymylau
Rhyngddo â gwirionedd glân.

Chwilio maes yr Ysgrythyrau,
  Llawnaf faes y nefoedd yw;
Ysbryd y Gwirionedd yntau
Dry yn ol i'n chwilio ninnau,
  Gan egluro calon Duw;
Chwilio, chwilio am yr elw,
  Yma sydd yn blygion hael;
I'r chwilfrydedd dyfal hwnw,
Y mae bywyd pur yn nghadw,
  *Sicrwydd* hefyd am ei *gael.*

Chwilio, troi, yr hen Wirionedd,
  *Hen* wirionedd *newydd* yw;
*Hen ddihenydd* yn ei buredd,
O dragwyddol *newydd* rinwedd,
  Digyfnewid megys Duw;
Mae yn wynfyd yr yr anial,
  Mae 'n oleuni yn y glyn;
Cysgod rhag tragwyddol ddial,
Cyfrwng gras i droi, a chynnal,
  Enaid du yn sanctaidd wỳn.

Chwilio 'r Sanctaidd Ysgrythyrau,
  Am ddigonol berffaith Iawn;
Chwilio 'n fynych ar dy liniau,
Gwlychu 'r llwybr â dy ddagrau—
  Dagrau edifeirwch llawn;
Mae y trysor yn guddiedig,
  Ond mae Ysbrydoliaeth nef
A deheulaw estynedig,
Ar y ffordd yn gyfeiriedig
  At y fan lle cuddiwyd ef.

Mae ar draeth yr Ysgrythyrau,
  Addewidion Duw yn stôr;
Hyfryd ydyw swn y tònau,
Heb ystorm i edliw 'r beïau
  Gladdwyd yn nyfnderau 'r môr;
Codi 'r addewidion hwythau
  'N awr ac eilwaith at y glust;
Clywir swn y Cariad borau,
Dros y pell dragwyddol lanau,
  Yn d'od lawr at enaid trist.

Chwilio, credu, ac ymddiried,
  Ydyw unig obaith dyn;
Yn y llafur nid oes lludded
Nid oes damwain, ffawd, na thynged,
  With drugaredd Duw ynglŷn:

Chwilio, cael, a dyna ddigon,
I roi bythol hawl i'r nef;
Dyna gyfyd waredigion,
Fry yn mhell uwchlaw angelion,
Ac yn nês i'w orsedd Ef.

DYFED.

---

XIII.

OLYSGRIF.

Mae yn hyfryd gan y TRAETHODYDD gael dangos ei barch a'i gariad at yr Ysgol Sabbothol, ar y Ganfed Flwyddyn o'i sefydliad yn Nghymru, trwy gyhoeddi y cyfraniadau gwerthfawr uchod er cyfoethogi ei llenyddiaeth. Dymuna nesâu ati fel ei Fam gariadus, gan ddadgan ei ddwfn lawenydd a'i ddiolchgarwch o herwydd y gwasanaeth bendithfawr a gyflawnodd; ei llongyfarch ar yr yni a'r ieuengrwydd graenus a phrydferth y mae yn arddangos, a hi yn Ferch canmlwydd; ei choroni â myrdd o'r dymuniadau goreu gyda golwg ar ei gwaith yn y dyfodol; a'i sicrhau y bydd yn falch ganddo byth wneyd ei ran i ddiogelu gorseddfainc iddi yn nghariad puraf ei gydwladwyr, ac i gryfhâu fwyfwy ei gallu i fod yn fendith ac yn ddaioni am oes y byd. O Ysgol Sabbothol anwyl a bendigaid, bydd fyw byth!

Mae yn llawen iawn genym weled ar bob llaw y fath barotöadau yn cael eu gwneyd er rhoddi arbenigrwydd ar yr adeg dra dyddorol yma yn ei hanes. Ni a hyderwn y tuedda y cwbl at wneyd ein cenedl yn fwy hoff o'r Ysgol Sabbothol, ac yn neillduol yr ennynir yn mynwesau y plant a'r bobl ieuainc gariad ati a bâr fod eu goreu yn cael ei gysegru at ei gwasanaeth, a hyny trwy gydol eu heinioes. Mae yn dda i ni gael mantais ar gyfleusdra o'r fath i ystyried ei mawr werth, i gofio ein rhwymedigaethau mawrion iddi, ac i "hysbysu" hyn oll "i'n plant." Mae yn debyg y bydd llawer o honynt hwy yn cadw y *medals*, ac yn cofio y cymanfäoedd gyda'u gorymdeithiau, a'u hareithiau, a'u holwyddori, a'u caniadau; ac mae yn anhawdd meddwl na fydd calonau filoedd yn cael eu tanio gan edmygedd a chariad wrth glywed a meddwl am y gwŷr da hyny ymysg ein cenedl a fuont, dan Dduw, a thrwy y fath lafur a hunanymwadiad digyffelyb, yn foddion i estyn i ni y fendith fawr hon. Mae arnom ofn fod rhai o'r Cymry tirion, sydd yn dra pharod i anrhydeddu â'u gwron-addoliaeth ddynion a fawrheir gan genedloedd eraill, eto na ryfygent gymaint a meddwl fod i Gymru ei gwroniaid o gwbl; a bron na ellid meddwl weithiau mai gwynfyd gan rai o honynt fyddai gallu dyweyd nad ydynt hwy o gwbl yn perthyn i'r fath boblach ddirmygedig. Ond yr ydym yn hyderu ein bod yn brysur yn gordyfu yr ynfydrwydd hwn. Hyd yn nod pe na fuasai yn ein hanes enwau ag y gallem fod yn falch o honynt, a phe buasem yn awr mor ddinod ag y myn rhai pobl ysplenydd ein cyfrif, eto gwael a dirmygedig yw y dyn a "boerai ar ei fretyn ei hun," ac a anobeithiai am ei genedl:—

**Cas gŵr na charo**
**Y wlad a'i maco.**

A heb son am gylchoedd eraill, y mae ein Hysgol Sabbothol yn bennod yn ein hanes ag y gallwn fod yn falch o honi byth, ac nid oes bobl ar wyneb daear sydd yn werth eu henwi, na fuasai yn anrhydedd ganddynt allu ymffrostio yn y fath sefydliad. Y mae enw Griffith Jones, Llanddowror, yn un a ddylai fod byth genym mewn coffadwriaeth,—y gŵr da, o dosturi at ei gydwladwyr yn eu tywyllwch a'u trueni, a hyny yn nannedd pob dirmyg a gwrthwynebiad, ïe oddiwrth rai ag yr oedd ganddo bob rheswm i ddysgwyl eu cefnogaeth a'u cynnorthwy, ac yn unig trwy gymhorth ychydig Ymneillduwyr tlodion, a lwyddodd yn y pedair blynedd ar hugain olaf o'i oes i ddysgu rhyw 150,000 o'i gydwladwyr i ddarllen y Bibl, ac a wnaeth gymaint mewn ffyrdd eraill hefyd i wasgar y goleuni. Mae yn amlwg mai efe a roddes i Thomas Charles o'r Bala y syniad a ddadblygwyd yn ei feddwl glân a ffrwythlawn, mewn amser, fel ag i roddi bôd i'r sefydliad sydd yn ystod y can' mlynedd hyn wedi profi y fath fendith i Gymru. Wedi bod am amser yn llafurio, yn gyffelyb i Mr. Jones, gyda'r ysgolion cylchynol, y rhai a gynnelid ar ddyddiau a nosweithiau yr wythnos, fe lithrwyd o radd i radd i'w cynnal ar y Sabboth hefyd; a chyn pen nemawr fe ddaeth hyny i gymeryd lle yn gyffredinol, ac fe ddaeth yr Ysgol Sabbothol yn sefydliad. Mor lawn ydoedd awyddfryd Mr. Charles i gael ei gydwladwyr oll yn alluog i ddarllen Gair Duw ac i ddeall y pethau mawrion a berthynent i'w heddwch, fel yr ydoedd am flynyddoedd lawer megys yn hanfodi i'r amcan o sefydlu a chyfnerthu Ysgolion Sabbothol ymhob man. Ac fe welwyd cyn hir fod llwyddiant yr ymdrechion hyny mor fawr fel nad oedd angen parhau yn hwy yr ysgolion cylchynol dyddiol i'r amcan o ddysgu y bobl i ddarllen y Bibl; ac fe adawodd Mr. Charles i'w genedl y gynnysgaeth anmhrisiadwy sydd ei galluogi i deimlo fod ei haddysgiaeth yn y pethau mawrion o oes i oes, nid i'w ddysgwyl oddiwrth unrhyw alluoedd oddiallan, ond i godi yn wirfoddol o'i llafurus gariad hi ei hun yn ngwaith bendigedig yr Ysgol Sabbothol. Fe ddylai hanes yr ymdrechion ardderchog hyn, ar yr adeg hapus yma o Ganmlwyddiant y sefydliad, gael ei wneyd yn wybyddus i holl genedl y Cymry. Ac i'r dyben yma, yn ychwanegol at y lliaws anerchiadau rhagorol y rhai, mae yn ddiammeu, a draethir yn ein gwahanol ardaloedd, hyderwn y gwneir defnydd da o bob cyfleusdra a estynir i astudio y mater trwy y wasg. Mae *Hanes Bywyd Mr. Charles*, yn y naill ffordd neu y llall, yn nghyrhaedd llawer, a da pe buasai ystori ei lafur gwerthfawr ef yn gynnefin i'n cydwladwyr oll; yn ngoleu y can' mlynedd hyn o ffrwyth ei ymdrechion, fe ddarllenid pobpeth am y gŵr anwyl a defnyddiol hwnw gyda dyddordeb byw a bendithiol. Fe geir yn *Hanes Methodistiaeth Cymru*, a gweithiau eraill o gyffelyb natur, lawer o wybodaeth dra gwerthfawr am ddechreuad a chynnydd y gwaith da hwn yn ein gwlad. Ac yn arbenig y mae llyfr ein cyfaill teilwng a ysgrifenodd yr erthygl gyntaf o'r gyfres hon, y Parch David Evans, M.A.—*The Sunday Schools of Wales*—yn deilwng o'i feddu a'i astudio gan bob cyfaill i'r Ysgol Sabbothol sydd yn deall yr iaith Saesoneg. Cyhoeddasom sylw helaeth arno yn y TRAETHODYDD ar ei ymddangosiad yn 1883 (tu dal. 503, &c), ac y mae i ni yn ddirfawr foddhâd i ddeall am y derbyniad tra chroesawgar a roddwyd iddo gan garedigion yr Ysgol Sabbothol mewn rhanau eraill o'r deyrnas, yn

gystal ag yn America, &c. Ond fe fyddai yn warth yn gystal ag yn golled i *gydwladwyr* Mr. Evans beidio manteisio ar ei lafur medrus a ffyddlawn fel hanesydd y sefydliad ag y teimlwn oll y fath ddyled arnom ei fawrhau. Y mae efe wedi gwneyd y mater yn astudiaeth blynyddoedd; wedi efrydu yn drwyadl ei holl lenyddiaeth; ac wedi ysgrifenu gyda'r fath farn, a meddylgarwch, a chwaeth dda, ac ar yr un pryd gyda'r fath gariad cynhes at yr Ysgol Sabbothol, fel y mae ei lyfr yn rhwym o gymeryd ei le fel gwaith safonol ar y testun, a hawdd genym gredu y pery felly yn fendith i genedlaethau. Ond yn Nghymru, yn arbenig, fe ddylai gael ei fawr werthfawrogi. Pan oedd yr erthyglau blaenorol yn cael eu hysgrifenu, siriolwyd ni yn fawr trwy dderbyn cyfrol dra destlus, pris swllt, wedi ei chyhoeddi gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, dan yr enw *Canmlwyddiant Ysgol Sabbothol Cymru*, wedi ei hysgrifenu gan y Parch. Thomas Levi. Y mae yn adrodd mewn ffordd ddifyr ac addysgiadol ystori fythddyddorol cyhoeddiad y Bibl Cymraeg, a'r ymdrechion i gael cyflenwad digonol o hono ar gyfer pobl Cymru; y ceisiadau a wnelsid i ddysgu y bobl i ddarllen y Llyfr Sanctaidd cyn sefydliad yr Ysgol Sabbothol; yr ystad yr oedd ein cenedl ynddi cyn ei sefydliad, a'r modd y dygwyd y gwaith bendithfawr hwnw oddiamgylch; yr Ysgol yn Lloegr ac yn Nghymru; codiad a chynnydd digyffelyb y gwaith; ac y mae hefyd yn rhoddi trem dra dyddorol ar sefyllfa bresennol yr Ysgol trwy y byd, lle y dangosir, yn ol cyfrifon a gasglwyd trwy fawr ymdrech yn 1881 gan Mr. Hartley, o'r *Sunday School Union*, nad yw ei hathrawon a'i hysgolheigion ymhob man erbyn hyn nemawr lai nag *un ar bymtheg o filiynau*. Cyfeiria hefyd at Gymanfaoedd y Canmlwyddiant ar yr 17eg o Fehefin; y darnau cerddorol a ddarparwyd ar gyfer hyny gan Dr. Parry, Mr. David Jenkins, ac Alaw Ddu; y can' mil bathodau a ddarparwyd, y darluniau prydferth o Rowland, Harries, a Charles, &c., a'r argraffiad rhadlawn, dim ond 15s. yn ystod y flwyddyn hon, o'r *Geiriadur Ysgrythyrol*. Dylai y gyfrol hon ledaenu wrth y miloedd. Mae y *Traethodau Bywgraffyddol* a gyhoeddir hefyd gan yr un Gymdeithas dda, at ba rai y cyfeiriasom fwy nag unwaith yn y TRAETHODYDD—yn cynnwys mewn cylch cryno ac mewn ffordd radlawn hanes y fath ddynion a'r Ficer Pritchard, Griffith Jones, Daniel Rowland, Thomas Charles, Syr Hugh Owen, &c.—yn deilwng ar y fath adeg a hon o sylw neillduol. Fe ddaeth i'n llaw hefyd dro yn ol bamphled 8 tu dalen, pris ceiniog, neu chwe' swllt y cant, dan yr enw *Holwyddoreg ar yr Ysgrythyrau*, gan y Parch. Griffith Parry, Aberystwyth. Mae wedi ei ddarparu ar gais Cyfarfod Misol Gogledd Aberteifi ar gyfer cyfarfod Canmlwyddiant a gynnelir yr 17eg o Fehefin yn Aberystwyth. Digon tebyg fod llawer o bethau cyffelyb wedi eu darparu mewn manau eraill; ond y mae yn hyfryd genym ddyweyd fod yr *Holwyddoreg* yma o'r fath werth—yn cynnwys dan ddirwasgiad y fath gorff o wybodaeth werthfawr am yr Ysgrythyrau, a'r cyfan wedi ei gyfleu gyda'r fath eglurder meistrolgar—fel y dylai gael ei gymeryd yn faes llafur gan gylch llawer ëangach na "Chyfarfod Misol Gogledd Aberteifi," a thros dymmor llawer hwy na hyd "Mehefin 17eg, 1885."

Am yr erthyglau gwerthfawr a gyhoeddwn yn y gyfres hon, fe

fyddai yn ffol i ni ddyweyd dim. Diammeu genym fod ein darllenwyr sydd wedi eu hastudio yn teimlo eu bod yn deilwng o ystyriaeth fwyaf dyfal ein cydwladwyr, a'u bod yn llawn o awgrymiadau a ddylent brofi yn ffrwythlawn o ddaioni. Mae yr ysgrifenwyr oll yn blant serchog i'r Ysgol Sabbothol, ac nid ydynt yn ol i neb mewn mawrygiad o'r gwaith a gyflawnodd. Ond y maent hefyd â'u llygaid yn agored i'r amgylchiadau tra gwahanol ymha rai y mae yn cael ein cenedl yn y dyddiau hyn; ac fel "meibion Issachar, y rhai a fedrent ddeall yr amseroedd i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur," y maent, yn lle gwastraffu eu nerth yn unig i ganmawl yr Ysgol a'r gwaith rhagorol a wnaeth yn y can' mlynedd sydd wedi myned heibio, yn crynhoi eu hymadferthoedd i ystyried pa fodd y gallai yn fwyaf effeithiol ymgyfaddasu at waith y dyfodol, ac felly brofi i'n gwlad ac i'n cenedl yn ddaioni parhaus. Mae yn ddiammeu nad oes yr un o'n darllenwyr parchus na chydnebydd fod hyny yn ffordd llawer rhagorach i ddangos cariad ati. Nid ydyw Cymru dan ddyled fawr i ddynion cegog sydd lawer gwaith, mewn tafarnau ac eisteddfodau, wedi bod yn baldordd am eu gwladgarwch a'u ffyddlondeb i'r iaith Gymraeg; tra y mae ei dyled yn anfesurol i lawer o rai dirodres a gostyngedig, nad oedd yn ddichonadwy iddynt yn y ffordd y cyfeiriasom ati "beri clywed eu llef yn yr heol," ond oeddynt, i bob dyben a bwriad, *yn byw* i'w gwasanaethu. Fe oddefir i ni yma ddadgan ein chwithdod gofidus o golli ein brawd ffyddlawn, caruaidd, a thra defnyddiol, y Dr. Thomas Rees. Fel y crybwylla y Parch. Thomas Lewis, o Goleg Annibynol y Bala—yr hwn yn garedig iawn a ymgymerodd âg ysgrifenu ar ei destun ac a wnaeth hyny mor ragorol—yr oedd efe wedi addaw papyr i ni ar yr "Ysgol Sabbothol yn Foddion Gras." Yr ydoedd yntau, fel yr ysgrifenwyr eraill, yn llawn fwriadu cymeryd mantais ar yr achlysur dyddorol hwn i alw ar ei gydwladwyr i ofalu am roddi y goreu o'u gwasanaeth er codi yr Ysgolion Sabbothol ymhob man i'r ystad uchaf o effeithiolrwydd, ac uwchlaw pobpeth—yn ol geiriad y mater yr addawsai mor siriol ysgrifenu arno, ac yr ydoedd *ar wneyd* pan y gollyngwyd ef!—i amcanu at beri iddynt ateb eu dyben uchaf oll trwy gael eu profi i bawb a ddêl i gyffyrddiad â hwynt yn foddion gras. O'r goleuni dysglaer ymha un y mae efe yn edrych ar y pethau hyn yn awr, mor ddiddym yw pob ystyriaeth arall mewn cymhariaeth i hyny! Ac o'r fan hono mor gryf ydyw Amen y sant gwynfydedig i ymdrech ei anwyl frawd i wasgu y wers ag oedd mor agos at ei galon ef ei hun, at gydwybod ei gydwladwyr!

Y mae ergyd yr holl awgrymiadau da a wneir yn y papyrau blaenorol yn dyfod i ddau beth. Yn gyntaf, yr ydym i ddal ein gafael yn eiddigus yn y rhagoriaethau amlwg oedd yn gosod y fath werth ar lafur ein tadau gyda gwaith da yr Ysgol Sabbothol. Yn ail, yr ydym i gadw llygad gwyliadwrus ar yr amgylchiadau newyddion sydd yn nodweddu ein hamseroedd, ac i wneyd ein goreu i gyfaddasu ein llafur gyda'r Ysgol Sabbothol ar eu cyfer.

Yr arbenigrwydd sydd wedi gosod mawredd bythol ar lafur ein tadau gyda y rhan bwysig yma o waith yr Arglwydd oedd eu *hymroddiad* a'u *crefyddolder*. Mae yn wir mai lled araf fu llawer o honynt i weled y peth. Ymddangosai iddynt hwy mai gwrando y pregethau a chymeryd

rhan yn y gwasanaeth oedd yn fwy uniongyrchol addoliadol, oedd y ffordd i dreulio y Sabboth, ac yr oedd yn gryn orchest i lawer o honynt ymgodi uwchlaw y syniad fod dysgu rhai i ddarllen, yn "*waith,*" ac felly yn waharddedig ar y dydd sanctaidd. Byddent weithiau mor gryfion yn eu cydwybodolrwydd nes gwrthwynebu i'r Ysgol gael ei chynnal yn yr addoldŷ. "Gadewch iddynt," meddai Charles dirion a doeth, wrth y plant a'r dyrnaid cyfeillion oedd yn barod i gydweithio âg ef; "os ydyw heddyw ganddynt hwy, y mae yfory genym ni." Fe allai mai mewn tipyn o gellwair y dywedai yr Hybarch John Evans o'r Bala yn y cyfarfod eglwysig hwnw, pan oedd Mr. Charles, wrth weled dygn anwybodaeth rhyw wraig druan oedd yn ymgynnyg am aelodaeth, yn gofyn yn bryderus beth a wnaent, ei bod yn dywyll iawn,—"Tywyll oeddych chwithau, Mr. Charles, pan ddaethoch atom ni gyntaf." Sut bynag, yr oedd yn hawdd i ŵr o'i hynawsedd caruaidd ef "dosturio wrth y rhai oedd mewn anwybodaeth ac amryfusedd;" ac fel pob diwygiwr, yr oedd ganddo ffydd gref yn ei waith, ac felly yn y dyfodol. Fe fyddai "yfory" ganddo ef.

Learn to labour and to wait!

Ac mae yn amlwg fod ganddo allu rhyfedd i beri i'r tân oedd bob amser mor fyw yn ei galon rasol ef ei hun, gynneu a llosgi yn nghalonau y cyfeillion syml y delai i gyffyrddiad â hwynt. Yr oeddent, bid sicr, yn grefyddol iawn. Yn ngwrês eu cariad at Grist, ac yn symlrwydd eu calon yn ei wasanaeth, nid oedd dim a allai ymddangos iddynt hwy mor ogoneddus â'r fraint o gael gwneuthur rhywbeth er ei fwyn. A phan oedd Mr. Charles, oedd mor lawn o gymhwysderau uchel fel y mawrygent ef "yn unig tu yma i eilunaddoliaeth," ac mor lawn o hynawsedd Crist fel yr ydoedd ymhob peth yr un fath â hwythau, "yn gydostyngedig â'r rhai iselradd,"—pan oedd efe yn barhaus yn galw sylw at ddygn anwybodaeth ei gydwladwyr, ac yn dangos fod yn anobeithiol eu symud heb eu dysgu i ddarllen y Gair a'u hegwyddori yn ei bethau mawrion, nid oedd yn anhawdd eu cael y naill ar ol y llall i ddywedyd, "Wele fi, anfon fi," a "Beth a fyni di i mi ei wneuthur?" Nid oedd rhyw lawer o frasder, bid sicr, ar y "deuddeg punt yn y flwyddyn" efo'r ysgolion cylchynol, gyda'r gwaharddiadau caethion i beidio derbyn dim gan y bobl y llafurient yn eu plith, a pheidio hyd yn nod a chymeryd tamaid o fwyd yn eu tai oddieithr eu gwahodd yn benodol; ond beth er hyny,—yr oedd y fyntai syml yma o werinwyr, yr un fath â Mr. Charles, yn wasanaethwyr Crist; yn llafurio er cael eu holl gydwladwyr yn ddilynwyr iddo Ef; yn edrych ymlaen at y talu ardderchog yn "adgyfodiad y rhai cyfiawn;" ac yn gweled ffrwyth eu llafur yn ngogoniant y bywyd tragywyddol. Nid oeddynt yn gwybod ond ychydig, ac nid oedd gan Mr. Charles ond ychydig o amser i'w hyfforddi. Ond yr oeddynt yn gwbl gysegredig i'r gwaith, ac yr oedd hyny yn codi eu hymadferthoedd i'r pwynt uchaf ag oedd yn bosibl iddo; ac yr oedd Crist, yn drugarog, yn taenu ei aden drostynt. Yr oedd rhywbeth yn dra gwych yn ngwaith Lewis Williams, Llanfachreth, yn cael trefn ar blant anystywallt trwy y *drill* a ddysgasai pan gyda'r *militia*, ac yn dysgu y wyddor iddynt ar "Ymdaith Gwŷr Harlech;" a thrachefn yn ei ddichell ddiniwed, i fod yn sicr pa fodd i ddarllen y

wers nesaf, yn gosod plant Ysgol Waddoledig Llanegryn i'w darllen am y goreu yn ei dŷ, am wobr fechan, ac efe ei hun, bid siwr, i fod yn farnwr! Nid oedd cyrhaeddiadau yr athrawon ond bychain, ond tröent y cwbl yn waith, ac ychydig iawn oedd y perygl i'r rhai a ddysgent allu canfod eu diffygion. A chan eu bod yn dal i lafurio, nid oedd yn anhawdd iddynt gadw ddigon ar y blaen i'r rhai a addysgid ganddynt. Nid yw yn awr, ysywaeth, yn beth dyeithr iawn i weled *rhai* sydd wedi ennill safleoedd uchel yn y colegau athrawol yn methu yn eu hysgolion, am eu bod fe allai yn ymddiried gormod i'w cyrhaeddiadau, neu yn methu ymdeimlo yn briodol âg anhawsderau y rhai fydd dan eu haddysg. Yn wir, clywsom un cyfaill dysgedig yn dyweyd, o'r holl Broffeswyr enwog y buasai danynt mewn dwy o'r Prifysgolion, mai yr enwocaf o'r cyfan, o ran cyrhaeddiadau, oedd y dysgawdwr salaf. O'r ochr arall, y mae gradd o ddawn naturiol i gyfranu addysg, gydag ymroddiad calonog i'r gwaith, yn codi rhai bychain i ddefnyddioldeb ac anrhydedd nad yw yn hawdd iddynt beri i neb syndod mwy nag iddynt hwy eu hunain. A dyma guddiad cryfder athrawon yr ysgolion cylchynol,—ymroddiad di-ildio, yn codi oddiar gariad angerddol at y gwaith, a ffyddlondeb pur i Grist. A'r gwŷr yma oedd yn yr ardaloedd yn sefydlu yr Ysgolion Sabbothol. Ac fe osodid y rhai a ddysgid ganddynt—hwythau hefyd—mor fuan ag y byddai yn bosibl, ar waith i ddysgu eraill. "Wedi derbyn y goleuni yr oeddynt yn ei drosglwyddo i'w gilydd." Yn ngwres sanctaidd y teimladau crefyddol a ffynent mor gyffredinol y dyddiau hyny, nid oedd ond peth naturiol i'r athrawon newyddion ymdaflu i'r gwaith yn yr un ysbryd o zel ac ymroddiad â'r rhai oedd wedi eu dysgu. Ac fe ddeuai eu dysgyblion hwythau drachefn, yn eu tro, dan ddylanwad yr un ysbrydiaeth; ac felly ymlaen, o oes i oes, nes y mae Cymru erbyn heddyw wedi ei llanw âg Ysgolion Sabbothol. Fe fyddai ymron yn anhygoel i lawer y dyddiau hyn y llafur a'r ffyddlondeb difesur a ddangosodd cannoedd a miloedd o'r rhai sydd wedi ein rhagflaenu hyd ein hardaloedd gyda y gwaith hwn. Fel y cerddent siwrneion pell, i gyrau anhygyrch o'r ardaloedd, gyda'u tamaid bara a chaws yn eu llogellau, i'w fwyta wrth ffynnon, lle y gallent gael dracht o ddwfr i'w yfed; fel yr attolygent am ganiatâd i gadw Ysgol Sul mewn ysgubor neu unrhyw fwthyn a ellid gael, er dysgu y plant ac eraill i ddarllen Gair Duw; fel yr elent o amgylch y gymydogaeth i gymhell rhai i ddyfod i'r Ysgol, a hyny gyda thaerineb llawer mwy nag y gallasent ofyn am unrhyw ffafr iddynt eu hunain; wedi eu cael ynghyd, fel y byddai holl lafur y gwaith yn disgyn arnynt, a'r anhawsderau yn eu ffordd nid yn anfynych yn ymgodi yn fynyddoedd ag yr ymddangosai yn anmhosibl myned drostynt; fel y dyoddefent ddirmyg a sarhâd; a phan yn dychwelyd i'w cartrefi yn lluddedig, mor brin yn fynych yr ymddangosai ffrwyth eu llafur! Ond eto, ni ddiffygient; eithr äent ymlaen, ac o'r diwedd hwy welent fod Duw yn talu iddynt. "Yr hwn sydd yn myned rhagddo, ac yn wylo, gan ddwyn hâd gwerthfawr, gan ddyfod a ddaw mewn gorfoledd, dan gludo ei ysgubau."

Yn awr nid oes brinder arnom drwy Ysgolion Cymru am rai sydd mewn llawer ystyr yn rhagori yn fawr ar y tadau y cyfeiriwn atynt, ond heb eu hysbryd, ac am hyny heb eu llwyddiant. Y mae i lawer

athraw yn fater cwbl anesboniadwy pa fodd y mae ei allu er daioni mor fach ar y rhai sydd dan ei ofal, pan y meddylia am ddynion syml, heb draian ei wybodaeth a'i ddiwylliad ef, wedi llwyddo i efengyleiddio cymydogaethau, a throi eu nos yn ddydd. Ond pa mor werthfawr bynag ydyw gwybodaeth a diwylliad, nid dyma y galluoedd sydd "yn aflonyddu y byd," neu yn ol y Saesoneg, "yn troi y byd â'i wyneb yn isaf." Y gallu hwnw ydyw zel, brwdfrydedd, penboethni os mynwch! Nid rhyfedd i Dr. Guthrie ddyweyd, pan glywai efe son am benboethni, ei fod yn dysgwyl cael allan fod gwaith mawr i Dduw yn cael ei ddwyn ymlaen yn y fan hono. Yr oedd ein tadau yn yr ystyr yma yn benboeth eu gwala. Llawenhaent fel rhai "yn cael ysglyfaeth lawer," o gael agoriad mewn unrhyw gymydogaeth i sefydlu Ysgol newydd, ac ni flinent yn tramwy iddi am flynyddoedd ac yn gweithio â'u holl egni gyda hi, nes cael boddlonrwydd y gallai bellach ofalu am dani ei hun; wedi hyny tröent i chwilio am fanau eraill lle y gallent wneyd daioni cyffelyb:

To-morrow to fresh fields and pastures new.

Nid oedd perygl i bobl gael llonydd ganddynt yn unman heb eu "cymhell" i ddyfod gyda hwynt i'r Ysgol, a diammeu fod llawer felly wedi myned gyda hwynt ar y dechreu yn fwy rhag cael eu "syfrdanu" ganddynt na dim arall; ond wedi gwneyd, cai y rhai a fuasent yn trafferthu gyda hwynt y gorfoledd cyn hir o'u gweled hwythau yn cynneu gan yr un brwdfrydedd, ac yn eu tro yn gwasgar y tân ymhob cyfeiriad. Ac er nad oedd ganddynt ond ychydig iawn o syniad am y dulliau goreu i gario ymlaen addysgiaeth y rhai a ddelent dan eu dwylaw, eto nid oedd dim petrusder ganddynt am yr amcan oedd i'w gyrhaeddyd, ac yr oedd eu cariad at y gwaith yn ddihysbydd. "Angen," dros y byd, "ydyw mam dyfais:" ac ni adawai hwythau, yn enwedig gyda eu mawr gariad at y gwaith, yn ddisyniad am ddulliau gweddol gyfaddas i gyrhaedd yr amcan y gosodasent eu bryd arno mwy nag y gedy lawer mam ieuanc ddigon di-hyfforddiad, yn ddisyniad am ddull i fagu y baban y mae ei mynwes mor lawn o gariad ato. Yn y wedd yma, yn wir, y dysgwyd doethineb addysgiaeth i Pestalozzi, a Lancaster, a'r holl awdurdodau eraill a fawrheir yn gymaint ar gyfrif eu gwasanaeth gwerthfawr i'r byd addysgawl. Ac er mor werthfawr ydyw trefn, eto mae yn rhaid i ni benderfynu fod bywyd yn anfesurol werthfawrocach. Gall bywyd greu trefn, ond ni all trefn greu bywyd. Ac nid oes yr un gwirionedd ag y mae eisieu ei argraffu yn ddyfnach ar galonau cyfeillion yr Ysgol Sabbothol ar adeg ei Chanmlwyddiant, na bod yr ysbryd a'i gwnaeth yn gymaint llwyddiant trwy lafur ein tadau yn anhebgorol i'w llwyddiant yn barhaus. Mae y gwaith heb ei orphen. Yn wir, nid ydyw ond newydd gael ei ddechreu! Yn barhaus y mae cyrau o'n trefydd a'n hardaloedd lle y mae cynnydd y boblogaeth yn galw am sefydlu Ysgolion newyddion, y rhai, fel y maent wedi profi o'r dechreuad ymhob man, a ddylent fod yn ddechreuad achosion yn y manau hyny, fel y corlaner y trigolion i'r Bugail Da. Yn barhaus y mae rhywrai mewn perygl i lesgâu a chilio o'r neilldu, ac y mae yn siars wastadol ar gyfeillion yr Ysgol Sabbothol i ofalu am y cyfryw, "cadarnhâu y dwylaw llesg, a chryfhau y gliniau gweiniaid." Yn barhaus y

mae pobl yn tyru o amgylch ein haddoldai mwyaf cyfleus sydd yn ddyeithr i'r Ysgol, a llawer, gan dlodi a thrallodion, ac yn enwedig gan anghymedroldeb, yn methu ei dilyn,—ac y mae o bwys mawr fod ffryndiau yr Hwn a ddaeth "i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid" yn cadw eu llygaid arnynt, ac yn gwneyd eu goreu i'w diogelu; ac yn barhaus y mae yr anhawsderau a gyfarfyddir wrth lafurio gyda'r gwaith—ennill sylw y bachgen nad yw ei feddwl yn aros ond llai nag amrantiad ar ddim; creu rhyw ddyddordeb at y pethau mawrion yn meddwl yr eneth ieuanc sydd â'i llygad yn gwibio i bob cyfeiriad; deffro gronyn o feddylgarwch mewn rhai ydynt wedi dilyn yr Ysgol am flynyddoedd ac heb erioed ystyried fod ganddynt ddim i'w wneyd ynddi, ac o'r ochr arall gadw gwastrodedd ar y rhai sydd wedi meddwl ychydig rhag iddynt ddifuddio holl waith y dosbarth trwy farchogaeth eu mympwyon; ac yn neillduol cael agoriad yn nghalonau y rhai sydd dan addysg i'r gwirionedd megys y mae yn yr Iesu,—y mae hyn oll yn gwneyd i fyny y fath gorff o anhawsderau fel nad ydyw ryfedd yn y byd fod pobl dda, weithiau yn enwedig, dan demtasiwn gref i ymollwng, a meddwl fod eu holl ymdrechion mor ofer fel na waeth iddynt roi y cwbl i fyny.

Ond er y cwbl nid ydym i ildio ac ymollwng! Mae y gwaith i gael ei wneyd. Mae y bobl o oes i oes i gael eu hyfforddi yn y gwirionedd, a'u cymhwyso i'r fuchedd dragywyddol. Ac mewn byd sydd mor lawn o dywyllwch a didduwiaeth, ac yn nghanol y temtasiynau aneirif i bechod sydd ar bob llaw yn cael eu gosod yn ffordd dynion, nid yw yn bosibl i ni allu gwneyd heb yr Ysgol Sabbothol. Ac yn awr mae y sefydliad gwerthfawr yma yn ein dwylaw ni. Pan ydoedd yn ngofal ein tadau fe ddarfu iddynt hwy trwyddo wneyd gwaith tra mawr. Ac a ydym ni—wedi ei dderbyn yn dreftadaeth oddiwrthynt hwy, wedi manteisio yn gymaint ar eu llafur, wedi mwynhâu hefyd lawer iawn o fanteision gwerthfawr eraill nad oeddynt yn eu cyrhaedd hwy, ac yn sicr heb fod yn barod ar unrhyw dir i gydnabod ein bod lawer islaw iddynt —a ydym ni, fel y bobl hyny gynt, "yn arfog ac yn saethu â bŵa," i "droi ein cefn yn nydd y frwydr?" Nac ydym, ni a hyderwn!

Mae brodyr i ni aeth ymlaen
Trwy ddyfnach dŵr a phoethach tân,
  Ac eto gorchfygasant hwy.

Ac os ydyw y rhyfel y rhoisant hwy eu nerth i'w hymladd—rhyfel yr Arglwydd Iesu yn erbyn teyrnas y tywyllwch—wedi ei gadael yn y rhan bwysig yma o'r maes yn awr yn ein dwylaw ni, fe fyddai yn warth ac yn drueni i ni roddi ein harfau i lawr. Mae yn bwysig yn neillduol i ni hefyd gofio, heblaw yr holl fanteision ychwanegol sydd genym yn ein meddiant, fod yr arfdy mawr—y *magazine*, chwedl Gurnal—o ba un y derbynient hwy bob cyflenwad i'w gwneyd y fath filwyr da i Iesu Grist, yn agored i ninnau, a Dwyfol groesaw i ni ar ei holl gynnwys. Mae y gair yn agos atom; y mae gorsedd gras yn nês na hyny; ac er maint ein heiddilwch, y mae nerth Crist yn barod i'w berffeithio yn ein gwendid. Fe sonir yn llyfr y Dadguddiad am ryw elynion cryfion y rhai "a ryfelant â'r Oen, a'r Oen a'u gorchfyga hwynt; oblegid Arglwydd arglwyddi ydyw, a Brenin brenhinoedd;" ond wedi

crybwyll mawredd gogoneddus yr Oen ei hun fel rheswm am ei oruchafiaeth, fe ddywedir ymhellach, ac fel rheswm ychwanegol am yr un peth, "a'r rhai sydd gydag ef sydd alwedig, ac etholedig, a ffyddlawn." Er mor fawr ydyw Efe, ac er mai ei nerth Ef ydyw bywyd y rhyfel i gyd, eto y mae ymdrech ei bobl—ydynt "alwedig, ac etholedig, a ffyddlawn"—yn rhan hanfodol o'r gallu sydd yn sicrhau y fuddugoliaeth. Ac ymha ysbryd yr edrychai dyn, er iddo gyrhaedd y bywyd "megys trwy dân," ar y buddugoliaethwyr fyddant gyda'r Oen ar fynydd Sïon, "wedi eu gwisgo mewn dillad gwynion a phalmwydd yn eu dwylaw"—fel rhai yn teimlo fod eu hymdrechion personol hwy yn y rhyfel yn rhoddi hawl iddynt gydag Ef yn y fuddugoliaeth fawr,—tra yn cofio mai cilio o'r neilldu a wnelsai ef ei hun, gan adael y rhyfel i'r neb a fynai ei hymladd? Y mae hyn oll yn galw arnom, a chyda llais sydd o anfeidrol nerth, i ymdaflu i waith yr Ysgol Sabbothol gyda'r un ymroddiad calonog a chyda'r un dwfn grefyddolder ag a nodweddai lafur ein tadau. A phe dychymygai neb o'n darllenwyr tirion y byddai hyny mor feichus fel y byddai yn anhawdd iddynt ymgynnal dano, gallem yn hawdd eu sicrhau y byddai yn anfesurol haws i'w ddwyn na baich seguryd a diogi. Clywsom henafgwr parchus, sydd erbyn hyn er ys llawer dydd wedi cyrhaedd yr orphwysfa, yn dyweyd mai diogi oedd y gwaith caletaf y gwyddai efe am dano. Ac ni raid ond edrych am fynyd ar ddosbarth yn yr Ysgol Sul lle mae yr athraw a'r rhai sydd dan ei ofal mewn llawn ymdrech gyda'u llafur, i weled gymaint mwy dedwydd ydynt na dosbarth arall, nad yw fe allai nebpell oddiwrthynt, lle y mae pawb yn ystwyrian, yn dylyfu gên, ac yn edrych yn resynol tua'r cloc, fel rhai yn ymofyn, Tybed ai ni allai fod rhyw obaith i'r adeg i ddiweddu yr Ysgol ddyfod rywbryd i ben!

Ond dywedasom hefyd fod tôn yr erthyglau, fel yn wir y mae sylw pob dyn meddylgar ar arwyddion yr amseroedd, yn golygu ei fod o bwys mawr i ni gadw ein llygaid yn agored ar amgylchiadau neillduol y dyddiau hyn, ac yn gwneyd ein goreu i gyfaddasu yr Ysgol Sabbothol ar eu cyfer. Nid ydyw ein cenedl mwyach yn anllythyrenog; ac y mae mewn gwahanol ffyrdd, erbyn hyn, yn lle bod yn llechu yn neillduedd ei mynyddoedd, wedi ei dwyn allan i'r byd, ac yn cymeryd rhan yn ei helyntion, ac yn cyfranogi o'i gynnydd. Mae yn amlwg, ynte, y dylid ymwneyd â hi dipyn yn wahanol i'r hyn y gwnelai y llafurwyr cyntaf gyda'r Ysgol Sul. Y mae can' mlynedd o waith yr Ysgol ei hunan wedi gwneyd gwahaniaeth mawr. Y mae y cynnydd dirfawr sydd wedi bod y chwarter canrif diweddaf yma ar addysg elfenol drwy ein hysgolion dyddiol wedi gwneyd gwahaniaeth mwy. Ac y mae gwaith y dyfodol, trwy ledaeniad addysg ganolraddol a sefydliad ein colegau cenedlaethol, yn sicr o wneyd gwahaniaeth mwy fyth. A ydyw hyn oll yn argoeli fod yr Ysgol Sabbothol wedi gorphen ei gwaith yn Nghymru, ac nad ydym i obeithio am ei dyfodol? Nid ydym ni yn meddwl felly! Mae yn wir pan ddeuwn o ganol y bywiogrwydd neillduol sydd y dyddiau hyn ymhob cyfeiriad yn nodweddu ein hymdrechion gydag addysg fydol, ac edrych ar y musgrellni a'r heneidd-dra sydd yn rhy amlwg ar rai o'n Hysgolion Sabbothol, ein bod weithiau braidd yn digaloni, ac yn ofni nad all ddal ei thir. Ac y mae yn amlwg nad all gyda musgrellni a heneidd-dra, pa faint bynag a ganmolwn arni ac a

fawrhawn ei gwaith yn yr amser aeth heibio. Yr unig obaith sydd iddi ddal ei ffordd a chyflawni yn ddyladwy waith y dyfodol, ydyw trwy iddi ymhob man wregysu ei lwynau a wynebu yn eofn ar y dyledswyddau sydd yn ei haros, gan gyfaddasu ei hun i unrhyw amgylchiadau newyddion y gallo ei chael ei hunan ynddynt. O wneyd hyny, nid oes unrhyw rwystr i'w dyfodol fod yn ddysglaer iawn!

Y mae eisieu cymeryd gofal felly yn neillduol gyda'r *dosbarthiadau elfenol*. Mae ein cymydogion y Saeson yn cael llawer o waith y dosbarthiadau hyny wedi ei wneyd at eu llaw gan yr ysgolion dyddiol, lle y mae plant y boblogaeth yn gyffredinol, erbyn hyn, yn cael eu dysgu i ddarllen. Ond ni cheir, ysywaeth—o leiaf hyd yn hyn—ddim o help yr ysgolion hyny tuag at ddysgu ein plant ni i ddarllen Cymraeg. Rhaid gwneyd y gwaith hwnw yn yr Ysgol Sabbothol. Ac mewn lliaws o'r Ysgolion Sabbothol fe'i gwneir eto yn y dull mwyaf anghelfydd. Gelwir plentyn at yr athraw neu yr athrawes i "gael gwers," ac yna fe'i gyrir yn ol "i'w dysgu," a gelwir y nesaf, &c.; a thra y bydd un yn "cael gwers," fe fydd y naw eraill, wrth reswm, yn yspio o'u cwmpas neu yn chwareu. Cauir y cyfan i fyny mewn eisteddle gyfyng, lle, gyda'r eithriad o gael myned fe allai unwaith i "gael gwers," a chyfodi i ganu hanner yr ysgol, na fydd un amrywiad yn cael ei oddef yn eu hawr a hanner o garchariad, yr hwn y dysgwylir iddynt ei dreulio yn gwbl i edrych ar ac i ddysgu eu gwers. Crybwyllasom am y canu hanner yr ysgol; ond fel rheol nid ydyw hwnw ychwaith yn ddim i'r plant, oblegid ni wyddant y geiriau, ac ni wyddant y dôn, ac nid ydyw, fel llawer o'r ymarferiadau eraill, ond rhywbeth sydd yn cael ei "berfformio" yn eu clywedigaeth. Y mae yn rhyfedd fod cynifer o honynt yn dysgu darllen o gwbl, tra nad ydyw yn rhyfedd oll bod llawer o honynt yn dysgu hyny mor anmherffaith fel ag i fod yn analluog ar hyd eu hoes i wneyd darllen yn hyfrydwch iddynt; ac mae yn rhyfedd na f'ai llawer o honynt yn casâu yr Ysgol Sul. Mae yr un plant, mae yn debyg, yn yr ysgol ddyddiol. Yno y mae babanod gyda'u gilydd, mewn ystafell brydferth a chyfleus—*Infant Classroom*,—ac yn lle myned yn eu tro i "gael gwers," y maent oll yn cael eu cyd-ddysgu, a hyny mewn ffordd sydd yn tynu eu sylw, yn ennyn eu cydymgais, ac yn sicrhau eu cynnydd. Fe geir hefyd lawer o amrywiaeth. Fe'u dysgir i ganu tonau bychain bywiog sydd yn gyfaddas iddynt; fe'u gosodir i fyned trwy ychydig ymarferiadau, sydd yn eu bywiogi ac yn eu dysgu i ufuddhau; fe ddefnyddir gwahanol ffyrdd i'w gwneuthur yn hyddysg yn y wers—megys yr athraw yn myned drosti ei hunan, hwythau yn ei ddilyn, hwy yn myned drosti gyda'u gilydd, yna bob un ar wahan, ac wrth wneyd hyny yn cywiro eu gilydd, &c.; fe geir hamdden hefyd i adrodd ystori wrthynt, fe allai oddiwrth rai o'r darluniau prydferth sydd yn crogi ar y muriau, ac i gyfranu rhyw wybodaeth ddyddorol; ac fe'u dysgir i gydganu emyn a ddeallant, ac i gydadrodd yn barchedig Weddi yr Arglwydd. Mae yr holl waith wedi bod mor ddifyr fel mai prin y gwyddant nad chwareu y maent wedi bod; a phan ddaw yr adeg i ymadael y mae eu meddyliau mor fywiog fel y bydd swn y gloch fydd yn eu galw ynghyd drachefn, ond odid, yn fiwsig hyfryd iddynt. Y maent felly yn cael eu dysgu yn y ffordd fwyaf effeithiol, ac y mae y cwbl yn cael ei wneyd iddynt mor hynod o

ddifyr. Mor wahanol mewn llawer man yn yr Ysgol Sabbothol! Pe defnyddid dull hono o gario y gwaith ymlaen yn yr ysgol ddyddiol, pa obaith fyddai i'r plant sefyll yr arholiadau a boddhâu yr *Inspector?* Ac eto y mae pob rheswm yn galw am fod yr Ysgol Sul yn cael y fantais oreu ar bob cynllun da, a phob llafur ffrwythlawn. Mae ysgol y Bwrdd yn cael y plant i'w llaw bum' diwrnod o'r wythnos, a phum' awr bob dydd; nid ydyw yr Ysgol Sul yn eu cael ond un diwrnod o'r wythnos, a hyny am ond prin awr a hanner. Mae gan yr ysgol ddyddiol ddarpariaethau cyfleus at ei gwasanaeth, mewn llyfrau, taflenau, darluniau, ac *apparatus* eraill; ond mae yr Ysgol Sabbothol yn yr ystyriaethau hyn yn cael ei gadael mewn tlodi gresynol. Ac wedi y cwbl, nid yw yr ysgol ddyddiol, fel rheol, ond yn dysgu i'r plant elfenau addysg fydol,—pethau da a buddiol, bid sicr, a phethau all fod yn wasanaethgar, o'u hiawn ddefnyddio, i'w daioni penaf. Yn wir y mae llawer o Fwrddysgolion goreu y deyrnas yn dysgu swm mawr o wybodaeth Ysgrythyrol werthfawr i'r plant, a heb brofi o gwbl yr anhawsder oddiwrth wahanol olygiadau y cyrff crefyddol, a hyderwn cyn hir y bydd holl Fwrddysgolion Cymru yn gwneyd yr un peth. Ond mae yr Ysgol Sabbothol yn amcanu yn arbenig at eu dysgu i ddarllen a deall y Bibl, i ymsynied â meddyliau mawrion Duw, i gredu yn ei Fab, ac i rodio yn ei sanctaidd ofn. Eto, gyda'r fath gyflawnder o amser a'r fath gyfoeth o adnoddau, a chyda'r fantais ychwanegol hefyd o fod y rhai sydd yn addysgu ynddi wedi eu hyfforddi yn y gelfyddyd fel *pupil teachers*, a thrachefn yn y *training colleges*, y mae yr ysgol ddyddiol yn fywiog i lanw pob mynyd â gwaith, gan gadw golwg yn barhaus ar ddydd yr arholiad; tra o'r ochr arall, y mae nifer mawr o'n Hysgolion Sabbothol—gyda'u prin awr a hanner mewn wythnos, gyda'u cyfleusderau anmherffaith, gyda'u hathrawon nad ydynt yn gyffredin wedi cael unrhyw hyfforddiad, a chyda'u hamcan o anfeidrol bwysigrwydd—yn gallu gwastraffu y mynydau prinion "fel gwerth yn llaw y ffol," ac ymron heb amcan o gwbl! Mae yr ysgolion dyddiol, gyda pherffeithiad eu peirianwaith trwy lafur oesoedd o addysgwyr llwyddiannus, yn amcanu at gynnyrchu y mwyafswm o ffrwyth heb, o leiaf, ddim gwastraff ar lafur; tra mewn nid ychydig o amgylchiadau, y mae yr Ysgol Sabbothol yn cynnyrchu y lleiafswm o ffrwyth, a hyny, nid yn anfynych, gyda'r mwyafswm o ymdrech. Bydd yn ddrwg genym yn fynych weled y llafur blin y mae cyfeillion caredig dano yn y dosbarthiadau ieuengaf, yn ceisio cadw rhyw fath o wastrodedd ar y plant, a "rhoi gwers" i'r naill ar ol y llall, ac er yr holl ymddygnu poenus, mor ychydig fydd yr ennill ar y llafur i gyd!

Ac eto fe fyddai yn rhyfeddol o hawdd dwyn oddiamgylch gyfnewidiad yn hyn oll a brofai yn hyfryd a bendithiol iawn. Y mae bellach ynglŷn â llawer o'n haddoldai ystafelloedd cyfleus ymha rai y gellid cynnal Ysgol Sabbothol y Plant; ac am fanau lle nad oes cyfleusderau o'r fath, ni fyddai yn sicr ond gorchwyl hawdd i bobl sydd o gariad at yr efengyl wedi gwneyd cymaint er cael lleoedd cyfaddas i'w phregethu, &c., wneyd ychydig yn ychwaneg er mwyn cael ystafelloedd manteisiol i "borthi ŵyn" y Bugail Da. Deallwn fod rhai rhieni yn anfoddlawn i'w plant gael eu cymeryd i'r cyfryw ystafelloedd, gan deimlo fel pe byddai eu symudiad o'r capel yn fath o alltudiaeth arnynt. Mae yn

gweddu i ni dosturio wrth anwybodaeth y fath rieni! Ond dylem eu haddysgu yn dirion, a dangos y gellid trwy hyny wneyd llawer gwell chware teg â'u plant. Nid ydym yn ddiffygiol iawn am lyfrau a thaflenau a darluniau cyfaddas; ac fe fyddai yn hawdd, ond i'n Hysgolion symud yn y cyfeiriad yma, ychwanegu yn fawr at ein cyflenwad. Ac yn arbenig nid ydym ar ol mewn llawer o'n Hysgolion am athrawon ac athrawesau hyfforddedig a phrofiadol o'r ysgolion dyddiol, y rhai yn fynych na wneir unrhyw ddefnydd o'u cymhwysderau neillduol, ond eu gadael fel pobl ieuainc gyffredin eraill. Fe allai y byddai yn lled drwm ar y rhai hyny, wedi iddynt fod yn addysgu plant ar hyd yr wythnos, dysgwyl iddynt wneyd yr un peth ar y Sabboth hefyd; ond hwy allent wneyd gwasanaeth llawer gwell trwy osod arnynt arolygiaeth Ysgol y Plant, a rhoddi iddynt bobl ieuainc garedig a chrefyddol—goreu oll os wedi eu haddysgu eu hunain yn yr ysgolion elfenol—i'w cynnorthwyo, gan roddi arnynt eu hyfforddi yn y gwaith, fel y gwnant gyda'u *pupil teachers* a'u *monitors*, a chario yr Ysgol ymlaen yn gwbl yn yr un dull ag y gwnant gyda'r *Infants* yn yr ysgol ddyddiol. A phan mae y cyfeillion hyn, o angenrheidrwydd, wedi bwrw eu coelbren gydag un gangen o eglwys Crist, ond fod yn y gymydogaeth amryw ganghenau, ac fe allai o wahanol enwadau, paham na ellid trefnu adegau cyfleus yn yr wythnos iddynt egluro i rai a annoger i ddyfod atynt o'r gwahanol Ysgolion, y dulliau goreu o ddwyn ymlaen Ysgol y Plant, gan ddangos hyny yn ymarferol mewn cynllun-wersi, trwy ddysgu y rhai ieuainc yn eu presennoldeb? Gwych hefyd fyddai rhoddi cyfleusdra i rai o'r cyfeillion hyny roddi gwers, &c., yn ngwydd y lleill, ynghyd a'r athraw neu yr athrawes o'r ysgol ddyddiol fo yn eu hyfforddi, a chymeryd cyfle, wedi i'r plant fyned, i nodi allan y diffygion a'r rhagoriaethau, fel y gwneir gyda'r *criticism lessons* yn y colegau athrawol. Mae yn wir y byddai hyn oll dipyn yn newydd, ac fe allai y profai ychydig yn drafferthus i ddechreu; ond y cwestiwn yw, ai ni allai fod yn werth ymgymeryd âg ef, yn enwedig pan y mae yn sicr y dysgid y plant i ddarllen yn llawer cynt ac yn llawer gwell; y ceid hefyd lawer mwy o hamdden nag a geir yn awr i'w goleuo a'u hyfforddi mewn pethau eraill; ac y gwnelid y gwaith oll yn llawer mwy hyfryd, nid yn unig i'r rhai fyddo yn addysgu, ond hefyd i'r plant a fyddo dan addysg? Mae yn debyg y dywed rhai fod yr Ysgol Sabbothol am gan' mlynedd wedi gwneyd yn rhagorol heb hyn oll, ac na allwn wneyd yn well na dilyn esiampl y tadau. Gwir: mae y bobl barchus hyn gyda ni "bob amser," ac nid arnynt hwy y bydd y bai os na wnawn sylw dyladwy o'u chwedl. Y mae yn wastadol rywrai sydd o flaen eu hoes; eraill sydd yn ceisio ei dilyn, ac eraill ar ei hol. Mae y cyfeillion y soniwn am danynt yn perthyn i'r dosbarth olaf. Yr ydym wedi eu gweled lawer gwaith yn cario allan yr un egwyddor fel amaethwyr, a'u tir yn dihoeni mewn tlodi a gwall ymgeledd; tra, gerllaw iddynt, y mae tir ag oedd yn naturiol, fe allai, yn llawer llai manteisiol i ffrwythlondeb, dan lwyth o gnydau ag y mae yn llawenydd edrych arnynt. A'r fath, ysywaeth, ydyw yr ysgol ddyddiol mewn llawer cymydogaeth o'i chymharu â'r Ysgol Sabbothol. Fe wnaeth ein tadau yn rhagorol, mae yn wir, a dylem byth fod yn falch o honynt. Ond mae yn weddus cofio nad oedd y nifer a fyddai ganddynt hwy i weithio arnynt yn agos mor

liosog, ac am hyny y gallent yn well gyrhaedd pob un a fyddai dan eu gofal. Heblaw hyny dylid cofio am y zel oedd yn eu hysu, a'u hymroddiad diflino i'r gwaith. "Os yr haiarn a byla, oni hoga efe y min, rhaid iddo roddi mwy o nerth." Ac y mae y ddiareb Gymreig mor wir â'r un o ddiarhebion Solomon: "Ni fydd diffyg arf ar was gwych." Yr oedd Samson "â gêu asyn" yn "lladd mil o wŷr." Ond yr oedd yn rhaid iddo roddi ar waith lawer iawn "mwy o nerth." Ac felly ein tadau gyda'u cyfleusderau a'u dulliau anmherffaith o gario ymlaen waith yr Ysgol Sul. Ond gwelwn ambell dro rai yn dadleu awdurdod y tadau dros yr anghyfleusderau a'r dulliau gwael, nad allent hwy wrthynt, fel pe ymron o Ddwyfol osodiad; ond heb arddangos ond ychydig iawn o'r zel a'r ymroddiad oedd yn gwneyd ymdrechion y tadau yn anwrthwynebol. Ond er min yr "haiarn," ac er "nerth" y fraich, yr oedd y gŵr doeth yn ychwanegu: "eto doethineb sydd ragorol i gyfarwyddo." Ac y mae doethineb yn cyfarwyddo yn dra effeithiol yn y mater sydd dan ein sylw trwy y llwyddiant ardderchog sydd yn coroni addysgiaeth yr ysgolion dyddiol, yr hwn y gellid hefyd mor hawdd ei fabwysiadu yn yr Ysgolion Sabbothol, ac na fyddai ronyn yn anhaws ei fedyddio i Grist, ac erfyn arno eneiniad yr Ysbryd Glân.

Y mae yn dra phwysig yr un modd fod athrawon y *dosbarthiadau eraill* yn cael ychydig hyfforddiad. Pe na fuasai genym amcan uwch na chanmol yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru, gallasem foddloni ar ei dangos yn *ideal* neu gynllun ei pherffeithrwydd, fel y dymunasem iddi fod; ond gan fod ein hamcan yn llawer mwy ymarferol, yr ydym yn gorfod meddwl am dani fel y mae, ac ystyried pa fodd y gellid ei gwella. Ac mae yn amlwg fod ei diwygiad i fesur tra helaeth yn gorphwys ar ei hathrawon a'i hathrawesau. Mae llawer o'r cyfeillion hyn, wrth deimlo eu hanghymhwysder, yn fynych yn anfoddlawn i gymeryd dosbarthiadau, ac wedi gwneyd hyny, dan demtasiwn, o bosibl, yn fynych i gilio yn ol. Ond fe ddylai holl rym y cyfarfod athrawon, holl ddylanwad yr eglwys, a holl allu y weinidogaeth, fod yn gefnogaeth ac yn galondid iddynt fyned ymlaen a gwneyd a allont. Fel rheol, gall un gymeryd yn ganiatäol fod gwaith yr arolygwr yn galw arno i ymgymeryd â dosbarth, yn brawf mai efe ydyw y cymhwysaf sydd ganddo mewn golwg ar y pryd; ac am hyny, gan fod yn rhaid cario y gwaith ymlaen, fe ddylai deimlo mai ei ddyledswydd ydyw ufuddhâu, a gwneyd yr hyn a all, a hyny "megys i Dduw, ac nid i ddynion." Ond rhodder hefyd i'r cyfryw ychydig hyfforddiad. Da iawn ydyw cadw ymlaen y Cyfarfod Darllen neu y Dosbarth Biblaidd, er cyfoethogi meddwl rhai felly â gwybodaeth o bethau Duw; fe ddylai gwersi y cyfarfodydd hyny hefyd fod iddynt i fesur yn gynlluniau pa fodd i drefnu eu gwersi eu hunain yn eu dosbarthiadau. Ond yn ychwanegol, y mae rhyw egwyddorion mawrion mewn addysgiaeth ag y mae eisieu eu hegluro iddynt, a'u hargraffu yn ddwfn ar eu meddwl. Ac fel yr oedd gan Abraham, "ddeunaw a thri chant o hyfforddus weision a anesid yn ei dŷ," y gallai gyfrif ar eu gwasanaeth mewn rhyfel, felly y mae gan yr Ysgol Sabbothol lawer bellach o rai "hyfforddus" a anwyd yn ei thŷ hithau, a'r rhai, heblaw eu gwasanaeth rhagorol yn eu dosbarthiadau, a allent hefyd roddi llawer o gynnorthwy gwerthfawr i'w cydathrawon trwy eu hyfforddi yn egwyddorion addysgiaeth, a

gweithio y rhai hyny allan eu hunain ger eu bron mewn cynllun-wersi. Nodwn ychydig o'r egwyddorion y cyfeiriwn atynt.

1. Mae o bwys mawr i bob athraw ymdeimlo yn briodol â'r *cyfrifoldeb* y mae dani yn y sefyllfa hono. Mae rhai athrawon, nad ydynt yn meddwl am hyny o gwbl, ond yn cymeryd eu lle yn y dosbarth heb ofalu nemawr beth ddaw o hono, na theimlo fod dim siars arnynt mwy nag ar yr aelodau eraill. Mae eraill, gan wylder ac ymdeimlad o'u hanghymhwysder, yn cilio rhag y cyfrifoldeb, a chan ofn camgymeryd neu fradychu eu hanwybodaeth, yn peidio gwneyd dim. Ond pa un bynag ai o ddiofalwch ai o wylder, y mae y llyw mewn llawer achos heb neb yn ymaflyd ynddo, a'r llestr mewn canlyniad yn gorfod llywio ei hunan, ac ymdaro fel y gall. Yn y fath amgylchiad ni raid wrth ddewiniaeth i weled y bydd, rhwng peryglon y tònau a'r creigiau, mewn sefyllfa ddrwg. Pan nad oes neb yn gweithredu fel athraw, nid yw yn annhebyg na ddaw y dosbarth i deimlo eu bod oll yn athrawon, pob un cystal â'i gilydd,—os nad gwell hefyd! Mae pob honiadusrwydd, wrth reswm, yn ddirmygedig iawn, a deg i un nad y dyn sydd yn ei arddangos ydyw y mwyaf amddifad o bob hawl i wneyd hyny. Ond wedi'r cyfan mae yn rhaid i rywun ymdeimlo â'r cyfrifoldeb o arwain, a gwneyd ei ran yn ffyddlawn tuag at sicrhâu fod yr ychydig amser gwerthfawr sydd at wasanaeth y dosbarth yn cael ei ddefnyddio i ddybon da. Ac, wrth reswm, yr athraw sydd i wneyd hyny.

2. Ynglŷn â hyn, y mae yn hanfodol ei fod yn meddu *llywodraeth* ar ei ddosbarth. Nid oes eisieu iddo ddangos ei awdurdod mewn un modd; yn yr Ysgol Sabbothol, yn enwedig, y mae hyny yn annoethineb o'r mwyaf. Ac ymhob cylch addysgawl, yn wir, yr athraw iawn ydyw yr hwn sydd yn peri fod ei awdurdod fel gallu byw yn cael ei deimlo gan bawb a fo dan ei ofal, ond heb ei fod ef yn ei ddangos o gwbl. Wrth wraidd hyny fe orwedd y teimlad o gyfrifoldeb y cyfeiriwyd ato, —fod y cyfryw waith i gael ei wneyd, a'i fod yntau wedi ei osod dan y siars o weled ei fod yn cael ei wneyd. I gyrhaedd hyny, fe deimla y rhaid iddo fod yn gryf ac yn garedig. Mae yn debyg nad gweiniaid ydyw y nerthoedd sydd yn y dosbarth; ond y maent oll, ond odid, am weithio yn eu ffordd neillduol eu hunain, ac felly yn debyg o wneyd yn anobeithiol cael unrhyw waith gan y dosbarth fel y cyfryw. Ond y mae yr athraw i wneyd ei feddwl i fyny y rhaid gwneyd y gwaith sydd i'w wneyd; ac yn dawel, ond yn ddiysgog, fe hwylia yr holl ddosbarth at hyny. Y mae dirfawr nerth at gyrhaedd amcan felly yn ei benderfyniad ef o fŷnu ei sicrhau. Yn hyn y mae "gallu y llygad" yn beth sydd i'w fawr ddiwyllio. Pa annhrefn bynag a fygythia gyfodi, y mae edrychiad tawel ond cryf a phenderfynol yr athraw i'w osod i lawr. Ac yn arbenig y mae yr awdurdod yn awdurdod cariad. Y rheswm yn wir am ei fodolaeth yn y fath le ydyw ei gariad ef at y gwaith, a'i deimlad da at y rhai sydd dan ei ofal. A phan mae ei fynwes yn llawn o awydd pur am eu daioni penaf, ac yn amcanu at ochel pob aflywodraeth fel peth sydd yn rhwym o lesteirio hyny, heblaw bod yn dra annheilwng o'r lle a'r gwaith,—y mae ganddo nerth o'i blaid wrth fŷnu trefn ar ei ddosbarth sydd yn rhyfeddol o gryf. Ni all fod camgymeriad mwy andwyol na meddwl fod hyny i'w gyrhaedd trwy un math o erwinder. "Gan roddi bygwth heibio" ydyw y drefn ddoeth, dan bob amgylchiad;

ac y mae tawelwch caredig penderfyniad yn anfesurol gryfach i sicrhau llywodraeth dda na phob broch a gerwinder y gellir meddwl am danynt.

3. Yn agos gysylltiedig â hyn, ac fel peth sydd yn hanfodol i addysgiaeth lwyddiannus, gallem grybwyll y mater o *amcan*. Holl ystyr y cyfrifoldeb a'r llywodraeth ydyw fod rhyw nôd i'w gyrhaeddyd, ac er mwyn hwnw y gwneir yr ymdrech i gyd. Ac nid oes un elfen gryfach mewn addysgu llwyddiannus na bod meddwl yr athraw yn llawn o'r amcan sydd i'w gyrhaedd ganddo. Yr ydym yn ofni y rhaid dyweyd am waith llawer iawn o ddosbarthiadau ein Hysgolion Sabbothol ei fod yn waith tra di-amcan, ac am hyny y mae bron yn anmhosibl iddo beidio bod yn waith di-fudd. Fe ddeuir ynghyd yn ol y ddefod, ac fe eir trwy yr ymarferiadau fel y dygwyddo, ac fe ddychwelir,—ond heb feddwl ond nesaf i ddim pa un a allai fod rhywbeth wedi ei ennill ai peidio. I ochel y fath adwyth, fe ddylai yr athraw fynu syniad gweddol glir ymlaen llaw o'r gwaith y dylid myned drwyddo bob tro y cyferfydd â'i ddosbarth, a hyd y byddo ddichonadwy, *mynu myned trwyddo.* Gall wneyd ei feddwl i fyny, po lwyraf y feistrolaeth a fo efe ei hun wedi ennill ar y wers hono, mai mwyaf effeithiol oll y bydd iddo addysgu y dosbarth ynddi. Yn lle bod at drugaredd yr awelon, y mae yn dra thebyg o hwylio y llestr yn glir i'r hafan a ddymunai, a theimla pawb fod eu llafur wedi ateb dyben da. Da genym weled fod cynllun y Safonau, y sonia y Parch. J. O. Jones am danynt, yn cael ei fabwysiadu gan gynifer o'n Hysgolion, ac y ceir ei fod yn ateb dyben mor ragorol. Mae yn diogelu fod y llafur yn llafur i amcan, ac nid yn "guro awyr." Mae yr Arholiadau Sirol hefyd yn ateb dyben daionus ragorol yn yr un cyfeiriad, a dylent gael y gefnogaeth fwyaf calonog.

4. Mae yn dra phwysig hefyd fod pob athraw yn astudio y ffordd oreu i *gyfranu addysg* i'r rhai fo dan ei ofal. Nid yw yn ddigon at hyny ei fod yn gwybod, ac yn gwybod llawer. Mae yn rhaid iddo hefyd fedru y ffordd at feddyliau ei ddysgyblion, a'u deffro i ymaflyd yn egnïol eu hunain yn yr addysg a gyfrana. Mae yr Apostol yn 1 Tim. iii. 2 yn galw y cymhwysder yma yn fod "yn athrawaidd;" yn 2 Tim. ii. 24, "yn athrawus" ydyw y gair; yn y Saesoneg, "apt to teach" a geir am y naill a'r llall. Bron na ellid meddwl wrth naturioldeb yr athrawusrwydd a ddangosir gan rai, fod hyny yn gynhenid iddynt, ac fod yr athraw hefyd, fel y bardd, "yn cael ei eni, ac nid ei wneyd." Ond gwelsom gynifer o rai a ymddangosent ar y dechreu mor ddiamcan at y gwaith yn cyrhaedd meistrolaeth arno, fel na fynem i neb anobeithio gallu sefydlu cymundeb digon clir rhyngddo a meddyliau ei ddosbarth i allu eu dysgu yn effeithiol. Prin y mae eisieu dyweyd nad traethu neu bregethu yn ddiddiwedd i'r dosbarth ydyw y ffordd oreu i hyny, ond fel y sonia ein cyfaill y Parch. Evan Peters, eu holi, ac felly ddeffro eu meddyliau a'u harwain o radd i radd i lawn feddiant o'r hyn a fwriedir ddysgu iddynt. Mewn trefn i gyrhaedd y medr gwerthfawr hwn, rhaid i'r athraw syrthio ar ei adnoddau, ceisio gosod ei hun yn lle ei ddysgyblion, ac felly, nid ymfoddloni ar wneyd y gwaith drostynt, yr hyn a fyddai mor hawdd,—ond eu cynnorthwyo, hyd y bo modd, i wneyd y gwaith drostynt eu hunain. "Y

llyfr i'w ddarllen," ebe Dr. McCosh, "ydyw, nid yr un sydd yn meddwl drosoch, ond yr un sydd yn gwneyd i chwi feddwl." A dyna yr athraw, yn sicr! Ni fu erioed ddysgawdwr gwell na Socrates, ond yr ydoedd, fel y gwyddai yr Atheniaid yn dda, yr holwr mwyaf o bawb. Daliai mai y bobl oedd yn ei ddysgu ef, ac fel y gwnelai ei fam, yr hon oedd fydwraig, â chyrff dynion, felly, meddai, y gwnelai yntau â'u meddyliau; a rhyfedd y syniadau ardderchog a dynai allan felly o rai nad oeddent erioed wedi meddwl am y fath bethau. Mae yr athraw i wahaniaethu rhwng dysgu ffeithiau i'w ddosbarth, a deffro eu meddyliau i ddeall egwyddorion. Ond yn y naill a'r llall y mae yr un mor hanfodol ei fod yn cael cymaint o gynnorthwy ag a fo yn ddichonadwy oddiwrth gydweithrediad ei ddysgyblion.

5. Prin y mae eisieu ychwanegu fod yr athraw yn yr Ysgol Sabbothol i ofalu yn neillduol am ei fod, gyda'i waith pwysig, o'r *ysbryd* priodol. Fel y dengys y Parch. Thomas Lewis, y mae o bwys mawr ei fod ef, yn arbenig, yn cofio fod yr Ysgol, iddo ef a'r dosbarth, i fod yn foddion gras. Ac nid ydyw yn anhawdd i athraw yn fynych beri i'w ddylanwad gael ei deimlo gan y rhai sydd dan ei ofal, a hyny pan nad ydyw efe ei hun yn amcanu yn neillduol at ei ddangos. Y mae yn gyffredin yn mhrofiad yr efrydwyr goreu fod y manteision *an*uniongyrchol a dderbyniant o fod mewn cyffyrddiad âg athrawon enwog, yn llawer gwerthfawrocach na'r manteision uniongyrchol, megys yn y swm o wybodaeth a ennillant trwyddynt. Felly hefyd yn yr Ysgol Sabbothol. Pwy all amgyffred gwerth yr argraff a ddyry athraw da ar feddwl ei ddosbarth, a hyny megys yn ddiarwybod iddo ei hun, trwy, dyweder, y dwfn barch a deimla at wirionedd; y drafferth a gymera i sicrhau cywirdeb, er weithiau mewn pethau cymhariaethol ddibwys; y llymder â pha un y bwria ymaith bob golygiadau a fo yn anghyson âg urddas yr efengyl; a'r ymdrech onest ac egnïol a wna i edrych ar y rhan o'r Gair a fo dan eu sylw o safle yr ysgrifenydd ysbrydoledig ei hunan. Ac yn arbenig, pwy all brisio bendith ei ddylanwad pan mae ei orchwyledd yn dangos fod y pethau mawrion yn ei yru i'r llwch, a'r eneiniad sydd ar ei ysbryd yn dangos fod ei galon "yn ymysgaroedd Iesu Grist," yn ymorphwys ar y drefn fawr, ac yn ennyn gan awyddfryd i gael yr holl ddosbarth yr un ffunud at y Gwaredwr? Fe deimla llawer iddynt brofi rhyw ddylanwad nefol dan athrawon felly, a ystyriant yn un o fendithion penaf eu hoes. Paham y mae mor ychydig o athrawesau yn ein Hysgolion Sabbothol? Mewn llawer o fanau fe ymddengys fel pe byddai yn cael ei gymeryd yn ganiataol fod yn rhaid i gorff mawr y chwïorydd fod dan addysg eu hunain, ac nid cael eu gosod ar ddosbarthiadau. Ond y mae hyny yn gamgymeriad andwyol. Yn yr ysgolion dyddiol y mae miloedd o athrawesau yn gwneyd gwasanaeth sydd yn anmhrisiadwy werthfawr, ac mewn llawer o amgylchiadau—yn neillduol gyda'r dosbarthiadau ieuengaf—yn gweithio yn llawer gwell nag y gallai meibion wneyd. Paham na cheid gwasanaeth y chwïorydd yn ein Hysgolion Sabbothol yn Nghymru yn llawer mwy mynych fel athrawesau? Mae "ŵyn y praidd" yn neillduol yn dyoddef colled o beidio bod dan ymgeledd dirion eu doethineb a'u cariad; ac y mae llawer o'n chwïorydd mor ffyddlawn i Grist, ac mor lawn o'i gariad, fel y mae yn resyn na fyddai

llawer eraill, yn enwedig o'r lodesi a'r merched ieuainc, yn cael eu haddysgu ganddynt, ac felly yn manteisio ar eu doethineb a'u profiad Mae y crefyddolder a'r ysbryd rhagorol sydd mor amlwg yn nodweddu cynifer o wragedd a gwyryfon ein heglwysi y fath fel y rhaid fod yr Ysgol Sabbothol a'r oes sydd yn codi yn fawr ar eu colled o ddiffyg fod defnydd llawer helaethach yn cael ei wneyd o honynt fel athrawesau.

DANIEL ROWLANDS.

---

# ESBONIAD PRINCIPAL EDWARDS AR YR EPISTOL CYNTAF AT Y CORINTHIAID.

*A Commentary on the First Epistle to the Corinthians.* By THOMAS CHARLES EDWARDS, M.A., of Lincoln College, Oxford; Principal of the University College of Wales, Aberystwyth. London: Hamilton, Adams & Co., 1885.

UN o'r gwirioneddau sylfaenol a lefarodd ein Hiachawdwr am natur crefydd ydyw mai adnabyddiaeth o Dduw yn Nghrist yw y bywyd tragywyddol. Adnabod Duw ydyw ammod hanfodol crefydd creadur sanctaidd. Duw ydyw gwrthddrych crefydd: ac y mae crefydd yn golygu yr oll a gynnwysir yn yr iawn berthynas rhwng y gwrthddrych a'r deiliad—rhwng y Creawdwr a'r creadur moesol. Nis gall y berthynas hono fod, yn ol deddfau meddwl, heb adnabyddiaeth o'r gwrthddrych. Ond i grefydd pechadur y mae dullweddiad newydd ar yr adnabyddiaeth yn hanfodol. At "yr unig wir Dduw" rhaid chwanegu "yr hwn a anfonaist ti, Iesu Grist:" Duw yn dyfod allan mewn goruchwyliaeth newydd a rhyfeddol i gyfarfod âg argyfwng pwysig yn ei lywodraeth. Ond ammod adnabyddiaeth drachefn, ydyw dadguddiad. Rhaid i Dduw ddadguddio ei hunan cyn y gellir ei adnabod. Nid oes dim mewn bod a all bontio drosodd yr eigion difesur rhwng Duw a dyn ond hunan-ddadguddiad Dwyfol. Rhaid i'r Anweledig ymddangos. Rhaid i'r Dystawrwydd tragywyddol lefaru. Cyn y gall dyn esgyn mewn adnabyddiaeth, rhaid i Dduw ddisgyn mewn dadguddiad. Yn mherthynasau Duw a dyn, "disgyn" yw ammod "esgyn" o'r dechreuad—"disgyn yn gyntaf." Ac y mae y disgyniad hwn o angenrheidrwydd yn wyrth. Nis gall yr anfeidrol ddadguddio ei hunan i'r meidrol, yn natur y peth, ond trwy wyrth—trwy weithrediad goruwchnaturiol. Fel hyn y mae sail gyntaf crefydd mewn gwyrth. Gwyrth yw pob dadguddiad o Dduw. Gwyrth yw creadigaeth—Duw mewn sêr a chreigiau, a bywyd o bob ffurf a gradd; gwyrth barhaus yw Rhagluniaeth—Duw mewn Hanesyddiaeth; a gwyrth yw y Bibl—Duw mewn llyfr, yn ysbrydoli dynion sanctaidd i dderbyn y dadguddiad o'i feddwl am y pethau uchaf, ac i drosglwyddo y dadguddiad i'r byd mewn iaith ddynol.

Maddeued y darllenydd i ni y tro hwn am ddilyn arferiad rhai o'r hen bregethwyr trwy ddechreu ymhell yn ol. Ni a ddywedwn air am yr Esboniad sydd yn deitl ein hysgrif cyn y diwedd, a cheisiwn beidio ymdroi yn hir ar y ffordd. Ond yr ydym yn galw sylw wrth ddechreu at y Llyfr digyffelyb sydd yn cael ei esbonio. Ac yr ydym yn gwneyd hyn er mwyn rhoddi annogaeth ddifrifol i ieuenctyd eglwysi ac Ysgolion Sabbothol ein gwlad i ymroddi i astudiaeth adnewyddol o'r Bibl. Gwyn fyd na byddai cyfarfodydd Canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru yn ateb y dyben ymarferol ac anmhrisiadwy o fod yn ddechreuad cyfnod newydd o lafur mewn cloddio am y perlau sydd yn guddiedig yn mŵn-gloddiau cyfoethog Gair Duw! Dyma a fyddai yn Ddiwygiad! Hwn a fyddai yn *Renaissance* o'r fath uchaf—adfywiad Llenyddiaeth Gysegredig! Mewn efrydiaeth ddyfal o'r Bibl yn yr iawn ysbryd ac yn yr iawn ffordd, y mae y budd a'r mwynhâd uchaf wedi cydgyfarfod. Yma ni a gawn haenau o feddwl rhyfeddach na dim y gall Daeareg eu dangos; ac nid gweddillion difywyd wedi ymgaregu, ond meddyliau yn llawn o "nerth bywyd annherfynol." Yma gellir dyfod o hyd i fydoedd o wirioneddau gogoneddus, rhyfeddach na bydoedd Seryddiaeth. Heblaw y gwerth ysbrydol, nid oes dim mwynhâd i'w gael o fewn holl gylch gwrthddrychau meddwl i'w gystadlu â darganfod trysorau newyddion o wirionedd yn Ngair Duw.

Y cymhwysder cyntaf mewn esboniwr, a phob efrydydd o'r Ysgrythyrau, yw yr un moesol neu ysbrydol. Nid yn unig crediniaeth fod y Bibl yn Air Duw, ond ymdeimlad dwys o'r cyfan y mae crediniaeth mor fawr yn ei chynnwys. Y cyfryw argyhoeddiad o'i ddwyfoldeb ag a gynnyrcha "wylder a pharchedig ofn." Dywedodd Ruskin bethau gwych am ysbryd y gwir arlunydd. Nid yw fel yr eilun gelfyddydwr yn rhuthro yn hyf i gysegroedd anian, yn cerdded yn arw a thrystfawr, yn analluog i ymdeimlo â mawredd, ac felly yn analluog i'w ddangos. Trinia hwnw bethau tyneraf Natur gyda llaw erwin; dwbia ei ddarlun â lliwiau cryfion, a chipia bobpeth o bobman er mwyn cynnyrchu effaith uniongyrchol ar yr anwybodus. Ond am y gwir arlunydd, ni a gawn weled hwn wedi anghofio ei hunan yn ngogoniant Natur; yn cerdded yn araf ac yn diosg ei esgidiau oddiam ei draed wrth nesâu at ei lleoedd cysegredig; yn wylaidd a llednais, yn cael ei arafu gan ofn, a'i dynu gan gariad yr un pryd wrth gyflawni ei genadaeth; yn gynnil mewn lliwiau; arliw o barchedigaeth yn lleddfu hyd yn nod ei waith gwresocaf, a'r cyfan yn oleu â goleuni ysbryd. Os dyma y dymherfryd a ddylai lywodraethu y gweledydd yn nheml Natur, pa faint mwy y dylai lywodraethu yr addolwr yn nheml Dadguddiad, i'r hon nad yw teml natur yn ei holl ogoniant ond y cyntedd nesaf allan, ac yn yr hon y mae rhyfeddodau penaf y Duwdod yn ymddysgleirio? Ymostyngiad llwyr i awdurdod y gwirionedd, dirnadaeth o'i fawredd, a chydymdeimlad â'i ogoniant ysbrydol—dyma brif hanfodion y Dehonglydd, yr hwn sydd dros Frenin y ddinas yn cadw tŷ i ddangos "pethau rhagorol" i'r pererinion ag a fydd o gymhorth iddynt ar eu taith. Hyn oedd mawredd Dr. Owen fel esboniwr; dyma sydd yn rhoddi y fath bwys ac eneiniad ar ei ymadroddion, nes peri i ni deimlo eu bod yr adsain agosaf i eiriau Ysbrydoliaeth ei hunan. Dyma *ysbryd* y gwir esboniwr.

Un o'r pethau mwyaf pwysig yn y *dull* o esbonio ydyw "prophwydo yn ol cysondeb y ffydd." Beth bynag yw ystyr yr ymadrodd yna, benthyciwn ef yn awr am yr esbonio hwnw sydd nid yn unig yn gyson â, ond yn ffrwyth astudiaeth ddofn o, *unoliaeth* y Bibl. Ofnwn fod gwybodaeth ysgrythyrol llawer un yn ein gwlad yn unig yn wybodaeth o llaws o adnodau gwasgaredig dros yr holl Fibl. Gwir fod hyn yn well nag anwybodaeth, er nad yw ymhell oddiwrtho. Ond y mae yr un gwahaniaeth rhwng hyn âg efrydiaeth o'r Dadguddiad Dwyfol yn ei drefn a'i gysylltiadau, ag sydd rhwng edrych ar bentwr o feini ac edrych ar adeilad ardderchog. Er fod muriau dinas Datguddiad fel muriau y ddinas sanctaidd o faen jaspis, ac hyd yn nod seiliau y mur "wedi eu harddu â phob rhyw faen gwerthfawr," pob porth yn berl, a'r ddinas oll yn aur pur ac yn wydr gloew,—nis gwelir gogoniant yr oll, nac yn wir ogoniant y rhanau, heb y "gorsen aur" â'r hon yr oedd yr angel yn dangos i Ioan ffurf a mesuriadau y ddinas, a pherthynas y naill ran â'r llall. Y mae cynlluniau arch adeiladwyr o athrylith yn cael eu hastudio o herwydd eu rhagoroldeb. Onid teilwng o'i efrydu yw cynllun dinas Dadguddiad, "saer ac adeiladydd yr hon yw Duw?"

Y mae i gyfnodau yn Hanes yr Eglwys, ac hyd yn nod i ganrifoedd, eu harweddion neillduol. Perthyna iddynt, bron fel i wynebau dynol, gymeriad gwahaniaethol, lliw a llinellau pendant. Felly y mae prif raniadau a llyfrau y Bibl. Cyduna dau beth i roddi argraff o neillduolrwydd arnynt: nodweddion personol yr ysgrifenwyr, ac amgylchiadau yr amser, neu y lle neillduol sydd i'r gyfran hono o Air Duw yn yr *un* dadguddiad cynnyddol o Grist a'r iachawdwriaeth, yr hyn sydd yn penderfynu mater a ffurf y genadwri. Y mae yr Hen Destament yn llawn o ddyddordeb dwfn i'r efrydydd Biblaidd ar amryw gyfrifon. Yma y cawn hanes dechreuadau pethau—sylfeini sefydliadau eglwysig a gwladwriaethol yn cael eu haraf osod i lawr. Dyddorol yw gweled unrhywiaeth egwyddorion natur a gras—y natur ddynol a'r anian dduwiol—pan yn gweithredu mewn pellder mawr oddiwrthym o ran amser, lle, ac amgylchiadau. Ond yn benaf, yma y gwelwn y byd a'r eglwys am bedair mil o flynyddoedd, trwy amrywiaeth mawr o oruchwyliaethau yn cael eu parotoi i'r Messiah. Pan yn croesi terfyn y ddau Destament, yr ydym yn yr Efengylau wedi dyfod i randir newydd a thra arbenig yn y Dadguddiad Dwyfol—rhandir sydd yn llawn o oleuni a gwres Haul Cyfiawnder. Yr ydym yn ymdroi yn nghanol seiniau a golygfeydd prysur byd newydd—byd sydd yn fyw gan eiriau a gweithredoedd digyffelyb Duw yn y cnawd, yn "trigo yn ein plith ni," yn dadguddio gwirioneddau newydd o dragywyddoldeb, yn gosod i lawr sylfeini iachawdwriaeth y byd, a'r oruchwyliaeth neu y ffurf ar grefydd sydd i barhau yn yr Eglwys hyd oni ddelo yr ail waith. Yr Efengylau yw sancteiddiolaf teml Dadguddiad.

Ond y mae i bob rhan o'r Gyfrol Sanctaidd ei gwerth a'i phwysigrwydd neillduol ei hunan. Felly yr Epistolau. Yn yr "Epistolau" cymerwn i fewn yn awr lyfr yr Actau a llyfr y Dadguddiad, oblegid dyna yw y ddau—y blaenaf yn Epistol hanesyddol at Theophilus, a'r olaf yn Epistol prophwydol at Eglwysi Asia a'r Eglwys Gyffredinol. Y nodwedd arbenig sydd yn gyffredin i'r holl Epistolau ydyw—ein bod

ynddynt hwy am y tro cyntaf yn gweled gwirioneddau Cristionogaeth yn y ffurf sydd arnynt wedi iddynt ddyfod trwy *feddwl dynol*. Tybiwn ein bod ymhlith dysgyblion cyntaf yr Iesu, ac wedi cadw ei ymadroddion rhyfeddol gan eu hystyried yn ein calonau. Tybiwn ein bod yn byw yn Thessalonica pan y daeth llythyrau yr Apostol Paul yno, sef y rhai cyntaf a ysgrifenodd. Ymhen pedair neu bum' mlynedd, yr ydym yn cael gwrando darlleniad yn yr Eglwys o'i Epistolau dilynol at y Corinthiaid, y Galatiaid a'r Rhufeiniaid, ac yn cael gwneuthur copi o honynt i ni ein hunain. Gyda pha ddyddordeb bywiog y buasem yn gwylio pa wedd oedd ar y gwirioneddau a lefarodd y *Duw*-ddyn, wedi iddynt gael eu bwrw trwy *fold* meddwl a chalon *dynion!* "Yr Hauwr a aeth allan i hau." Iesu Grist oedd yr Hauwr mawr. Efe a roddodd hadau gwirioneddau Dwyfol yn naear cymdeithas. Pa fodd y maent wedi tyfu ac ymagor yn meddyliau yr Apostolion? Pa fodd y mae dysgeidiaeth Crist yn edrych wedi iddi "ymddadblygu" i'r dduwinyddiaeth Apostolaidd? Yma ni a welwn pa fath *esbonwyr* oedd yr Apostolion ar eiriau yr Athraw anffaeledig. Nodwedd arall o ddyddordeb neillduol a berthyn i'r Epistolau ydyw—ein bod yma yn gweled egwyddorion dysgeidiaeth Crist yn cael eu hagor a'u cymhwyso yn *ysbryd* Crist a Christionogaeth at yr amrywiol *amgylchiadau* anhawdd a gyfodent yn yr Eglwys; a hyny yn cael ei wneyd gyda phob dadguddiad ychwanegol y gwelai yr Ysbryd Glân yn angenrheidiol ei wneuthur i gyfarfod âg anghenion yr Eglwys trwy yr oesoedd. Yr oedd geiriau Crist yn farau aur; yn yr Epistolau, gwelwn hwynt wedi eu bathu yn arian cymeradwy i gylch-redeg yn masnach ysbrydol yr Eglwys hyd ddiwedd Amser.

Ymhlith yr Epistolau drachefn, yr eiddo yr Apostol Paul yn ddiau yw y rhai pwysicaf a chyfoethocaf. Er fod y sêr yn ffurfafen Natur a Dadguddiad yn waith yr un bysedd Dwyfol, eto yn y naill fel y llall "y mae rhagor rhwng seren a seren mewn gogoniant." Arall yw gogoniant y naill o lyfrau y Bibl, ac arall yw gogoniant y llall, er eu bod oll yn ogoneddus. Megys yr oedd Paul yn "llestr etholedig" i ddwyn enw Crist ger bron y Cenhedloedd, i sefydlu yr Eglwysi cyntaf, ac i ysgrifenu y gyfran helaethaf a phwysicaf o'r Testament Newydd (ar ol yr Efengylau) er addysg ac adeiladaeth yr Eglwys hyd ddiwedd amser, felly yr ydoedd—yn unol â threfn Pen yr Eglwys bob amser—wedi ei ddonio â chymhwysderau neillduol i'r gwaith ymhob modd; fel dyn, fel Cristion, ac fel gweinidog; fel meddyliwr, fel pregethwr ac ysgrifenwr, ac fel trefniedydd. Defnyddia y Saeson weithiau y gair *personality* am lawnder bôd—mesuriadau a nerth cymeriad oll yn oll. Yn yr ystyr yma, diau mai yr Apostol Paul oedd y "personoliaeth" mwyaf a ymddangosodd yn yr Eglwys Gristionogol o'i dechreuad hyd yma. Paul oedd y *Cristion* mwyaf a welodd y byd. Efe oedd y corfforiad perffeithiaf o *genius* Cristionogaeth, o anian ac ysbryd crefydd Crist a'r egwyddorion neillduol sydd yn ei nodweddu. Buasai hyn ynddo ei hunan yn argraffu neillduolrwydd rhyfeddol ar ei ysgrifeniadau. Cysylltwn â hyn, ei alluoedd naturiol mawrion, ei gyrhaeddiadau uchel mewn dysg, tân angerddol ei natur wedi ei gysegru i frwdfrydedd ysbrydol. Gwna y cyfan gyda'u gilydd y ffigiwr mwyaf arddunol yn Hanes yr Eglwys. Dyma wron yn ystyr uchaf y gair: dyn o ffydd

ddiderfyn yn Nuw, wedi colli ei hunan a thrwy hyny *gael* ei hunan yn yr ystyr uchaf mewn undeb â'r Arglwydd Iesu, bywyd goruwchnaturiol y Crist gogoneddedig yn byw ynddo a thrwyddo gyda nerth nas gwelwyd ei debyg, cariad at Grist ac at eneidiau dynion yn ysu ei holl natur, llafur a dyoddefaint yn gwneyd ei fywyd yn farwolaeth feunyddiol; ond yn ymwthio ymlaen trwy bob rhwystrau heb syflyd oddiar ei lwybr, a'i lygad yn syml at y nôd a'r gamp a'r uchel alwedigaeth, yn yr hunan-anghof a'r hunan-aberthiad llwyraf—*Crist* iddo ef yn ddim ond enw arall ar *fyw*—yn byw yn unig i Grist ac i amcanion tragywyddol ei deyrnas. I newid ychydig ar y rhyfeddod a welodd Ioan yn y nef—dyma ryfeddod hefyd a welwyd ar y ddaear yn nghanrif gyntaf Cristionogaeth, yn mherson a gwaith yr Apostol Paul:—dyn wedi ei wisgo â Haul Cyfiawnder a'r ddaear o dan ei draed. Cuddiai ei hunan yn nysgleirdeb gogoniant ei Waredwr, gan fathru y byd yn ei oreu a'i waethaf er ei fwyn.

Buasem yn dysgwyl ymlaen llaw i ysgrifeniadau y fath un ar y fath destun a gwirioneddau, rhwymedigaethau a breintiau crefydd Crist, gael eu nodweddu gan hynodion a rhagoriaethau tra neillduol. Heb son yn awr am y *mater*, y mae *arddull* yr Apostol yn un hynod dros ben. Nid arddull traethawd ydyw; ond fel y sylwa Stanley, y mae yn cyfuno dull rhwydd a sydyn y llythyrau mwyaf cartrefol, â gwres a thanbeidrwydd yr areithyddiaeth fwyaf angherddol. A thrwy ei fod gan mwyaf yn traethu ac arall yn ysgrifenu drosto, y mae ei lythyrau yn cyfranogi o natur areithiau. Dychymyga ei hun bob amser yn ymddyddan â'i ddarllenwyr. Ac y mae i bob brawddeg amcan neillduol, a chwyd oddiar ryw gynhyrfiad uniongyrchol. Rhed yr elfen bersonol i mewn hefyd yn wastadol; goleuir y frawddeg gan ryw lawenydd personol, neu tywyllir hi gan ryw ofn neu drallod personol. Felly y mae eisieu, yn fwy nag mewn ysgrifeniadau cyffredin, astudio yr Apostol a'i ddarllenwyr yn barhâus—yr achlysur, y dyben a'r dymher neillduol sydd yn rhoddi bôd i bob brawddeg.

Yn ychwanegol at y nodweddion uchod ag y mae Deon Stanley yn ymhelaethu arnynt yn ei Ragymadrodd rhagorol i'w Esboniad ar y ddau Epistol at y Corinthiaid, dywed fod arddull yr Apostol Paul, yn ei gwedd allanol, yn dwyn tebygolrwydd mawr i'r eiddo dau ddyn tra annhebyg i'w gilydd ac iddo yntau—Thucydides ac Oliver Cromwell. "Ymhob un o'r tri," meddai, "y mae anghyfartaledd rhwng meddwl ac iaith, y meddwl yn gorlethu yr iaith nes y mae yn *cracio* yn ei gwaith—llongddrylliad o ramadeg a rhesymeg fel y mae y brawddegau yn chwyrnellu trwy feddwl yr awdwr—tyfiant o eiriau a meddyliau allan o ac i mewn i'w gilydd, nes yn fynych gwbl ddyrysu yr ymresymiad a ffurfir allan o honynt.* Prin y rhaid dyweyd mai ffurfiau allanol a chelfyddydol rhesymeg yn unig a feddylia yr awdwr, ac nid y gwir sylwedd, pan yn cymhwyso y sylwadau at yr Apostol Paul. Chwanegwn eto un sylw gwir a tharawiadol iawn gan yr un awdwr—fod nid yn unig llwybr yr ymresymiad a ffurfiad y brawddegau yn deilwng o'u dilyn, ond fod hyd yn nod y *geiriau* yn ddelweddau byw, a hanes

* *The Epistles of St. Paul to the Corinthians.* By Arthur Penrhyn Stanley, D.D., *Dean of Westminister*, pp. vii, viii, ix. London: John Murray, 1865.

dyddorol iddynt. Dyfyna ddywediad Luther: "Nid geiriau meirwon yw geiriau Sant Paul; creaduriaid byw ydynt, ac iddynt ddwylaw a thraed." "Y mae i bob gair," medd Stanley, "ddeddf, a bywyd, a grym o'i eiddo ei hun."

Rhaid i ni ochel y demtasiwn o ymhelaethu ar arddull, a mater, a dylanwad Epistolau Paul ar y byd Cristionogol. Sylwa Meyer mai Epistolau Paul oeddynt mewn modd arbenig y "cleddyf yr Ysbryd" hwnw â'r hwn y gorchfygodd y Diwygwyr yn y Diwygiad Protestanaidd, ac a gawsant y dylanwad mwyaf nerthol yn ffurfiad cyfundrefn athrawiaethol yr Eglwysi Efengylaidd. Awgryma mai Luther oedd y tebycaf i'r Apostol Paul a ymddangosodd ar ei ol. "Y mae cymeriadau Paul a Luther," meddai, "yn ffurfio dwy linell gyfochrog mewn hanesyddiaeth, nas gellir cael dim yn debyg yn holl gyfres yr offerynau a ddewisodd Duw i ddwyn ymlaen wirionedd efengylaidd."*

Ymhlith ysgrifeniadau yr Apostol Paul, perthyna dyddordeb neillduol i'r Epistolau at y Corinthiaid. Yn un peth, y maent yr Epistolau *cyntaf* a ysgrifenodd yr Apostol, yn nesaf at y rhai at y Thessaloniaid; ac yn ol barn Stanley y maent, gyda'r eithriad uchod, y boreuaf o holl ysgrifeniadau y Testament Newydd. Felly, meddai efe, yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid yw y bennod foreuaf yn hanes yr Eglwys Gristionogol; a dyry olwg gliriach nag unrhyw ran arall o'r Testament Newydd i mewn i sefydliadau, teimladau, a barnau yr Eglwys yn y cyfnod boreuaf o'r oes Apostolaidd. Gwerth neillduol yr Ail Epistol ydyw y goleuni a deifl ar gymeriad, profiad, a hanes personol yr Apostol ei hunan. Y mae yr Epistol Cyntaf yn gyfraniad o werth neillduol at hanes cyffredinol yr Eglwys Apostolaidd; a'r Ail yn rhoddi defnyddiau yr un mor werthfawr at fywgraffiad yr Apostol Paul. Rhoddai y *lle* ddyddordeb i'r llythyrau. Yr oedd fod Eglwys o gwbl i anfon llythyrau ati yn y fath ddinas a Corinth yn rhyfeddod, ac fel y dengys yr Apostol, yn brawf nodedig o allu Dwyfol yr Efengyl i achub a sancteiddio y pechaduriaid mwyaf. Meddai Bengel yn ei ddull cryf, cynnwysfawr:—"*The Church of God in Corinth:* a great and joyful paradox." A chwanega ei Olygydd, Mr. Faussett, mewn nodiad ar waelod y ddalen:—"Gallesid meddwl fod Crefydd a Chorinth, dinas nodedig am ei hafiendid, yn eiriau hollol anmhosibl eu cyfuno â'u gilydd."† Heblaw y pethau amgylchiadol hyn,—amser a lle y llythyrau, ac eto yn cyfodi yn naturiol o honynt, gellir nodi dau beth arall a roddai bwys a dyddordeb neillduol ar y ddau Epistol at y Corinthiaid. Ynddynt hwy y dangosir lawnaf o un ran o'r Testament Newydd yr agwedd a gymerai *athroniaeth* falch Groeg—doethineb y byd hwn, pan y dygwyd hi wyneb yn wyneb â'r dadguddiad newydd, Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; ynghyd a'r achosion o'r agwedd hono. Dyma bwnc o ddyddordeb neillduol: beth oedd gan Athroniaeth a'r Efengyl i'w dyweyd wrth eu gilydd, pan gyfarfyddasant gyntaf ar ganol priffordd fawr masnach a dysgeidiaeth y byd, yr hon oedd yn uno cyfandiroedd y Dwyrain a'r Gorllewin â'u gilydd? Y dadguddiad uchaf o

* *Critical and Exegetical Handbook to the Epistles to the Corinthians.* By HEINRICH AUGUST WILHELM MEYER, TH.D. Vol. I. p. vii. Edinburgh: T. & T. Clark. 1877.

† *Gnomon of the New Testmament.* By JOHN ALBERT BENGEL. Vol. III p. 200. Edinburgh: T. & T. Clark. 1859.

Dduw a gwirionedd, ac ymgeision y ddynoliaeth i'w hadnabod y tu allan i'r Dadguddiad, yn dyfod i wrthdarawiad â'u gilydd. Llinell arall o ddyddordeb ac addysg barhaus i'r Eglwys sydd yn yr Epistolau hyn, ac yn cyfodi i fesur, fel yr un sydd newydd ei chrybwyll, o amgylchiadau amser a lle yr Epistolau ydyw—mai yma y gwelir gyntaf egwyddorion ac ysbryd crefydd Crist *yn cael eu cymhwyso at benderfynu materion dyrys*, a gyfodent o berthynasau Cristionogion â'u gilydd, â'r byd o'u hamgylch, ac â'r hen fywyd Paganaidd yn ei arferion a'i sefydliadau, ac yn rhai o'r cysylltiadau a ffurfiasid cyn gwawriad yr Efengyl. Yr oedd pob peth yn newydd, a chreai beth cythrwfl i'r newydd gymeryd lle yr hen. Ac yr oedd yn rhaid i'r newydd mewn rhyw bethau ymasio â'r hen dros dymmor, megys yn y sefydliad priodasol a chaeth-wasanaeth. Nis gallasai na ddelai rhwystrau. Ac yn y llythyrau hyn, yr ydym megys mewn llys barn, yn gwrando ar achosion o *casuistry* Cristionogol—materion dyrys o gydwybod, yn cael eu dwyn i'w penderfynu gan y barnwr, yr hwn a weithredai dros y Brenin Iesu, yn unol âg egwyddorion a chyfreithiau ei deyrnas ysbrydol Ef. Dyry hyn nid yn unig ddyddordeb, ond gwerth ymarferol nodedig i'r Epistolau hyn, trwy ddangos fod egwyddorion ac *ysbryd* crefydd Crist yn cyfarfod â phob anhawsder yn mywyd cyffredin Cristionogion, ac fel lefain sanctaidd i dreiddio trwy holl gysylltiadau cymdeithas. Yr ystyriaeth hon a barodd i'r pregethwr rhyfeddol hwnw, F. W. Robertson, draddodi cyfres o Ddarlithiau Esboniadol nodedig o werthfawr, ar yr Epistolau hyn. Dywedai fod sefyllfa yr Eglwys yn Corinth yn tebygu yn fawr i sefyllfa yr Eglwys a chymdeithas yn Brighton y pryd hwnw; a dywedai fod yr Epistolau hyn yn dystiolaeth nad oedd Crefydd ddim i'w chyfyngu at y dyn oddi mewn, nac at bynciau o athrawiaeth yn unig; ond fod egwyddorion ysbrydol i'w cymhwyso at holl gysylltiadau bywyd allanol,—yn y farchnad, yn y masnachdŷ, yn y fyfyrgell, ac ar yr heol; a bod yr egwyddorion a gymhwysai yr Apostol at gwestiynau Corinth yn gymhwysadwy at yr amser hwnw hefyd.*

Sylwa *Principal* Edwards, yn ei Arweiniad meistrolgar fod yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid yn hynod o ddyddorol ar y pryd hwn: ei fod yn cyfuno i radd nodedig gwestiynau diweddar a dulliau hynafol; ei fod yn cyffwrdd âg amryw o'r pynciau o amgylch y rhai y mae brwydr Cristionogaeth yn ein dyddiau ni yn cael ei hymladd,—Person Iesu Grist, yr elfen oruwchnaturiol yn yr Eglwys ac yn y cymeriad Cristionogol, gwyrthiau, materion o gydwybod, ac adgyfodiad y meirw. Ond dywed nad yw yr Apostol yn ymdrin â'r materion hyn yn ysbryd gwyddoriaeth ddiweddar; nad teimlo ei ffordd y mae trwy ffeithiau i gasgliadau, ond gosod i lawr ddrychfeddyliau sylfaenol, y rhai nad yw efe, mwy na Christ, yn ceisio eu profi. Mai wrth gyfodi goruwchadeilad o wirioneddau ar y sylfaen hon y mae ymresymu yn dechreu. Ac os na dderbynia y darllenydd y gosodiadau hyn a gymerir yn ganiatäol, fod yn rhaid y bydd holl gyfundrefn athrawiaethol yr Apostol yn annealladwy iddo, ond yn unig fel gwisg alegoraidd am gynghori ymarferol.†

* *Expository Lectures on St. Paul's Epistles to the Corinthians*: by the late Rev. F. W. Robertson, M.A. (Brighton): p. 2. London: Smith, Elder & Co., 65, Cornhill. 1865. † *Introduction*, p. xx.

Ni oddef amser na lle i ni son dim am Esboniadau eraill ar yr Epistol hwn, i geisio nodi eu neillduolion, na'u cymharu â'u gilydd nac â'r Esboniad sydd uwch ben ein hysgrif. Gweiir rhestr o wyth a deugain o Esboniadau ar yr Epistolau at y Corinthiaid yn nechreu y gyfrol gyntaf o Esboniad Meyer arnynt. Ac yn yr Arweiniad i'r Esboniad sydd dan ein sylw, ceir llawer mwy na rhestr. Ceir tua deg tu dalen o sylwadau craff a beirniadol y rhai a raid fod yn ffrwyth darllen a meddwl anghyffredin mewn ëangder a manylrwydd, ar y prif esbonwyr ar yr Epistolau hyn, yn dechreu gydag Origen yn y drydedd ganrif a'r lleill o'r Tadau Eglwysig, ymlaen trwy y Canol Oesoedd at y Diwygiad Protestanaidd, ac i oes y Puritaniaid, oddiyno i lawr at ysgrifenwyr Seisonig presennol ar yr Epistol, megys Evans, Lias, Beet a Shore, Farrar a Brown. Y mae yr adolygiad cynnwysfawr hwn ar lenyddiaeth Esboniadol yr Epistol, yr hwn sydd yn hynod o ddyddorol ac addysgiadol, yn cymeryd i mewn bob cyfnod yn Hanes yr Eglwys, ac yn cynnwys Lloegr a'r Cyfandir, yr Eglwysi Protestanaidd a Phabyddol.

Ac yn awr, at yr ugeiniau o bob math o Esboniadau ar yr Epistol hwn sydd wedi ymddangos hyd yma, rhai yn wych, mwy yn wael, a mwy fyth fe allai yn ganolig, wele un eto wedi ei ychwanegu,—yn gyfrol drwchus dros bum' cant o du dalenau, o argraffwaith rhagorol, rhwymiad hardd, ac ar bapyr mor gryf a da, nes awgrymu i'r meddwl ddymuniad Job am gael cyhoeddi ei eiriau ar ddefnyddiau parhaol, cyn bod papyr o bosibl, a chyn y gelfyddyd o argraffu. Ac y mae y gyfrol olygus hon o Esboniad yn yr iaith Saesoneg, ond fel defaid Laban yn fân-frith a mawr-frith o ieithoedd eraill, yn benaf y Groeg a'r Lladin, wedi ei hysgrifenu—y mae yn falch genym hysbysu—gan Gymro, gan un o weinidogion y Methodistiaid Calfinaidd, yr hwn hefyd yw Prifathraw Coleg y Brifysgol i Gymru yn Aberystwyth.

Afreidiol yw dyweyd fod y dysgwyliadau yn uchel iawn wrth yr Esboniad hwn, er pan wybuwyd fod *Principal* Edwards yn ei barotoi i'w gyhoeddi. Yr oedd edmygwyr lliosog Dr. Edwards yn llawenhâu er ys llawer o flynyddoedd bellach wrth weled y mab yn troi allan yn un mor deilwng o'i enwog dad—

A worthy son of a worthy sire;

yr hwn fel athraw, awdwr a phregethwr, a wnaeth argraff annileädwy ar ei Gyfundeb a'i genedl, ac yn wir a agorodd gyfnod newydd yn hanes llenyddiaeth a duwinyddiaeth Cymru. Llawenydd oedd gweled y fath fab yn cymeryd i fyny ac yn cario ymlaen waith oes y fath dad, mewn ysbryd mor frwdfrydig, a chyda galluoedd a chyrhaeddiadau mor ddysglaer, fel pregethwr, fel ysgrifenydd, ac fel athraw ar Sefydliad o addysg a garia ddylanwad grymus ar wŷr ieuainc goreu Cymru, yn cynnwys lliaws o weinidogion y Methodistiaid a Chyfundebau eraill. Treigled y powerau hyn o ddaioni ymlaen yn y teulu hwn, a theuluoedd eraill yn ein gwlad, am genedlaethau lawer!

Yr oedd gyrfa athrofäol yr awdwr, yr hon a gynnwysai ennill graddau uchel mewn *dwy* Brifysgol (Llundain a Rhydychain), llwyddiant y Sefydliad pwysig sydd dan ei ofal fel Prifathraw, ynghyd a nerth ac effeithiolrwydd rhyfeddol ei weinidogaeth, wedi cyfodi dysgwyliadau

uchel, fel y nodwyd o'r blaen, pan wybuwyd ei fod yn darparu yr Esboniad hwn i'r wasg. Y mae yn amlwg, dybygem, ei fod yn meddu cymhwysderau neillduol i'r gwaith. Credwn fod cydnawsedd nodedig rhwng ei feddwl âg ysbryd a duwinyddiaeth yr Apostol Paul. Gellir edrych ar y cydnawsedd hwn mewn rhan yn achos, ac mewn rhan fwy ond odid yn effaith, ei astudiaeth ddofn am flynyddoedd o ysgrifeniadau Paul. Ymhlith y rhagoriaethau sydd yn gyffredin i bregethwyr mawr, yr ydym yn barnu fod hwn yn un—fod gan bob un neillduolrwydd priodol iddo ei hun o ran *mater* ei weinidogaeth. Er fod pob un yn ymdrin â phob gwirionedd mewn athrawiaeth ac ymarferiad yn ei dro, yn ceisio mynegi "holl gynghor Duw," ac oll yn pregethu yr un efengyl, eto y mae gan bob un ar y cyfan *genadwri* neillduol i'w thraethu i'r bobl—*gwedd* neillduol ar yr Efengyl. Nid awn yn awr i geisio olrhain yr achosion sydd yn cydweithio i roddi dullweddiad neillduol ar y gwirionedd yn meddwl a phrofiad y pregethwr, ond yn unig nodi y ffaith. Wedi blynyddoedd lawer bellach o gyfleusdra i dderbyn argraff, yr ydym er ys hir amser yn teimlo fod y neillduolrwydd hwn yn dyfod allan mewn modd arbenig yn ngweinidogaeth *Principal* Edwards mewn dirnadaeth glir ac ymdeimlad dwfn o *ysbryd Cristionogaeth*, a gallu neillduol i gymhwyso *egwyddorion crefydd Crist* at bob gwirionedd ac amgylchiad. Gwel pa fodd y mae pobpeth yn edrych o GRIST fel canolbwynt. Undeb dirgeledig y credadyn â Christ, a'r bywyd goruwchnaturiol sydd yn gweithio ynddo a thrwyddo yn rhinwedd yr undeb hwnw—dyma faich ei genadwri, a chanolbwynt ei dduwinyddiaeth. Hwn yw y gwirionedd sydd yn gwneyd ei gorff o dduwinyddiaeth nid yn unig yn "enaid byw" ond yn "ysbryd yn bywhâu." *Christology* mewn modd arbenig yw ei dduwinyddiaeth. Ei harwyddair ydyw "Crist yn bob peth ac ymhob peth;" "Nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi." Erbyn edrych, pa ryfedd ei fod fel hyn? Y mae yr Esboniad hwn a'r Rhagymadrodd yn agor ein llygaid. Y mae yr Athraw hwn wedi bod am flynyddoedd yn eistedd wrth draed yr Apostol Paul, yn efrydydd gostyngedig a dyfal yn ei ysgol. Ac am ei fod wedi bod yn ddysgybl mor dda i Paul, y mae wedi dyfod yn Athraw mor dda i'r Cymry trwy ei bregethu, a thrwy yr Esboniad hwn i'r Saeson hefyd. Fel hyn y dywed am yr hyn ydoedd y gwirionedd am Grist i'r Apostol Paul:—"Dyma oedd y bywyd ei hunan yn Nghristionogaeth St. Paul, gwreiddyn ei gymeriad personol, y gwirionedd oedd yn ganolbwynt ei dduwinyddiaeth, anfeidrol nerth a goruchafiaeth ei bregethu i genedlaeth flinderog a digalon."* Diau ei fod yn amcan ganddo yntau i sylweddoli yr un peth yn ei hanes ei hunan.

Os darllenir yr Esboniad hwn yn feddylgar—ac y mae y fath lyfr nad oes tir canol yn bosibl bron rhwng ei ddarllen yn feddylgar a pheidio ei ddarllen o gwbl—nis gellir peidio dyfod i'r argyhoeddiad fod yn yr Awdwr gyfuniad nodedig o gymhwysderau i'r gwaith mawr hwn; ac nid yn unig lliaws o gymhwysderau wedi cyfarfod, yr hyn sydd yn beth prin, ond y cymhwysderau hyny yn rhai uchel iawn mewn natur a graddau, yr hyn sydd yn beth prinach. Heblaw y cymhwysderau mwyaf pwysig, sef y rhai ysbrydol—parch i'r Dwyfol, ymostyngiad

* *Preface*, p. vi.

llwyr i awdurdod y gwirionedd, a chydnawsedd neillduol âg ysbryd a duwinyddiaeth yr Apostol Paul,—gellir nodi ysgolheigdod uchel, yn neillduol gwybodaeth eang a manwl o Roeg clasurol a Groeg y Testament Newydd; cydnabyddiaeth helaeth â duwinyddiaeth y Tadau Groegaidd a Lladinaidd; a'r hyn sydd yn dra angenrheidiol er esbonio yr Epistol hwn, ac yn wir i fyned i mewn i dduwinyddiaeth Paul a'r Oes Apostolaidd—cydnabyddiaeth drylwyr â'r athroniaeth Roegaidd, a gallu i ymdeimlo yn ddwfn â'i hysbryd. Ceir profion mynych yn y Gyfrol hon mor wasanaethgar tuag at ddirnadaeth glir o ystyr lliaws o adnodau ac ymadroddion, ydyw gwybodaeth eang a llawn o hanes crefydd a hanes meddwl trwy yr oesoedd. Ceir yn awdwr yr Esboniad hwn gyfuniad nodedig o drysorau gwybodaeth â meddwl craff a nerthol i'w defnyddio i'r fantais oreu—ysbryd athronyddol ac argyhoeddiadau efengylaidd dyfnion—meddwl dwfn ac ymafaeliad cryf *(grasp)* ar egwyddorion, yn unedig âg enaid ar dân gan frwdfrydedd ysbrydol. Gallwn nodi hefyd amgyffrediad cryf o'r gwirionedd wedi ei uno â gallu anghyffredin ar ymadrodd *(power of expression)*. Ceir yn yr Esboniad hwn yn fynych ar ol neu ar ganol eglurhâd ar adnod, wirionedd mawr yn cael ei fynegi mewn brawddeg ddysglaer, ag yr ydym yn teimlo ei fod yn cyfranogi o natur egwyddor o gymhwysiad eang, y cyfryw ag sydd yn rhoddi y fath ardderchogrwydd ar bregethau Robertson.

Chwareu teg i'r adolygwyr Seisonig, y maent yn cyduno hyd yma, yn ol eu gwahanol ddoniau, nid yn unig i ganmawl, ond i roddi canmoliaeth frwdfrydig ac yn yr ymadroddion cryfaf i amryfal ragoriaethau yr Esboniad hwn. Ac y mae rhai o honynt yn ddynion galluog, yn gwybod pa fodd i elfenu a gwahaniaethu wrth ganmol. Dywed Dr. Marcus Dods, gŵr adnabyddus am ei allu a'i ddysg, golygydd ac awdwr amryw weithiau pwysig, dywed efe yn yr *Expositor*—fod yr awdwr hwn yn "esboniwr o'r dosbarth blaenaf," "y goddef ei waith gael ei farnu wrth y safon uchaf, os nad yw yn wir yn cyfodi y safon wrth ba un y mae gwaith esboniwr yn cael ei fesur." Er cynifer o Esboniadau da sydd ar yr Epistol hwn, dywed fod llyfrau fel yr un a geir yn awr o ddwylaw *Principal* Edwards yn gwneyd lle iddynt eu hunain, ac yn dangos posiblrwydd o esbonio nad oeddid wedi meddwl am dano *(unthought-of possibilities of exposition)*. Dywed nad yn fuan nac yn hawdd y rhagorir ar Meyer, Evans a Stanley, "ond," meddai, "ymddengys yn nghyfrol *Principal* Edwards gyfuniad o alluoedd, ag y buasai dim ond un o honynt yn ddigon i wneyd *fortune* esboniwr." Dywed fod ei wybodaeth o'r iaith Roeg, a'i gydnabyddiaeth â llenyddiaeth glasurol a'r eiddo y Tadau, yn deilwng o un a broffesa ei hunan yn gyfaill a dysgybl i'r Proffeswr Jowett. Tra y bydd beirniaid yn gwahaniaethu am esboniadau neillduol a roddir yn y Gyfrol, dywed Dr. Dods y bydd cytundeb cyffredinol am ei ddull o esbonio a'r gwaith rhagorol sydd arni. "Cydnabyddir ef," meddai, "yn waith ysgolhaig cadarn, duwinydd dysgedig, difrifol, athronyddol, meddwl nerthol a diwylliedig; a chymer y llyfr ei le yn fuan fel y cynnorthwy anhebgorol tuag at ddeall y rhan hon o'r Ysgrythyr. Y mae y fath flaenffrwyth i'r Athrofäu Cymreig a gyfodwyd yn ddiweddar yn myned ymhell i gyfiawnhau eu sefydliad." A'r dystiolaeth hon y cytuna adolygwyr

eraill. Gosodant ef yn y dosbarth uchaf o Esboniadau, ymhlith y rhai na chynnyrchir ond ychydig o honynt mewn oes. Teimlwn yn falch fod yr Awdwr yn weinidog gyda'r Methodistiaid, yn athraw Coleg y Brifysgol yn Aberystwyth, ac yn Gymro.

Yr oeddem wedi nodi allan lïaws o engreifftiau o'r Esboniad hwn, i ddangos ei gyfaddasrwydd i ddeffro meddylgarwch, ac i agor llygad gŵr ieuanc yn dechreu darllen a meddwl ar randiroedd newyddion a chyfoethog o wybodaeth. Ond rhaid ymattal. Darllener ef yn ddwys a meddylgar, o hyn y daw daioni mawr.

GRIFFITH PARRY

---

# DESCARTES A SPINOZA.

## I.

DYGWYDDIAD mwyaf a phwysicaf yr unfed ganrif ar bymtheg ydoedd y Diwygiad Protestanaidd. Yn ei ystyr mwyaf mewnol nid oedd y symudiad hwn amgen na dadganiad o hawl yr unigol i ffurfio ei farn bersonol ei hun ar unrhyw fater y gallesid yn rhesymol ddysgwyl iddo fod mewn sefyllfa addas i wneuthur hyny. Yn awr y mae crefydd yn gyfryw o ran ei natur fel y mae profiad o honi yn ddichonadwy i bob dyn. Er cael tystiolaeth o'i phlaid nid oes eisieu iddo ond edrych i fewn i'w ymwybyddiaeth ei hun; nid rhaid am apêl o gwbl at awdurdod unrhyw eglwys a hòna ei bod wedi derbyn awdurdod Ddwyfol i ddysgu yr hyn sydd wir. Peth personol yw crefydd rhwng dyn a'i Dduw; ac felly nid oes gan un eglwys hawl nac awdurdod i gyfryngu rhyngddynt.

Cyn y Diwygiad llochesai yr Ysgolwyr y tu ol i awdurdod yr Eglwys. Effaith y Diwygiad, pa fodd bynag, fel y gallesid yn naturiol ddysgwyl, ydoedd gwanychu awdurdod yr Eglwys yn ddirfawr yn marn a meddwl y gwahanol genedloedd. Mewn canlyniad daeth amgylchiadau yn llawer mwy ffafriol i daflu ymaith yr hualau â pha rai y mynai yr Ysgolwyr gaethiwo meddwl dyn.

Y rhai a fu fwyaf offerynol yn hyn oeddynt Bacon a Descartes; a gellir edrych ar y ddau fel y rhai a ddechreuasant athroniaeth ddiweddar. Yn y pwysigrwydd a rydd y ddau ar yr angenrheidrwydd o roddi heibio yn llwyr bob rhagfarn ac opiniwn o'r eiddom er cyrhaedd gwir wybodaeth, cytunant yn berffaith yn eu dysgeidiaeth. Gwahaniaethant, pa fodd bynag, yn yr olwg ar natur ac amcan athroniaeth I Bacon, cwestiwn mawr athroniaeth yw, Pa fodd y mae yn

ddichonadwy sicrhau arglwyddiaeth ar ddirgelion natur? Pa fodd y mae yn bosibl dwyn natur o dan deyrnged wirioneddol i ysbryd dyn? Ond nid fel hyn yr ymgynnygia y cwestiwn i Descartes. Iddo ef nid yw athroniaeth amgen na dadganiad o'r *Myfi*, fel yr hyn sydd yn meddwl. Yn a thrwy ei weithrediad yn meddwl, sefydla y Myfi ei fodolaeth ei hun mewn dull *clir* ac *eglur*; ac mewn canlyniad cynnysgaeddir ni â maen prawf er profi *sicrwydd* y wybodaeth a gyrhaeddir genym. "Beth sydd sicr?" meddai rhywun. Yr ateb yw, mai hyny, pa beth bynag fyddo, sydd sicr, a ganfyddir genym mor *glir* ac *eglur* ag y canfyddir bodolaeth y Myfi ei hun.

Ganwyd René Descartes yn y flwyddyn 1596, yn La Haye, Ffrainc. Felly ar adeg ei enedigaeth yr oedd Bacon yn mlodau ei ddyddiau, canys ganesid ef bymtheg mlynedd ar hugain yn flaenorol. Pan nad oedd Descartes ond bachgen megys, dangosodd fawr anfoddlonrwydd o'r athroniaeth a ffynai ar y pryd. Yn wir nid hir y bu nes dyfod i edrych ar gyfundrefn yr Ysgolwyr fel yn hollol ddiwerth, ac i gredu mai gwasanaeth pwysig fyddai ei symud ymaith oddiar y ffordd. Yn yr ugeinfed flwyddyn o'i oedran, newidiodd fywyd yr efrydydd am fywyd y milwr. Tra y bu yn y fyddin, pa fodd bynag, ni lesgäodd gweithgarwch diflino ei feddwl. Ac yn y flwyddyn 1621, rhoddes i fyny ei fywyd milwrol, gan yr ystyriai bellach fod ei gynllun, er diwygio gwyddiant a'i gosod ar sylfaen gadarnach nag yr oedd arni o'r blaen, fel yn gwbl addfed. Wedi teithio am yspaid cawn ef yn aros dros dymmor pur faith yn Paris; ond yn y flwyddyn 1629 ymadawodd o'i wlad enedigol, ac aeth i drigo i Holland. Yma treuliodd ugain mlynedd (1629—1649) yn efrydu athroniaeth, a materion eraill cydweddol â'i chwaeth. Yn ystod yr amser hwn mwynhäodd raddau helaeth o dawelwch a hamdden, er yn wir y gwyddai i fesur beth ydoedd cael ei flino gan ymosodiadau brwnt oddiwrth rai o'r dadleuwyr penboeth oedd ar y pryd yn cynhyrfu y wlad. Ar derfyn yr ugain mlynedd, daeth gwahoddiad iddo oddiwrth Christina, brenines Sweden, i wneyd ei gartref yn ei phrifddinas, Stockholm. Mewn canlyniad symudodd yno; ond wedi ychydig o arosiad yn y lle, bu farw, yn yr oedran cymharol ieuanc o bedair blwydd ar ddeg a deugain. Mor fuan yr ehedwn ymaith!

## II

Yn y chweched llyfr o'i Wladwriaeth, rhydd Plato ddarlun byw o'r gwir athronydd mewn oes ag sydd yn anghyfaddas iddo. Bydd i'r cyfryw un, meddai, ymddwyn yn dawel a chyfyngu ei sylw i'w achosion ei hun. Cyffelyb fydd i ŵr yn cymeryd nodded dan gysgod mur ar ddiwrnod drycinog ac ystormus, pan yr ymlidir y gwlaw, &c., yn ffyrnig gan y gwynt, ag y bydd yntau—tra fel pe yn gweled o'i ymguddfan lwyr oresgyniad y gweddill o ddynolryw gan ormod rhysedd a phenrhyddid—yn teimlo hefyd yn berffaith dawel, os bydd iddo fyw ei dymmor i'r pen, heb i'w berson gael ei lychwino gan anghyfiawnder a drwg weithredoedd, y caiff, pan ddêl amser ei ryddhâd, ymadael mewn hamdden a sirioldeb. Braslinelliad byr o hanes Spinoza sydd ddigonol

i ddangos addasrwydd y darlun uchod mewn llawer ystyr o'i gymhwyso ato ef.

Ganwyd Banich Spinoza yn Amsterdam, yn yr un flwyddyn ag y ganwyd John Locke, sef 1632. Ei rieni—Iuddewon o haniad Portugëaidd—oeddynt mewn amgylchiadau cysurus, a rhoddasant i'w mab addysg ragorol. Am gyfnod bu yn efrydydd diwyd ar dduwinyddiaeth, a rhagorai mewn gwybodaeth o'r Bibl ac o'r Talmud. Ymhen amser, pa fodd bynag, rhoddodd i fyny efrydu duwinyddiaeth, ac ymroddodd i astudio gweithiau Descartes. Yr adeg hon hefyd torodd ymaith bob cysylltiad oedd rhynddo ag Iuddewiaeth, heb ar yr un pryd wneuthur unrhyw gyffes ffurfiol o Gristionogaeth. Mewn canlyniad esgymunwyd ef gan yr Iuddewon, a daeth yn wrthddrych erledigaethau lawer. Er diogelwch i'w fywyd, ymeillduodd o Amsterdam, ac yr ydym yn ei gael yn treulio y rhan fwyaf o'r cyfnod, 1656—1663, yn Rhijnsburg yn agos i Leyden. Yma ymroddodd yn fwy nag erioed i astudio Descartes. Yn Voosburg, oddeutu dwy filldir o Hague, y treuliodd y rhan fwyaf o'r blynyddoedd 1663—1670. Yn ddiweddaf, yn y flwyddyn 1670, symudodd i ac ymsefydlodd yn Hague. Yma drachefn, fel yn y lleoedd y buasai ynddynt o'r blaen, ymroddodd i'w efrydiau, a threuliai ei amser yn y neillduedd mwyaf. Ennillai ei gynnaliaeth trwy lanhâu a chaboli gwêl-wydrau *(optical glasses)*, y rhai a werthai ei gyfeillion erddo. Ac fel hyn y bu byw hyd Chwefror yr 21ain yn y flwyddyn 1677, pan y daeth awr ei ymddattodiad, ac yr ymadawodd ei enaid o'i gorff gwael ac eiddil, gan gymeryd ei ehediad i'r byd anweledig. Maentumir yn wir gan rai ddarfod i'w gyfaill Meyer ei farwolaethu yn esmwyth *(euthanasia)*; ond llawer mwy tebyg yw iddo farw yn naturiol o'r afiechyd ag y buasai yn hir yn ei afaelion—y darfodedigaeth. Dengys ei erlidiad gan yr Iuddewon yn y rhan gyntaf o'i oes, nad oedd yr amgylchiadau y ceid ef ynddynt y pryd hwnw yn ddymunol iddo, tra y prawf yr oediad yn nghyhoeddiad ei brif waith hyd ar ol ei farwolaeth—yr hwn, pe y meiddiasai, a gawsai ei gyhoeddi yn ystod ei fywyd—nad rhyw lawer mwy cydnaws iddo ydoedd pethau yn y rhan olaf o'i oes. Er hyny dyoddefai y cyfan gyda'r amynedd mwyaf cymeradwy. Ychydig o bethau y byd hwn oedd ddigon i'w foddloni. Cadwai lywodraeth lwyr a llawn ar ei nwydau, ac er na wyddai ar y naill law beth ydoedd bod ar uchelderau llawenydd, ni wyddai ychwaith ar y llaw arall beth ydoedd bod yn nyfnderoedd gofid. Adlewyrchid yn ei fywyd burdeb a thawelwch y dyn gwir ddoeth; ac fel pob doeth carai y gwir, neu yr hyn a dybiai oedd y gwir, â chariad cryf a chyson.

## III.

Fel y sylwyd eisoes, Descartes mewn gwirionedd yw tad athroniaeth ddiweddar. Egwyddor sylfaenol ei athroniaeth yw llwyr wrthodiad o bob tybiaeth a rhagfarn allai fod yn y meddwl. Rhaid peidio derbyn dim fel gwir; angenrhaid yw ammeu pobpeth. Fel hyn rhaid, nid yn unig ammeu gwrthddrychau y synwyrau, gan fod ein synwyrau yn ein

twyllo mor aml, ond dylid edrych i mewn hefyd i'r hyn a gredir genym fel gwirioneddau meintoniaeth *(mathematics)*. Pa mor sicr bynag yr ymddengys, er engraifft, fod dau a thri yn gwneyd pump, neu fod gan ysgwâr bedair ochr, pwy a ŵyr nad yw Duw wedi ein creu i goleddu cyfeiliornadau, ac nad yw o gwbl wedi bwriadu i ni gael gwybodaeth sicr a gwirioneddol. Dymunol, mewn canlyniad, yw ammeu pobpeth, ië yn hytrach edrych ar bobpeth fe pe yn gau. Yn y modd hyn ammheuir pobpeth allanol i'r meddwl. Yn awr deuwn at y meddwl ei hun—neu os mynir at ein hymwybyddiaeth. A ydyw ammheuaeth, attolwg, i ddarfod yma? Nac ydyw. Oblegid yma cawn amryw foddau, y rhai o dan amrywiol enwau, megys, *teimlo*, *ewyllysio*, &c., nad ydynt, mae yn amlwg, ond dullweddau ymwybyddiaeth yn unig, ac nid yr ymwybyddiaeth ei hun. Fel y cyfryw gellir eu tynu hwythau hefyd ymaith. Ymhellach na hyn, pa fodd bynag, nid yw yn bosibl i ammheuaeth fyned.

Rhodder o'r neilldu holl foddau ymwybyddiaeth, a deuir at yr ymwybyddiaeth noeth—neu y meddwl ei hun yn ei symlrwydd. Yn y fan hon terfyna ammheuaeth, a dechreua sicrwydd a gwybodaeth. Yn y weithred o ammeu pob peth arall, dadgana ymwybyddiaeth, y meddwl, ei fodolaeth ei hun. Y mae bod y Myfi—y meddwl—yn gallu ammheu pob peth arall, yn brawf ei fod ef ei hun uwchlaw unrhyw ammheuaeth. Y mae yn bodoli fel ammheuwr, hyny yw, fel yr hyn sydd yn meddwl. Dyma yr hyn a olyga yr athronydd yn ei frawddeg fyd-enwog, "*Cogito ergo sum*,"—Meddyliwyf, am hyny yr ydwyf, neu yr wyf yn meddwl. Yn awr dyma wirioneddolrwydd y meddwl—y Myfi—wedi ei sefydlu. Ond beth attolwg am wirioneddolrwydd gwrthddrychau y byd allanol, ac yn arbenig beth ynghylch gwirionedd egwyddorion meintoniaeth? Sylwyd eisoes y gallai Duw—yn ol Descartes—fod yn ein twyllo, a pheri i ni goleddu syniadau gau. Yn y fan hon daw gwendid athroniaeth Descartes yn amlwg i'r golwg, a hawdd i'r darllenydd meddylgar weled paham. Gwel fod yr athronydd wedi gwneuthur ymwybyddiaeth yn egwyddor hollol ddiffrwyth a marw. Y mae y Myfi—y meddwl—wedi ei gau i fynu yn gwbl iddo ac ynddo ei hun, ac nid yw yn bosibl iddo mewn un modd fyned allan o hono ei hun at yr hyn sydd oddifaes—at y Nid-Myfi. Ac eto, os yw gwybodaeth o'r byd allanol ac o egwyddorion meintoniaeth o gwbl yn bosibl, angenrhaid yn ddiddadl yw y cyfryw fynediad allan o eiddo y meddwl. Yr unig fodd y mae gwybodaeth o'r byd allanol yn gyrhaeddadwy ydyw ar y sail fod y byd allanol yn anesboniadwy. Yr un modd hefyd gydag egwyddorion meintoniaeth. Naturiol gan hyny, yw i'r Myfi—y meddwl—fyned allan o hono ei hun at y Nid-Myfi, a thra yn cydnabod y gwahaniaeth sydd rhyngddynt, eto yn y ffaith fod yr olaf yn ddealledig ac esboniadwy, weled hefyd yr unoliaeth sydd yn gorwedd y tu hwnt i'r gwahaniaeth. Ymhell, pa fodd bynag, ar ol amser Descartes y daethpwyd i weled hyn, a hyny gan neb llai nag Immanuel Kant. Ond pa fodd yr ymdarawodd Descartes? Oddiwrth y modd y dechreuasai ar ei waith, gallesid dysgwyl y buasai rywfodd neu gilydd yn ceisio gwneuthur yr egwyddor sylfaenol—Meddyliwyf, am hyny, yr ydwyf, neu yr wyf yn meddwl—yn gychwynfan er cyrhaedd pob gwirionedd arall. Ond nid yw yn

gwneuthur dim o'r fath. Yn hytrach, fel y cwrs mwyaf naturiol iddo, cymer i fyny drachefn yr hyn yr oedd o'r blaen wedi ei osod o'r neilldu. Fel hyn cymer i fyny y drychfeddyliau am Dduw ac am Fater. Y mae yn wir ei fod yn cymeryd pobpeth ymaith oddiwrth Fater oddieithr hydedd (*extension*) yn unig, megys ag o'r blaen yr ydoedd wedi dynoethi ysbryd o bobpeth oddieithr ymwybyddiaeth pur. Ond nid yw hyny yn gwneuthur unrhyw wahaniaeth. Gwna ysbryd a mater yn sylweddau, hyny yw, yn elfenau sydd yn cau eu hunain y naill allan o'r llall. Y mae ysbryd yn wadiad perffaith ar fater ; nid oes dim o gwbl yn gyffredin iddynt. Eto er y cwbl, ceisia Descartes sefydlu heddwch rhwng y ddwy ochr anghymmodlawn hyn. Gwna hyny trwy ddwyn i fewn y drychfeddwl am Dduw.

Y mae y ddau sylwedd—ysbryd a mater—wedi eu creu gan Dduw, a chan ewyllys Duw y cynnelir y ddau. Drachefn y mae y drychfeddwl am Dduw fel Bôd perffaith yn cynnwys ei fod *yn bod yn weithredol*, ac hefyd ei *fod yn eirwir*. Ac y mae yr hyn a enwyd ddiweddaf, sef bod Duw yn eirwir, yn ein galluogi i gael man cyfarfod rhwng ysbryd a mater. Trwy ei waith yn ammeu, hyny yw, yn meddwl, dadgana yr ysbryd ei fodolaeth ei hun mewn dull *clir* ac *eglur*. Ond y mae genym ddrychfeddyliau eraill *clir* ac *eglur* ; ïe, mor *glir* ac *eglur* a bodolaeth yr ysbryd—y Myfi—ei hun. Gan fod Duw yn eirwir, nis gall y drychfeddyliau *clir* ac *eglur* hyn ein siomi, ond rhaid fod gwrthddrychau gwirioneddol yn cyfateb iddynt. Drychfeddwl *clir* ac *eglur* yw ein drychfeddwl pur a meintonol am fater: saif felly o angenrheidrwydd am wirioneddolrwydd y byd allanol. Gwel y darllenydd, pa fodd bynag, nad yw gwaith yr athronydd yn dwyn ymlaen fel hyn eirwiredd Duw, ond dyfais wael ar ei ran er ceisio cynnrychioli yr unoliaeth hwnw o eiddo y mewnol a'r allanol—ysbryd a mater—ag sydd yn gwbl absennol o'r athroniaeth ei hun. Y fath yn wir yw deuoliaeth (*dualism*) cynhenid a hanfodol y gyfundrefn fel y mae y cyfryw unoliaeth yn beth sydd yn hollol allan o'r cwestiwn.

Daw gwendid athroniaeth Descartes i'r golwg mewn gwedd arall hefyd. Y mae ganddo mewn gwirionedd, fel y gwelir, dri sylwedd—ysbryd, mater, a Duw. Yn yr olaf mae y ddau flaenaf yn cael rhyw fath o unoliaeth. Ond oddiwrth y deffiniad a rydd Descartes o sylwedd—sef, mai sylwedd yw yr hyn nad yw yn gofyn bodolaeth unrhyw beth arall er ei fodolaeth ei hun—cyfyd dyryswch ac anhawsder. Yn yr ystyr hwn y mae yn amlwg nas gall fod ond un sylwedd yn unig. Y mae fod sylwedd yn hunan-achosydd, a chanddo sail ei fodolaeth ynddo ei hun, yn gyfystyr mewn gwirionedd a dywedyd ei fod yn annherfynol, ac mai anmhosibl yw i ddim fod oddiallan i ddylanwadu arno. Yn yr ymdeimlad o'r dyryswch hwn, cawn Descartes ei hun yn dywedyd nad yw y sylweddau *terfynol*—mater ac ysbryd—yn sylweddau yn yr un ystyr ag y mae y Bôd Anfeidrol yn sylwedd. Ond attolwg, ymha ystyr y maent yn sylweddau? Ni ddywed Descartes wrthym. Ond fe rydd Spinoza atebiad, yr hwn a ddengys yr annherfynol fel yn llyncu i fyny yn llwyr iddo ei hun bob gwirioneddolrwydd, nes gwneyd bodolaeth sylweddol y Myfi a'r Nid-Myfi yn ffug ac yn rhith hollol.

IV

Y mae yr hyn a ysgrifenwyd eisoes yn ein dwyn yn naturiol at Spinoza. Dechreua ef gyda'r deffiniad a rydd Descartes o sylwedd. Gan mai sylwedd yw yr hyn sydd yn bodoli ynddo ac o hono ei hun, amlwg yw fod Descartes yn gyfeiliornus pan y deil fod tri sylwedd. Nis gall ond un sylwedd fod, a rhaid bod hwnw yn annherfynol. Yn y sylwedd annherfynol hwn y cynnwysir pob gwirioneddolrwydd; oblegid heblaw ef ei hun nid oes fôd hunan-ddibynol arall. Y sylwedd hwn yw, nid yn unig achosydd pob peth, ond efe *yw* pob peth. Amlwg felly na pherthyn gwirioneddolrwydd o gwbl, yn ol Spinoza, i'r terfynol fel y cyfryw, ond i'r annherfynol yn unig. Nid yw hyn, fel y maentumiwyd eisoes, ond y casgliad anocheladwy oddiwrth athroniaeth Descartes. Yn unol â hyn hefyd beïa Spinoza y dueddfryd sydd ynom i edrych ar bethau unigol fel pe yn meddu gwirioneddolrwydd annibynol o'r eiddynt eu hunain. Dylid edrych arnynt yn y berthynas angenrheidiol sydd rhyngddynt â phethau eraill. Y pethau unigol hyn nid ydynt amgen na modrwyau mewn cadwen; eu perthynas â phethau eraill ac â'r oll, sydd yn rhoddi iddynt eu bôd gwirioneddol. Ond ein tueddfryd ni yw edrych ar bethau fel pe byddent yn wrthddrychau wrthynt eu hunain. Gwrthweithir y duedd hon, pa fodd bynag, gan ein rheswm, yr hwn a'n harweinia i edrych ar wrthddrychau yn eu perthynas â gwrthddrychau eraill, ac yn arbenig yn eu perthynas â'r *Oll* o ba un y maent yn rhanau. Fel hyn deuir i weled nad cydgasgliad damweiniol o wrthddrychau yw y byd, ond unoliaeth—unoliaeth sydd yn bod o angenrheidrwydd. Y mae cynnydd mewn gwir wybodaeth yn peri fod cylch y posibl a'r damweiniol yn lleihâu; ac fel hyn pan o'r diwedd yr edrychir ar bethau o dan agwedd tragywyddoldeb—*sub specie æternitatis*, yw dywediad enwog Spinoza—hyny yw, yn eu perthynas â Duw, canfyddir eu bod yn angenrheidiol, ac nad allasent mewn un modd fod yn amgen. Nid rhaid dywedyd yma, mai nid yr un yw Duw y Cristion a Duw athroniaeth Spinoza. Ond gan fod hwn yn bwynt o ddyddordeb i'r Cymro, gadawer i ni ymhelaethu ychydig arno.

Os gofynir y cwestiwn, Beth yw y berthynas rhwng y sylwedd anfeidrol a thragywyddol, hyny yw Duw, fel ei harganfyddir gan y rheswm, a'r bydysawd, a wneir i fyny o gyrff a meddyliau meidrol,—y mae amryw atebion yn ddichonadwy. Os dywed dyn: "Nid wyf yn gwybod am nac yn credu mewn dim ond y cyrff a'r meddyliau meidrol hyn; ac yn sicr nid wyf yn cydnabod y fath beth a rheswm arganfyddol *(intuitive reason)* Spinoza,"—gellir dyweyd yn ddibetrus am dano mai *Atheistiaeth* yw ei gredo. Ond os dywed: "Yr wyf yn credu ar dystiolaeth rheswm yn modolaeth sylwedd neu Dduw, fel yr hyn sydd yn gorwedd yn wirioneddol a thragywyddol o *dan* y cyrff a'r meddyliau meidrol hyn; ond mwy, pa fodd bynag, nis gwn am dano,"—yna perthyna i'r ysgol hono a gynnrychiolir yn benaf yn y dyddiau hyn gan Herbert Spencer. Y trydydd atebiad yw eiddo Spinoza: "Gallaf ychwanegu at yr ail atebiad, a dywedyd fy mod yn gwybod drwy fy rheswm fod y sylwedd hwn yn fôd sydd yn meddwl, ac hefyd yn fôd ag y mae hydedd yn perthyn iddo. Nid yw ei feddwl

fel fy meddwl i, gan nad yw yn meddu deall nac ewyllys; ei gorff hefyd nid yw fel fy nghorff i, gan ei fod yn *un* ac yn anrhanadwy. Credwyf finnau, fel y maentumir yn yr ail atebiad, fod yn *rhaid* i'r sylwedd hwn amlygu ei hun yn weithredol, fel yn wir y gwna, yn mydysawd mater a meddwl." Hyn yw Oll-dduwiaeth. Y mae eto grediniaeth arall—crediniaeth a ddysgir yn mhulpudau ac Ysgolion Sabbothol Cymru. Dywed y Cymro crefyddol: "Yr wyf fi yn credu yn Nuw fel Bôd personol; ac nid yw y bydysawd—neu yn fwy priodol yn ol fy nghredo i, y greadigaeth—ond rhywbeth sydd yn sefyll y tu allan iddo fel cynnyrch *rhydd*-weithrediad ei ewyllys. Er mai 'ynddo Ef yr wyf yn byw, yn symud, ac yn bod,' eto nid rhyw fodd neu agwedd goddefol ydwyf ar y Sylwedd a'r Hunanachosydd tragywyddol; ond i fesur yr wyf yn feddiannol ar ewyllys rydd, a rhoddir i mi y dewisiad o ddyfod i undeb âg Ef, neu droi ymaith oddiwrtho trwy ddewis yn hytrach y daearol a'r amserol." Gwel y darllenydd felly fod gwahaniaeth dirfawr rhwng y trydydd a'r pedwerydd atebiad. Yn ol y pedwerydd, Bôd personol yw Duw. Yn ol y trydydd, nid yw ond anmhersonol, a'r greadigaeth nid yw amgen na'r hyn sydd yn deilliaw o'i fôd. Ië, dysg Spinoza mai sylwedd pobpeth yw Duw, ac mai gwir wybodaeth yw hono sydd yn gweled mai ei fôd Ef yw yr unig fôd sydd i bob bôd—*That His being is the true being of all beings.*

Ond yn awr cyfyd dau gwestiwn. Y cyntaf sydd un ag y mae atebiad i fesur eisoes wedi ei roddi iddo. Gan mai yn Nuw fel eu hunig sylwedd y mae pobpeth yn cael eu hunoliaeth, pa fodd yr ydym i gyrhaedd amgyffrediad o'r unoliaeth hwn? A ydyw yn bosibl i ni amgyffred y sylwedd annherfynol ar unwaith, neu ynte a raid i ni fyned o'r terfynol ymlaen yn barhaus nes cyrhaedd yr annherfynol? Amlwg yw y byddai y *process* olaf a enwyd yn un diddiwedd, ac y cyfyngid gwybodaeth o hyd i'r terfynol. Elai y meddwl yn ol trwy gyfres o ddygwyddiadau mewn amser, heb fod yn alluog unwaith i ymorphwys ar yr un o honynt fel y dygwyddiad cyntaf; a thramwyai oddiwrth wrthddrychau at wrthddrychau mewn lle heb un amser ddyfod o hyd i'r hyn sydd ddiammodol (*unconditioned*) a hunanachosol. Fel hyn ni cheid byth eglurhâd terfynol ar ddim. Ni cheid ond nodau neu berthynasau allanol yn unig; byddai eglurhâd o bethau yn yr hyn ydynt ynddynt eu hunain y tu hwnt i unrhyw bosibilrwydd i ni gael gafael arno. O ganlyniad deil Spinoza fod ein hymwybyddiaeth o'r terfynol, ar unwaith ac o angenrheidrwydd yn rhagdybied y drychfeddwl am Dduw fel y sylwedd annherfynol yn yr hwn y mae pobpeth yn cael eu hunoliaeth. Ac yn unol â hyn yn y seithfed bennod o'i lyfr *De Intellectus Emendatione*, darllenwn: "Mewn trefn i'n meddwl fod yn adlewyrchiad cywir o drefn natur, dylai ddadblygu ei holl ddrychfeddyliau o'r drychfeddwl hwnw sydd yn ateb i ffynnonell a dechreuad yr oll o natur, a'i wneyd yn ffynnonell a dechreuad ein holl ddrychfeddyliau eraill."

Yr ail gwestiwn, drachefn, a ymgynnygia i'n sylw ydyw yr un a ganlyn: Gan fod yn rhaid i ddeffiniad, yn ol Spinoza, gynnwys yr achos agosaf neu mwyaf uniongyrchol (*proximate cause*), beth, attolwg, yw

sylwedd yn awr? Yn ol yr athroniaeth hon, Duw yw sylwedd pobpeth: ond y mae yn amlwg ei fod ef yn anghrëedig, ac nad oes yr un achos oddiallan iddo ei hun. Ond yr hyn sydd yn gwneyd y cwestiwn hwn yn un hynod bwysig ac anhawdd o safle Spinoza, yw gwaith yr athronydd yn dal mai *nacâd yw pob gosodiad cadarnhäol.** Er engraifft, wrth ddywedyd, "Dyn sydd farwol," yr wyf yn cau allan y mynegiad "*nid-marwol*" o fod yn perthyn i'r enwedigydd "dyn." "Dyn sydd farwol" = "Dyn nid yw anfarwol." Y mae pob mynegiad a briodolir i'r enwedigydd, mewn gwirionedd, yn cau y diweddaf allan o rywbeth ag yr oedd o'r blaen yn agored i'w dderbyn. Ond yn awr sylwed y darllenydd beth sydd yn gynnwysedig yn hyn. Duw yw sylwedd pobpeth, ac y mae yn annherfynol. Oddiwrth yr annherfynol hwn sydd yn sylwedd pobpeth, y mae yn amlwg nas gellir cau dim allan; y mae yn llyncu i fyny iddo ei hun yr oll sydd gadarnhäol, a thrwy hyny, o angenrheidrwydd, bob posibilrwydd i wneuthur unrhyw osodiad nacäol. Mewn geiriau eraill, y mae sylwedd annherfynol yn hollol anmhenodol. Nid yw, yn rhinwedd ei fod yn cynnwys pobpeth, mewn gwirionedd yn cynnwys dim. Arweinia hyn ni at y dyryswch penaf—"sawdl Achilles," fel y galwai Tschirnaus ef—a berthyn i'r gyfundrefn. Cymer Spinoza i fyny drachefn ysbryd neu feddwl, a mater neu hydedd, nid fel sylweddau, mae yn wir, ond priodoleddau yn a thrwy ba rai y mae yr un sylwedd yn cael ei amlygu i ni. Yn awr y cwestiwn dyrys yw: Ymha berthynas i'r un sylwedd hwn y saif y priodoleddau hyn? Fel y ceisiais ddangos uchod, anmhenodol hollol yw sylwedd i Spinoza; amlwg gan hyny yw nas gellir cymeryd sylwedd i fyny yn llwyr gan ysbryd a mater; o herwydd felly byddai yn benodol, a gwrthddywedai ei natur ei hun. O ganlyniad, rhywbeth i'n deall ni yw y priodoleddau hyn. Y mae sylwedd ei hun yn ddihysbydd mewn priodoleddau; ond gwisgir ef gan y deall dynol â'r ddau hyn yn unig, gan mai hwy yw yr unig rai a ymddengys i ni fel yn cyfansoddi ei natur. I'r deall, sylwedd yw meddwl, o'i ystyried o dan briodoledd meddwl; a hydedd, o'i ystyried o dan briodoledd hydedd. Eto cofier fod ysbryd a mater yn anghymesurol â natur sylwedd. Y gwirionedd yw, fod sylwedd i Spinoza yn sefyll tu hwnt ac ar wahân i'r priodoleddau hyn; ei fod yn annherfynol, ac yn rhydd oddiwrth bob perthynas—*is absolute*,—ac mewn canlyniad mai methiant hollol ac o angenrheidrwydd yw ymgais yr athronydd i geisio sefydlu unrhyw fath o gysylltiad rhwng sylwedd ei hun, a'r modd neillduol yn ol yr hwn y mae i gael ei amlygu i ni.

Heblaw y priodoleddau, meddwl a hydedd, y mae yn athroniaeth Spinoza hefyd yr hyn a elwir *moddau (modes;* Llad. *modi).* Y *moddau* yw yr amrywiol ffurfiau terfynol ac unigol ymha rai y mae y sylwedd annherfynol yn rhoddi agweddiad neillduol iddo ei hun. Fel hyn dynion, a phob gwrthddrychau unigol a therfynol eraill, nid ydynt o edrych arnynt yn eu gwir natur—hyny yw, yn eu perthynas â Duw—eithr *moddau* ar y sylwedd annherfynol, ac yr ydym yn hollol at ein rhyddid i'w hystyried un ai o dan ffurf meddwl ai ynte o dan ffurf hydedd. Cyffelyb yn wir ydynt i dònau y môr. Nid yw eu dyfodiad i fod eithr

* Omnis determinatio est negatio.

mynediad allan o fod. Druan o'r unigol a'r terfynol! Nid oes ganddo unrhyw fodolaeth o'r eiddo ei hun: bodola yn unig yn y sylwedd. Ond yn awr attolwg, ymha berthynas i'r priodoleddau, meddwl a hydedd, y saif y *moddau?* Yn nghyfundrefn Spinoza, y maent mewn gwirionedd yn ddilynol i ac yn canlyn y priodoleddau. Disgyna yr athronydd at wrthddrychau unigol a therfynol oddiwrth y priodoleddau meddwl a hydedd. Ond fel y dywedwyd eisoes, nid yw y priodoleddau, meddwl a hydedd, ond rhywbeth i'n deall ni; nid ydynt ddim i sylwedd ynddo ei hun. Mewn geiriau eraill, rhywbeth ydynt i *foddau.* Fel hyn y mae *moddau* sydd ar unwaith yn flaenorol i ac yn ddibynol ar y priodoleddau.

Rhaid addef y gall yr hyn sydd ailraddol *(secondary)* mewn bod, fod yn gyntaf *(primary)* mewn meddwl. Nid Spinoza, pa fodd bynag, yw yr un i ddyfod â'r ddadl hon ymlaen yn y fan hon. Y mae yn wir na phaid yr ysgariaeth rhwng meddwl a mater yn ei athroniaeth ef, mwy nag y gwna yn athroniaeth Descartes. Y mae meddwl a mater y naill yn annibynol ar y llall; i'r materol nis gall fod ond achos materol, ac i'r ysbrydol nis gall fod ond achos ysbrydol. Eto er hyn, i Spinoza y mae yr un a'r unrhyw sylwedd yn cael ei ystyried fel yn bresennol yn y ddwy briodoledd. Er engraifft: yr un ydyw cylch *(circle)* fel drychfeddwl, ag ydyw fel y mae yn weithredol oddiallan i ni. Fel hyn er mai yn eu hysgariaeth yn unig yr edwyn Spinoza, fel Descartes o'i flaen, feddwl a mater, eto cymer yn ganiataol unoliaeth meddwl a mater; ac felly nis gall y ddadl fod iddo ef, y dichon yr hyn sydd ailraddol mewn bod fod yn gyntaf mewn meddwl.

Drachefn, ac am y tro olaf, ystyriwn beth sydd yn gynnwysedig yn ngwaith Spinoza yn cymeryd yn ganiataol unoliaeth y priodoleddau meddwl a mater. Nid yw hyn amgen na dal fod yr unigol yn alluog i amgyffred, nid yn unig ef ei hun, ond y sylwedd annherfynol yn yr hwn y mae y priodoleddau yn cael eu hunoliaeth. Ië, nis gall yr unigol—yn yr hwn y mae ysbryd a mater yn cydgyfarfod—ei adnabod ei hun ond trwy adnabod Duw. Ond dangoswyd eisoes nad yw yr unigol ond modd. Fel hyn, tra ar y naill law nad yw yr unigol ond rhan, a hono yn ffugiol, o'r sylwedd annherfynol, ar y llaw arall, efe yw y sylwedd annherfynol ei hun. Y fath wrthddywediad, onidê?

Yn nghwrs amser, pa fodd bynag, cyfododd un i ddangos mai man cyfarfod yw yr unigol, rhwng y cyffredinol, hyny yw, sylwedd Spinoza, a'r neillduol. Fel rhan o'r byd y mae ynddo, y mae yn derfynedig *(limited)*; ond fel y mae yn fôd yn meddu ar ymwybyddiaeth, y mae yn gallu myned y tu hwnt i bobpeth a fynai gyfyngu arno. Ar un llaw, y mae yn wrthddrych ochr yn ochr â gwrthddrychau eraill, ac yn cael ei ammodi ganddynt; ond ar y llaw arall, y mae ei amgyffrediad o'r terfynol yn ei gario ymhell y tu hwnt iddo. Y gŵr a ddangosodd hyn oedd—Immanuel Kant.

HUGH HENRY WILLIAMS.

# BORD GRON.

## DADGYSYLLTIAD A DADWADDOLIAD YN NGHYMRU.

### I.

Y MAE yn amlwg fod y pwnc hwn wedi cymeryd camrau breision ymlaen yn ystod y misoedd diweddaf. Prawf o hyn ydyw amledd y cyfarfodydd a gynnelir arno ymhob rhan o'r wlad, ynghyd a'r dyddordeb angerddol a deimlir ynddynt. A phrin y gellir agor unrhyw newyddiadur na chyfnodolyn yn perthyn i Gymru o wythnos i wythnos, na cheir fod y pwnc hwn yn cael lle pwysig ynddo. Ac y mae yn amlwg oddiwrth weithgarwch y blaid Eglwysig ei bod yn teimlo erbyn hyn fod y frwydr wedi dyfod mor boeth fel y mae yn gofyn ei sylw dyfalaf a'i hymdrech mwyaf ymroddedig. Gan hyny fe edrychir ymlaen gyda llawer iawn o ddyddordeb at yr Etholiad Cyffredinol sydd gerllaw; canys yn ol pob tebyg, bydd i hwnw ddwyn y pwnc i gylch gweithrediad ymarferol, neu ynte ei daflu yn ol am rai blynyddoedd i ddyfod. Gwir fod ambell i newyddiadur Toryaidd yn ceisio dyddanu ei ddarllenwyr trwy edrych ar y mater gyda gwydrau lliwiedig, a dyweyd nad yw y pwnc yn agos i fod yn addfed eto; ond onid yw hyn yn debyg i'r estrys yn cuddio ei phen yn y tywod gan dybied ei bod yn ddiogel felly, pan y gwelir yn amlwg o bob cyfeiriad fod y pwnc bellach yn bwnc y dydd? Am Gymru, y mae yn ddiammeu nad oes le i ammheuaeth. Am Ysgotland, y mae gan Mr. Dick Peddie, nid cynnygiad, ond mesur yn barod i'w ddwyn ger bron y Senedd. Ac am Loegr ei hun, y mae yr awch gyda pha un y mae y Cymdeithasau Rhyddfrydig, nid yn unig yn cymeradwyo y mater gyda golwg ar Gymru ac Ysgotland, ond hefyd yn galw am dano iddynt eu hunain yn Lloegr, yn dangos fod mwy o addfedrwydd iddo nag a dybid fod. Bydd i'r pwnc, gan hyny, le pwysicach nag erioed o'r blaen yn yr etholiad nesaf; ac os try hono o blaid y Rhyddfrydwyr, yn ol pob tebyg fe fydd y Senedd newydd yn ymwregysu ato gyda nerth fydd yn codi oddiar yr ëangiad fydd wedi dyfod i weithrediad yn yr etholfraint.

Y mae agoshâd y pwnc i dir ymarferol yn peri, o angenrheidrwydd, fod rhyw gymaint o gyfnewidiad yn cymeryd lle yn yr olwg a gymerir arno. O'r blaen, y posibilrwydd o Ddadgysylltiad a Dadwaddoliad, a'r angenrheidrwydd am danynt, oedd yn destunau ystyriaeth; erbyn hyn y mae y tebygolrwydd o hono, a'r ffurf ymha un y daw, yn dyfod yn fwy fwy i sylw. Ac y mae ymdrechion egnïol ein cyfeillion Eglwysig i'w wrthwynebu wedi bod yn gymhorth mawr i ddwyn meddwl y wlad yn ddifrifol ato. Erbyn hyn, ni cheir cynnal cyfarfod mewn odid gymydogaeth na fydd yno amryw wŷr Eglwysig yn cymeryd nodiadau, os nad yn siarad rhyw gymaint ar yr ochr arall i'r

cwestiwn, a chynnelir cyfarfod yn ddilynol hefyd i "amddiffyn yr Eglwys." Yn yr ymdrech hon, y curadiaid, fel rheol, sydd fwyaf blaenllaw; nid cymaint a wneir gan y rhai sydd yn dal bywiolaethau, ac yn awr nid oes na chanon nac archddiacon, na deon, nac esgob, yn cymeryd prin ran ynddi. Y mae y symudiad wedi dwyn i fodolaeth "Gymdeithas Amddiffynol" Gymreig, yr hon sydd erbyn hyn mewn llawn waith. Ac fel y gallesid dysgwyl, y mae ysgogiad o'r fath yn dwyn personau i'r golwg y rhai sydd yn dyfod yn fwy arbenig i sylw y cyhoedd. Ymlaenaf o'r rhai hyn mae yn ddiammeu y saif y Parch. E. Hughes, B.A., curad Llanfairfechan, ysgrifenydd y Gymdeithas, yr hwn sydd yn ddiflino yn ei ymdrechion, ac er pan gychwynwyd y gymdeithas, y mae wedi dilyn mwy o gyfarfodydd a siarad mwy ar y pwnc na neb arall; a gellir dyweyd ei fod hefyd yn fwy hyddysg ynddo na neb o'i frodyr. Y mae y Parch. Evan Davies, rector Llanllyfni, wedi cyfieithu a chyfansoddi rhai traethodau ar y pwnc, ac yn sefyll yn rhestr flaenaf yr amddiffynwyr. Ond yn ddiammeu, yr areithydd mwyaf medrus ydyw y Parch. W. Richards, curad Llanllechid, er nad yw eto wedi meistroli y pwnc yn ei holl ganghenau. Y mae y gŵr hwn yn meddu hyawdledd ymadrodd a thraddodiad dymunol dros ben, yr hyn sydd yn argoeli iddo ddyfodol dysglaer yn yr Eglwys, ac ni a hyderwn yn ddiffuant yr ä rhagddo. Y mae eraill hefyd wedi bod yn "arfer eu dawn," ond nis gallwn ddyweyd eu bod wedi cyrhaedd gradd y tri hyn. Y mae yn ddyddorol dros ben i sylwi pwy sydd yn cael eu taflu i'r *front* gan symudiad o'r fath yma, gan fod yn bosibl y gall rhai o honynt, o leiaf, ennill iddynt eu hunain safle o bwys gyda golwg ar y dyfodol.

Ar yr un pryd, yr ydym yn teimlo fod yr amddiffynwyr, hyd yn hyn, wedi bod yn bur anffodus wrth ddewis llinell eu hamddiffyniad i'r Eglwys, ac y mae yn ymddangos i ni yn brawf pur amlwg o'u hanallu i ddeall cenedl y Cymry, ac mor hollol amddifad yw yr Eglwys o'r cydymdeimlad sydd yn codi oddiar adnabod calon y bobl. Gallwn ddychymygu, a byddwn yn dychymygu weithiau, am linell o amddiffyniad fuasai yn taro yn lled rymus ar feddyliau crefyddol a thyner-galon y Cymry, ac a fuasai yn gofyn argyhoeddiad lled drwyadl o wirionedd i allu dyfod drosto. Ond nis ceir dim o hyn yn yr amddiffyniad a wneir. Er esiampl, adroddir i ni am un gŵr parchedig, mewn atebiad i'r sylw fod plaid gref yn yr Eglwys yn dysgu ailenedigaeth yn y bedydd, a chyffesu pechodau i'r offeiriad, yn ceisio profi o'r *Hyfforddwr* fod y Methodistiaid Calfinaidd hefyd yn dal ailenedigaeth yn y bedydd, ac yn dwyn adnodau o'r Bibl yn ffafriol i gyffesu! Yr oedd gwneyd hyn o flaen cynnulleidfa Cymreig, a'r rhan fwyaf o honynt yn Fethodistiaid, yn eithafion ffolineb. Haeriad arall a wneir ydyw, nas gellir byth gael cydraddoldeb crefyddol trwy Ddadsefydliad. Y mae y twyllresymiad hwn yn cael ei weithio allan trwy chwareu ar eiriau. Gwyddant hwy yn dda y *gellir* cael cydraddoldeb yn ngwyneb cyfraith trwy Ddadsefydliad; ond nid dyma yr hyn a feddylir ganddynt hwy, ond na wnai dadsefydliad bob enwad yn gydradd o ran maint, nerth, dysg, dylanwad, &c. Y mae y Cymry yn ddigon craff i weled yr osgöad, ac y mae arfer y fath wrthddadl yn gwanychu yr achos a amddiffynir. Un o'r gwrthddadleuon a glywir bron bob amser

ydyw fod yr enwadau Ymneillduol, trwy *Deeds* eu capelau, ac yn enwedig felly y Methodistiaid Calfinaidd a Wesleyaidd trwy eu *Constitutional Deeds*, yn sefyll yn yr un cysylltiad â'r Wladwriaeth â'r Eglwys Sefydledig, ond fod cysylltiad yr olaf dipyn yn gryfach am ei fod gymaint yn hŷn. Y mae pob dyn o synwyr yn gweled ar unwaith fod yr haeriad hwn yn dwyllodrus, er nad ydyw mor hawdd dangos ar unwaith paham y mae felly. Y mae rhyw gysylltiad angenrheidiol rhwng pob un sydd yn dal eiddo â'r Llywodraeth, er diogelu yr eiddo hwnw iddo. Pan y mae dyn yn prynu tŷ neu dir, y mae yn cael gweithred gyfreithiol arno, ac yn hono fe ddywedir pwy yw y meddiannydd,—"John Jones, o Fronyfoel, plwyf Llanberis, Sir Gaernarfon, a'i etifeddion a'i gymunweinyddwyr hyd byth." Yn awr, os cyfyd dadl ymhen oes neu ddwy ynghylch y meddiant, eir at y gyfraith i dori y ddadl ac i benderfynu pa un o'r pleidiau yw yr etifeddion yn ol y weithred. Felly yn hollol pan y mae cynnulleidfa neu enwad yn cael gweithred, dodir ynddi ddeffiniad mwy neu lai helaeth, pwy a feddylir wrth y meddiannydd; ac os cyfyd dadl ar y meddiant, apelir at y gyfraith i benderfynu pwy sydd yn ateb i'r deffiniad yn y weithred. Dyna yw *Constitutional Deed* y Methodistiaid, deffiniad pwy a feddylir wrth y Methodistiaid Calfinaidd yn y gweithredoedd a berthynant i'w capelau, yn union fel y mae "John Jones o Fronyfoel, &c., ei etifeddion a'i gymunweinyddwyr," yn deffinio y person unigol hwnw. Ond nid yw y Llywodraeth erioed wedi ymyryd yn nhrefniadau yr enwad na'r gynnulleidfa, ac nid yw y gweithredoedd yn rhoddi hawl iddi wneyd hyny. Ond y mae eiddo yr Eglwys yn wahanol; na, yn wir, yr ydym yn ei gamenwi,—eiddo y Wladwriaeth sydd yn cael ei ddal gan swyddogion yr Eglwys ydyw. Y mae yn cael ei ddal gan y swyddogion hyn fel cyflog am y gwasanaeth a wneir ganddynt, a'i ddal o law y Wladwriaeth, yr hon ydyw y gwir feddiannydd, oblegyd hi sydd wedi gosod i lawr y telerau ar ba un y delir ef, ac yn galw i gyfrif os na bydd y telerau hyny yn cael eu cadw. Am yr Eglwys a'r Eglwyswyr fel y cyfryw, nid yw y Wladwriaeth yn eu cydnabod; gall ddyweyd wrthynt, "Yr archesgobion a'r esgobion a adwaen; y deoniaid, canoniaid, rectoriaid, ficeriaid, &c., a adwaen; myfi a'u gosododd yn eu lle; ond pwy ydych chwi? Nid yw fy nghyfreithiau i yn gwybod am danoch." Ymresymiad mawr arall a ddygir ymlaen ydyw unoliaeth yr Eglwys er yr oesoedd boreuaf. Ac i'r amcan yma y dygir ef: gan fod eiddo wedi ei roddi i'r Eglwys ar hyd yr oesoedd, a chan mai yr un yw yr Eglwys, y mae ganddi hawl ynddo eto. Y mae cynnulleidfaoedd yn y Deheudir fu unwaith yn Bresbyteriaid uniongred, fel y dywedir, ond sydd yn awr yn Undodiaid, er eto yn cadw yr enw Presbyteriaid. Gellir dyweyd, ar yr un tir, mai yr un cynnulleidfaoedd ydynt o hyd. Felly yn hollol am yr Eglwys, ond fod rhai o'r cyfnewidiadau fu ynddi hi wedi bod dipyn yn fwy sydyn. Yn hytrach na cheisio unioni y tröadau er gwneyd cadwen yr olyniaeth hon i edrych dipyn yn fwy uniawn, gellid dadgan yr ymresymiad hwn yn fwy byr a chwta trwy ddefnyddio yr ymadrodd arferol fod "meddiant yn naw rhan o'r gyfraith." Felly y gwneir weithiau pan y dywedir, "Gan fod ugain mlynedd yn rhoddi meddiant diogel yn ngwyneb cyfraith, y mae meddiant o gannoedd o flynyddoedd yn sicr o fod yn ddiogel. Ond yr ydym yn gwadu y cynseiliau, ac yn dadleu fel o'r

blaen, mai y Wladwriaeth yw y meddiannydd *yn awr*, ac nad yw swyddogion yr Eglwys ond yn ei ddal *o law y Wladwriaeth*, ar delerau penodol. Y mae yr holl ddadleuon a ddygir ymlaen yn hynod o anffodus o herwydd eu gwendid amlwg, ac fel y dywedasom credwn y gallesid cael rhai fuasai yn ymddangos yn llawer cryfach.

Yr ydym yn dadleu dros Ddadgysylltiad a Dadwaddoliad,—

1. Am ein bod yn credu fod cysylltiad yr Eglwys a'r Wladwriaeth yn groes i lythyren ac ysbryd yr Ysgrythyr—safon crefydd. Nid yw pob ymdrech a wnaed i brofi y gwrthwyneb i hyn ond llesg ac eiddil. Ac yn arbenig y mae y cysylltiad fel y mae yn Lloegr a Chymru, lle y mae yr Eglwys yn ei ffurf bresennol yn greadur y Wladwriaeth, ac yn cael ei llywodraethu ganddi mor hollol i amcanion bydol—y mae hwn, meddwn, yn eglur groes i hanfod yr Ysgrythyr. Y mae yn wir y prophwydir y bydd "brenhinoedd yn dadmaethod, &c." i'r eglwys, ond nid, bid sicr, yn yr ystyr o'i rheoli trwy ddeddfau Seneddol. Y mae Mr. Gladstone, trwy bum' mlynedd o fywyd pur a chrefyddol, a thrwy ymdrech ddiflino yn dwyn ymlaen y Llywodraeth ar egwyddorion cyfiawnder a thegwch, wedi gwneyd mwy fel "tadmaeth" i grefydd nag a wnaeth Harri VIII. a'r holl Seneddau fu yn ymyryd â chrefydd trwy ddeddfwriaeth.

2. Am fod y cysylltiad yn llyffetheirio yr Eglwys fel nas gall gario allan yn gyflawn ei chenadwri fel eglwys Crist, ac ymryddhau oddiwrth y drygau sydd yn gwneyd y fath niwed iddi. Y mae y diweddar Ddeon Alford wedi dangos hyn mor glir a diamwys fel nas gellir ei ddyweyd yn well:—"Y mae pob ymdrech i wneyd daioni o dan y sefydliad gwladol presennol, yn cael ei wneyd o dan yr anhawsderau mwyaf sydd yn bosibl. Llyffetheirir ni ar bob llaw." Y rhwystr cyntaf yw diymadferthedd, wedi hyny y perygl, ac yna y rhaid cael esampl flaenorol *(precedent)*. "Y peth a ellir wneyd," meddai ymhellach, "yn Eglwys Loegr yn bresennol, a rwystrir yn farwol gan *y gyfraith*. . . . . Y rhwystrau *technical* a deflir ar ffordd bron bob cais at wellhad."* Rheol y gyfraith yw rheol dysgyblaeth. *Gall* yr Ymneillduwyr ddysgyblu; ond nis gall yr Eglwys ond yn ol y gyfraith. Diddymai werthiant bywoliaethau pe gallai; ond nis gall, heb fyned at y Senedd.

3. Am fod y cysylltiad yn ymyriad â hawl freiniol cydwybod pob dyn. Erlidigaeth yw hanes y cysylltiad hwn ymhob oes. Y mae y Wladwriaeth yn erlid eto, pan y mae yn gosod dyn dan unrhyw anfantais o herwydd ei grefydd, bydded ef fychan neu fawr; ac y mae hyny yn ymyriad â hawl cydwybod. Gwneir gwahaniaeth rhwng y naill a'r llall; ni chaiff rhai briodi heb y *Registrar*, caiff y lleill. I gladdu Ymneillduwyr yn mynwent y plwyf yr oedd rhaid cael deddf neillduol; nid oedd ei heisieu i'r lleill. Dan ddeddf y *Goddefiad*—y mae y gair yn sarhâd—y mae Ymneillduwyr yn addoli, tra y mae y lleill dan nawdd a sêl y Llywodraeth. Ac felly ymlaen. Y mae gosod dyn dan anfanteision o herwydd ei grefydd yn erlidigaeth arno, ac ni phaid erlidigaeth arno tra y parhao y cysylltiad.

4. Am fod y cysylltiad hwn yn ein dal wrth yr Eglwys ac yn gyfrifol drosti, tra yr ydym wedi ymneillduo oddiwrthi. Tra y bydd y

* *Essays and Addresses*, by Henry Alford, D.D., Dean of Canterbury.

cysylltiad, bydd y *festry* blwyfol yn trin materion Eglwysig, a'n haelodau Seneddol yn meddu llais yn nhrefniadau yr Eglwys. Y mae arnom eisieu iddi fod yn rhydd, a chael llonydd genym oll i drefnu ei materion ei hun. Gellid aralleirio y pwnc trwy ddyweyd mai eisieu dadgysylltu ein hunain oddiwrth yr Eglwys sydd arnom, fel y gallo gael perffaith lonydd genym.

5. Am fod yr Eglwys Sefydledig wedi ac yn methu cyrhaedd pob amcan y gellir tybied am dano sydd i Eglwys Sefydledig. Yn sicr os yw i fod yn Eglwys y genedl, dylai ddiwallu anghenion crefyddol y genedl. Cafodd bob mantais a allasai ei *sefydliad* roddi iddi; rhoddodd iddi safle, rhoddodd iddi adnoddau, rhoddodd hawliau iddi, ie, ymdrechodd hyd y gallodd i gadw pawb arall draw; ond beth yw y canlyniad? Er pob peth y mae wedi colli y genedl. Prawf eglur i lygad pob dyn ei bod wedi colli pob hawl i'r teitl o Eglwys genedlaethol yw ei bod wedi colli rhan fawr o'r boblogaeth, ac yn Nghymru y mwyafrif o lawer.

6. Am ei fod yn anghyfiawnder fod eiddo y Wladwriaeth yn cael ei ddefnyddio at wasanaeth plaid. Bai yr Eglwys yw ei bod wedi myned yn blaid trwy iddi golli y bobl. Ond y mae eiddo y Wladwriaeth ganddi eto, eiddo a roddwyd yn ei llaw pan nad oedd yn blaid, ac i'r dyben o fod yn unig Eglwys y genedl. Pan ddaw y Dadgysylltiad, caiff y Wladwriaeth yr eiddo ei hun, a chaiff yr Eglwys eiddo iddi ei hun a meddiant diogel o hono.

7. Am fod yr egwyddor wirfoddol—egwyddor gynhenid teyrnas Crist—yn gyflawn ddigonol i ddwyn ymlaen waith eglwys Crist ar y ddaear. Lle bynag y mae yr egwyddor hon wedi cael chwareu teg, y mae wedi profi hyn yn ddigamsyniol.

8. Am fod profiad yn dangos fod Dadgysylltiad, lle bynag y mae wedi cael ei ddwyn oddiamgylch, wedi bod o fendith ddirfawr ac nid niwed. Gellid dwyn profion o'r Iwerddon, Canada, Awstralia, Deheudir Affrica, &c., yr hyn a osodai y pwnc, feddyliem, uwchlaw pob ammheuaeth. Deallwn fod rhai o swyddogion yr Eglwys yn yr Iwerddon yn dyweyd yn wahanol; ond hyd y gwelsom ni, mewn amgylchiadau felly, ni osodir ond barn bersonol, tra o'r tu arall y dygir ffeithiau a ffigyrau i brofi y gosodiadau. Gellir cyfrif hwyrach am farn bersonol, ond y mae ffeithiau yn anwrthwynebol.

9. Am fod cysylltiad crefydd â'r Wladwriaeth yn rhwystr anorfod i wir undeb eglwysig, a thrwy hyny yn attalfa ar ffordd llwyddiant crefydd ar y ddaear. Y mae unffurfiaeth gorfodol trwy gyfraith, wedi amlwg fethu, ac y mae ei barhâd yn rhwystr ar ffordd undeb mwy sicr a gwirioneddol.

Dechreuodd y Dadgysylltiad yn 1689, pan basiwyd deddf y Goddefiad. Yr oedd goddef Ymneillduwyr yn gydnabyddiaeth o'u hawl i fodoli fel deiliaid, ac y mae cydnabod hyny yn arwain yn anocheladwy i gydnabyddiaeth o'u hawl i berffaith gydraddoldeb, heb aberthu eu Hymneillduaeth. A thuag at hyn y mae ein teyrnas wedi teithio, yn araf, ond yn sicr a difeth. Nis gallwn olrhain y camrau yma, ond y maent yn dangos mor ogoneddus y mae y llwyddiant wedi myned rhagddo. Dechreuodd y Dadwaddoliad tua'r flwyddyn 1820, pan yr attaliwyd rhoddion Seneddol i'r Eglwys; ac yn arbenig yn 1836, pan

yr attaliwyd cynnydd y degwm, ac y trowyd ef yn dâl arianol. Dywedir y buasai degwm y deyrnas yn awr yn un filiwn ar bymtheg o bunnau; ond tua phedair miliwn oedd pan yr attaliwyd iddo gynnyddu, a dyma ydyw eto. Dyma Ddadwaddoliad mawr. Ac erbyn hyn y mae y goron heb fod ymhell, yr hon sydd raid ei chyrhaedd. Y mae y cynnydd graddol yn y Dadgysylltiad yn dangos fod yn anmhosibl ei attal, ac y rhaid iddo gyrhaedd perffeithrwydd. Nis gallwn nodi y dydd na'r flwyddyn y cyrhaeddir ef, ac nid yw hyny o bwys; ond ni fydd yn hir. Ac er mwyn caredigion rhyddid sydd yn dyheu am dano; er mwyn y wlad sydd eisoes yn dyoddef poenau gwewyr yr esgor arno; ac hefyd er mwyn y rhai hyny sydd dros eu holl oes mewn ofn a braw arswydol, ond disail, rhag fod rhyw alanastr dirfawr ynddo; ac yn benaf oll er mwyn llwyddiant gwirioneddol gwir egwyddorion teyrnas y Gwaredwr, dywedwn—goreu po gyntaf y delo.

J. EIDDON JONES.

*Llanrug.*

---

II.

Yr wyf, gyda phleser, yn cydsynio â chais Golygydd y TRAETHODYDD i draethu fy llen ar y pwnc uchod mewn atebiad i sylwadau y Parch. J. Eiddon Jones yn yr erthygl flaenorol. Mae cyfeiliornadau hanesyddol, ffeithiol, a rhesymegyddol, a'r haeriadau cyffredinol heb unrhyw ymgais i'w profi, mor lliosog yn yr erthygl dan sylw, fel nas gellir caniatâu gofod i ragymadroddi.

Nid oes a fyno sylwadau agoriadol Mr. Jones â'r pwnc o gwbl. Cyfiawnder, ac nid mwyafrif, ddylai benderfynu'r cwestiwn. Gŵyr pawb fod "amledd y cyfarfodydd" i'w briodoli, nid i'r "dyddordeb angerddol" a gymer y wlad yn y pwnc, ond i haelioni Cymdeithas Rhyddhad Crefydd, yr hon wedi methu o honi a llwyddo yn ei hamcan trwy appelio at gydwybod y wlad, sydd yn awr yn cymeryd mantais ar wendid y natur ddynol trwy ddal "aur melyn" o flaen ei llygaid. Y mae arweinwyr y Gymdeithas yn deall y natur ddynol yn dda. "Temtiwn hwynt," meddant, "âg aur—y tair mil punnau i'w casglu a'u gwario yn yr ymgyrch bresennol—ac yna fe ddaw haid o areithwyr allan o'u dirgel-fanau; temtiwn y wlad trwy ddal o'i blaen obaith ffugiol o ysgafnhâd trethi, ac yna mae gobaith y ceir ganddi bleidleisio dros Ddadwaddoliad." Y gwirionedd yw, nid oes obaith i'r Gymdeithas hon lwyddo ond trwy fasnachu ar nwydau rheibus a thrachwantus y natur ddynol. Cyhuddir ambell i newyddiadur Toryaidd o geisio dyddanu ei ddarllenwyr "trwy ddyweyd nad ydyw y pwnc yn agos i fod yn addfed ato." Nid papyrau Toryaidd yn unig sydd yn dyweyd hyny, ond papyrau Rhyddfrydol hefyd a ddywedant nad ydyw y wlad yn addfed i'r pwnc, nac yn debyg o ddyfod felly yn fuan. Dyna farn y *Times*, y *Spectator*, yr *Edinburgh Review*, y *Pall Mall Gazette*—y cyhoeddiadau Rhyddfrydol mwyaf dylanwadol yn y deyrnas.

Cyfeiliornad dybryd ydyw y syniad nad ydyw ein hurddasolion Eglwysig, a'r rhai sydd yn dal bywiolaethau, yn cymeryd dyddordeb

ymarferol yn "yr ymdrech hon." Profa hyn anwybodaeth nas gellir ei egluro ond ar y tir o benderfyniad i beidio a darllen llenyddiaeth yr ochr amddiffynol. Nid yr ymgyrch bresennol sydd wedi dwyn y Gymdeithas Amddiffynol i fodolaeth. Sefydlwyd y gymdeithas hon bum' mlynedd ar hugain yn ol. Diffyg anesgusodol o sylwadaeth ydyw y rheswm dros y syniad anghywir mai "y curadiaid fel rheol sydd fwyaf blaenllaw yn yr ymdrech hon." Yr wyf wedi cael yr hyfrydwch mawr o glywed rhai o'r areithiau mwyaf grymus a draddodwyd yn yr ymgyrch bresennol ar y cwestwn o gwbl, ac y mae yn sicr genyf fod areithiau "rhai yn dal bywiolaethau," o archddiacon i lawr, ar y blaen. Mae ein hurddasolion Eglwysig a'n hoffeiriaid mwyaf dylanwadol ar bwyllgor y Gymdeithas Amddiffynol, ac yn cymeryd y dyddordeb mwyaf yn ei gweithrediadau; nid ydynt byth yn arbed trafferth i hyrwyddo y gwaith. Rhaid i mi ddyweyd, yn enw y ddau neu dri o guradiaid sydd wedi cymeryd "rhan flaenllaw" yn y drafodaeth bresennol, ein bod yn taflu yn ol yr awgrymiad amlwg fod genym amcanion pellach mewn golwg na gwasanaethu hyd y gallem, trwy gymhorth Duw, ei Eglwys ag y mae genym y fraint,—a dywedwn heb ymffrost,—o fod yn aelodau ynddi. Ond cymhwyswn yr ymresymiad rhyfedd yma o eiddo Mr. Jones at yr ochr ymosodol. Pwy welir amlaf yn cymeryd y rhan fwyaf blaenllaw yn y cyfarfodydd dadgysylltiol? Dau o weinidogion y Methodistiaid Calfinaidd, dau weinidog y Bedyddwyr, ac un gweinidog yr Annibynwyr, a siarad am Esgobaeth Bangor. Weithiau cyrchir i'r llwyfan un gŵr lleyg o Sir Drefaldwyn. Yn y rhestr hon nid oes ond un a ystyrir gan yr Ymneillduwyr fel yn perthyn i'w pregethwyr blaenaf, neu ymhlith eu dynion mwyaf dylanwadol. Yn ol ymresymiad Mr. Jones, nid ydyw y gweddill "prin yn cymeryd rhan yn yr ymdrech hon." Os felly profai hyn fod y pwnc yn llawer mwy "anaddfed" nag a ddychymygodd Mr. Jones ei hun erioed.

Cwynir am "linell yr amddiffyniad." Onid oeddym yn rhwym o ddilyn llinell yr ymosodiad? Y prawf goreu o effeithiolrwydd yr amddiffyniad ydyw y gorfodiad parhaus i newid cyfeiriad yr ymosodiad. Yr wyf yn cytuno ar unwaith y dylid codi y ddadl yma i dir llawer iawn uwch na'r hwn, hyd yn hyn, y mae yr ymosodwyr wedi cymeryd eu safleoedd arno. Dylid, bid sicr, ystyried yr agwedd ysgrythyrol o'r pwnc, ei ddylanwad moesol, yn bersonol a chymdeithasol, ei werth crefyddol, cenedlaethol, &c. Ond os na ddilynwn areithwyr y Dadgysylltiad yn y cyfeiriadau y maent wedi eu cymeryd, cyhuddir ni o analluogrwydd i'w hateb. Angenrhaid a osodir arnom i ddilyn y "trywydd," hyd nes gyrir y llwynogod i'r ddaear. Dyddorol, ar ryw ystyr, ydyw sylwi fel mae Mr. Jones yn byw mewn perffaith gyd-ddealltwriaeth âg ef ei hun. Yr ydym ni, bid siwr, yn analluog i ddeall cenedl y Cymry. "Gallwn ddychymygu," meddai Mr. Jones, "a byddwn yn dychymygu am linell o amddiffyniad fuasai yn taro yn lled rymus, &c." Y mae Mr. Jones yn angharedig â ni, yn deffro ein cywreinrwydd heb ei foddloni. Gresyn na chaem hanner awr i roddi tro trwy ystafelloedd llawnion dychymyg Mr. Jones. Diammeu y caem weled yno ryfeddodau digon i synu'r byd; cawsem yno arfau, yn ol ei awgrym ef, a allent droi yn eu gwrthol y Dadgysylltwyr gyda gwarth tragywyddol; cawsem yno offerynau dadleuol a darawsent y Cymry tynergalon â llesmair, a'r

Dadwaddolwyr â pharlys, fel nas gallent byth ar ol hyny estyn llaw at gysegr-yspeiliad. Nid yw yn ddigon i Mr. Jones fod yn y rhestr flaenaf fel areithiwr *dros* Ddadgysylltiad, ond y mae hefyd yn meddu ar ddefnyddiau a'i gosodent ymhell uwchlaw y goreu *yn erbyn* Dadgysylltiad.

Cyfeiria Mr. Jones at un "gŵr parchedig" mewn cyfarfod amddiffynol yn ceisio profi o'r *Hyfforddwr* fod y Methodistiaid Calfinaidd yn dal ailenedigaeth yn y Bedydd, ac yn dwyn adnodau o'r Bibl yn ffafriol i gyffesu. Clywais y gŵr parchedig y cyfeirir ato fy hun; a phe buasai Mr. Jones wedi clywed yr hyn a ddywedodd, yr wyf yn credu na fuasai yn ei ystyried yn "eithafion ffolineb." Mae y "gŵr parchedig" yn ddigon galluog i amddiffyn ei hun. Eithafion ynfydrwydd, yn wir, oedd dwyn pynciau mor lwyr anmherthynasol â'r pwnc, i'r cyfarfod ymosodol, fel y gŵyr Mr. Jones, o herwydd yr oedd yn bresennol, fel y deallwyf, yn y cyfarfod hwnw.

Mae Mr. Jones yn myned heibio y cwestiwn o gydraddoldeb crefyddol yn llipa. Ni chynnygia ddarnodiad o hono. Gofynir yn wastad am un. Y gwirionedd yw, nis gall y Dadgysylltwyr ei roi heb fradychu y gwir amcan mewn golwg, sef ymgyrhaedd at gydraddoldeb cymdeithasol; o herwydd y ddadl a glywir ydyw, mai eisieu i'r gweinidogion gael yr un parch â'r offeiriaid sydd arnynt. Clywir hyn yn aml. Os chwareu ar eiriau yr ydym wrth sôn am gydraddoldeb crefyddol, paham nad eglurir i ni ar ba eiriau yr ydym yn chwareu. Dywed Mr. Eiddon Jones mai cydraddoldeb yn ngwyneb cyfraith yw ei amcan, ond anghofiodd egluro lle mae'r diffyg o hyny yn bresennol. Dywedir mai yr offeiriad ydyw cadeirydd y festri blwyfol. Y fath anrhydedd! Pe byddai i'r offeiriad ei rhoi i fyny yfory, mae'n sicr na fyddai y pregethwr yn ei chael; a'r tebygolrwydd yn y rhan fwyaf o blwyfi ydyw, mai y lleygwr pwysicaf, a hwnw yn Eglwyswr, fyddai y cadeirydd, os maliai fotwm am yr anrhydedd. Os presennoldeb yr esgobion yn Nhŷ yr Arglwyddi ydyw achos y gynhen, rhaid cofio nas gall offeiriaid eistedd yn Nhŷ y Cyffredin, tra y caniateir hyny i'r gweinidog Ymneillduol. Nid oes cydraddoldeb crefyddol yn yr America, er nad oes yno Eglwys Sefydledig; mae safle berthynasol offeiriaid yr Eglwys yno yn debyg i'r hyn ydyw yn Nghymru. Nid ydyw dadsefydliad wedi dwyn hyn oddeutu yn yr Iwerddon, o herwydd pasiwyd penderfyniad gan y *Belfast Presbytery* yn cwyno nad ydyw felly; a dywedodd Mr. Gladstone, mewn atebiad i ofyniad ysgrifenydd y *National Union* ar y mater—a dywedwyd hefyd yn y Senedd—nad oedd gan sefydliad eglwysig ddim i wneyd â'r pwnc. Mae syniad Eglwyswyr am natur eglwys mor hanfodol wrthwynebol i syniad yr Ymneillduwyr am y cyfryw, fel y mae yr undeb, fel y mae yr ymadrodd "cydraddoldeb crefyddol" yn ei olygu, yn hollol anghyrhaeddadwy tra yr erys yr ymraniadau presennol. Mewn gair, cŵyn ddychymygol, anymarferol, a diwerth ydyw y gŵyn, yn sawru yn drwm o uchelgais pregethwrol.

Mae pwnc nesaf Mr. Jones o natur mwy ymarferol—sef cysylltiad Ymneillduaeth â'r Wladwriaeth. Buddiol yw i ni yn y fan yma wneyd ychydig ymholiad i'r ymadrodd Eglwys "Sefydledig." Cawn ateb yn llawlyfr y Dadgysylltwyr eu hunain, sef "The case for Disestablishment," tu dal. 46, 47. Haerir gan y Dadgysylltwyr mai Eglwys

"sefydledig trwy gyfraith" ydyw Eglwys Loegr, ac wedi ei sefydlu felly gan Harri VIII. Nid ydoedd yr ymadrodd "sefydledig trwy gyfraith" yn cael ei ddefnyddio yn yr ystyr yma o gwbl yn amser Harri VIII., nac yn amser Mary, Edward VI., nac Elizabeth. Y gyfraith osodol (*statute law*) gyntaf yn defnyddio yr ymadrodd "sefydledig trwy gyfraith," ydyw Deddf Unffurfiaeth Edward VI., 5 and 6, c. 1; ond gwneir hyny nid mewn cysylltiad â'r Eglwys, ond mewn cysylltiad â'r *Llyfr Gweddi*, pa un a drefnwyd gan yr Eglwys ei hunan, ac a fabwysiadwyd yn union yn yr un dull ag y trefnwyd, y mabwysiadwyd, ac y "sefydlwyd" *Cyffes Ffydd* y Methodistiaid Calfinaidd yn y flwyddyn 1826. Yn neddf Unffurfiaeth 1662, drachefn, defnyddir y geiriau yma yn yr un cysylltiad. Yn y flwyddyn 1689, amser William III.—sef cant a hanner o flynyddoedd ar ol y "diwygiad" yn amser Harri VIII.—defnyddir y geiriau am y tro cyntaf mewn cysylltiad â'r Eglwys, a hyny mewn anerchiad at y brenin, ac nid mewn cyfraith. Defnyddiodd y brenin yn naturiol yr un ymadrodd yn ei atebiad. Yn ddamweiniol hollol y defnyddiwyd yr ymadrodd o dan yr amgylchiad yma, ac nid mewn un modd i roddi urddas a safle i'r Eglwys. Gellir yn hyderus herio holl Ddadgysylltwyr y byd i roddi eu bys ar un o gyfreithiau Lloegr a Chymru sydd yn gwneyd hyn, gan ddefnyddio yr ymadrodd "sefydledig trwy gyfraith" yn yr ystyr rhagfarnllyd y gwna y Dadgysylltwyr y dyddiau hyn.

Gwada Mr. Jones fod y cysylltiad sydd rhwng y Methodistiaid Calfinaidd a'r enwadau eraill, â'r Wladwriaeth, yr un mewn egwyddor â chysylltiad yr Eglwys â'r Wladwriaeth. Geilw y ddadl yma yn "haeriad twyllodrus," tra ar yr un pryd cydnabydda nad ydyw yn hawdd dangos hyny ar unwaith. Mae Mr. Jones yn eithaf hyddysg yn y ffeithiau a ddygir ymlaen i attegu y ddadl yma; ac mae y ffaith nad ydyw yn cynnyg cyffwrdd â'r un o'r ffeithiau hyny yn profi ei lwyr anallu ogrwydd i'w hegluro i ffwrdd i foddlonrwydd y blaid Ddadgysylltiol. Y mae wedi ymdrechu cymharu "gweithred" tŷ neu dir â "gweithredoedd" capelydd. Yn ei ymgais y mae wedi bod yn euog o dwyll hollol annheilwng o hono ef ei hun, ond perffaith deilwng o'r achos pwdr y mae yn ei gynnrychioli. Mae yn euog o gadw yn ol ran o'r gwirionedd ac awgrymu y gau,—*suppressio veri* a *suggestio falsi* y rhesymegwyr. Mae yna wahaniaeth hanfodol rhwng y ddwy "weithred" uchod. Nid oes a fyno gweithred tŷ â daliadau crefyddol y perchenog, ac nid oes gan y Wladwriaeth ddim i wneyd â hwy; ond mae yna "ddeffiniad mwy neu lai helaeth" o ddaliadau crefyddol yr enwad bïa y capel, ac y mae a fyno y Wladwriaeth â'u newid a'u hegluro, fel y gwelir oddiwrth y gymhariaeth a wneir yn y colofnau isod o berthynas y Wladwriaeth â'r Methodistiaid Calfinaidd, er engraifft, ac â'r Eglwys yn y pethau hyn. Yn tu dal. 11 o *Weithred Gyfansoddiadol y Methodistiaid* ceir crybwylliad am "*sefydliad y cymdeithasau*" —dyna'r ymadrodd yn yr offeryn cyfreithiol, sef "sefydlu." Dyma'r hanes fel y mae yn y *Gwyddoniadur*, cyf. vii. tu dal. 367:—"Yn y flwyddyn 1823, y cyhoeddwyd gyntaf 'Hanes, Cyfansoddiad, *Rheolau Dysgyblaethol*, ynghyd a *Chyffes Ffydd* y Corff o Fethodistiaid Calfinaidd yn Nghymru: a gytunwyd arnynt yn Nghymdeithasfäoedd Aberystwyth a'r Bala, yn y flwyddyn hono.' Yr oedd mewn golwg ar y pryd

gael gweithred fynegiadol o athrawiaeth a rheolau y cyfundeb, wedi ei chofrestru yn y *Court of Chancery*, er mwyn sicrhau yn gyfreithiol, y capelau yn feddiant y Corff; a thuag at hyny, yr oedd eisieu cytuno ar *Gyffes Ffydd*, a'i chyhoeddi, at yr hon y cyfeirid yn y cyfryw weithred gyfansoddiadol. Y weithred hono a gofrestrwyd yn y flwyddyn 1826."

Cymharwn ganlyniadau y cysylltiad hwn â'r ammodau cyferbyniol ynglŷn â'r Eglwys :—

| OCHR Y METHODISTIAID CALFINAIDD. | OCHR YR EGLWYS. |
| --- | --- |
| 1. Cytunodd y Methodistiaid ar *Gyffes Ffydd a Rheolau Dysgyblaethol* yn Sasiynau y Bala ac Aberystwyth, a chysylltwyd hwynt â'r Wladwriaeth, Awst 10fed, 1826. Gwel y *Weithred Gyfansoddiadol* a'r *Gwyddionadur*. | 1. "Erthyglau a gytunwyd arnynt gan Archesgobion ac Esgobion y ddwy dalaeth, a'r holl Offeiriaid, yn y Gymanfa a gynnaliwyd yn Llundain, yn y flwyddyn 1562."—*Llyfr Gweddi.* |
| 2. Cafwyd nawdd ac amddiffyniad (nid *goddefiad* yn unig) i sicrhâu unffurfiaeth barn yn ol *Cyffes Ffydd.*—*Gwyddionadur.* | 2. Cytunwyd ar yr uchod "er mwyn gochelyd amrywiaeth barn, a chadarnhâu cysondeb yn nghylch gwir grefydd."—*Llyfr Gweddi.* |
| 3. Gosodir i lawr yn erthygl 9, tu dal 31 o'r *Weithred*, yr ammodau ar ba rai y gellir newid rheol: Nis gellir newid yr ammodau heb cael cyfraith newydd, ond gellir gwneyd hyny â "gweithred" tŷ. Dangosodd Mr. J. Davies, Salford, yn Sasiwn Beaumaris, fel yr oedd penderfyniadau y Sasiwn yn ddirym, am eu bod yn anghyfreithlawn trwy dori yr ammodau cyfreithiol.—*Goleuad*, Tachwedd 13, 1875. | 3. Gosodir i lawr yn Erthygl xx, fod i'r "Eglwys allu i osod defodau, seremonïau, ac awdurdod mewn amrafaelion ynghylch y ffydd;" ac yn ol Erthygl xxiv., "Y mae gan Eglwys wahanol pob cenedl awdurdod i ordeinio, newidio, a diddymu seremonïau neu ddefodau'r Eglwys."—*Llyfr Gweddi.* |
| 4. Mewn mater o athrawiaeth, dywed erthygl 9fed, tu dal 31 o'r *Weithred Gyfansoddiadol*, fel hyn: "Na chaiff un cyfnewidiad yn *Nghyffes y Ffydd*, neu y pynciau neu yr athrawiaethau a ddysgir gan y cyfryw Gyfundeb, ei ganiatâu ar unrhyw bryd, nac hyd yn nod ei ddadlu." Rhaid cael Gweithred Seneddol cyn y gellir newid y pynciau, &c. | 4. Nis gall yr Eglwys newid ei hathrawiaethau—ond yn union fel y gall y Methodistiaid, sef trwy Weithred Seneddol. Mae gan yr Eglwys hawl i ddadleu ei phynciau athrawiaethol. |
| 5. Bu raid pasio *Dissenters' Chapel Act*, 1844, i newid athrawiaethau rhai oeddynt wedi gollwng dros gof ddaliadau Presbyteraidd. Felly hefyd bu raid i'r *Irish Presbyterians* a'r *Primitive Methodists.* | 5. Mae yr amrywiol ddiwygiadau yn y Llyfr Gweddi gan yr Eglwys yn profi yr un peth. |
| 6. Safon eglurhâd y *Cyffes Ffydd* ydyw erthyglau athrawiaethol Eglwys Loegr a'r Catecism byr Westminster.—*Gweithred*, tu dal. 19. Llysoedd Gwladol sydd yn effeithiol yn penderfynu dadleuon. | 6. Safon eglurhâd yr Erthyglau Athrawiaethol ydyw yr Ysgrythyr Lân.—Erthygl vi. |

Gwelir, gyda golwg ar athrawiaeth a dysgyblaeth, nad oes gwahaniaeth, mewn egwyddor, rhwng y ddau "gysylltiad;" a chyda golwg ar nawddogaeth eglwysig nid ydyw y gwahaniaeth ond un o radd, a hyny am y rheswm amlwg fod yr Eglwys yn henach nag Ymneillduaeth.

Os dylid dadwaddoli yr Eglwys o herwydd y cysylltiad, dylid hefyd weinyddu yr un oruchwyliaeth ar Ymneillduaeth. Gellir profi, yn gyffelyb, fod yr Enwadau, fel y dywedodd y Parch. Baldwin Brown, yn gaeth, ïe yn gaethach, na'r Eglwys wrth y Wladwriaeth. "Y meddyg, iachâ dy hun."

Y cwbl a allai y Parch. Evan Jones, Caernarfon, ddyweyd ar yr uchod oedd, fod rhai pethau y gellir eu newid ar ammodau neillduol (cyfreithiol), a bod rhai pethau, fel yr athrawiaethau, nas gellir eu newid, a hyny am y rheswm, meddai, na bydd eisieu byth eu newid—esboniad effeithiol ar anffaeledigrwydd yr Hen Gorff. Nid ydyw y Pab yn ystyried ei hun yn anffaeledig ond pan yn siarad *ex cathedrâ*—hyny yw, ar athrawiaeth. Felly y Corff. Eglura hyn, o bosibl, paham y bu iddo adael allan o'r *Cyffes Ffydd* bob erthygl yn athrawiaethau Eglwys Loegr sydd âg ergyd neillduol at eu " hanwyl frawd "—yr hen lanc o Rufain, ei Sancteiddrwydd y Pab. Diwedda Mr. Jones trwy ddyweyd, "nad oedd dau ddu yn gwneyd un gwŷn;" fel yna yn troi yn ol i roi bonclust angharedig i'r Cyfundeb trwy gydnabod fod y Corff beth bynag yn ddu. Gadawer y ddau Jonesiaid i gysuro a chysoni eu hunain â'u gilydd yn y caddug, cysylltiad gwladol y Methodistiaid Calfinaidd a'r holl enwadau. Pe caniatâi gofod, gallaswn nodi amryw o engreifftiau ychwanegol i ddangos bod y Wladwriaeth yn goddef, cydnabod, amddiffyn, breintio, deddfu, ac yn penderfynu materion o athrawiaeth a dysgyblaeth i'r Ymneillduwyr fel i'r Eglwys. Engraifft neillduol o gysylltiad "eglwysi rhydd" â'r Wladwriaeth a geir yn y drafodaeth bresennol gyda golwg ar apwyntiad Archesgob Pabyddol Dublin. Mae Mr. Gladstone yn dylanwadu yn swyddogol o un tu, a'r Parnelliaid o'r tu arall, a'r Pab mewn penbleth sobr rhwng y ddwy blaid. Ond rhaid prysuro i sylwi ar ranau eraill o erthygl y Parch. J. Eiddon Jones.

Cymysgodd Mr. Jones brif bwnc y ddadl â mater y *Weithred Gyfansoddiadol*—sef mai eiddo y Wladwriaeth neu genedlaethol ydyw eiddo yr Eglwys. Cymerodd yn ganiatäol, a meddyliodd, mae'n debyg, y buasid yn ei gymeryd ar ei air, mai eiddo cenedlaethol ydyw eiddo Eglwysig. Mae'r pwnc yma ei hun yn destun erthygl lled faith. Dyma sylfaen adeilad Mr. Jones, ac nid ydyw wedi cynnyg cymaint ag un ffaith na rheswm dros yr haeriad. Mae eiddo yr Eglwys yn gynnwysedig mewn gwaddol ac adeiladau. Nid oes cyfeiriad o gwbl atynt yn y cyfrif blynyddol a gyhoeddir gan y Llywodraeth o eiddo y Wladwriaeth. Nid oes swyddogion gwladol yn cael eu hanfon i edrych pa fodd y gwerir cyllid yr Eglwys, fel y gwneir â threthoedd lleol, &c. Pan adeiladir eglwysi ac y gwaddolir esgobaethau a bywiolaethau wrth y cannoedd o filoedd o bunnau yn flynyddol, fel y gwneir y dyddiau hyn, nid oes neb ond yr anghyfarwydd a'r maleisus a wadai mai i'r Eglwys y tanysgrifir yr eiddo yma, neu a awgryma nad oedd ein cyndadau yn llawn mor haelionus â neb pwy bynag yn yr oes hon. Cellwair â geiriau ydyw y fath wadiad neu awgrymiad. Gofynir weithiau am gofnodion a phrawfion o'r gwaddoliadau yma o eiddo yr Eglwys. Gellir dwyn ymlaen ddigon. Dyledswydd ein cyhuddwyr ydyw profi i'r gwrthwyneb; dyma reol pob dadl—profi er engraifft, mai nid yr arferiad yn y wlad yma cyn 27 Henry VIII., wrth drosglwyddo eiddo oedd, nid gwneyd "gweithred" fel y deallir yn yr oes hon, ond trwy

"estyn gwïalen," careg, ychydig o bridd, &c. (*Pennant*, cyf. iii. tu dal. 272), i'r hwn a dderbyniai yr eiddo, ac mai felly y trosglwyddwyd yn y wlad yma—pa un bynag ai i ddybenion bydol neu eglwysig—pob eiddo hŷn na'r flwyddyn uchod, yn nwylaw neb pwy bynag y gallo fod heddyw; profi nad ydyw haneswyr a chyfreithwyr safonol, megys Hallam, Freeman, Stubbs, Selden, Brougham, Blackstone, &c., yn tystiolaethu mai i'r Eglwys y rhoddwyd yr eiddo yma gan bersonau preifat; egluro paham yr oedd yn y flwyddyn 1847, y drydedd ran o'r tir diwylliedig yn Lloegr a Chymru heb ddegwm arno, yn ol McCulloch,—ni buasai Llywodraeth yn gwneyd eithriadau fel hyn; egluro paham nad oes ond y bedwaredd ran o ddegwm cynnyrch adnewyddol y tir yn cael ei dalu; paham y mae y fath anghyfartaledd yn y gwaddoliadau; pa pryd y bu i'r Llywodraeth drosglwyddo "penodiadau" i'r noddwyr preifat; paham y ceir fod plwyfydd wedi eu ffurfio a'u gwaddoli—megys yn Sir Fôn—gannoedd o flynyddoedd cyn clywed son am yr estron-frenin a'r gelyn trwyadl i Gymru, Offa,—deddf yr hwn y dywedir, *forsooth*, y bu yr hen Gymry dewr yn ddigon llwfr i'w mabwysiadu a'i hufuddhâu; paham y cymerwyd oddeutu dau gant o flynyddoedd i gasglu adnoddau i waddoli plwyfydd Sir Fôn yn unig, ac un cant ar ddeg o flynyddoedd yn Lloegr a Chymru, yn ol Stubbs, i waddoli plwyfydd yn ol y gyfundrefn ddegymol, os cyfraith yn niwedd yr 8fed ganrif a roddodd y degwm, fel yr haerir; a llawer o gwestiynau eraill, anatebadwy, y gellir eu gofyn ar y dybiaeth mai y Llywodraeth a waddolodd yr Eglwys. Heriwn yn ddibetrus ein gwrthwynebwyr i ddwyn ymlaen un cofnodiad diammheuol o drosglwyddiad cyfreithiol o'r eiddo Eglwysig i'r Llywodraeth, neu o eiddo y Llywodraeth i'r Eglwys. Os i'r Llywodraeth—*trustees* y Wladwriaeth—y rhoddwyd yr eiddo yma, paham yr haerir byth a hefyd mai y Llywodraeth a'i rhoddodd i'r Eglwys? Ond pan yn methu dwyn ymlaen ffeithiau i attegu eu haeriadau, troant at Resymeg. Ond yma nid ydynt yn fwy ffodus. Dywedant fod Eglwys Lloegr yn Eglwys genedlaethol, ac am hyny bod eiddo Eglwys Loegr yn eiddo cenedlaethol. Rhyfedd fel y twyllir y wlad trwy ymresymu ar *amwysedd*—fel yn yr engraifft yma. Gorwedda'r amwysedd yn y gair "cenedlaethol." Ystyr y gair yn y cynsail, "Eglwys Loegr yn eglwys genedlaethol" ydyw bod yr Eglwys yn gweinyddu er lles y genedl. Cenadwri yr Eglwys, yn ol y Llyfr Gweddi—ei *trust deed*—ydyw "pregethu y gair a gweinyddu y sacramentau." Ac yn hyn nis gellir dyweyd ei bod yn fethiant. Nid ei chenad ydyw gorfodi pawb i dderbyn ei neges. Ystyr y gair yn y casgliad, ydyw y genedl fel meddiannydd—ac nid fod mwynhâu gwasanaeth yr Eglwys ar ammodau yn rhoi hawl i'w meddiannau. Byddai yn un mor gywir i ymresymu fel hyn:—Mae Prif-weinidog Lloegr yn Brifweinidog cenedlaethol; felly mae eiddo Prifweinidog Lloegr yn eiddo cenedlaethol. Neu bwriwch fod A. B. yn *overseer* plwyf. Yn ol ymresymiad y Dadgysylltwyr, gellir dyweyd fod "A. B. yr *overseer* yn *overseer* plwyfol, ac felly fod eiddo A. B. yn eiddo plwyfol, &c. Nid oes angen am dreiddgarwch dwfn i weled mor sigledig ydyw ymresymiad y Dadgysylltwyr. Mae awduron safonol ar hanesiaeth yn groes i Mr. Jones gyda golwg ar natur daliad (*tenure*) eiddo Eglwysig. Dywed Freeman (Rhyddfrydwr rhonc) mai nid eiddo cenedlaethol ydyw eiddo yr

Eglwys, ac ei fod yn gorphwys ar yr un tir yn union ag eiddo yr Ymneillduwyr. Felly hefyd dywed Dr. Rigg, gweinidog Wesleyaidd; Brewer, gwaith yr hwn a ddyfynir ar lwyfan y Dadgysylltiad; Selden, Deddfau Hywel Dda, Blackstone, &c.

Y Wladwriaeth pïau eiddo yr Eglwys, meddir, am mai yr un rhai yn ngolwg y gyfraith ydyw deiliaid y Wladwriaeth ac aelodau yr Eglwys. Ond pa gyfraith? Os cyfraith Eglwysig—*Canon Law*—yna mae y casgliad yn anocheladwy fod cyfreithiau Eglwysig yn meddu grym cyfreithiau Seneddol dros bawb. Ond gŵyr pawb yn amgenach. Dywedir bod Hooker yn ffafriol i dybiaeth y Dadgysylltwyr yn y mater yma. Ond dywed Hooker hefyd fod yr Ymneillduwyr, *ipso facto*, yn weithredol, yn difreinio eu hunain fel Eglwyswyr. Os cyfraith yn seiliedig ar arferiad—*Common Law*,—paham y dadleuir dros Ddadgysylltiad yr Eglwys ar y tir fod mwyafrif y genedl yn Nghymru wedi troi eu cefnau ar yr Eglwys? Pan yn son am Ddadwaddoliad, dywedant, "Y *ni* pïau yr eiddo;" pan yn son am Ddadgysylltiad, dywedant, "Nid ydym yn perthyn i'r Eglwys, nid oes dim a fynom â hi!" Os ar yr hawl i fwynhâu gwasanaeth yr Eglwys y seilir yr hòniad hwn, onid ar yr un tir y gellir dyweyd mai eiddo cenedlaethol ydyw capelau Ymneillduol, am fod 1 William a Mary, sess. 1, c. 18, sec. 5 and 9, a 52 George III., c. 155, sess. 11, yn rhoddi hawl i bob dyn fynychu a mwynhâu pob "gwasanaeth" yn y capeli Ymneillduol, ac os gwrthwynebir yr hawl, fod y *trustees* yn agored i ddirwy o ddwy i ugain punt? Os cyfraith osodol (*statute law*) sydd yn rhoddi yr hawl honedig, pa gyfraith? Adsain a etyb, Pa gyfraith?

Awgrymir fod y Wladwriaeth wedi ymyryd â'r eiddo, ac felly mai hi a'i pïau. Felly! Ai y Wladwriaeth bïau y tir yn yr Iwerddon am ei bod wedi ymyryd â'r tir yno? Ai y Wladwriaeth bïau ceffyl yr amaethwr am ei bod wedi rhoddi treth ar y ceffyl, ac felly ymyryd âg eiddo yr amaethwr?

Gwawdia Mr. Jones Unoliaeth yr Eglwys. Mae ei lawlyfr, y "Case," tu dal. 83, yn ei wrthddyweyd. Ni feiddiai Mr. Jones ddyweyd nad yr un ydyw yr Eglwys o ran ei hanfodion athrawiaethol cyn ac ar ol y "Diwygiad." Nis gellir dywedyd nad oes gwahaniaethau hanfodol yn naliadau y Presbyteriaid a'r Undodiaid. Pasiwyd y *Dissenters' Chapel Act*, 1844, i brofi hyny. Ni phasiwyd cyfraith felly i'r Eglwys.

Deuwn at yr hyn a eilw Mr. Jones yn rhesymau dros Ddadgysylltiad a Dadwaddoliad—pan nad oeddynt ond cyfres o haeriadau heb brawfion o gwbl. Y maent wedi eu gwrthbrofi i raddau helaeth eisoes. Dywed fod y cysylltiad, 1. Yn groes i lythyren ac ysbryd yr Ysgrythyr. Ni ddywed pa lythyren, ac nis eglura yr ysbryd. Mae y ffeithiau canlynol, pa rai y gellid yn hawdd ychwanegu atynt, yn profi y gwrthwyneb i haeriad Mr. Jones:—(1.) Yn yr amser boreuaf ceir bod llywodraethwyr gwladol yn barnu materion crefyddol (Job xxxi. 26—28). (2.) O dan y gwahanol ffurfiau o lywodraeth wladol o dan yr Hen Oruchwyliaeth, cawn fod Duw yn cysylltu cyfrifoldeb a dyledswyddau crefyddol â llywodraeth, megys gydag Abraham, Melchisedec, Moses ac Aaron, Dafydd, Solomon, &c. (3.) Ceir llwyddiant cenedlaethol yn cael ei gysylltu â chyflawniad dyledswyddau crefyddol brenhinoedd, fel Solomon, Jehosa-

phat, Hezeciah, Josiah, &c., a chymeradwyir brenhinoedd y cenedloedd am nawddogi gwir grefydd, megys Darius. (4.) Dadblygir egwyddorion yr Hen Destament yn y Newydd, oblegid cawn mai yr un winllan, olewydden, &c., y cyfeirir ati yn y ddau. (5.) Ufuddhäodd Crist i ofyniadau yr Hen gyfundrefn. (6.) Dysg y Testament Newydd fod pob awdurdod oddiuchod, ac mai rhaglawiaid Duw ydyw llywiawdwyr *wrth eu swydd*—nid yn ol eu haeddiant personol. (7.) Ni chondemniodd Crist yr hen gyfundrefn. Pa fodd, felly, y mae yn anysgrythyrol gweithredu ar egwyddor a gymeradwyir yn ngair Duw ac a sefydlwyd gan Dduw ei hun? Pa le mae un adnod, os ydyw yn groes i lythyren yr Ysgrythyr Lân, yn condemnio y cysylltiad? Onid ydyw yn ddyledswydd i genedl, yn ei chymeriad fel cenedl, yn ei hewyllys, ei theimlad, ei dealltwriaeth, a'i chydwybod, garu Duw *â'i holl nerth*—yr hyn, mae yn amlwg, a drefnir yn ei llywodraeth,—yn gystal ag i ddyn yn bersonol ei garu? Onid ydyw Duw yn ymadael â phobloedd a ymadawant âg Ef yn eu cymeriad cenedlaethol? Dywedai Mr. Jones mai "creadur y Llywodraeth" ydyw yr Eglwys. Mewn canlyniad, y Llywodraeth a greodd yr Eglwys! Mae St. Paul a gair Duw yn gwahaniaethu oddiwrth Mr. Jones yn hyn. Dywed efe fod yr Eglwys yn cael ei llywodraethu i amcanion bydol. Nis gellir profi y fath athrod sarhaus ar yr Eglwys. Ni feiddia neb pwy bynag ddywedyd fod yr offeiriaid yn fwy bydol na'r gweinidogion Ymneillduol.

2. "Nis gall yr Eglwys ymryddhâu oddiwrth y drygau sydd yn gwneyd y fath niwed iddi." Edryched i weithrediau Seneddol a gwelir pwy sydd yn taflu rhwystrau ar ffordd symud y "drygau"—Y Pictons, Morleys, Lawsons, a'r llu Dadgysylltiol. *O tempora! O mores!*

3. "Erlidigaeth ydyw hanes y cysylltiad, ac y mae goddefiad yn erlidigaeth." Felly sefydlodd Duw erlidigaeth o dan yr Hen Oruchwyliaeth. Goddefiad yn erlidigaeth! Y fath ddychymyg afiach! Onid eu goddef gaiff yr Ymneillduwyr ar ol y Dadgysylltiad? Pa un ai goddefiaid ai diddymiad sydd wedi cymeryd lle yn yr Iwerddon ar ol y Dadgysylltiad? Anwybodaeth echrydus, neu rywbeth gwaeth, all yn unig roi cyfrif am y fath haeriad. Mae yr Ymneillduwyr yn cael eu cydnabod, eu goddef, eu hamddiffyn, deddfu iddynt, eu harolygu, a'u breintio, a hawdd fuasai dangos fod ar lyfrau cyfreithiol Prydain Fawr oddeutu deugain o gyfreithiau yn profi i'r Llywodraeth ddeddfu i'r Ymneillduwyr fel "gwladwyr a Christionogion," fel y dywedodd y Parch. J. Mills.

4. "Y cysylltiad yn ei ddal ef yn gyfrifol dros yr Eglwys." Druan o'r Eglwys, os y Dadgysylltwyr sydd yn gyfrifol drosti! Mae Mr. Jones yn gwybod yn eithaf da nad oes neb am ei ddal yn erbyn ei ewyllys at y cyfrifoldeb hwn, os ydyw yn ei deimlo mor angerddol fel y gwaedda am ei ollwng yn rhydd oddiwrtho. Mae wedi dadgysylltu ei hun oddiwrtho, fel mae yn oleu eglur i'r neb a fyno weled.

5. "Yr Eglwys wedi methu cyrhaedd pob amcan y gellir tybied am dano i Eglwys Sefydledig." Safon uchel, sef "yr amcanion y gellir eu tybied." Nid oes un sefydliad na chyfundeb crefyddol wedi gwneyd hyn eto.

6. "Eiddo'r Eglwys yn eiddo y Wladwriaeth." Mae hwn wedi ei ateb eisoes.

7. "Yr egwyddor wirfoddol yn gyflawn ddigonol i ddwyn ymlaen waith Eglwys Crist ar y ddaear." Mae'r Eglwys wedi bod erioed yn dysgu y ddyledswydd o gyfranu yn wirfoddol at ei chynnaliaeth. Y canlyniad ydyw fod Eglwyswyr wedi cyfranu pedair miliwn o waddol, yn cyfranu pum' miliwn ychwanegol yn flynyddol at yr Eglwys; pum' cant o filoedd at y Genadaeth Gartrefol yn unig yn Llundain, &c., &c. Cwyna yr Ymneillduwyr, Dr. Osborn, Mr. Spurgeon, Dr. Binney, Dr. Parker, &c., o herwydd methiant y gyfundrefn "llaw i'r genau," yr hon a gynnyrchai ddiaconiaid, meddai y Parch. J. A. James, ag ydynt yn "Fibl y gweinidog, noddwyr y fywoliaeth, a bleiddiaid y praidd."

8. Dywed Mr. Jones mai "bendith ddirfawr fyddai Dadgysylltiad." Ni ddangosodd pa fodd, ac ni roddodd brawfion o hyn. Mae yn rhyfedd i'r Hollwybodol gysylltu peth nad oedd o fendith i'r Iuddewon. Pa fodd y gall fod o fendith tra y mae llai o'r hanner o offeiriaid cynnorthwyol yn yr Iwerddon yn bresennol na chyn y Dadgysylltiad? Sut y gall ei fod yn fendith i golli deng mil o Eglwysi o leiaf?

9. "Yn rhwystr i undeb Eglwysig gwirioneddol." Yn yr Iwerddon y canlyniad ydyw, gwneyd hyn yn fwy anmhosibl nag o'r blaen, os yn bosibl. Ni chyfnewidia Eglwyswyr eu syniad am undeb Eglwysig, pe dadgysylltid yr Eglwys ganwaith drosodd. Mae y syniad yma yn groes i syniad yr Ymneillduwyr ar y pwnc.

Buasai yn dda genyf pe buasai gofod yn caniatâu i drin y pwnc yn llawer helaethach. Yr oeddwn yn rhwym o wneyd sylw o'r hyn a ddywedodd y Parch. J. Eiddon Jones yn yr erthygl flaenorol. Pe buasai wedi ymresymu, yn hytrach na gwneyd haeriadau heb eu profi, gallesid dyhysbyddu y pwnc i raddau helaethach nag y caniatâ y gofod presennol.

E. HUGHES.

*Llanfairfechan.*

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*The Kingdom of God, Biblically and Historically considered.* The Tenth Series of the Cunningham Lectures. By JAMES S. CANDLISH, D.D., Professor of Theology, Free Church, Glasgow. Edinburgh: T. & T. Clark.

YR ydym o dro i dro wedi dwyn i sylw ein darllenwyr amryw gyfrolau gwerthfawr o'r Darlithiau a sefydlwyd yn Ysgotland er anrhydedd i goffadwriaeth Dr. Cunningham, a chyda'r amcan o gyfoethogi llenyddiaeth dduwinyddol y wlad hono. Ac y mae y gyfrol hon, gan deilwng Fab i Dad o'r fath deilyngaf, yn gwbl addas i gymeryd ei lle ymysg ei chwaer-gyfrolau, y rhan fwyaf o ba rai a gydnabyddir fel o awdurdod safonol ar y materion yr ymdrinant â hwynt. Mae y mater o Deyrnas Dduw mewn

blynyddoedd diweddar wedi tynu sylw mawr ymysg duwinyddion. Mae hyn yn ddyledus i fesur i'r arbenigrwydd sydd wedi ei osod yn ddiweddar ar efrydiau hanesyddol, a'r ymdrech i adnabod bywyd a syniadau y gorphenol yn eu goleuni priodol eu hunain, yn hytrach nag edrych arnynt trwy olygiadau y dyddiau hyn. A thra yr ydys felly yn astudio yn well y cyfnodau ar wahân, yr ydys hefyd yn cael llawer amgenach syniad am unoliaeth hanesyddiaeth, neu ddadblygiad yr egwyddorion cyffredinol y rhai, o oes i oes, sydd yn cael eu gweithio allan yn llywodraethiad y byd. Nid oedd yn anhawdd gweled mai drychfeddwl mawr y Bibl ydyw fod i Dduw ei deyrnas ar y ddaear, ar wahân i'r hyn sydd yn perthyn iddo fel Llywodraethwr cyffredinol: ac wedi dechreu astudio y Gair yn ngoleuni y gwirionedd mawr hwn, fe geid fod ystyr newydd a llawer mwy gogoneddus, nid yn unig yn ei hanesyddiaeth, ond hefyd yn ei holl athrawiaeth; ac fe deimlir fod yr un peth yn wir yr un ffunud am hanes yr eglwys, am ffurfiad duwinyddiaeth, ac fel y wers ymarferol fawr sydd yn codi oddiar y cwbl, am y dealltwriaeth hwnw gyda golwg ar y drychfeddwl o ddyledswydd wrth ba un yr ydym i lunio ein hymarweddiad. Mae llawer golygiad gwyllt wedi ffynu gyda golwg ar y dull ymha un y mae y deyrnas hon i'w hamlygu ei hun, ac y mae eto gryn lawer o dywyllwch am ei natur, ei hamcan, ei gallu, a'i rhagolygon. Yr oedd yn ffodus, gan hyny, i Dr. Candlish gymeryd y mater i fyny yn y darlithiau hyn, ac ymdrin âg ef yn y dull cyflawn, clir, a boddhaol ag yr addefa pawb a astudio ei lyfr ei fod wedi gwneyd. Y mae yn ymdrin âg ef yn ei wedd Fiblaidd a Hanesyddol. Y cwestiwn mawr ydyw, Beth oedd y deyrnas hono a gyhoeddid ac a sefydlid gan Grist? Mewn trefn i ddangos hyny y mae yn y ddarlith gyntaf yn traethu am deyrnas Dduw fel dymuniad yr holl genedloedd, neu y drychfeddwl am lywodraeth berffaith ag yr oedd yr hen genedloedd mewn gwahanol ffyrdd yn ymbalfalu am dano. Yr oedd y llywodraeth batriarchaidd yn dyfiant o'r un deuluaidd; yr hen ymherodraethau dwyreiniol yn unbenaeth, ac felly yn dirywio i ormes; yr oedd y gwladwriaethau Groegaidd yn dyfiant, chwedl Dr. Arnold, o ystâd o blentyndod i ystâd o ddyndod, ac yn gydnabyddiaeth ar ran y bobl o'r drychfeddwl o wladwriaeth, ac yr oedd athroniaeth Roegaidd mewn gwahanol ffyrdd yn gweithio yn yr un cyfeiriad; yn Rhufain yr oedd y bobl yn llywodraethu, a'r drychfeddwl o ddeddf yn cael ei gydnabod yn oruchaf; ond yr oedd y cyfan yn methu dyfod i fyny â'u cynllun, ac yr oeddynt yn meddwl am eu hystâd berffaith, neu eu hoes euraidd, yn mhellder y gorphenol. Mae yr ail ddarlith yn trin am deyrnas Dduw dan yr Hen Destament; yn rhoddi ei hanes; yn dangos ei methiant, ac ynglŷn â hyny ei heffeithiau parhâus; cyfeiria at y goleuni a deflid gan brophwydoliaeth ar y dyfodol dysglaer oedd ymlaen, ac fel yr oedd dyhëadau y bobl oreu yn cyfeirio at "ddyddanwch yr Israel." Darlith ragorol ydyw y drydedd, ar ddysgeidiaeth Crist ar y mater mawr yma. Yma y dangosir natur y deyrnas—ei bendithion nid yn allanol ond yn ysbrydol, y mynediad iddi nid trwy weithredoedd y ddeddf, ond trwy ffydd ynddo Ef, a'r gallu sydd yn ei rheoli nid yn nerth ond yn fywyd; ei chyfiawnder neu ei chyfansoddiad sylfaenol; a Christ yn frenin arni. Mae y bedwaredd ddarlith ar ddrychfeddwl athrawiaethol teyrnas Dduw. Fel ei enwog dad, ymgeidw Dr. Candlish ymhell oddiwrth syniad Maurice ac eraill, mai dynolryw fel y cyfryw sydd yn gwneyd i fyny y deyrnas, a'i ddeffiniad ef o honi ydyw: "Cydgynnulliad dynion, dan dragywyddol ddeddf Duw o gariad cyfiawn, trwy allu bywiol ei gariad prynedigol yn Iesu Grist, wedi ei ddwyn i weithredu arnynt trwy yr Ysbryd Glân." Y mae yn dwyn dynion i gymundeb â Duw, a'i grym ydyw y bywyd newydd yr hwn sydd yn dyfod o undeb â Christ fel yr hwn sydd wedi marw drosom. Rhydd y bummed ddarlith olwg ddyddorol ar yr ymgeisiadau sydd wedi bod i sylweddoli teyrnas Dduw yn y gorphenol. Yr oedd llawer o'r rhai hyn yn ddaearol a chelfyddydol, ac o herwydd hyny, fel y gallesid dysgwyl, yn aflwyddiannus. Mae y ddarlith olaf ar

deyrnas Dduw yn ei pherthynas âg *ideals* cymdeithasol, neu gynlluniau o berffeithrwydd cymdeithas yn y dyddiau hyn. Mae llawer o'r rhai hyny, a phob un yn hòni bod yn feddyginiaeth anffaeledig i holl anhwylderau cymdeithas; ond yr ydys yn gweled yn barhâus fod dau rwystr neillduol ar y ffordd: 1. Nid oes yr un o'r cynlluniau hyn a ellir gymhwyso at y gymdeithas ddynol yn gyffredinol. 2. A pha mor gyflawn bynag y gellid eu cymhwyso, nid oes yr un o honynt yn abl i wella yr afiechyd dwfn a marwol ag y mae y ddynoliaeth yn llafurio dano. O'r ochr arall y mae iachawdwriaeth teyrnas Dduw yn gyfaddas i bawb, ac yn brysur yn cyrhaeddyd pawb; a lle y rhydd dynion dderbyniad iddi, nid ydyw yn methu eu "creu o newydd yn Nghrist Iesu i weithredoedd da," ac felly yn prysuro dyfodiad y "nefoedd newydd a'r ddaear newydd lle y mae cyfiawnder yn teyrnasu." Pwy bynag a fynai weled y materion pwysig hyn yn cael eu trin gyda goleuni ac addfedrwydd, dysgeidiaeth uchel, meddylgarwch meistrolgar, a barn gref, ni allent wneyd yn well nag astudio y gyfrol werthfawr hon. Ei phris ydyw 10s. 6c.

*Unfermented Wine a Fact. A Review of the Latest Attempt to show that the existence of Unfermented Wine among the Ancients was impossible* By NORMAN KERR, M.D., F.L.S. Fifth Edition.
*Wines: Scriptural and Ecclesiastical.* By NORMAN KERR, M.D., F.L.S. Author of "Unfermented Wine a Fact," "The Mortality from Intemperance," &c. London: National Temperance Publication Depôt, 337, Strand.
*The Mortality from Intemperance. The Substance of Papers read to the Social Science Congress at Cheltenham, and the Harveian Medical Society, London.* By NORMAN KERR, M.D., F.L.S. London: J. H. Kenward.
*Holy Scripture, Temperance, and Total Abstinence. With an Introductory Letter to the Rev. Canon Basil Wilberforce.* By WILLIAM BONNER HOPKINS, B.D., Vicar of Littleport, &c. London: William Wells Gardner.
*The Water Drinkers of the Bible.* By JOHN W. KIRTON, LL.D. Author of "Buy your own Cherries," "The Four Pillars of Temperance," "Happy Homes, and how to make them," etc. London: National Temperance Publication Depôt, 337, Strand.
*The Drink Traffic in the Nineteenth Century: its growth and influence.* By DAVID LEWIS, J.P., Ex-Magistrate of the City of Edinburgh, Author of "The Drink Problem and its Solution," "Britain's Social State," "The Gothenberg Licensing System," etc., etc. London: National Temperance Publication Depôt.

DYMA swrn o lenyddiaeth Ddirwestol iachus a gwerthfawr. Ar y flwyddyn hon o Jubili y symudiad daionus hwn yn Nghymru, fe wnelai ein darllenwyr yn ddoeth fynu astudio y fath lyfrau â'r rhai hyn. Fe ddyfnheid felly yn fwy fyth eu hargyhoeddiad mai nid camgymeryd a wnaeth ein tadau pan yn dechreu y fath waith da yn ein gwlad, ac mai y peth doethaf iddynt hwythau fyddai dal eu gafael yn gryf mewn Dirwest, a gwneyd a allont i ddysgu ei gwersi gwerthfawr i bawb allo fod o fewn eu cyrhaedd. Dywed Dr. Kerr ei fod wedi dygwydd fwy nag unwaith fod atheist deallus a sobr wedi nodi allan iddo ranau o'r Ysgrythyr lle y sonir gyda chymeradwyaeth am win, gan ofyn mewn tôn fuddugoliaethus, "A all llyfr fod yn wir, neu a all ei Ysbrydolydd honedig fod yn anffaeledig, pan y mae gwlybyron y gwyddoch chwi, fel gwyddonydd a meddyg, nad ydynt ond gwenwyn gwneuthuredig, yn cael eu harganmol yn bendant a'u cymeradwyo yn ddifloesgni?" Ei ateb i hyn a fyddai—"1. Fod credinwyr yn y Bibl ac yn ei Awdwr, sydd yn gwybod am y ffaith, ffaith sydd yn ddiammheuol, fod pob gwlybyron alcoholaidd yn wenwynig, yn gwbl sicr nad all y Gyfrol Ysbrydoledig mewn un modd gyfreithloni defnyddiad diodydd meddwol. 2. Fod gwin yn enw cyffredinol—*generic*—a gymhwysir at ddiodydd gweithiedig ac anweithiedig, alcoholaidd ac analcoholaidd, gwenwynig a diniwed, fel y mae y gair

bwrdd—trwy yr hwn y gellid golygu bwrdd ciniaw, bwrdd cardiau, bwrdd gwaith, &c., neu fyrddau o wahanol ddeinyddiau, megys ffawydd, *mahogany*, &c. 3. Fod yr henafiaid yn defnyddio diodydd meddwol ac anfeddwol. 4. Fod y gwinoedd a grybwyllir yn y Bibl yn golygu y ddau fath. 5. Ac fod y math neillduol o win y cyfeirir ato mewn unrhyw destun i'w benderfynu gan y cyd-destun." Golygai y Dr. dysgedig fod y pethau yna yn atebion digonol, ac yn ei ddiniweidrwydd yr ydoedd yn meddwl fod y goleuni oedd wedi bod yn tywynu ar y mater bellach dros gymaint o amser mor gryf fel nad allai fod braidd neb heb ei ddeall. Dro yn ol, fodd bynag, fe'i hysbyswyd fod ei ateb yn gyflawn pe buasai ddim ond yn wir; ond fod gweinidog Ymneillduol wedi ysgrifenu llyfr (*Wines of the Bible.* By Rev. A. M. Wilson), a dau dduwinydd Ymneillduol wedi dadgan yn gyhoeddus ei fod wedi profi yn y llyfr hwnw fod yn gwbl anmhosibl i'r henafiaid gadw gwin yn anweithiedig ac anfeddwol. Iddo ef nid oedd peth felly nemawr yn fwy na phe buasai yr awdurdodau uchel hyny wedi rhoddi benthyg eu henwau i sicrhâu na anesid plentyn gwryw erioed â thrwyn ar ei wyneb. Yr ydoedd yn sicr fod ganddo ef drwyn, ac mor sicr a hyny fod ganddo yn ei feddiant a'i fod wedi bod yn yfed gwin anfeddwol. Daeth ei gyfaill ammheus yr un mor sicr o'r ffaith, ac yn y gwin anfeddwol, fel y daethai o law Duw, yfasant ill dau waradwydd i'r duwinyddion a haerent yn eu hanwybodaeth fod y fath beth yn anmhosibl. Ni feddyliodd Kerr ychwaneg am y peth nes ymhen amser y cafodd ddyngarwr Cristionogol difrifol a deallus yn gydwybodol yn gwrthwynebu llwyrymwrthodiad, o herwydd fod Mr. Wilson wedi profi fod cadw gwin yn anfeddwol yn anmhosibl i'r henafiaid, ac am hyny fod y Bibl yn caniatâu defnyddio diodydd meddwol. Wedi hyny darllenodd y llyfr yn ofalus, a gwelodd fod yr awdwr yn gwbl anwybodus o'r ffeithiau y dylasai fod wedi eu meistroli cyn meddwl am ysgrifenu ar y fath fater. Ac i wrthweithio camgymeriad peryglus y llyfr hwnw, ynghyd a dadganiadau anffaeledig cyffelyb a wnelid gan ddynion nad oeddynt mewn gwirionedd yn deall dim ynghylch y mater, fe ysgrifenwyd y llyfryn cyntaf ar y rhestr uchod, *Unfermented Wine a Fact.* Fe deimla pawb a'i darlleno foddlonrwydd fod Dr. Kerr yn gwybod am y pethau yr ysgrifenai yn eu cylch, a'i fod hefyd yn profi ei bwnc. Dadl Wilson oedd, fod sudd y grawnwin yn dechreu ymweithio can gynted ag y daw dan ddylanwad yr awyr, a chan hyny, oddieithr i'r henafiaid ei ferwi, nad allent ei gadw yn anweithiedig; a chan fod y sudd yn cael ei ferwi, yn gytew, fel *jelly*—yn beth i'w fwyta ac nid yn wlybwr i'w yfed—nad yw bodolaeth gwin anfeddwol ymhlith yr henafiaid ond *myth*, neu ddychymyg ddisail. Ateb Kerr—a phob gosodiad yn cael attegu gan brawf diymwad—ydyw: *Nad* ydyw y grawnsudd yn dechreu ymweithio yn y fan wedi ei osod yn agored i'r awyr; fod cyfnod, yn amrywio o rai oriau i amryw ddyddiau, yn cymeryd lle cyn bod ymweithiad a ffurfiad alcohol yn dechreu; ac yn ystod y cyfnod hwnw y gellid cymeryd mesurau syml er attal ymweithiad. Dangosa hefyd, heblaw y *dibs*, neu y sylwedd cytew—yr hwn wedi ychwanegu cymaint o ddwfr ato ag a yrasid o hono trwy wres, a wnelai ddiod anweithiedig adfywiol a hoff—a ffurfid trwy ferwi y sudd, fod gwlybwr mewn arferiad cyffredin ymysg y Tyrciaid ac mewn llawer o ranau o'r Dwyrain hyd heddyw, a'r hwn, naill ai ei hun neu wedi ei ddyfrio, a wna ddiod flasus, beraidd ac adfywiol. Ac ymhellach, y gellir, heb ei ferwi, gadw gwaed y grawnwin yn anweithiedig a rhydd oddiwrth alcohol trwy lawer moddion syml, y rhan fwyaf o ba rai a allai yr henafiaid ddefnyddio mor hawdd a ninnau; ac, fel pwnc o ffaith, fod y cyfryw winoedd anfeddwol, cyfarwyddiadau at barotoad pa rai sydd eto ar gael, yn gystal â diodydd gweithiedig a meddwol, yn cael eu harfer yn y dyddiau gynt.

Helaethiad ydyw *Wines, Scriptural and Ecclesiastical*, o ddarlith a draddodwyd gan Dr. Kerr yn *Chapter House* Eglwys St. Paul, Tachwedd 1, 1881, o flaen y "Church Homiletical Society," ac a gyflwynir yn gyflol brydferth, pris 1s. 6c., i

Archesgob Caergaint. Y mae yn hon yn ymdrin, ond mewn dull mwy cyflawn a gorphenol, â llawer o'r materion ag y sylwir arnynt yn y llyfr arall a grybwyllwyd. Fe ddangosodd y Dr. dysgedig o flaen y gymdeithas barchus a dylanwadol a grybwyllwyd engreifftiau o 30 o wahanol fathau o win anfeddwol pur a ddygasid o'r gwinllanoedd, y rhai a brofwyd gan y boneddigion oedd yn bresennol; a phrofodd trwy liaws o ddyfyniadau, y rhai a wnelid o'r ieithoedd gwreiddiol, fod yr henafiaid yn arfer yfed grawn sudd anweithiedig, a'n bod yn dewis yn hytrach win melus, gwan,—ac felly o angenrheidrwydd, anfeddwol—a hyd yn nod felly, wedi ei gymysgu yn helaeth â dwfr. Llywyddid y ddarlith gan Dr. B. Richardson, un o'r meddygon mwyaf enwog, ond sydd fel Dr. Kerr yn ei thybied yn ddyledswydd arno, a chwedl yntau "fel deonglydd gwyddoniaeth a deddf naturiol," i ddwyn tystiolaeth gref a difloesgni yn erbyn y diodydd meddwol. Rhoddwyd lledaeniad helaeth i adroddiadau o'r ddarlith pan draddodwyd hi; ond y mae yn foddhaol iawn ei chael fel yma yn gyflawn, gyda chryn lawer o fater ychwanegol, a'r holl gyfeiriadau at awdurdodau, &c., wedi eu gosod yn llawn ger bron. O holl droion iselwael dynoliaeth ddirywiedig, nid oes yr un sydd yn fwy dirmygedig na cheisio amddiffyn arferion cnawdol o'r Bibl, ac amcan y llyfr hwn ydyw dangos mor gwbl ddisail ydyw yr ymgais i wneyd hyny gydag ymyfed. Os oes dim yn amlycach na'i gilydd i Dr. Kerr fel meddyg, dyna ydyw, fod diodydd meddwol, fel yr arwydda eu henw—*intoxicating*—yn wenwynig, ac yn dinystrio mwy o fywydau na phob gwenwyn arall ynghyd. Tystiai Syr William Gull yr un ffunud o flaen Pwyllgor yr Arglwyddi mai Alcohol ydyw y peth mwyaf dinystriol sydd yn wybyddus i ni yn y wlad hon. Ymlaen llaw, fe fuasai yn amlwg nad allasai y Llyfr sydd yn dysgu sancteiddrwydd i'r byd, ddim rhoddi ei awdurdod dros arfer diodydd o'r fath gan neb; ac erbyn edrych, fe geir fod deongladaeth ei eiriau, yn ngoleu ysgolheigdod oreu ein hamseroedd, a'n hadnabyddiaeth helaethach o helyntion yr hen oesoedd, yn profi fod y fath beth yn anmhosibl. Y mae y ddadl dros hyn, fel y mae efe yn ei gosod ger bron, yn anwrthwynebol. Ac y mae ei ymdriniaeth ar win y Sacrament yn dra theilwng o ystyriaeth. Crybwylla am *Christian worker* a eilw yn A, heb gredu yn mherygl gwin alcoholaidd yn y Sacrament i rai wedi bod dan draed y ddiod, yn ymliw âg un arall, B, ar ei waith yn ymgadw o'r cymun. Gwyddai A mai y rheswm oedd fod ar B ofn y ddiod ydoedd wedi ei ddarostwng yn gymaint, hyd yn nod mewn dogn fechan, ac ar y fath achlysur a hwnw. Ymddangosai fel wedi cael ei achub, ac annogai B ef i "ymddiried yn ngras Duw," gan ei feïo am ei ddiffyg ffydd yn ngallu Duw i'w gadw, a gwasgu at ei ystyriaeth fod ei sefyllfa a'i waith fel *Scripture Reader* yn galw yn arbenig arno i wneyd hyny. O'r diwedd darfu i A wahodd B i ddyfod i dreulio Sabboth yn ei dŷ ef, gan awgrymu os cymerent y cymun ynghyd a dychwelyd adref, nad allai fod dim perygl. Felly y trefnwyd. Yn union wedi y cymun, galwyd ef allan, a chroesodd yr Eglwys yn unig am fynyd, a dychwelodd i'r sêdd, ond i gael fod B wedi myned! Aeth i chwilio am dano i bob man, a chyda phryder ofnadwy, ac yn hwyr y nos fe'i cafodd yn wallgof feddw mewn *ginshop* gerllaw yr Eglwys. Nid rhyfedd i A benderfynu, "Byth eto ni ofynaf i neb gymeryd gwin meddwol hyd yn nod yn y Sacrament!" Ac nid ydyw hyn ond engraifft o lawer o bethau cyffelyb. Nid hawdd nodi enwau mewn amgylchiadau o'r fath, ond yn yr achos hwn yr oedd y Dr. dan ganiatâd i roddi yr enwau i Archesgob Caergaint fel boddlonrwydd am gywirdeb yr hanes. Parai hyn i ni feddwl am hanes a roddid, dro yn ol, mewn cyhoeddiad misol o'r enw *Welcome*, yr hwn a gawsid o enau y clerigwr gofidus a gawsai y fath brofiad chwerw yn yr amgylchiad. Yr oedd aelod defnyddiol o'i eglwys wedi ymollwng gydag anghymedroldeb, ac wedi ei attal o'r herwydd oddiwrth ei freintiau. Daeth yn llwyrymwrthodwr, a daliodd yn gryf yn ei lwyrymwrthodiad, lle yn unig yr oedd diogelwch iddo, am chwe' blynedd. Yn ystod yr holl amser yna, er yn llafurus gyda phob gwaith crefyddol,

ac er i'w weinidog, drachefn a thrachefn, ei gymhell i gymuno, gommeddai, am y teimlai nad allai fentro yn agos i alcohol. O'r diwedd, wedi ei rybuddio yn ddifrifol gan y gweinidog cydwybodol a ffyddlawn ei fod yn esgeuluso dyledswydd gysegredig, efe a gyfranogodd o Swper yr Arglwydd. Y gwin meddwol a archwaethodd y pryd hyny *a ddeffrôdd yr hen chwant*, ac mewn llai na chwe' mis yr ydoedd yn medd y meddwyn ! Cyn cyhoeddi yr erthygl lle y rhoddid yr hanes uchod, danfonwyd pr flen o honi i amryw glerigwyr a gweinidogion yn Llundain ac yn y wlad, ac heb ond un eithriad, rhoddasant oll hanes am wrthgiliadau o'r fath fwyaf poenus ar ran meddwon oeddent wedi eu sobri, trwy brofi gwin meddwol yn y Sacrament. Yr ydym yn cofio fod Dr. William Reid o Edinburgh yn dyweyd fod Mr. Gough, pan oedd yn y deyrnas hon y tro o flaen y diweddaf, yn aros am gryn amser yn ei dŷ ef, a'i fod yn rhoddi argraff ar ei feddwl ef ei fod yn ŵr hynod o grefyddol; ond ei fod yn dyweyd nad ydoedd yn ystod ei holl arosiad yn y deyrnas yma wedi gallu mentro at fwrdd yr Arglwydd, er mawr awyddu am y fraint, a hyny am fod arno arswyd cyffwrdd â dyferyn o ddiod alcoholaidd, yr hyn yr ofnai a fyddai yn ddinystr iddo. Dywedai Dr. Richardson o'r gadair, wedi traddodi darlith Dr. Kerr: "Am y pwynt ymarferol, pa un a oes perygl mewn cymeryd gwin yn y sacrament, *yr ydwyf yn dyweyd, oes, y mae!* Mae y perygl yn fawr i lawer o bobl. Mae clerigwyr yn clywed rhai pethau gan rai sydd yn ymgynghori â hwynt, ac yr ydym ninnau. Mae ystafell y meddyg, mewn gwirionedd, yn gyffesgell. Yn bur fynych fe ddywedir wrthym ni, feddygon, bethau na ddywedir wrth neb arall. Ac am y cwestiwn hwn, nid oes prin fis yn myned heibio nad oes rhywun yn siarad â mi ar y pwynt neillduol a ddygwyd ger bron gan Dr. Kerr. Mi allwn y fynyd yma, pe bae yn iawn gwneyd hyny, enwi o leiaf ddeg o bersonau a ddymunent dderbyn y cymun, ond nad ydynt yn gwneyd rhag ofn syrthio yn ol i'r ffyrdd o ba rai y gwaredwyd hwynt. . . . Os daw neb i ofyn i mi, er mwyn iechyd ei gorff, i ddyweyd wrtho beth sydd iawn, ac os gwelaf berygl iddo hyd yn nod mewn derbyn y rhan yma o wasanaeth yr Eglwys, yr wyf yn dyweyd wrtho am beidio myned dan y perygl hwnw, ac mi wnaf felly byth. Y mae yn aros, gan hyny, i'w ystyried yn dra gofalus gan bawb a deimlant ddyddordeb yn y cwestiwn hwn, Ai ni allant gyfarfod y rhai sydd yn gweithio, fel yr ydym ni, trwy ddwyn i mewn win anweithiedig a diniwed i'r gwasanaeth?" Ac ebai Dr. Kerr ei hunan: "Y mae yn anhawdd i neb, sydd yn anmhrofiadol mewn trin gwallgofrwydd meddwol, i gredu y gwirionedd. Ond mor wirioneddol ydyw y perygl fel, er fy mod yn Eglwyswr, ac yn cymeryd fy hun, na chaniatäwn i un meddwyn diwygiedig fyned yn agos i fwrdd cymun lle y byddai gwlybwr meddwol. Yn yr arfer yma fe'm cyfnerthir gan Dr. Richardson, Dr. Fergus, *Surgeon General* Francis, a gwŷr profedig eraill yn rhodfeydd uchaf y broffeswriaeth feddygol. Mi feddyliwn can gynted am roddi *pistol* wedi ei lanw yn llaw gwallgofddyn ar foment glir, gan beri iddo gymeryd gofal i beidio ei saethu ei hun." Da genym weled fod llawer o eglwysi yn Nghymru yn awr yn defnyddio "pur waed y grawnwin" fel y ceir ef yn anfeddwol gan Mr. Frank Wright; yr un pryd y mae yn ofidus gweled y drwyth danllyd wenwynig y boddlona cynifer o'n cyfeillion i'w defnyddio—am ei bod yn cael ei galw yn win!—hyd yn nod wrth gofio y gwaed sydd yn dwyn iachawdwriaeth. Yn 1852 gwnai pwyllgor o Dŷ y Cyffredin adroddiad, a gynnwysai y pethau canlynol:—"1. Fod ymron yr holl win a adforir i'r wlad hon yn cael ei gymysgu ymlaen llaw â *brandy* a thrwythau niweidiol eraill. 2. Fod y rhan fwyaf o'r gwlybyron a yfir fel *port* a *sherry* yn y wlad hon yn gymysgedd ffugiol o wahanol winoedd a gwirodydd, neu yn cael eu gwneuthur yn gwbl yn Mhrydain Fawr." Dywedai Mr. Downton, gŵr a gymerai mewn llaw yn ddiweddar geryddu y Dirwestwyr mewn llyfr o'r enw "Holy Scriptures and the Temperance Question," fod cyfaill iddo ef oedd yn ŵr boneddig o Ffrainc, yn dyweyd am ewythr iddo oedd yn gwneyd llawer o win yn y wlad hono,

ac wedi iddo ef farnu, o ddeu wydriad o win a osodasid o'i flaen ar y bwrdd, mai y ffugiol oedd y goreu, a ddywedai wrtho: "Yr ydwyf yn tyfu *pedwar cant* o bibeni o win ar fy nhiroedd mewn blwyddyn, ac yr ydwyf yn gwerthu *deng mil*." Ac wedi cyrhaedd y wlad hon rhaid *druggio* y rheiny drachefn yn ddifesur. Mae yn ddiarhebol fod mwy o lawer o win *port* yn cael ei werthu o Lundain yn unig nag a gynnyrchir gan holl winllanoedd Oporto! Yr unig beth diammheuol yn y rhan fwyaf o'r peth a elwir gwin a ddefnyddir yn y swper sanctaidd, ydyw ei fileindra alcoholaidd; ac eto fe'i cymerir yn ddigymysg. Fe gymysgai y Cristionogion boreuol y meluswin pur a pherffaith anfeddwol, â dwfr. Sonia Homer ("Odyssey," ix.) am "win melus fel mêl, yn cael ei yfed wedi ei deneuo gydag ugain rhan o ddwfr." Ac felly yn fynych yn yr hen ysgrifenwyr. Ond mae yn debyg y bernid yn ddrygionus yn awr rhoddi dim dwfr am ben y gwin tanllyd yn yr ordinhad, beth bynag am ei adgasrwydd i lawer, a beth bynag am ei berygl. Clywsom ŵr, nad ydyw mwyach yn aelod, yn dyweyd mewn cyfarfod eglwysig lle y cymerid i ystyriaeth y priodoldeb o gymuno gyda gwin anfeddwol Mr. Frank Wright, ei fod ef yn wrthwynebus iawn i'r gwin hwnw, ei fod yn teimlo y gwin arall yn ei *gynhesu* mor hyfryd. Dywedai hyny fel pe buasai ei ysbryd dan eneiniad neillduol! Mae yn debyg y buasai y *brandy* digymysg yn cynhesu y gŵr hwnw yn fwy. Ond gallwn wneyd heb y math yna o gynhesu, ac yn enwedig yn y lle sanctaidd! Am y dychymyg nad ydyw y "pur waed" yn win, yr ateb goreu ydyw yr un a glywsom unwaith gan gyfaill doeth a pharod, yr hwn a symudai betrusder cyfeillion diniwed trwy sylwi fod dyweyd felly yn lled debyg i waith y *cockneys* hyny a ddaethent i lawr o Lundain i'r wlad, ac yno a gaent laeth yn ei burdeb digymysg, a'i hufen tew yn gorwedd yn brydferth ar ei wyneb, ond a deimlent yn hollol anfoddlawn arno, ac a ddywedent na wnai y tro iddynt hwy, nad ydoedd yr un fath a llaeth Llundain!

Fe ddarllenwyd y *Mortality from Intemperance*, o flaen dwy o gymdeithasau dysgedig, a chafwyd ar y pryd drafodaeth helaeth ar y casgliadau y daethai yr awdwr iddynt, ond heb i hyny, yn gystal a'r ymchwiliadau y bu iddynt mewn canlyniad eu hachlysuro, adael arnynt unrhyw effaith amgen na'u cadarnhâu. Yn wir y mae llawer o'r awdurdodau uchaf yn gorfod cydnabod fod gochelgarwch Dr. Kerr wedi peri fod ei ffigyrau, er mor frawychus ydynt, gryn lawer yn îs na'r gwirionedd alaethus am y difrod ar fywyd dynol a achosir trwy feddwdod a diota. Fe ddechreuodd efe ei ymchwiliad rai blynyddoedd yn ol, gyda'r amcan o brofi fod yr haeriad a wnelid mor fynych fod 60,000 yn marw yn y deyrnas hon bob blwyddyn o herwydd anghymedroldeb, yn rhwym o fod yn hollol ddisail. Ond erbyn myned i'r mater fe gafodd fod y 60,000 lawer islaw y gwir nifer; ac wedi cario ei ymchwiliad ymlaen gyda'r gofal mwyaf ag oedd yn bosibl, ac mewn llawer o wahanol ffyrdd, y mae yn cael na all lladdedigion ymyfed yn y deyrnas yma fod yn ddim llai na 120,000 yn y flwyddyn: sef rhyw 40,500 yn cael eu lladd yn uniongyrchol, a 70,500 yn anuniongyrchol, trwy ddamweiniau, creulondeb, tlodi, neu afiechyd yn codi oddiar anghymedroldeb eraill. O ddarllen y llyfryn ac ystyried yn bwyllog y seiliau oddiar ba rai y ffurfir ei gasgliadau, a gweled fod cynifer o wahanol ffyrdd o olrhain y peth yn arwain i'r un casgliadau, fe fydd yn dra anhawdd i neb ammeu mawredd y trychineb y mae y drwg hwn yn achosi yn ein plith. Nid ydym yn synu fod dynion fel Dr. Lankester a Dr. Hamilton yn dyweyd: "Dr. Kerr's estimate is not at all exaggerated;" ac fod Dr. Hardwicke, trengholydd dros ganolbarth Middlesex, yn dyweyd: "His estimate is very much under the truth." Pa mor ofnadwy, ynte, raid fod y gwirionedd hwnw!

Llyfr rhagorol hefyd ydyw yr eiddo Canon Hopkins. Yr oedd ar olygydd y "*Sunday Magazine*" eisieu erthygl ar Ddirwest, ac eto "not to commit the magazine to the Total Abstinence platform." Tipyn o berygl *committio* cyhoeddiad parchus

i beth mor werinaidd ac ammheus â hyny! Ond erthygl led ddifloesgni a gafwyd, ac fe ymddengys i'r golygydd parchus gael digon o wroldeb i'w chyhoeddi. Ond wedi hyny, fe ddaeth y Parch. Henry Downton, M.A., allan gyda'i *Holy Scripture and the Temperance Question*, y soniasom am dano o'r blaen, yr hwn a fwriedid i ddinystrio, wreiddyn a changen, holl ddadl Canon Hopkins, ac i daro, glun a morddwyd, y fath ymladdwyr â Canon Wilberforce, Dr. Farrar, a'r lluoedd Dirwestwyr enwog eraill ydynt y dyddiau hyn mor ryfygus a cheisio tynu cleddyf yn erbyn anghymedroldeb. Y canlyniad fu cyhoeddi y gyfrol fechan ddestlus a gwerthfawr hon fel atebiad i Rector Downton, ac y mae yn eglurhâd cyflawn a meistrolgar ar egwyddorion Dirwest yn gyffredinol. Ei bris ydyw 1s. 6c.

Ni raid i awdwr *The Water Drinkers of the Bible* wrth lythyrau canmoliaeth; y mae efe bellach er ys llawer o amser wedi bod yn amlwg ger bron y wlad, a'i ymdrechion o blaid sobrwydd wedi bod yn anmhrisiadwy. Mae ei draethodyn, "Buy your own Cherries," wedi cael darlleniad helaeth iawn, ac wedi bod yn foddion i wneyd anfesurol les. Mae yn debyg mai ychydig, hyd yn nod o rai a ystyriant eu hunain yn lled hyddysg yn y Bibl, sydd wedi synied fod dwfr yn llanw ynddo le mor fawr ac anrhydeddus ag a ddangosir yn y gyfrol brydferth hon (pris 2s. 6c.). Y mae dwfr yn ddaioni mor fawr fel y mae, mewn lliaws o wahanol ffyrdd, yn cael ei ddefnyddio yn barhaus yn y Gair fel yr arwyddlun goreu o fendithion yr iachawdwriaeth; tra o'r ochr arall, mai y ddiod a ystyria llawer sydd yn ei charu fel yr un barchusaf oll yn y Bibl, ydyw yr un a ddefnyddir mor fynych i ddangos y llid a'r digofaint sydd yn canlyn bywyd pechadurus.

A'r glawr llyfr *Ex-Bailie* Lewis y mae darlun prydferth o law yn dal fflamdorch, yr hyn sydd ddangosiad tarawiadol o amcan y gwaith. Y mae yn cael yn ystod y ganrif fod llawer o nerthoedd wedi eu dadblygu a bod ar waith yn y deyrnas hon, y rhai a ddylasent fod wedi ei dyrchafu yn llawer uwch mewn llwyddiant a phob daioni, ond wedi methu. Fel rheswm am gymaint diffyg, y mae yn cael fod dadblygiad y fasnach feddwol wedi cadw ar y blaen i'r holl nerthoedd eraill, ac felly wedi troi ein bendithion, i fesur tra helaeth, yn felldithion. Mae yn dra anhawdd synied maint y trychineb a achosa y ddiod feddwol, ond fe fyddai darllen y llyfr da hwn o eiddo Mr. Lewis, *The Drink Traffic in the Nineteenth Century* (2s. 6c.), yn gymhorth rhagorol at hyny. Fe ddyga y darllenydd i deimlo mor briodol y geiriau a ysgrifenai Mr. Buxton yn y *North British Review*, pan yn edrych ar y mater nid fel darllawydd, ond fel dyngarwr:—"Yn ofer y gosodir ar waith bob offerynoliaeth a all dyngarwch ddymuno, pan mae y rhai y ceisiwn wneyd lles iddynt yn barhaus yn ymyraeth â'u cynneddfau o reswm ac ewyllys, gan swgio eu hymenydd â chwrw, a'u tanio â gwirodydd poethion. Nid ydyw ymdrech yr ysgol a'r llyfrgell a'r Eglwys, oll ynghyd yn erbyn y dafarn a'r *gin-palace*, ond un dadblygiad o'r rhyfel rhwng nefoedd ac uffern." Yn ngolwg Mr. Lewis, mae y fasnach andwyol yn y diodydd meddwol i'w dileu, os ydyw y bobl i gael oddiar law y Llywodraeth yr amddiffyn a ddylent. A da iawn genym weled fod barn gyhoeddus Ysgotland mor bell ymlaen ar hyn. Fel un engraifft o lawer i ddangos y teimlad ar hyn, sonir yma am Gynnadledd Ddirwestol a gynnaliwyd yn Mawrth, 1884, yn Edinburgh, lle yr oedd ynghyd 1500, yn cynnrychioli 426 o gymdeithasau, ac oll âg un llais yn cytuno fod yr amser wedi dyfod pan ddylasai trethdalwyr Ysgotland gael y gallu i attal gweithrediadau y fasnach, ac ar yr un pryd yn dadgan nad all unrhyw fesur fod yn foddhaol heb roddi llawn allu i'r trethdalwyr i'w llwyr ddileu, lle bynag y bo *mwyafrif yn penderfynu felly*. A phan oedd dirprwywyr dylanwadol o'r Gynnadledd hono yn gosod ei llais o flaen Syr William Harcourt, yr Ysgrifenydd Cartrefol, ac yntau yn siarad yn hynod o gryf o blaid "local option," fe ddywedai y dirprwywyr ymhellach, gan gyfeirio at y dull y bwriadai y Llywodraeth gario hyny allan, "Na fyddai i unrhyw fesur, na wnelai ond gosod cynghorau trefol a byrddau sirol yn lle y llysoedd trwyddedawl

presennol, fod yn unol â dymuniadau y bobl, ac y methai yn hollol â symud ymaith y drygau lliosog sydd yn codi o fasnach y ddiod." A hyn o Ysgotland, lle y mae y gallu hwnw *yn awr* gan yr awdurdodau ag y bwriadai Llywodraeth Mr. Gladstone eu hestyn iddynt yn Lloegr a Chymru! Ond y mae dymchweliad diweddar y Llywodraeth ardderchog hono, ac ar gwestiwn yn dwyn y fath gysylltiad â'r fasnach feddwol, yn debyg o ateb dyben rhagorol. Teimlai Syr William Harcourt ei fod yntau bellach yn "*unmuzzled*," a dywedai: "Nid yw yn ddrwg genyf fod yr anghydwelediad rhwng y ddwy blaid yn y wladwriaeth wedi ei ddwyn i bwynt ar gwestiwn y ddiod. Y mae yn rhoddi pwys neillduol ar sefyllfa y blaid Ryddfrydig tuag at yr hyn sydd yn un o gwestiynau mwyaf y dyfodol. Yr wyf yn credu fod y ddiod, foneddigion, yn wenwyn mewn gwleidyddiaeth, fel y mae yn wenwyn mewn cymdeithas, ac fe ddaw yr amser yn fuan pan fydd raid i'r genedl benderfynu rhwng plaid y chwisgi Gwyddelig a phlaid cynnydd gwleidyddol a llwyddiant cymdeithasol." Ac nid oedd dim yn ei araeth ysplenydd a dderbynid gan gyfarfod dylanwadol y *London and Counties Liberal Union* gyda'r fath gymeradwyaeth frwdfrydig â'r ymadroddion cryfion hyn. "I'ch pebyll, O Israel!" Ai y bobl a fynent roi ychwaneg o dreth ar y tê, sydd eisoes dan dreth o 50 y cant, er mwyn arbed y cwrw, nad ydyw ei dreth ond 20 y cant, ac a fynent hefyd drethu y siwgr er mwyn arbed y gwirodydd,—ai y bobl hyn sydd i lywodraethu arnom?

*Some of the Great Preachers of Wales.* By the Rev. OWEN JONES, M.A. (Lond.), Newtown. London: Passmore & Alabaster.

MAE y gyfrol hon yn un i'w chroesawu yn fawr. Mae yn amlwg fod yr awdwr am lawer o amser wedi ei wneyd yn llafur cariad i astudio y cymeriadau enwog y mae yn ysgrifenu yn eu cylch, ac na adawodd un gareg heb ei throi a allai roddi iddo unrhyw fantais i'w deall yn well neu i'w desgrifio yn fwy cywir. Y *Pregethwyr Enwog* y geilw sylw yn arbenig atynt ydynt Daniel Rowlands, Robert Roberts, Christmas Evans, John Elias, William Williams, Henry Rees, a John Jones. Fe geir llawer o gyfeiriadau yma a thraw trwy y gyfrol at bregethwyr enwog eraill, a dywed y rhagymadrodd fod yn mwriad yr ysgrifenydd, wrth ddethol yr enwau uchod, ddwyn allan gyfres arall ar Howell Harris, Ebenezer Morris, David Davies, John Evans, Michael Roberts, Thomas Richard, Ebenezer Richard, William Roberts, Thomas Aubrey, Rowland Hughes, &c. Gwych os rhoddir y fath dderbyniad i'r gwaith hwn fel ag i'w galonogi i fyned ymlaen i wneyd gwasanaeth cyffelyb gyda golwg ar y gwŷr defnyddiol hyny. Y maent oll yn haeddu bod mewn coffadwriaeth, ac y mae eu gwaith da, eu hysbryd rhagorol, a'u meddyliau gwerthfawr yn peri eu bod, "wedi marw, yn llefaru eto," ac yn gymhwys i fod yn fendith i genedlaethau lawer. Mae yr hyn a geir yn y gyfrol hon am y chwe' gŵr a grybwyllwyd yn efrydiau arnynt, ac yn amrywio o ran hŷd o naw hyd bedair ar ddeg o bennodau, ac yn gosod ger bron brif ffeithiau eu hanes, ynghyd a detholiad da o'r pethau a allent wasanaethu oreu er rhoddi syniad cywir am eu gwasanaeth a'u rhagoriaethau. Mae y traethawd arweiniol ar bregethu Cymreig yn rhagorol. Dengys ei fod wedi derbyn ei ddelw o ddeffroad mawr y Diwygiad Methodistaidd. Gwna yn ysgafn o'r dychymyg a goledda gwŷr caredig fel Paxton Hood, sydd yn teimlo yn falch o'u gallu i ddeall rhywbeth am effeithiau y weinidogaeth yn Nghymru, ac wrth athronyddu am y peth yn son am yr iaith Gymraeg fel rheswm ei llwyddiant, neu yn baldorddi am dair rhan o bedair o allu yr hen bregethwyr ar eu cydwladwyr yn codi o'r ffaith fod y Cymry yn meddu "llawer o natur grefyddol, eu bod yn agored i ryfeddu, ac yn meddu tuedd gref at uchanianaeth." Mae y Cymry, fel yr hiliogaeth oll, "yn meddu llawer o'r natur ddynol," ac yr

oedd tair rhan o bedair—*ac ychwaneg*—o'r gallu a ennillodd gweinidogaeth y tadau arnynt yn ddyledus i ogoniant y genadwri a ddygid ger eu bron, ynghyd a'r ysbryd rhagorol, ac yn nglŷn â hyny, y nerth o dragywyddoldeb, trwy ba rai y gwesgid y genadwri hono at eu calon. Ac y mae darllen y *studies* hyn o eiddo Mr. Jones ar y gweinidogion tra llwyddiannus yr ysgrifena yn eu cylch yn ddigon i gario hyny adref mewn llawn argyhoeddiad i feddwl unrhyw ddarllenydd. Y mae efe, mae yn amlwg, wedi darllen yn fanwl bob peth allai gael gafael arno a daflai unrhyw oleuni ar fywyd a llafur y rhai yr ysgrifena am danynt, a gosoda eu hystori ger bron yn ddyddorol a thra darllenadwy. Mae ei wybodaeth Gymreig, ei gynnefindra o'i febyd â'r hanesion, ynghyd a manylrwydd ei ymchwiliadau, wedi ei gadw rhag yr amryfusedau ag y mae ysgrifenwyr Seisonig ymron yn anocheladwy yn syrthio iddynt pan y maent, ac yn fynych oddiar y teimladau goreu, yn ceisio traethu am y fath bethau. Ond fel y mae yr eithriad yn profi y rheol, a hyd yn nod Homer ragorol weithiau yn hepian, y mae yr awdwr yn tu dal. 470 yn son am ryw forwr oedd yn gwrando ar Mr. John Jones yn pregethu ar fore Sabboth yn Mangor, yn myned gydag ef i *Gapel Curig* erbyn odfa y prydnawn, ac yn dychwelyd gydag ef drachefn i Fangor erbyn odfa yr hwyr; a dywedir mewn nodiad ar waelod y ddalen fod Capel Curig mewn pellder o 15 milldir o Fangor! Fe fuasai cyflawni gorchest felly yn llawn ddigon hyd yn nod i Mr. John Prytherch, ar un o'i gyflym feirch, heb son am i Mr. John Jones a'r morwr crefyddol allu ei chyflawni ar draed. Troisom i'r *Cofiant* gan Dr. Thomas i edrych beth a allasai y fath beth fod; ac erbyn cael yr hanes, yn tu dal. 97, gwelsom mai tad y diweddar Barch. Griffith Hughes o Edeyrn oedd y morwr, yr hwn a ddywedai yr hanes wrth ei fab, ac mai i gapel y *Graig* yr aethai gyda Mr. John Jones i'r odfa y prydnawn, ac nid i Gapel Curig. Nid oedd hen gapel y Graig ond o ddwy i dair milldir o Fangor. Fe allai nad oedd gwybodaeth ddaearyddol yr awdwr yn cyrhaedd mor bell a chapel y Graig, a thrwy ryw amryfusedd fe lithrodd yr enw Capel Curig i flaen yr ysgrifell, ac wedi ei weled yno nid oedd ond naturiol nodi fod y siwrnai yno yn 15 milldir. Ond nid yw hyn mewn un modd yn engraifft o ddull Mr. Jones o ddelio â ffeithiau, y rhai a drinir ganddo ymhob man gyda manylrwydd neillduol. Y mae yr un peth yn wir hefyd am ei astudiaeth o gymeriadau o nodweddion gwahaniaethol y gwŷr a ddwg i sylw ei ddarllenwyr. Y mae wedi cymdeithasu cymaint â hwynt fel nad yw yn anhawdd iddo osod y naill a'r llall ger bron ei ddarllenwyr yn y fath fodd fel y maent hwythau yn gallu ffurfio syniad clir am y teithi ymha rai y gwahaniaethent oddiwrth eu gilydd, a hefyd oddiwrth gydlafurwyr enwog eraill oedd ar y maes gyda hwynt. A chan i'n cydwladwr parchus ddewis ysgrifenu yn Saesoneg, y mae yn dda genym ychwanegu ei fod wedi gwneyd hyny mewn dull mor foddhaol fel nad all ei ddullwedd fod mewn un modd yn rhwystr i lwyddiant y llyfr. Y mae wedi bod mor ddoeth ag ymgadw at ddulliau y tadau eu hunain o osod eu meddyliau ger bron, heb feddwl ymollwng am fynyd i'r mursendod o geisio eu haddurno, mewn trefn i'w gwneyd yn gymhwys i ymddangos ger bron y Saeson. Y canlyniad ydyw fod yr argraff a gynnyrcha y llyfr ar feddyliau y Saeson yn rhwym o fod yn llawer dyfnach a mwy boddhaol. Ac mae yn iawn dyweyd ei fod wedi gwneyd y fath ymdrech i "chwilio am eiriau cymeradwy," ac yn ysgrifenu Saesoneg mor naturiol, fel mai anfynych y teimlwn fod y mater o iaith yn dyfod yn un anhawsder yn ffordd cymundeb y tadau a'r cylch newydd a dyeithr y cyflwynir hwynt i'w sylw. Mae y lliaws sylwadau o'r eiddynt a goffeir, a'r dyfyniadau helaeth a rhagorol a roddir o'u pregethau, yn darllen mor esmwyth fel nad yw yn anhawdd hyd yn nod i Gymro anghofio mai yn Saesoneg y maent. Diammeu y bydd llawer iawn o'r Saeson yn rhoddi gwerth mawr ar y gyfrol hon, a hyderwn y bydd yn foddion i wneuthur yn eu plith lawer o les. Am y Cymry sydd erbyn hyn wrth y miloedd yn darllen Saesoneg, a rhai o honynt yn ammheus bellach a all fod dim yn Gymraeg yn werth

hddynt gymaint a throi eu llygad arno, mae yn debyg y bydd y derbyniad cynhes a roddir gan y Saeson i'r gyfrol hon—megys i'r *Sunday Schools of Wales*, a'r *Commentary on the First Epistle to the Corinthians*—yn foddion i'w hargyhoeddi y gallent hwythau wneyd peth salach na darllen ambell i waith o eiddo eu cydwladwyr, yn enwedig pan wedi ei gyhoeddi yn Saesoneg. I'r nifer lliosog ar y cyffiniau ac yn rhai o'r trefydd sydd dan ein hymgeledd grefyddol, ond nad ydynt yn medru Cymraeg, diammeu y bydd y llyfr yn ammeuthyn gwerthfawr. Ac nid oes yn wir neb o honom na allem ei ddarllen gyda dyddordeb a budd. Crybwylla mewn un man (tu dal. 354) ystori nad oeddym ni wedi ei chlywed, fel ar led yn y wlad: fod Christmas Evans un tro yn gofyn i Williams o'r Wern, "A ydyw Elias yn fwy pregethwr na chwi a minnau?" Ac i Williams ateb: "Os ceidw ei enau yn nghau nid ydyw yn fwy nag ydym ni; nid ydyw ei bregethau yn well na'r eiddom ninnau; ond unwaith yr egyr ei wefusau y mae yn gystal a dwsin o honom." Dyma hanesyn am Mr. Rees sydd yn ddarlun byw o hono. Yr oedd y Parch. John Prichard, yn awr o Birmingham, pan yn dechreu pregethu, yn ddoeth iawn wedi galw i'w weled er cael gair o gynghor ganddo. "Wel," meddai Rees, "yr ydych wedi gosod eich meddwl ar bregethu yr efengyl, y gwaith mwyaf difrifol a phwysig y gall unrhyw ddyn byth ymgymeryd âg ef." A chan groesi ei ddwylaw ar ei lin, ac ysgwyd yn ol ac ymlaen, yn ol ei arfer, dywedai, "Gweddïo, gweddïo; gweddïo, gweddïo; gweddïo, gweddïo," &c., gan ailadrodd y geiriau drachefn a thrachefn. "Nid ydym yn synied y filfed ran o'r gallu sydd gan weddïo ar bregethu." Yna, gan ysgwyd yn ol ac ymlaen, elai rhagddo drachefn, gan ail ddywedyd, "Gweddïo, gweddïo; gweddïo, gweddïo; gweddïo, gweddïo," &c. Pe gelwid arna' i yn sydyn i bregethu ar unrhyw achlysur pwysig, a chenyf ddim ond dwy awr i ymbarotoi, mi a'u treuliwn bob mynyd yn gweddïo. Gweddïo, gweddïo; gweddïo, gweddïo," &c. A'i ddagrau yn y cyfamser yn treiglo yn gyflym. Yna, gan ymattal ychydig, dywedai: "Ni allaf ddyweyd wrthych am unrhyw lyfrau neillduol i'w darllen; nid wyf yn gwybod rhyw lawer am lyfrau, ond ceisiwch gael y rhai hyny a fydd fwyaf tebyg o feithrin a chryfhau ysbryd gweddi ynoch. Y peth mawr gyda phregethu ydyw gweddïo, gweddïo; gweddïo, gweddïo." Nid rhyfedd i Mr. Prichard deimlo fod y mynydau hyny y rhai mwyaf ofnadwy yn ei holl fywyd! A dyma hanesyn arall dyddorol iawn am Mr. John Jones, Talsarn. Pan oedd y Parch. N. Cynhafal Jones, y pryd hyny yn efrydydd ieuanc, yn myned gydag ef o Dreffynnon ar brydnawn Sabboth i'r lle y cynnelid yr odfa ddau o'r gloch, dywedai: "Pan ewch i'r pulpud, byddwch yn gwbl hunan-feddiannol; a pheth bynag a wnewch, byddwch siwr o fynu pump neu chwech ergyd ymhob pregeth, ac wedi eu cael, cymerwch hwynt gyda chwi i'r pulpud. Yna dechreuwch yn bwyllog a thawel, a pharotowch y ffordd yn araf a graddol i danio eich ergyd gyntaf. Pan ddaw yr amser, allan â hi. Sylwch ar yr effaith, gallai mai dim fydd. Sut bynag, peidiwch mewn un modd a digaloni, ac na adewch am fynyd i'r bobl feddwl eich bod. Fel o'r blaen, parotowch eich ffordd yn dawel at yr ail, a phan dybioch fod yr amser wedi dyfod cymhwyswch y *fatchen*. Mae yn eithaf posibl mai un farw fydd hon hefyd. Er hyny, byddwch chwi mor dawel a digyffro ag y bo yn bosibl am yr effaith, ac na adewch i'r bobl mewn un modd feddwl eich bod yn siomedig. Parotowch y ffordd eto at y drydedd, a thaniwch. Gall hon fyn'd i ffwrdd fel y lleill, heb wneyd dim effaith. Na ofelwch; taniwch y bedwaredd; a gallwch fod yn berffaith sicr os bydd genych chwech neu saith, y bydd i rai o honynt o'r diwedd chwalu y muriau." Mae yn amlwg mai dyna ei gynllun ef ei hun, ac y mae yr argraff a adawodd ar Gymru yn dangos mor dda yr atebodd y dyben.

Dylem ddyweyd fod y gyfrol hon yn un hardd iawn, yn 554 o du dalenau, ac i'w chael am 5s. gan yr awdwr, ond o Lundain am 6s. 6c.

*Obscurity.* A Sermon by the Rev. T. T. Lucius Morgan, Presbyterian Church, Beaumaris.

Testun y bregeth hon ydyw Preg. ix. 14, 15: "Yr oedd dinas fechan, ac ynddi ychydig wŷr; a brenin mawr a ddaeth yn ei herbyn hi, ac a'i hamgylchynodd, ac a gododd glawdd uchel yn ei herbyn: a chafwyd ynddi ŵr tlawd doeth, ac efe a waredodd y ddinas hono â'i ddoethineb; eto ni chofiodd neb y gŵr tlawd hwnw." Y mae yn destun newydd, ac y mae y bregeth yn newydd a phrydferth a thra awgrymiadol. Y mae efengyl Dinodedd hefyd yn un hynod o werthfawr, ac fe fyddai yn fendith anmhrisiadwy i liaws mawr ei deall a'i hymarfer. Fe fyddai darlleniad astud o bregeth ragorol Mr. Lucius Morgan yn debyg o ateb dyben daionus mewn dwyn dynion i ymdeimlo â'r mawredd sydd wedi ei osod gan y Goruchaf yn "mhethau distadl y byd," a'r gallu sydd ynddynt i ddwyn oddiamgylch amcanion mawrion teyrnas Dduw.

*Pulpud Cymraeg City Road.* Gan John Evans (Eglwysbach).

Da iawn oedd genym ddeall fod Mr. Evans yn cyhoeddi ei bregethau mewn ffurf hylaw i ledaeniad eang. Erbyn hyn dyma y deuddeg cyntaf, y rhai a werthid fel yr argreffid hwynt am ddwy geiniog yr un, wedi eu dodi ynghyd, ac yn gwneyd cyfrol ddestlus, yr hon a geir am hanner coron. Ac y mae ychwaneg yn dyfod. Dymunwn o galon lwyddiant i'r anturiaeth hon o eiddo ein cydwladwr parchus a defnyddiol, oblegid y mae ei bregethau y fath ag y gallem yn rhesymol ddysgwyl i dderbyniad caredig o honynt brofi yn "dda a buddiol i ddynion." Mae efe bellach er ys llawer dydd wedi ennill clust a chalon ei genedl, a diammeu y bydd yn dda gan lawer trwy y pregethau hyn gael cynnal cymundeb âg ef yn amlach nag y buasai yn bosibl iddynt gael cyfleusdra i'w wrando, ac y bydd llawer hefyd nad ydynt yn debyg o gael cyfleusdra felly o gwbl yn mawrhau y fantais a gânt trwy ei bregethau hyn i "wybod ei ddeall yn nirgelwch Crist." Yr ydym yn llawenhau yn eu catholigrwydd. Y maent, fel yr efengyl ei hunan, yn ddigon eang i bawb; prin y mae ynddynt ddim ag y teimlai unrhyw Gymro da sydd yn arfer gwrando yr efengyl, gyda pha gyfundeb bynag, unrhyw anhawsder i'w dderbyn fel "ymadrodd iachus yr hwn ni aller beïo arno." Y maent hefyd yn hanfodol efengylaidd. Mae yn amlwg fod ysbryd y pregethwr lawer yn ormod o ddifrif i droi o'r neilldu at ddim damcaniaethau na dychymygion a allo mewn unrhyw ffordd lesteirio bendith y gwirionedd i gyrhaedd ei wrandäwyr. Er hyny y maent yn llawn o lafur a meddylgarwch, y rhai, fel y mae yn gweddu, a osodir ganddo ar lawn ymadferth i egluro ac i bregethu y Gair. Fe ddichon fod rhai pethau ynddynt sydd dipyn yn dywyll. Tybed fod eu gwrandäwyr yn gyffredin yn gallu gwneyd rhywbeth o'r geiriau "y gyngreddf ysbrydol mewn dyn," a ddefnyddir i osod ger bron fater pregeth ragorol ar Preg. iii. 2, "Efe a osododd y byd hefyd yn eu calonau hwy?" Sonia am "yr ober bwysicaf yn y cyfrif a roddir am ein sefyllfa bresenol," ac am "fendithion profiadol, deilyddol, y cyfammod gras." Wrth gyfeirio at y cyfyngder masnachol, dywed, "Ac eto, pan mae tôn yr *epic cycle* wedi ymdaenu dros y byd, dyma y wlad hon yn dechreu bod mewn eisieu." Beth, wŷs, ydyw yr *epic cycle?* Mewn un man, mewn ffordd o osod ei achos yn ddigon cryf, y mae yn dywedyd: "Clywyd iaith ammheus fel yna weithiau oddiar wefusau dynion da, pregethwyd hyn gan y rhai gynt o bulpudau Cymru, ac argymhellwyd iaith o'r fath ar aelodau crefyddol mewn cyfarfodydd eglwysig fel pe buasai ammheuon y prawf cryfaf o ostyngeiddrwydd calon a gwir dduwioldeb." Tybed? Ond nid ydyw y pethau sydd yn temtio beirniadaeth i'w cael yn y preg-

ethau hyn ond yn dra anfynych; tra o'r ochr arall, y mae eu cyfoeth o fater, eu meddylgarwch, eu prydferthion, yr eneiniad sydd arnynt, ac yn arbenig yr amcan ymarferol da sydd yn enaid i'r cyfan, yn eu gwneyd yn ddyddorol a gwerthfawr iawn.

*Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.* Gan DANIEL OWEN, Wyddgrug.

NID oes eisieu llawer o ddewiniaeth i weled y bydd i'r llyfr hwn le uchel yn ffafr y Cymry am amser maith. Mae yn hynod o ddifyr. Mae ei ystori yn ddyddorol; ei gymeriadau, a defnyddio iaith Wil Bryan, yn *true to nature;* ei ddesgrifiadau yn llawn bywyd a barddoniaeth; ac fe geir yn rhedeg trwy y cyfan y fath wythïen o ysmaldod dyddan a chwarëus wydd diniwed fel mai cryn gamp i unrhyw ddyn a ddechreuo ei ddarllen fydd ei roddi o'r neilldu cyn myned trwyddo. Ac nid ydyw yn amddifad o ragoriaethau mwy sylweddol. Mae yr adnabyddiaeth o'r natur ddynol a ddangosir trwyddo yn dra helaeth. Fe geir yn hanes y gwahanol gymeriadau a ddygir ger bron fod ystyr guddiedig dammeg bywyd wedi ei hamlygu ei hun i'r awdwr i fesur mawr, ac yn ei ddarlleniadau o hanes ac ystyr yr helyntion a gofnodir, mae y darllenydd yn dra thebyg o weled goleuni yn cael ei daflu ar lawer o bethau sydd o fewn cylch ei wybodaeth a bar iddo deimlo ei fod yn eu deall yn llawer gwell. Mae y darluniau rhagorol a geir trwy gorff y gwaith o gymeriadau ag y mae y gwahaniaeth mawr yn amgylchiadau ein cenedl erbyn hyn yn eu cysylltu â'r amser aeth heibio, yn hynod o werthfawr; ac eto fe ddangosir yn dra amlwg, beth bynag all fod y cyfnewidiadau sydd yn myned drosom, fod egwyddorion mawrion cyfiawnder a daioni yn aros yn ddigyfnewid. Araf iawn y bu Mary Lewis yn dyfod i adnabod y daioni penaf fel yr ydoedd yn gweithio ei hunan allan yn mywyd ei mab, Bob, ac ni ddysgwyd Rhys hyd y diwedd, er fod yn amlwg ei fod yr Israeliad yn wir, i swnio ei shibboleth hi. Cymeriad gwych a gwerthfawr oedd Abel Hughes. Gan faint ei nerth a'i addfedrwydd yr oedd efe, tra yn ffyddlawn i draddodiadau goreu yr amser a fu, yn deall yn eithaf clir anhawsderau neillduol dyddiau diweddarach, ac fe roddai y cyfarwyddiadau doethaf gyda golwg arnynt Nid oedd Bob yn ei ddeall, a rhy brin yr oedd Wil Bryan yn ei ddeall; ond gyda Rhys, yn enwedig yn nghyfyngderau mawrion ei feddwl, fe brofodd yn wir genad o ladmerydd, ac nid rhyfedd iddo ennyn yn ei fynwes y fath barch a chariad tuag ato. Gyda'r holl bethau dyddan a geir yn y llyfr, ac y maent yn lliaws mawr, y mae ei holl ergyd yn myned i ddangos beth mor dlawd a thruenus ydyw y gau ymhob man, a hyd yn nôd dan yr amgylchiadau mwyaf ffafriol; ac o'r ochr arall, fod y gwir yn werth ei brynu gan bob dyn â'r oll sydd yn ei feddiant, neu a all fod yn ei ymadferth. Mae cymeriadau y llyfr i ni mor wirioneddol â bodolaeth ein cymydogion. Pan ddygir hwynt ger ein bron yr ydym yn deall ein bod yn eu hadnabod o'r blaen, ac yn wir wedi eu cyfarfod lawer gwaith. Ac y mae ein cymdeithas â hwynt mor lawn o fwynhâd ac adeiladaeth fel yr ydym yn teimlo ei fod yn dra ffodus bod Rhys Lewis wedi ymddifyru yn nyddiau ei lesgedd wrth ysgrifenu eu hanes; ac mai nid llai ffodus ydoedd i'r "ysgrif drwchus," pan oedd Mr. Owen, "dan gyfarwyddyd ei esgutores yn trefnu ei lyfrau gogyfer â'u gwerthiant," ddyfod i'w law ef, ac iddo yntau,—er bod yr awdwr yn ymlochi yn fawr dan yr ystyriaeth nad oedd yr hyn a ysgrifenai byth i gael ei argraffu!—gael y fath foddhâd wrth ddarllen yr hunangofiant nes peri iddo ofyn caniatâd i'w gyhoeddi. Dyma hanes y llyfr, ac wrth reswm y mae yn wir bob gair. Mae yn bleser mawr i ni gael cyflwyno fel yma i sylw ein darllenwyr lyfr nad all fethu a rhoddi iddynt lawer iawn o fwynhâd, a'r mwynhâd hwnw i gyd yn nghyfeiriad doethineb a daioni. Ei bris ydyw 4s.

# LLYFRAU

*Cyhoeddedig gan P. M. EVANS & SON, Holywell.*

---

RHESTR-LYFR O AELODAU YSGOLION SABBOTHOL. Y mae y Llyfr hwn yn an-enwadol, ac wedi ei argraffu a'i linellu er cadw cyfrif manwl a threfnus o aelodau yr Ysgolion; ac y mae y derbyniad croesawgar a roddwyd iddo er ei ymddangosiad yn brawf ei fod yn cyflenwi angheu a hir deimlwyd gan Ysgrifenyddion Ysgolion Sabbothol ein gwlad.

Pris llyfr wedi ei rwymo yn gryf, yn cynnwys 100 o du dalenau, ydyw 5s.; 150, 6s. 6c.; a 200, 8s. 6c.

---

GEIRLYFR SEINIADOL (NEU GYNANIAETHOL) SAESONEG A CHYMRAEG, ynghyd ag agoriad ar Lythyriaeth yr Iaith Gymraeg, gan y diweddar THOMAS EDWARDS, Ysw. (Caerfallwch). Ail Argraffiad, gydag Ychwanegiadau, gan y diweddar BARCH. D. HUGHES, B.A., Tredegar.

Pris, yn Rhifynau, 16s. 6c.; Dwy gyfrol, croen llo, 22s. 6c.

---

CANIADAU MAES Y PLWM: sef Gweithiau Barddonol y Diweddar MR. EDWARD JONES, Maes y Plwm. Cynnwysa y Gyfrol Emynau, Carolau, Caneuon ar wahanol destynau, Englynion, Marwnadau, ac Emynau Claddedigaethol.

Pris mewn llian, 2s. 6c.

---

LLYFR HYMNAU YR YSGOL SUL. Yn awr yn barod, Casgliad o Hymnau at wasanaeth yr Ysgol Sul, gan T. LEVI. Pris 2c. mewn amlen.

Bellach gall pob dyn a phlentyn gael yr emyn yn ei law wrth ganu.

Anfoner am danynt at Meistri P. M. EVANS & SON, *Holywell.*

---

YSBRYDOLIAETH Y BIBL: gan y Parch. D. CHARLES DAVIES, M.A., Llundain. CYNNWYSIAD: Natur y Prawf—Ystyr Ysbrydoliaeth—Perthynas Ysbrydoliaeth 1. A chynnwysiad y Bibl; 2. A chywirdeb ac awdurdod y Bibl; 3. Ag iaith y Bibl.

Pris swllt, mewn amlen.

---

LLYFR RHENTI EISTEDDLEOEDD Wedi ei ddarparu gogfyfer â chadw cyfrif o enwau personau a gymerant Eisteddleoedd, ynghyda'r arian a dderbynir oddiwrth y cyfryw.

---

COFRESTR CLADDEDIGAETHAU (*REGISTER BOOK OF BURIALS*). Llyfr wedi ei barotoi gogyfer â chadw cyfrif cywir o gladdedigaethau.

Y mae ynddo golofnau i ddodi enw y person a gleddir, ei alwedigaeth, ei oedran, y lle y bu farw, dyddiad y gladdedigaeth, pwy a wasanaethodd ar yr achlysur, y fan y claddwyd, rhif y bedd, a sylwadau.

Pris, 8s. 6c., wedi ei rwymo yn gryf.

---

LLYFR RHESTRIAD BEDYDDIADAU, cyfaddas i Eglwysi pob enwad crefyddol. Wrth anfon archebion am dano, dymunir gwybod i ba nifer o Fedyddiadau y dymunir cael y llyfr,—100, 200, 400, 600, &c.

Pris, Llyfr wedi ei rwymo yn gryf, i gynnwys 100 o enwau, 3s.; a 1s. 6c. am bob 100 ychwanegol.

P. M. EVANS & SON, Treffynnon (*Holywell*)

RHIFYN CLIX.

# Y TRAETHODYDD.

## HYDREF, 1885.

CYNNWYSIAD.



*CYHOEDDIR Y RHIFYN NESAF IONAWR 1, 1886.*

TREFFYNNON:
P. M. EVANS AND SON, CYHOEDDWYR.

PRIS DEUNAW CEINIOG.

# Y TRAETHODYDD.

## Y GWARCHODLU ANWELEDIG YN DYFOD YN WELEDIG.

PAN y deallir mai at adroddiad Ysgrythyrol y mae ein teitl hwn yn cyfeirio, nid anhawdd i bawb cydnabyddus â hanesyddiaeth yr Ysgrythyr Lân ddyfalu yn ebrwydd ein bod am fyned â'n darllenwyr at un o'r amgylchiadau neillduol a geir yn gysylltiedig âg Eliseus, y prophwyd nodedig yn Israel, ac olynydd Elias, yr hynotaf o brophwydi yr Arglwydd.

Y pryd hwnw yr oedd Benhadad, brenin Syria, yn ei ymryson rhyfelgar â Jehoram, brenin Israel, yn mynych anfon lluoedd milwraidd yn fynteioedd yspeilgar i wlad Israel, ac yn peri iddynt fyned mewn ffordd ddirgelaidd i leoedd y byddai brenin Israel yn arfer dyfod ei hunan, i'r dyben, tybygid, o ymosod arno a'i ddal yn ddisymwth. Ond yr oedd yr holl gynlluniau ystrywgar yn dyfod yn wybyddus i Eliseus fel gŵr Duw; ac wele efe o bryd i bryd yn anfon at frenin Israel rybudd amserol,—"Ymgadw rhag myned i'r lle a'r lle; canys yno y disgynodd y Syriaid." Josephus a ddywed fod Jehoram yn awr yn gorfod rhoddi heibio ymarfer â helwriaeth mewn canlyniad i hysbysiadau Eliseus. Pa fodd bynag, dyma brophwyd Duw yn achub brenin Israel rhag syrthio i ddwylaw y Syriaid "nid unwaith ac nid dwywaith." Mor werthfawr i wladwriaeth yw pobl dduwiol! Ië, y mae un dyn duwiol iawn, cyfaill arbenig i Arglwydd nefoedd a daear, yn gaffaeliad anmhrisiadwy i wlad neu deyrnas; gall efe, trwy gymdeithas â'r Hollalluog, ddylanwadu mwy er ei llês na llywiawdwyr ac na rhyfelwyr.

Y mae brenin Syria, wrth gael ei ddyfeisiau a'i drefniadau y naill ar ol y llall yn troi yn fethiant, yn synu a chynddeiriogi, ac yn tybied y rhaid fod bradwr yn y cyfrin-gynghor, rhywun o fysg ei gynghoriaid ef, yn anfon dirgel hysbysrwydd i frenin Israel am yr hyn a gynlluniasid i'w erbyn. Ond y mae un o weinidogion y brenin yn gallu rhoddi iddo y gwir esboniad am yr aflwydd. Na, fy arglwydd frenin, nid oes yma ungwr bradwrus yn agos atat; "ond Eliseus y prophwyd, yr hwn sydd yn Israel, a fynega i frenin Israel y geiriau a leferi di yn nghanol dy ystafell wely." Nid oes ddewin

mewn unrhyw wlad yn debyg iddo ef; mae yn medru gwneuthur y pethau rhyfeddaf, a dadguddio dirgeledigaethau ac amgylchiadau fyddant yn dygwydd allan o olwg ac ymhell; ti elli fod yn sicr mai efe, nid neb arall, sydd fel hyn yn dadguddio dy gyfrinachau yn erbyn brenin Israel i'r brenin hwnw ei hun. Fe allai fod y swyddog a lefarasai hyn yn un o'r rhai a fuasai gyda Naaman, cadflaenor llwyddiannus Syria, pan lanhäwyd ef oddiwrth ei wahanglwyf yn nyfroedd yr Iorddonen oddiar gyfarwyddyd Eliseus, ac felly yn dyst o alluogrwydd arbenig prophwyd Jehofah. Wedi clywed hyny, y mae brenin Syria yn barnu mai y peth goreu bellach a fyddai dal Eliseus, un mor fedrus a pheryglus, a'i ddwyn ato ef, i'w gadw rhag anfon ei hysbysiadau i frenin Israel mwyach; ac y mae yn rhoi gorchymyn ar i hyny gael ei wneyd yn ddioedi, costied a gostio. Dyma ddangosiad o gymysg gyfrwysdra a ffolineb, yr hyn a welir yn fynych yn mhlant y byd hwn. Buasai o werth mawr i'r brenin Benhadad allu rhwystro gŵr Duw i weithio mor effeithiol yn erbyn Syria a thros Israel; ond pa fodd yr oedd yn bosibl gwneuthur hyny? Os credai fod ei gynghorau ef yn erbyn Israel yn dyfod yn wybyddus i Eliseus, pa fodd na feddyliasai, ynte, y buasai ei gynllwynion yn erbyn Eliseus ei hun mor sicr o ddyfod yn hysbys i'r prophwyd? Os oedd ysbrydoliaeth Duw Israel yn ei ddysgu, ai nid mor hawdd i nawdd Duw Israel ei ddiogelu?

Yr oedd Eliseus y pryd hwn yn Dothan, lle a hynodir yn hanes y patriarch Joseph; dinas fechan yn sefyll ar fryn rhyw ddeuddeng milldir i'r gogledd o Samaria, prifddinas y deg llwyth, yn nghanol gwlad Israel, ar fin deheuol gwastadedd mawr Esdräelon, a elwir yn yr Hen Destament yn ddyffryn Jezreel, a glŷn Jezreel. Ac wele frenin Israel, ar ol deall ei fod yno, yn anfon llu o filwyr, gyda meirch a cherbydau, i gymeryd y prophwyd yn garcharor. Yr oedd i gerbydau le mawr yn mrwydrau yr hen oesoedd, nid yn annhebyg i wasanaeth yr *heavy artillery*—i fagnelau ein hamserau ni; ac yr oedd yr hynt bresennol mor bwysig yn ngolwg Benhadad, fel nad oedd yn arbed dim tuag at lwyddo yn ei amcan. Yn awr dyna y fyddin gref yn myned ar brydnawn, a chyn y bore wedi cyrhaedd Dothan, ac yn ei hamgylchynu, er mwyn attafaelu yn Eliseus; ac os nad allent wneyd hyny yn rhwydd, yr oeddynt yn barod i ymosod fel rhyfelwyr ar y ddinas. Awn i edrych pa fodd y mae tua'r drigfan lle yr erys y prophwyd ar y pryd. Gwas Eliseus—nid Gehazi, yr hwn erbyn hyn oedd wedi ei daro â gwahanglwyf anfeddyginiaethol, ond llanc, neu ŵr ieuanc, a ddaethai ar ei ol i wasanaethu y prophwyd—bachgen dyeithr, fe ddichon, heb wybod nemawr eto am ddoniau gwyrthiol ei feistr,—y gwas hwn a gododd yn fore, ac a aeth allan, ac yn gyntaf oll a ganfyddodd y perygl. Y mae gwasanaethyddion newyddion, ebe hen bregethwr, yn gyffredin yn ymddwyn yn dda iawn ar y cyntaf, yn enwedig yn y pwnc o fore-godi, fel y dywed y ddiareb, Ysgub newydd a ysguba yn lân. Ond hwyrach mai arferiad gwastadol y llanc hwn ydoedd hyn, oddiar ystyriaeth fod codi yn fore yn rhoddi help, o ran hamdden a threfn, i fyned ymlaen yn hwylusach gyda'i orchwyl dyddiol. Ond sut bynag am hyny, gydag iddo fyned allan y bore hwnw, efe a welai, er ei chwithdod a'i fraw dirfawr, fyddin y Syriaid yn ymwersyllu o amgylch eu tref fechan, lonydd; ac y mae ei galon yn darogan mai ei feistr duwiol oedd yr ysglyfaeth

mewn golwg gan y gelynion. Mae efe yn rhedeg yn ol i'r tŷ, ac at y prophwyd, yr hwn, mae yn dra thebygol, oedd ar ei wely yn cysgu yn dawel, ac wedi myned ato yn llefain yn ddychrynedig, "Aha, fy meistr, pa fodd y gwnawn?" Onid ydyw ar ben gyda ni? y gelynion cryfion o'n hamgylch, ac heb un llu arfog i'w gael o'n tu, na modd i ni ddianc!

Ond nid oedd Eliseus, er deall am ddyfodiad y Syriaid byddinog, yn cyffroi i'r gradd lleiaf. Gwyddai efe fod iddo gymhorth holldigonol; a chan hyny yr oedd yn gallu ateb yn siriol, "Nac ofna, canys amlach yw y rhai sydd gyda ni na'r rhai sydd gyda hwynt." Mwy a chryfach na'r rhai a weli di yn ein herbyn yw y rhai sydd o'n tu i'n cadw. Yr oedd y cyfryw fynegiad yn peri i'r gwas synu yn aruthr; nid oedd efe yn gweled neb ond llu mawr y Syriaid gelynol, ac nid oedd ganddo un ddirnadaeth pa le le a pha fodd y gallasai fod amddiffyn iddynt. Yna "Eliseus a weddïodd ac a ddywedodd, O Arglwydd, agor, attolwg, ei lygaid ef fel y gwelo." Yr oedd sicrhâd y prophwyd o'i ddiogelwch wedi dyfod iddo wrth ffydd, ac nid wrth olwg; yn gyffelyb i Moses, yr oedd efe yn "ymwroli fel un gweled yr Anweledig." Ond yr oedd raid i'r gwas wrth olwg weithredol, lythyrenol, tuag at gyrhaedd sicrhâd boddlonol, i'w godi uwchlaw ofn a dychryn. A hyny a roddwyd iddo mewn atebiad i weddi ei feistr. "A'r Arglwydd a agorodd lygaid y llanc, ac wele y mynydd," yr ucheldir ar ba un yr oedd y ddinas yn sefyll, "yn llawn meirch a cherbydau tanllyd o amgylch Eliseus." Yr amddiffyn nefol oedd yno o'r blaen, fel y gwyddai y prophwyd yn dda, dyna hyny yn bresennol yn cael ei ddadguddio i'r gwas, nes yr oedd ei holl ofn yn diflanu yn y fan. Beth oedd llu y Syriaid gyda'u meirch cnawdol a'u cerbydau heiyrn, o flaen y llu nefol, y ffurfiau angylaidd dysglaer, oedd yn ymddangos ar y pryd yn nghyffelybiaeth meirch a cherbydau o dân? Duw oedd wedi anfon ei weinidogion o'i lys goruchel, a'u gwneuthur, wrth raid, yn dân fflamllyd. Wele gadarn gylch rhwng Eliseus a'r Syriaid, fel yr oedd yn anmhosibl iddynt dori ato i'w ddal a'i ddwyn ymaith.

Y mae yr hanes yn myned ymlaen gyda y drafodaeth ryfedd rhwng gŵr Duw a hwythau, lle y cawn hwynt, a anfonwyd i'w ddal ef, yn cael eu cymeryd eu hunain yn garcharorion, ond nid i'w lladd na'u camdrîn mewn un modd, eithr yn ol cynghor Eliseus, yn cael eu porthi yn ddiwall, a'u gollwng i fyned adref i'w gwlad. Ond heb i ni fyned ymhellach gyda yr hanes hwn am danynt, safwn ar yr adroddiad am y gwarchodlu angylaidd oedd ar y cyntaf yn anweledig i was Eliseus, pan yn hollol wybyddus i'w feistr (1 Bren. vi. 15—18), ac a nodwn rai syniadau athrawiaethol neu addysgiadol a gyflwynir i ni yn hynyma.

## I.

Dangosir i ni yma oruwchreolaeth Duw ar ddynion yn gyffredinol, gyda'i ofal neillduol am ei bobl.

Y mae rhagluniaeth y Goruchaf i ni yn debyg i beiriant mawr dan orchudd. Nid ydym yn gallu gweled y peiriant ei hun; ond ni a welwn yn ein hymyl olwynion yn cael eu troi a'u gyru ymlaen ganddo.

Yn y Bibl mae y gorchudd yn cael ei dynu ymaith oddiar y peiriant, fel yr ydym yn gallu gweled pa fodd y mae'r cyfan yn gweithio. Cawn yma ddyrchafu ein llygaid at orseddfainc "Arglwydd ein Ior ni," a chanfod gallu goruwchnaturiol ar waith, yn cyfeirio a llywio yr holl helyntion daearol. Y mae ysgrifeniadau hanesyddol yr Hen Destament o werth neillduol yn yr ystyr hwn. Dadlenant i ni y cysylltiad o'r dechreuad rhwng bywyd dynol â Rhagluniaeth Ddwyfol, a dangosant y modd y mae bwriadau Duw yn cael eu cario allan yn amgylchiadau dyn. Felly yn yr hanes ger ein bron : dyma ni yn cael golwg ar frenin Syria a'i weision, paganiaid anwybodus am y gwir Dduw, a gelynol i'w achos, eto dan lwyr reolaeth ei ewyllys Ef. Cymhwys y dysg yr Ysgrythyr : "Calon dyn a ddychymyga ei ffordd, ond yr Arglwydd a gyfarwydda ei gerddediad ef. Bwriadau lawer sydd yn nghalon dyn ; ond cynghor yr Arglwydd, hwnw a saif."

Arferir yn ein mysg yn fynych y cyfryw eiriau â ffawd ac anffawd, neu hap ac anhap, *chance* a *hazard*, a'r cyffelyb. Ond dylid golygu geiriau o'r fath yn rhai heb ystyr iddynt, neu "ymadroddion heb wybodaeth," am weithrediadau dyeithr yn nhrefn llywodraeth Brenin mawr yr holl ddaear. Y gwir yw, nid oes ddiwrnod yn mywyd dyn, nac un dygwyddiad mewn diwrnod, heb fod hyny wedi ei ragweled, ac yn cael ei oruwchlywyddu, gan Arglwydd y lluoedd. Mae y tryblith helyntion dynol, y pentwr cymysgedd nad allwn ni wneyd dim cysondeb o hono, yn eglur a threfnus yn ngolwg yr unig ddoeth Dduw. Pwy, yn ystyried hyn, nas gweddïai yn ddyfal am fod mewn heddwch a chyfeillach â'r Goruchel Un sydd â'i frenhiniaeth yn llywodraethu ar bob peth? Rhaid mai bod yn wir dduwiol yw y cyflwr rhagoraf a diogelaf ar y ddaear ; o herwydd yn nghanol eangder a phwysigrwydd arolygiaeth y Llywodraethwr mawr ar y byd oll, a'r holl fydoedd, "ni thyn Efe ei olwg oddiar y cyfiawn." Efe a fydd iddo ef yn "amddiffynfa yn nydd blinder," ac a ofala am i bob peth gydweithio er daioni iddo.

Felly y canfyddir yn nhref fechan wledig Dothan yn Israel yn amser y prophwyd Eliseus. Dacw y llu mawr o filwyr, yn wŷr traed, ac yn wŷr meirch, y rhai hyny, gallwn feddwl, yn bigion byddinoedd Syria, wedi gosod eu hunain i wylio o amgylch ogylch iddi, fel nas medr neb ddyfod allan o honi heb syrthio i'w dwylaw hwynt. Mae y gŵr y daethant i'w gyrchu i'w gael yn y dref, heb achos iddynt ofni y caiff efe unrhyw gymhorth i'w gwrthsefyll. Druan oedd gŵr Duw! Ymhell cyn hanner dydd heddyw efe a fydd yn garcharor, os nad hefyd yn watwargerdd gan filwyr y Syriaid, yn cael ei yru ganddynt ar ffrwst ar y ffordd i Damascus, lle y caiff ei drin yn ol mympwy y brenin Benhadad. O na fydd ddim! y mae prophwyd yr Arglwydd dan nawdd ei Feistr Hollalluog ; ac am hyny ni lwydda un offeryn a luniwyd i'w erbyn. Ydyw, y mae Eliseus yn nhref fach Dothan heddyw mor gadwedig â phe buasai efe oddifewn i gaerau y ddinas nefol fry. Gall wenu ar y Syriaid arfog, a chanu y geiriau a ddywed Esaiah ryw gant a hanner o flynyddau ar ol hyn: "Ymgynghorwch gynghor, ac fe a ddiddymir; dywedwch y gair, ac ni saif; canys y mae Duw gyda ni." Bydd raid i wŷr y cleddyfau a'r saethau fyned yn ol heb un Eliseus ganddynt ; a da fydd ganddynt ddychwel adref rywsut, wedi ofni y buasent yn gelaneddau meirwon ar ddaear Israel. Gellir credu am

ddyn duwiol yn y dyddiau hyn eto, ei fod yn wrthddrych gofal a ffafr y Duw byw, pa le bynag y byddo, mor sicr ag yr oedd Eliseus felly yn Dothan. Y mae pob gwir gristion yn fab i'r Jehofah, ac yn frawd i'r Emmanuel; y mae yn etifedd i Dduw, ac yn gydetifedd â Christ; a phwy a pha beth gan hyny a all ei ddrygu ef? Doed y dryghinoedd a ddelont, caiff efe lechu yn glyd dan gysgod yr Hollalluog. O Arglwydd, caffer ninnau ymysg y rhai a'th ofnant ac a'th garant; felly dy lygaid a fydd arnom a'th aden drosom yn wastad.

## II.

Ni a welwn y fantais o ymarfer ffydd yn Nuw yn ngwyneb amgylchiadau cyfyngaf y bywyd hwn.

Pa fodd y mae Eliseus yn gallu bod yn dawel ei feddwl pan y mae ei lanc, wedi ei lanw âg ofn, yn brawychu yn ddirfawr? Am fod ffydd gan y naill yn canfod yr hyn oedd yn guddiedig oddiwrth y llall. Yr oedd gweinidog gŵr Duw yn gweled y gelynion yn barod i ddal ei feistr, ac yn ofni, o bosibl, y cymerid yntau ymaith gydag ef; a dyna yr holl olwg a'r rhagolwg oedd gan y gwas brawychus, nes yr oedd efe yn penderfynu fod y cwbl drosodd gyda hwy. Ydyw, ydyw! medd ei feddwl cynhyrfus; mae llu mawr y Syriaid wedi dyfod i'n caethgludo, os nid i'n lladd, ac yn debyg o wneuthur hyny yn ebrwydd, cyn i fyddin Israel yn Samaria wybod dim am ein helynt ni yn Dothan. Ond y mae Eliseus, gan fod wedi ei nerthu yn y ffydd, yn sylweddoli y gwarchodlu nefol oedd rhyngddo â'r rhyfelwyr estronol a fynasent ymosod arno. Mae y cerbydau a'r meirch tanllyd mor amlwg o flaen golwg ei ffydd â phe buasent yn weledig i'r llygad noeth; ac am hyny yn nannedd y perygl, mae ei galon yn ddisigl, a'i ysbryd yn ddiofn.

O mor ddedwydd yw y dyn sydd â'i ffydd yn Nuw mewn gweithrediad bywiog? "Efe a breswylia yr uchelderau; cestyll y creigiau fydd ei amddiffynfa ef;" ac yno yn ddiddig a dyddan yr erys, uwchlaw holl dwrf a pheryglon y llawr. "Gwyn ei fyd yr hwn sydd â'i obaith yn yr Arglwydd ei Dduw." Fel hyn y cawn Dafydd, pan yn nghanol rhyw enbydrwydd mawr, pryd yr erlidid ef gan Saul a'i wŷr, yn ymdeimlo yn hapus yn ei Dduw. Yr oedd ganddo rai cyfeillion gwangalon yn llwyr ofni am dano, ac yn ei annog i ddianc i ryw guddfa fynyddig gyda phob brys. Ond ei ateb ef iddynt ydoedd, "Yn yr Arglwydd yr wyf yn ymddiried; pa fodd y dywedwch wrth fy enaid, Eheda i'ch mynydd fel aderyn?" Dyna dy elynion yn parotoi eu saethau i anelu am dy fywyd, meddynt wrtho; os oes genyt ryw noddfa a'th guddia, un mynydd a'th ddiogela, nid oes genyt amser i'w golli; ehêd yno fel aderyn. Ha, medd Dafydd, yn mywiogrwydd ei deimlad ffyddiog, pa fodd yr ydych yn siarad fel hyna wrthyf fi? Mae yn rhy eglur na wyddoch chwi mo y cwbl am danaf eto; nid oes achos i mi ehedeg i fynydd yn y byd; dyma genyf Graig yr oesoedd rhyngof â phob saeth a anelir ataf: "Yn yr Arglwydd yr wyf yn ymddiried." Nid gwroldeb naturiol yw y ffydd hon, ond gwaith Ysbryd yr Arglwydd yn codi dyn uwchlaw natur, codi yr enaid i fyny at

Dduw; a chyda Duw ni raid i ni byth ofni niwed. Llefwn am i Lân Ysbryd Duw roddi ffydd i'r digred, ac ychwanegu y ffydd mewn credadyn.

Gellir cael rhai pobl yn dyoddef llawer mwy oddiar ofni blinder nag a fyddai raid iddynt ddyoddef dan y blinder ei hun, fel y dywed Young yn ei *Night Thoughts* am rywrai:

Who feel a thousand deaths in dying one.

Iё, teimlo mil o farwolaethau mewn ofni un. Ond y mae ffydd yn cymeryd yr ofn blinder, ac ofn angeu, yn risiau i gamrau ymddiried ddringo ar hyd-ddynt yn hwylusach at Dduw. Fel plentyn ar yr heol, oddiar ofni rhyw ormesydd bychan oedd yn ei fygwth, yn rhedeg adref at ei dad, lle y mae yn teimlo fel yn ei gastell, felly y gwna cristion. "Y dydd yr ofnwyf, mi a ymddiriedaf ynot ti." Ac os yw yr ymddiried mabaidd wedi dyfod i mewn, mae yr ofn slafaidd yn gorfod myned allan. "Wele Duw yw fy iachawdwriaeth; gobeithiaf, ac nid ofnaf." Y mae yn boenus i ni weled ambell broffeswr crefydd yn wahanol i hyn, yn ymollwng dan ei faich. Dysgwylid iddo ef, fel un a ddylai ymnerthu yn y gras sydd yn Nghrist Iesu, ddangos yn wyneb adfyd a chystudd ei fod yn mwynhâu tangnefedd, os nid yn profi gorfoledd; ond yn lle hyny, bydd ei agwedd ddigalon megys yn dywedyd, "Paham y dysgwyliaf wrth yr Arglwydd mwy?" Y fath dianrhydedd a ddyry ei anghrediniaeth ar Dduw, yn gystal a'r fath anghysur iddo ei hun! Anweddus ac anghyson i'r rhai sydd yn proffesu eu bod yn blant i'r Arglwydd Hollalluog, yw llwfrhâu yn nydd cyfyngder, oddiar mai bychan yw eu nerth. Annheilwng i'r Duw cadarn yw ffydd wan. Dim ond i ni ymnerthu yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu Ef, ac ni a dynem felusder allan o bob chwerwder, ac a fyddem fyw yn dda yn nghanol marw. Ceisiwn ni ymarfer â Duw bob amser, ac yna ein cysur cryf fydd myned ato fel "Gobaith Israel, a'i Geidwad yn amser adfyd."

## III.

Dysgir ni yma am y cysylltiad sydd rhwng byd yr ysbrydion â'r byd hwn, ac fel y dichon fod rhai yn perthyn i'r byd hwnw yn ein hymyl yn ddiarwybod i ni.

"Amlach yw y rhai sydd gyda ni na'r rhai sydd gyda hwynt," medd Eliseus wrth ei was dychrynedig. Ti a weli eu hamledd hwynt a ddaethant i'n herbyn; ond gwybydd mai amlach—mwy eu rhif, mwy eu nerth, mwy eu dewrder, mwy eu hawdurdod—yw y rhai sydd yma o'n plaid. Oddiar yr un egwyddor ag y mae ammheuwyr neu anffyddwyr yn ein dyddiau ni yn gwadu y fath beth â byd yr ysbrydoedd, am na welsant hwy erioed ddim tebyg i hanfodiad ysbrydion, felly gallasai y gwas hwn fyned i wadu neu ammeu mynegiad ei feistr. Efe a allasai wrthddadleu ac ymresymu ynddo ei hun, Beth sydd ar fy meistr heddyw? Ai breuddwydio y mae, neu a oes rhywbeth fel dyryswch ar ei synwyrau? Mwy wedi dyfod yma o'n hochr ni nag o'r Syriaid sydd yna dan arfau i'n herbyn! Nac oes, ysywaeth, ddim o'r fath beth. Ni welaf fi, ac nis gall neb arall weled, fod yn amgylchynu

y mynydd neb amgen na'r ysgarmeswyr Syriaidd hyn. Ond gyda thystiolaethu wrth y dyn ieuanc am y nawdd a'r diogelwch oedd iddynt, mae y prophwyd yn gweddïo am iddo gael sicrhâd profiadol o wirionedd hyny. Gan ddyrchafu ei enaid at Dduw yn y nefoedd, y mae yn deisyf, "O Arglwydd, agor, attolwg ei lygaid ef fel y gwelo." A chydag iddo draethu ei ddeisyfiad, "yr Arglwydd a agorodd lygaid y llanc," ac ar unwaith wele efe yn cael y drem ogoneddusaf a gafodd erioed: "Wele y mynydd yn llawn meirch a cherbydau tanllyd o amgylch Eliseus." Nid oedd yno yr un wyrth newydd yn cael ei gwneuthur i noddi a nerthu y prophwyd; dim ond cymeryd ymaith yr hyn oedd yn rhwystro y gwas i weled y creaduriaid mawrion ysbrydol oedd yno eisoes. Yr oedd cerbydau a meirch y llu nefol yno yn barod; nid oedd raid cyffwrdd â dim ond â golygon gweinidog Eliseus ar y pryd; rhoddi iddo ar y foment fath o ogoneddiad golwg oedd yn ei alluogi i dreiddio trwy y llèn sydd yn cuddio yr ysbrydol oddiwrth y naturiol; ac mewn amrantiad, dyna olygfeydd hynod ac ardderchog byd yr ysbrydion yn ymdori ar ei welediad. Ar unwaith, gan synu a llawenhâu, mae efe yn gweled llu arall, gwahanol iawn i lu y Syriaid, llu nid o'r ddaear yn ddaearol, myntai nefol fel gwregys goleu-danllyd yn cylchynu y ddinas, yn gylch nês ati na chylch y Syriaid; ysbrydion gwasanaethgar wedi eu hanfon o'r nefoedd i wasanaethu, er mwyn i ŵr Duw aros yn rhydd a diogel.

Beth pe rhoddid i ni yn awr yr un fath welediad ag a gafodd gwas Eliseus y pryd hwnw? Mor ddyeithr ac aruthr yr effeithiai hyny arnom! Ond na feddylier mai anmhosibl a fyddai ein breinio â'r cyfryw gaffaeliad. Mae rhai o'r athronwyr craffaf, yn gystal ag o'r duwinyddion galluocaf, yn dal fod yn y cyfansoddiad dynol—fod mewn dyn ar y ddaear—allu cyfaddas i ganfod bodau a phethau perthynol i fyd yr ysbrydoedd, ac i gadw trafodaeth gyda hwynt, megys y mae genym synwyrau corfforol i ymwneyd â gwrthddrychau corfforol, ond fod y gallu hwnw yn gorwedd ynom yn ddiymarferiad, oddigerth fod achos o bwys anghyffredin i'w alw i weithrediad. Ac ni a dybygem nad oes dim yn afresymol neu yn anghyson yn y syniad hwn. Y mae perthynas agosach a phwysicach rhyngom â'r byd ysbrydol nag sydd rhyngom â'r byd naturiol neu faterol hwn; ac ai anghredadwy y bernir genym fod gan yr ysbryd o'n mewn allu neu synwyr i weled gwrthddrychau o hanfodiad ysbrydol? A phe caem ymarferyd y cyfryw allu—pe llawn agorid llygaid yr enaid, fel y gwneir ryw ddydd—pe cyfodid ef i'r cyflwr pêrlewygol ymha un y gall weled pethau nas medr y llygad corfforol byth eu canfod, O y mawrion ryfeddodau a welem yn y canlyniad! Am amgylchiadau lawer mewn natur a rhagluniaeth, ymha rai y mae y Duw mawr yn dangos ei ofal am ei bobl, ni a ganfyddem eu bod yn cael eu cyflawni trwy offerynoldeb angylaidd. Nis gwyddom ni pa mor fynych, a pha mor effeithiol, y mae angylion Duw yn ymddadleu ac ymdrechu ar ein rhan yn erbyn angylion tywysog y tywyllwch, na'r peryglon lawer y maent yn ein cadw oddiwrthynt, neu y temtasiynau enbyd y dichon eu bod hwy yn ein gwaredu ynddynt neu rhagddynt.

Y mae yn achos o syndod, ac, yn wir, o achwyniad, fod yr athrawiaeth ysgrythyrol am weinidogaeth angylion yn cael ei hesgeuluso a'i hanghofio gan gristionogion yn lled gyffredinol. Anaml y cyfeirir ati

mewn pregethau, ac y rhoddir lle iddi mewn ymdriniaethau duwinyddol, ac mewn ymddyddanion crefyddol. Y clerigwr da a duwiolfrydig, y diweddar Barch. Edward Bickersteth, a ysgrifenai: "Nis gellir esgeuluso un gyfran o'r gwirionedd Dwyfol heb fod hyny yn golled ysbrydol; ac y mae yn rhy amlwg fod athrawiaeth ddofn a chyfriniol Gair Duw ynghylch ysbrydion drwg ac angylion da yn cael ei gadael heibio yn ormodol yn ein hoes ni. Y mae hyn wedi dygwyddo, ar un llaw, oddiwrth ymdaeniad ëang egwyddorion anffyddol, ac ar y llaw arall oddiwrth y sylw anysgrythyrol, eilunaddolgar, ac afresymol, a roddir i'r mater hwn yn Eglwys Rhufain, ymha un y mae yr angylion da yn cael eu haddoli, a'r ysbrydion drwg yn cael eu dwyn ymlaen i gefnogi lledrith. Ond nis ennillir un oruchafiaeth sylweddol ar Babyddiaeth trwy fod yn ddisylw o'r gwirioneddau a lygrwyd ac a gamddefnyddiwyd ganddi. Ein dyledswydd yn hytrach yw tynu ymaith y gwerthfawr oddiwrth y gwael, a dal y gwirionedd syml ac eglur a ddadguddiwyd i ni ac i'n plant; yn y modd hwn y byddwn fel genau Duw i'w bobl (Jer. xv. 19)." A'r hen dduwinydd enwog, Dr. Owen, a ddywed: "Ni threfnodd ac ni ddadguddiodd Duw weinidogaeth angylion yn ddiamcan. Y mae efe yn dysgwyl ardreth o fawl a gogoniant ynglŷn â hyn; a pha fodd y gallwn ei fendithio Ef am yr hyn nas gwyddom ddim am dano? Ein dyledswydd gan hyny yw ymchwilio gyda sobrwydd i'r athrawiaeth hon am weinyddiadau angylion."

Gallwn gredu yn ddibetrus fod nawdd yr Hollalluog er cadwraeth ei saint yn cael ei estyn trwy yr oesoedd i fesur mawr trwy wasanaeth ei angylion ef, megys yn Dothan gydag Eliseus. Addewid hyfryd yw hono, "Am i ti wneuthur yr Arglwydd fy noddfa, sef y Goruchaf yn breswylfa i ti, ni ddygwydd i ti niwed, ac ni ddaw pla yn agos i'th babell." Ac y mae yn werth i ni ddal sylw trwy ba foddion y cyflawnir y fath addewid werthfawr. Yr adnod sydd yn canlyn a ddywed: "Canys efe a rydd orchymyn i'w angylion am danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd. Ar eu dwylaw y'th ddygant, rhag taro dy droed wrth gareg." Ac heblaw eu gwasanaeth i'r saint, yr ydym yn credu mai trwy offerynoldeb angylion hefyd y gweinyddir yn fynych ddialedd Dwyfol ar annuwiolion yn y byd hwn, pan y bydd y llywodraeth oruchaf yn galw am iddo syrthio arnynt. Pe cofnodid gan ysgrifenydd ysbrydoledig y barnau a weinyddir ar bechaduriaid anfad yn yr oes hon, ni a dybiem yr ysgrifenai efe, yn eglurhâd ar farwolaeth arswydus llawer creadur ffroenfalch a rhyfygus, ymadrodd tebyg i hwnw a ysgrifenwyd am ddiwedd Herod yr erlidiwr, "Angel yr Arglwydd a'i tarawodd ef, am na roisai y gogoniant i Dduw."

Onid yw yr ystyriaethau hyn yn cyflwyno i ni feddwl ofnadwy, sydd yn gwaeddi yn uchel arnom, "Byddwch sobr, gwyliwch?" Meddwl ein bod yn ymsymud yn nghanol ysbrydion byw, anweledig i ni; angylion da yn ceisio ein llesâd, ac angylion drwg yn ceisio ein dyfetha! Y mae aneirif fodau ysbrydol o'n hamgylch yn feunyddiol, y rhai sydd yn ein gweled ni; a phe gallem ni eu gweled hwynt fel yr ydym yn gweled ein cyd-ddynion, yn ddiau ni a feddyliem am gadw gwyliadwriaeth ar ein hysbryd a'n hymddygiad ymhob man. Beth a ddywedid am fyrdd o lygaid yn gweled meddwdod y naill, anniweirdeb y llall,

anonestrwydd hwnyma, a chreulondeb hwnacw—am fyrdd o glustiau yn clywed enllib, neu goegddigrifwch, neu gelwyddau mawr a mân pechaduriaid lïaws—a myrdd o ddwylaw yn cofrestru y cyfan? Yr enaid euog trwy bob trosedd ac anufudd-dod yn trysori iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd digofaint, gan sicrhâu iddo ei hun fyrdd o dystion cyflym o flaen brawdle Crist! Cofied pob un, pan fyddo ar ei ben ei hun, heb lygad dynol yn ei weled, fod cydwybod oddimewn yn gweled, angylion oddiamgylch yn gweled, a mwy na'r cwbl, yr Anfeidrol Dduw uwch ben yn gweled. Yr Arglwydd sancteiddiol a roddo i ni burdeb calon, fel na chaffer ni ond yn bur ar bob adeg, ymhob lle, a chyda phob peth.

## IV.

Gallwn yn yr hanes hwn gael drych cyffelybiaethol o effeithiolrwydd gras Ysbryd Duw yn agor llygaid meddyliau dynion.

Yr oedd gwrthddrychau o'r byd arall yn ymyl y dyn ieuanc yn Dothan cyn iddo gael yr agoriad llygaid; ond yr oedd efe heb eu gweled na theimlo dim oddiwrthynt; ac yn debyg iddo, mewn ystyr foesol neu ysbrydol, y mae pob un diadgenedledig. Mae pethau gogoneddus trefn iachawdwriaeth Duw, yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwennychu edrych arnynt, wedi eu dwyn hyd atom oll yn ngoruchwyliaeth ac ordinhadau yr efengyl; ond er hyny y mae llaweroedd yn ddyeithr iddynt, heb gael erioed olwg arnynt. "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef." Yn nhywyllwch natur y mae efe heb y gallu ysbrydol i'w gweled. "Nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Cyflwr yw hwn ar ddyn sydd wrth fodd y diafol; o herwydd y mae efe, fel duw y byd hwn, yn dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywyno iddynt lewyrch efengyl. Mae y llewyrch yn tywynu yn gryf o'u hamgylch hwy; ond gan fod llygaid eu meddyliau wedi eu dallu, nid oes yno ddim tywyniad *iddynt*—yr un llewyrch yn cyrhaedd y galon. Mae anghrediniaeth, a chwant at y byd ac at bechod, yn peri a chryfhâu y dallineb calon; a'r neb sydd yn y cyflwr hwn, "ni ŵyr i ba le y mae yn myned, oblegid y mae y tywyllwch wedi dallu ei lygaid ef."

Ond nid ydyw y rhai sydd yn y cyflwr gresynus hwn heddyw yn ddiobaith. Yr un Gweithredydd Dwyfol oedd gynt yn agor llygaid gwas Eliseus, i weled y llu cedyrn o nerth oedd wedi disgyn o'r uchelder i gadw ei feistr, a all yn awr ddylanwadu yn rasol ar bechaduriaid, "i agoryd eu llygaid, a'u troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw." Pwy a all ddarlunio y cymysg dangnefedd hyfryd a'r parchedig ofn oedd yn meddiannu llanc y prophwyd, wrth gael ei hun wedi ei gylchynu gan y marchogion a'r cerbydwyr tanllyd a anfonasid o'r brenhinllys nefol, i amddiffyn gŵr Duw rhag arfogion Syria? Rhywbeth nid annhebyg yw profiad pechadur wedi i ras y Tragywyddol Ysbryd ei alw allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni Ef. I'r enaid hwn, "yr hen bethau a aethant heibio; wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Yr hen Fibl yr oedd efe wedi cynnefino arno, ac yn rhy ddibarch iddo, y mae ei wirioneddau iddo yn awr fel

pe byddent yn newydd i gyd. Ymsynia a theimla fod ei dystiolaethau yn ogoneddus, ei addewidion yn ddyddanus, a'i orchymynion yn rymus, fel nas gall ond rhoddi ei grêd ynddo, ei serch arno, a'i ufudd-dod iddo. Pa fodd y mae hyn? Nid yw y Bibl ond yr un ag ydoedd yn flaenorol, heb un newidiad arno. Ië, yr un ydyw; ond nid ar y gwirionedd y mae yr Ysbryd Glân yn dylanwadu, ond trwy y gwirionedd ar y deall a'r galon, ac felly yn gwneuthur i'r enaid hwn yr hyn y gweddïai y Salmydd am dano, "Dadguddia fy llygaid, fel y gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di." Nes cael yr agoriad ysbrydol hwn, agoriad deall a chalon, gall dynion fod fel y ddau ddysgybl ar eu ffordd i Emmaus: yr Iesu ei hun yn rhodio yn eu hymyl, ac yn llefaru wrthynt, ond eu llygaid hwynt wedi eu hattal, fel nad adwaenent ef. Ond gyda y dadguddiad, nid trwy gig a gwaed, eithr yn oruwchnaturiol drwy nerthoedd Ysbryd y bywyd, dyma fawr-ragorol ogoniant Crist yn tywynu i'r meddwl, nes yr adnabyddir Ef fel un oll yn hawddgar; ac y mae yr olwg ar ei hawddgarwch Ef yn tywyllu holl degwch daear o flaen yr enaid, megys y mae dyfodiad yr haul yn ei oleuni yn peri i'r sêr guddio eu penau. Dedwydd fyddwn os galluogir ni i ddywedyd gyda yr apostol Ioan, "Efe a roes i ni feddwl, fel yr adnabyddom yr Hwn sydd gywir; ac yr ydym yn y Cywir hwnw, sef yn ei Fab ef Iesu Grist."

Cawn yma wers dda oddiwrth y ffordd y cafodd gweinidog gŵr Duw yr agoriad llygad neillduol. Efe a'i cafodd mewn atebiad i weddi Eliseus. Gweddi, gweddi! gweddi ddiffuant, gweddi ddyfal,—y mae hono eto yn effeithiol yn y nefoedd. Gweddïwn yn ddirgel, gweddïwn yn deuluaidd, gweddïwn yn y gynnulleidfa. Wrth ddarllen a gwrando y gair, gweddïwn am yr agoriad oddi fry. "Agoriad dy eiriau a rydd oleuni," medd y Salmydd. Gweddïwn dros y rhai sydd yn esgeuluso gweddïo drostynt eu hunain, y rhai sydd yn gosod eu holl sylw a'u bryd ar bethau daear ac amser, heb ynddynt duedd na chymhwysder i edrych ar "y pethau ni welir, y rhai sydd dragywyddol." Y dyn sydd â'r Ysgrythyr yn ei law, ond iddo fel llyfr seliedig—yr efengyl yn ei glyw, ond efe heb weled erioed degwch y Person gogoneddus yr efengylir am dano, y weddi gymhwys ar ei ran ydyw, "O Arglwydd, agor, attolwg, ei lygaid ef fel y gwelo." Tywyll a thlawd, yn wir, yw enaid heb "oleuni y bywyd;" ac os nad yw yn gweddïo am hyny, y mae efe yn ddiofal yn "meddiant y tywyllwch," ac yn prysuro ei hynt tua thywyllwch eithaf. Gweddïwn oll am i Dad y trugareddau drugarhâu wrthym, a'n "goleuo â goleuni y rhai byw," yn ernes a blaenbrawf o'r "etifeddiaeth yn y goleuni" yn dragywydd.

ROGER EDWARDS.

---

# DOSBARTHIAD BYWYD AR WYNEB Y DDAEAR.

NID oes odid yr un gangen o wyddoniaeth ag yr ymddangosai yr efrydiaeth o honi, ar yr olwg gyntaf, yn llai tebyg o ddwyn ffrwyth gwerthfawr na'r un am Ddosbarthiad Bywyd. Mae y gallu i ymsymud sydd gan y rhan fwyaf o anifeiliaid, a chan adar yn enwedig, i raddau mor helaeth, yn gwneuthur eu mynediad o un ranbarth i un arall mor hawdd fel y gellid yn rhesymol dysgwyl mai yma, os yn unman, y ceid "teyrnasiad mympwy" yn cymeryd lle "teyrnasiad deddf." Nid ydyw y ffeithiau, fodd bynag, yn cyfiawnhâu y dysgwyliad hwn.

Y mae yn wybyddus er ys llawer o amser fod gwahanol wledydd yn cael eu nodweddu gan wahanol gasgliadau o anifeiliaid a phlanhigion, neu a defnyddio y celfeiriau, gan wahanol *fauna* a *flora*. Pan gyntaf y darganfyddwyd America fe welwyd fod ffurfiau o fywyd a breswylient y wlad newydd yn dra gwahanol i rai yr hen fyd. Yr oedd y ffurfiau Dwyreiniol, megys yr elephant, y rhinoceros, y camel, yr hippopotamus, y buffalo, y march, yr asyn, y llew, y teigr, yr epa, a'r baboon, yn anadnabyddus yn nghyfandiroedd Gorllewinol Gogledd a Dehau America, tra yr oedd ganddynt fathau hollol ddyeithr i'r hannercylch Dwyreiniol, megys y tapir, y lama, y peccari, y puma, y sloth, a'r epa hirgynffonog. Drachefn, fe fyddai i Brydeiniwr a ymwelai âg Awstralia, ac a weithiai i wylltdiroedd y wlad hono, ei gael ei hun wedi ei amgylchu â ffurfiau o fywyd tra gwahanol i'r hyn adawsai ar ol. Yn lle llwynogod a chwningod, fe welai *kangaroos* a *wombats;* ac yn lle hedyddion, llinosion, a bronfreithion y wlad hon, fe welai *paroquets*, *cockatoos*, ac adar Paradwys. Fe ganfyddai ar unwaith nad yw y gwahaniaeth yma yn ddyledus yn unig i bellder. Oblegid pe yr estynai ei ymdaith ymlaen i Japan, fe'i cai ei hun yno ymysg adar a chreaduriaid pedwartroed tra gwahanol i rai Gorllewinol Ewrop, er fod Japan mor bell o Loegr ag ydyw Awstralia.

Mae yn debyg y byddai i hinsawdd ei awgrymu ei hun fel prif achos y gwahaniaeth hwn mewn anifeiliaid a phlanhigion. Ond fe ellir yn hawdd dangos fod hinsawdd, er yn ddiammeu yn gweithredu i ryw raddau, yn annigonol i esbonio yr holl ffeithiau. A chymeryd yr hen fyd a'r byd newydd, gan deithio o ogledd i ddehau y cyfandiroedd Americanaidd, yr ydym yn cael y gwahaniaeth mwyaf mewn hinsawdd —o hinsawdd pegynol Labrador i hinsawdd trofegol canolbarth America; eto y mae y gwahaniaeth rhwng anifeiliaid a phlanhigion Labrador, gyda'i hinsawdd pegynol, a Florida, gyda'i hinsawdd trofegol, yn llawer llai na'r gwahaniaeth rhwng rhai Florida ac Ynysoedd Bahama, ychydig filldiroedd i'r dwyrain yn yr un lledred. Ymhellach, nid oes nemawr hinsawdd neu ansawdd yn yr hen fyd na ellir cael eu cyffelyb yn y newydd; ac eto y mae anifeiliaid a phlanhigion y ddau yn hanfodol wahanol. Drachefn, os cymharwn ranbarthau o dir yn

Awstralia, Dehau Affrica, a Dehau America, rhwng y lledredau 25° a 35°, ni a gawn ranau ydynt yn dra thebyg yn eu holl ansoddau; eto ni fyddai yn bosibl nodi tri chasgliad o anifeiliaid a phlanhigion mwy cwbl wahanol.

Os nad ydyw y gwahaniaeth yn ddyledus i hinsawdd, pa fodd ynte y gellir ei esbonio? Wrth daflenu a chymharu anifeiliaid a phlanhigion y gwahanol gyfandiroedd ac ynysoedd, yr ydys yn cael ar y cyfan mai po anhawddaf myned drosto ydyw y terfyn, *barrier*, rhwng dwy wlad, mwyaf ydyw y gwahaniaeth rhwng eu hanifeiliaid a'u planhigion. Fe ddeallir fod y gair terfyn yn cael ei ddefnyddio yn yr ystyr eangaf fel yn golygu unrhyw beth sydd yn gwahanu dwy ranbarth o dir fel ag i attal rhwydd fynediad anifeiliaid o'r naill ranbarth i'r llall. Y môr ydyw y terfyn mwyaf i anifeiliaid y tir, ac felly mae yn canlyn mai po ddyfnaf a lletaf y môr fo yn gwahanu dwy wlad, mwyaf ydyw y gwahaniaeth yn y ffurfiau o fywyd sydd yn eu preswylio. Y mae cadwyni uchel o fynyddoedd hefyd, a diffeithdiroedd ac afonydd mawrion, i ryw raddau, yn gwneyd terfynau, ac y mae gwahaniaethau cyfatebol mewn bywyd ar bob ochr iddynt. Paham y mae felly?

Cyn cynnyg atebiad i'r cwestiwn hwn, fe fydd yn dda wynebu yr anhawsder o gyfeiriad arall; ac yma rhaid i ni aros i ddeffinio gair a gyfarfyddir yn fynych ar ol hyn, sef y gair *math*, "species." *Math yw cyfanrif yr holl rai tebyg o unrhyw anifail sydd yn awr yn fyw, neu a fu yn fyw.* Fe geir fod pob *math* yn trigianu mewn rhan benodol o arwyneb y ddaear; mewn geiriau eraill, fod lleolrwydd neu fodolaeth mewn man neillduol, yn gymaint priodoledd mewn anifeiliaid ag ydyw eu ffurf-wneuthuriad arbenig. Cymerwch, er engraifft, y llew. Mae gan y llew ffurf-wneuthuriad neillduol, llun a lliw, sydd yn gwneyd i fyny ei nodweddion arbenig; ond heblaw hyny y mae hefyd briodoledd arall, sef y briodoledd o leolrwydd. Nid ydyw y llew i'w gael yn awr ond mewn rhanau o Affrica a de-orllewin Asia i fyny hyd ganolbarth India, yr hyn a enwir "llanerch y math," *specific area*, neu ei "gylch," ei *range*. Heblaw y llew, y mae mathau eraill sydd yn perthyn yn agos iddo, ac y mae i bob un o honynt ei gylch neillduol ei hun,—megys y teigr yn nghanolbarth a deheubarth Asia; y gath wyllt yn Ewrop; y puma yn nghanolbarth a deheubarth America. Fel hyn y mae i bob math ei gylch neillduol ei hun. Nid ydyw y llew i'w gael yn Asia na'r puma yn Affrica. Mae yr holl fathau hyn, ynghyd a rhai eraill, yn gwneyd i fyny y rhywogaeth, neu y *genus* "*Felis*," y Cathfilod,—*rhywogaeth* yn golygu casgliad o fathau sydd yn perthyn yn agos i'w gilydd, y rhai sydd â nodweddion neillduol o ffurf-wneuthuriad yn gyffredin iddynt. Mae y rhywogaeth *Felis*, gan hyny, yn cynnwys pob gwahanol fathau o gathod, ac yn cael ei wahaniaethu oddiwrth bob rhywogaethau eraill gan nodweddion neillduol—trefniad dannedd, aelodau, ac organau tumewnol—y rhai ydynt yn gyffelyb mewn pob math neu *species* o'r rhywogaeth *Felis*, ond na cheir gyda'u gilydd mewn mamolion eraill. Yn awr, yn union yr un modd ag y mae i bob *math* gylch neu *range* neillduol dros arwyneb y ddaear, felly y mae i'r *rhywogaeth* gylch neillduol, a elwir "llanerch y rhywogaeth," *generic area*, fel y gelwid y llall yn "llanerch y math," neu *specific area*. Mae llanerch y rhywogaeth, wrth reswm, yn cael ei gwneyd i fyny o gydgasgliad llanerchau y mathau; a gall y naill neu y llall fod yn fawr neu yn fach. Yn

achos y *Felis*, y Cathfilod, y mae yn fawr iawn, yn cynnwys ymron yr holl fyd oddieithr Awstralia, New Zealand, a Madagascar. Mewn achosion eraill y mae llanerch y rhywogaeth yn fechan; er engraifft y mae rhywogaeth y kangaroos, *Macropus*, yn gyfyngedig i Awstralia. Y mae llanerchau y gwahanol fathau yn fynych yn ymestyn dros derfynau eu gilydd, fel hefyd y gwna llanerchau y rhywogaethau; felly y mae y teigr i'w gael yn nehau a chanolbarth Asia, a'r llew yn Affrica a de-orllewin Asia. Yr ydym gan hyny, ar y cyfan, yn gweled *fod pob math i'w cael mewn llanerch neillduol ar wyneb y ddaear, a'r un modd fod pob rhywogaeth a theulu, neu gasgliad uwch o fathau, i'w cael mewn llanerch neillduol ar wyneb y ddaear.* Ac yn awr y mae hyn yn ein dwyn yn ol drachefn at y cwestiwn â pha un y cychwynasom: Paham y mae gwahanol wledydd yn cynnwys gwahanol fathau o anifeiliaid a phlanhigion? Neu mewn geiriau eraill, Paham y mae lleolrwydd yn briodoledd creaduriaid byw?

Nid ydyw yn angenrheidiol myned i mewn yma i ymdriniaeth ar y cwestiwn tra anhawdd o darddiad mathau, *the origin of species.* Ni a gymerwn yn ganiataol yn unig fod pob math wedi ymddangos gyntaf mewn un lanerch,—hyny yw, na chynnyrchwyd erioed yr un math yn annibynol mewn dwy neu ychwaneg o wahanol ranbarthau, nac ar yr un pryd nac ar wahanol amserau. Y mae hyn yn hollol gyson âg unrhyw olygiad a allwn gymeryd am darddiad y gwahanol fathau o fywyd.

Y mae mathau, gan hyny, ar ol iddynt unwaith gael eu ffurfio, wedi ymdaenu i lanerchau eraill trwy ymfudiad.

Fod y golygiad yma am un canolbwynt o fathau, o leiaf yn debygol, a ddangosir gan yr ystyriaethau a ganlyn.

Mewn gwahanol wledydd, yn cael eu gwahanu y naill oddiwrth y llall gan gefnfor, lle mae yr ansoddau anianyddol yn gyffelyb, yr ydym yn cael, nid yr *un* mathau, ond rhai mewn agos perthynas, neu fathau *cynnrychioliadol;* ond mewn gwledydd sydd wedi eu cysylltu ac yn rhedeg i'w gilydd, y mae yr *un* mathau yn cynniwair. Nid ydyw llew Affrica i'w gael yn nehau America, er fod rhanbarthau yn y cyfandir diweddaf ymha rai y mae yr hinsawdd a'r ansoddau anianyddol yn dra chyffelyb i'r rhai sydd yn ffynu yn y parthau a fynychir gan y llew. Ond yn nehau America, nid y llew a geir, ond math arall sydd yn perthyn yn agos iddo, y puma. Dyma fwystfil cig-fwytäol mawr dehau America, yr hwn sydd yn gwneyd yr un gwaith ac ymhob ffordd yn cynnrychioli llew yr hen fyd. Drachefn y mae camel yr hen fyd yn cael ei gynnrychioli gan y lama yn y newydd. Y mae epäod y byd newydd hefyd yn perthyn i fath gwahanol i rai yr hen fyd. Mae epäod yr hen fyd, y *catarrhini*, a'u ffroenau ar bob ochr i'w trwyn yn cael eu gwahanu gan fadruddyn teneu, yn meddu codenau mawrion yn eu bochau, a chanddynt 32 o ddannedd, a chynffonau bychain, neu heb gynffonau; ond y mae epäod y byd newydd, neu y *platyrrhini*, a'u ffroenau yn llydain ar wahân yn mhen y swch, heb ddim boch-godenau, yn meddu 36 o ddannedd, a chanddynt gynffonau hirion gafaeliog. Drachefn y mae creaduriaid pedwartroed Awstralia yn perthyn, nid yn unig i fathau gwahanol i rai yr hen fyd, ond i ddosbarth hollol wahanol, sef y dosbarth *Marsupial*, sef rhai â chodau dan eu boliau. Eto mae y bolgodogion hyn yn dangos cyfres o ffurfiau cyfatebol i rai parthau

eraill y byd. Mae rhai yn ymborthi ar lysiau, fel y *kangaroos* ; mae eraill yn gig-fwytäol, fel blaidd Tasmania. Mae yn eglur nad ydyw hyn yn ddyledus i'r ffaith nad ydyw y ffurfiau sydd yn trigianu mewn un lanerch yn alluog i fyw yn y lleill; oblegid er pan mae y march, yr ych, y ddafad, y ci, &c., wedi eu dwyn i mewn i Awstralia, dehau America, Affrica, &c., y maent wedi ffynu yn rhyfeddol, yr hyn sydd yn dangos fod yr hinsawdd a'r ansoddau eraill yn ffafriol i raddau helaeth iawn. Yn awr pe buasai yr un mathau wedi eu cynnyrchu mewn amryw wahanol ranau o'r byd—mewn gair, yn y manau hyny oeddent gyfaddas i'w cynnal—paham na fuasai defaid yn gynhenid i Awstralia, a phaham na fuasai meirch wedi eu galw i fodolaeth yn ngwastadeddau ffrwythlawn dehau America, lle yr ymwibiant yn awr yn yroedd anferth,—disgynyddion y rhai a ddygwyd i mewn gan yr Yspaeniaid ar ol darganfod y wlad.

Ymhellach, fe ymddengys mewn rhai achosion fod y math sydd yn trigianu mewn un lanerch mewn gwirionedd yn fwy cyfaddas i fyw mewn gwlad arall na'r ffurfiau hyny sydd yn gynhenid i'r cyfryw wlad. Fe sylwyd bod planhigion Ewropëaidd wedi eu cymeryd i New Zealand yn ymledu gyda'r fath gyflymdra ac yn tyfu mor gryfion fel ag mewn rhan fawr i gymeryd lle, ac ymron i yru ymaith, rai o'r ffurfiau brodorol. Y mae meillion gwyn, *clover*, yn dangos y bywyd a'r tyfiant rhyfeddol yma. Un o'r pläau mwyaf ar diroedd diwylliedig ydyw suran yr yd, *sheep's sorrel* y wlad hon, yr hon a ymdaena gyda'r fath gyflymdra pan unwaith y caiff feddiant o'r tir, fel mai prin y gellir sicrhau unrhyw gnydau cyffredin. Ond ni all hyd yn nod y chwŷn yma weithio ei ffordd yn erbyn meillion. Os ydyw daear New Zealand, ynte, mor hynod gyfaddas i feillion gwyn, paham na fuasai y planhigyn hwnw wedi ei ffurfio yn arbenig yn New Zealand, yn gystal ag yn y cyfandir Ewrop-Asiaidd, os ydyw mathau bob amser wedi ymddangos yn gyntaf yn y manau lle mae yr ansoddau yn gyfaddas iddynt ?

Y mae hyn, ynghyd a phrofion eraill, yn dangos yn amlwg y rhaid i ni syrthio yn ol ar ganolbwyntiau unigol o fathau.

Os cymerwn yn ganiatäol nad ydyw pob math wedi tarddu ond mewn un lanerch, ac yna wedi ymdaenu i lanerchau eraill trwy ymfudiad, mae yr anhawsderau yn diflanu; oblegid ni raid i ni ond tybied fod y march, yr ych, defaid, a meillion gwyn wedi tarddu ar y cyfandir Ewrop-Asiaidd, ac nad ydyw Awstralia a New Zealand erioed wedi bod mewn cysylltiad â'r cyfandir er pan mae y ffurfiau hyny wedi ymddangos, fel na allai yr hâd gael cyfleusdra i ymfudo i'r gwledydd hyny. Ar y dybiaeth yna, mae yn hawdd deall paham na cheid hwynt yn y gwledydd hyny y rhai yn awr sydd yn troi allan mor berffaith gyfaddas iddynt.

Gadewch i ni yn awr ystyried y moddion trwy ba rai y mae mathau yn ymdaenu o'r canolbwynt lle y tarddant. Y maent yn ymdaenu trwy ymfudiad. Rhaid deall y gair ymfudiad yn yr ystyr mwyaf ëang fel yn golygu gwasgariad ffurfiau bywydol trwy oruchwyliaethau naturiol, ac nid mewn un modd fel yn golygu cyfaddasiad ymwybodol moddion i gyrhaedd dybenion.

Mae yn ymddangos fod pob math, anifeilaidd a phlanhigol, yn tueddu at liosogi yn gyflym ac i estyn ei gylch dros lanerch mor ëang ag a

fyddo yn bosibl. Mae y lledaeniad yma, os yw y creadur yn feddiannol ar allu i ymsymud, yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan gymhellion chwant naturiol, yn neillduol yr awydd am ymborth. Fel y mae unigolion yn lliosogi, y mae y math yn lledaenu, nes y mae hyny yn cael ei attal naill ai gan ryw derfyn naturiol neu gan ryw fath arall sydd mewn cydymgais â hwynt, sydd eisoes mewn meddiant neu yn fwy cyfaddas i'r tir neu i hinsawdd y rhanbarth. Ymhellach, heblaw y tueddiadau cyffredin hyn i ëangu y cylch wrth ymofyn am ymborth, y mae greddf neillduol at ymsymud yn ymddadblygu mewn rhai mathau ar ol tymmor anarferol o eppilgar, neu pan y dygwydda prinder mawr o ymborth dros lanerch ëang. Yn ystod gauafau llymion y mae niferi mawr o eirth duon yn ymfudo o Canada i'r Unol Daleithiau, er, dan amgylchiadau cyffredin, eu bod yn aros yn y gogledd ac yn gauafu yno. Fe ddywedir fod gwiwerod cyffredin yn Lapland ac mewn lledredau uchel eraill, pryd bynag y gorfodir hwynt gan ddiffyg ymborth i adael eu trigfanau cyffredin, yn ymfudo mewn niferi anferth ac yn ymdaith ar eu hunion ymlaen, heb adael i greigiau na choedwigoedd na'r dyfroedd lletaf eu troi oddiar eu llwybr. Fe ddywedir fod yr un peth yn wir am lygod yn Norway a Kamschatka. A gellid ychwanegu engreifftiau o'r un natur yn ddiderfyn.

Mae y lledaeniad yma ar ffurfiau bywyd yn cael ei ddwyn ymlaen ymhellach trwy foddion y tu allan i'w dewisiad. Mae anifeiliaid weithiau yn cael eu cludo ar glwyden o iâ. Mae eirth pegynol wedi bod yn cael eu cludo ar rew o Greenland i Iceland. Ac yn y trofegau, y mae cludeiriau nofiawl o goed sydd yn myned i waered hyd yr afonydd mawrion, yn fynych yn dwyn gyda hwynt amrywiol anifeiliaid a phlanhigion. Fe ddywed Spix a Martins iddynt yn ystod eu teithiau ar yr Amazon mewn *canoe*, yn fynych weled ar y cludeiriau hyn ac ar gyffion coed mawrion, gasgliadau tra hynod o anifeiliaid. "Ar un gludair yr oedd amryw giconiäod sobrddwys, yn clwydo wrth ochr nifer o epäod. Ar un arall fe welid nifer o hwyaid a throchyddion yn eistedd gerllaw bagad o wiwerod; tra ar baladr cedrwydden bydredig yr oedd afanc neu grocodil anferth yn ymestyn wrth ochr dywalgath, *tiger cat*, y naill a'r llall yn edrych ar eu gilydd gyda gelyniaeth ac anymddiried, ond y cyntaf yn amlwg yn fwyaf tawel fel yn ymwybodol o'i ragoriaeth mewn cryfder."

Mae planhigion yn cael eu gwasgaru yn gwbl trwy foddion anuniongyrchol. Mae hadau yn cael eu chwythu gan y gwyntoedd; mae eraill yn meddu darpariaethau neillduol trwy ba rai y maent yn glynu yn mlew anifeiliaid, ac felly yn cael eu gwasgaru; tra y mae eraill yn cael eu dwyn oddiamgylch gan adar, ac felly yn cael eu dosbarthu dros lanerchau ëang. Y mae Darwin yn cofnodi fel y llwyddodd oddiwrth belen o bridd 6¾ wns o bwysau, a lynai wrth goes petrisen, i godi dau a phedwar ugain o wahanol blanhigion, a'r rhai hyny yn perthyn i bump o wahanol fathau. Felly trwy ymfudiad, a defnyddio y gair yn ei ystyr ëangaf, y mae mathau yn lledaenu.

Wrth gymharu ffurfiau bywyd mewn gwahanol ranau o'r byd, fe gaed ei fod yn bosibl dosranu arwyneb y ddaear i ranbarthau, pob un yn cael ei nodweddu gan gasgliadau neillduol o fathau a rhywogaethau. Fod y rhaniadau hyn yn seiliedig ar egwyddor naturiol a brofir

gan y ffaith, pa gynnulliad bynag o anifeiliaid neu blanhigion a astudir y ceir fod yr un prif ranbarthau o ddosraniad yn bodoli. Fe weithiwyd allan y dosraniad yma gyntaf trwy y teulu o anifeiliaid lleiaf tebygol o roddi casgliadau y gellid ymddiried ynddynt, sef adar; ac wedi hyny pan astudiwyd dosranau eraill o'r deyrnas anifeilaidd, fe gaed fod y dosbarthiad a seiliasid ar ddosraniad adar yn dal. Mae y dosraniadau fel y canlyn, gyda rhai o'r ffurfiau sydd yn perthyn yn neillduol i bob un:—

I. Y Rhanbarth Ewrop-Asiaidd, neu *Palœarctic*, yn cynnwys rhan o Ewrop, llain o Ogledd-Affrica ac Asia, gan gau allan India. *Neillduol:* Tyrchod, daearfoch, defaid, geifr, carw mwsg, iwrch, alp-afr, pathew, camel, &c.

II. Y Rhanbarth Ogledd-Americanaidd, *Nearctic*, yn cynnwys Gogledd America. *Neillduol*: Llygod codenog a llygod Califfornia, *prong-horn antelope*, ci y *prairie*, *porcupine* Canada. Mae yr anifeiliaid mamol cyffredin fel rhai Ewrop-Asia, oddieithr fod y rhai canlynol yn absennol,—draenogiaid, ceffylau, asynod, moch, geifr, pathewod, &c.

III. Y Rhanbarth Dde-Americanaidd, *Neotropical*, yn cynnwys De-America, a Chuldir Panama. *Neillduol:* Epäod *platyrrhini*, *marmosets*, ystlumod gwampyr, *chinchellas*, *sloths*, *armadilloes*, *ant-eaters*, *rheas*.

IV. Y Rhanbarth Affricanaidd, *Ethiopian*, yn cynnwys Affrica i'r de o'r Sahara. *Neillduol:* Yr *aard-flaidd*, hippopotamus, camelopard, *ant-eaters* y Penrhyn, hefyd *baboons*, epäod, lemuriaid, math neillduol o foch, ac amrywiaeth mwy o *antelopes* nag a geir mewn un rhanbarth arall. Dim eirth, na cheirw, na defaid, na geifr.

V. Y Rhanbarth Awstralaidd, yn cynnwys Awstralia, New Zealand, a rhai o Ynysoedd Ynysfôr Malay. Ymron yn gwbl amddifad o famoliaid cyffredin, dim ond ychydig o ystlumod a chnofilod a bolgodogion (*marsupials*).

VI. Y Rhanbarth Ddwyreiniol neu Indiaidd, yn cynnwys India a rhan o China. *Neillduol:* Lemuriaid hedegog, epäod, *civets*, *antelopes*, a chnofilod. Adar yn dra nodweddiadol a neillduol.

Rhaid peidio tybied fod y taleithiau neu y rhanbarthau hyn yn cael eu nodi allan gan linellau amlwg yn eu gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd. Ar gyffiniau dwy dalaeth lle y gwnant ran o un cyfandir, fel yn y rhanbarthau *Palœarctic*, Indiaidd, ac Ethiopiaidd, y mae wrth reswm gymysgedd ffurfiau.

Y mae rhai neillduolion i'w cael yn nosbarthiad anifeiliaid mewn rhai rhanbarthau ag ydynt deilwng o sylw. Er engraifft, yn Ynys Japan mae yr adar, y mamoliaid, a'r llyffanolion o ffurf *palœarctic*. Mae yr adar o nodwedd Ewropëaidd, a dywedir fod dros gant o'r un mathau â'r rhai Ewropëaidd. Mae astudiaeth nadroedd Japan, sut bynag, wedi dwyn i'r golwg y ffaith ddyeithr eu bod o ffurfiau Indiaidd, ac nid *palœarctic*. Hyny yw, tra y mae anifeiliaid uchaf Japan yn perthynu i rai Ewrop a Gogledd-Asia, mae y nadroedd, &c., yn perthynu i rai India. Pa eglurhâd a ellir roddi ar hyn? A chymeryd ei fod yn wir fod pob math wedi tarddu yn unig mewn un lanerch, a chan ystyried y ffaith fod cyfres o Ynysoedd yn ymestyn o Japan i Orynys Kamschatka, yr hyn sydd yn dangos y rhaid mewn rhyw gyfnod blaenorol fod cysylltiad tirol rhyngddynt, yr ydym yn

gweled fod Japan y pryd hyny wedi derbyn trwy ymfudiad o'r rhanbarth *Palæarctic* ei hadar a'i mamolion, y rhai ydynt o ffurfiau Ewropëaidd ac Asiaidd. Ond gan fod nadroedd yn deulu trofegol, y maent yn lleihâu fel yr awn i'r gogledd a'r de oddiwrth y cyhydedd, ac nid ydynt i'w cael yn fwy i'r gogledd na lled. 62; felly ni cheid hwy can belled i'r gogledd a'r pwynt lle yr oedd y cysylltiad tirol rhwng Asia a Japan, ac am hyny ni allai nadroedd gyrhaedd Japan. Yn ddiweddarach fe gysylltwyd Japan ar yr ochr ddeheuol â'r rhanbarth Indiaidd. Fe ddechreuai y nadroedd Indiaidd ar unwaith ymfudo i'r llanerch newydd, a byddai yn hawdd iddynt ymsefydlu mewn rhanbarth lle nad oedd nadroedd yn bodoli. Fe gyfarfyddai yr anifeiliaid uwch o'r rhandir Indiaidd boblogaeth *palæarctaidd* oedd eisoes mewn meddiant, y rhai a fyddent yn gwbl alluog i ddal eu tir yn erbyn ffurfiau mwy trofegol o'r de.

Y mae pwynt arall tra dyddorol gwerth sylwi arno, a hyny yw fod Affrica i'r gogledd o'r Sahara, yn perthynu i'r rhanbarth Ewropëaidd, ac nid i'r un Affricanaidd. Fe ddengys ymchwiliad i famolion Algeria fod 57 o fathau o ffurfiau Ewropëaidd, tra y mae 7 neu 8 yn Affricanaidd, ac mae yr oll o'r rhai olaf yn cynniwair y diffaethwch, gan feddu cylch ëang.* Y mae hyn yn dangos, wrth reswm, fod Ewrop a Gogledd Affrica, mewn amseroedd diweddar, yn un, tra y rhaid fod y Sahara yn fôr a wahanai Ogledd Affrica oddiwrth y rhanbarth Ethiopiaidd i'r de; ac y mae diffaethwch Sahara yn awr yn gwneyd terfyn mor effeithiol ymron ag a wnelai cefnfor.

A oes genym brawf arall fod y fath gysylltiad tirol yn bod mewn amseroedd diweddar? Oes, y mae plymiadau wedi dangos fod tair cefnen tanforawl yn ymestyn ar draws môr-wely y Canoldir o Affrica i Ewrop; un wrth Gibraltar, un arall trwy Corsica a Sardinia, a'r llall o Sicily i Italy. Ar hyd y llinellau hyn mae y môr mor fâs fel y byddai i gyfodiad y môr-wely ychydig gannoedd o droedfeddi sefydlu cysylltiad tirol rhwng Affrica ac Ewrop. Y mae prawf cadarnhäol tra dyddorol yn tueddu i ddangos fod y cysylltiad tirol hyd y cefnau hyn, yn codi oddiar astudio ymfudiadau adar. Fe geir fod yr adar hyny sydd yn ymfudo i'r de i gyfandir Affrica yn ystod y gauaf, yn croesi y Canoldir yn unig mewn pwyntiau sefydlog penodol. Y pwyntiau hyny ydynt,—1. Culfor Gibraltar. 2. O Tunis i bwynt deheuol Sardinia, a heibio i Sardinia a Corsica i fôrgainc Genoa. 3. O Tripoli heibio i Melita a Sicily i Italy. 4. O'r Aipht heibio i Cyprus i Asia Leiaf. Yn awr nid ydyw yn ymddangos fod y pwyntiau hyn yn cael eu dewis oblegid eu bod ymhob amgylchiad yn dangos y ffordd feraf, oblegid fe fyddai yn llawer cynt nag o Tripoli i Melita, i fyned o Benrhyn Bon i bwynt gorllewinol Sicily. Paham gan hyny y mae yr adar yn cymeryd y llinellau neillduol hyn? Y casgliad i ba un y mae adaryddion, *ornithologists*, wedi dyfod ydyw, fod yr ymfudiad wedi dechreu yn dra phell yn ol, mewn amser pan oedd Gogledd Affrica wedi ei gysylltu âg Ewrop yn y pwyntiau hyny, ac fod yr adar yn naturiol yn ymfudo ar hyd y gwddfdiroedd; fod y tir yn araf ac ymron yn anghanfyddad-

* Y rhai hyn ydynt yr *antelope*, math o epa, y llew, y llewpard, y *cerbal*, a'r llewpard helwriaethol. Gwibia y rhai hyn trwy yr oll o Affrica.

wy yn myned i lawr, ac fod yr adar, flwyddyn ar ol blwyddyn, yn cymeryd yr un llwybr yn ol yr arferiad sefydlog oedd wedi ei ffurfio trwy genedlaethau o wneyd yr un peth; fel, wedi i'r cysylltiad tirol gael ei ysgaru yn gwbl, y mae yr adar ymfudol eto yn glynu wrth yr un hen linellau i fyned drosodd.

Y mae dosbarthiad bywyd mewn Ynysoedd yn dangos amryw nodweddion dyddorol. Mae yr Ynysoedd hyny sydd yn wirioneddol gefnforawl—pa un bynag ai llosgfynyddol ai cwrelaidd o ran eu tarddiad—y rhai nad oes un rheswm i gredu iddynt erioed fod mewn cysylltiad â chyfandir, yn cael eu nodi gan absennoldeb creaduriaid pedwartroediog. Fel engraifft, fe ellid cymeryd yr Azores. Y maent yn gynnwysedig o nifer o Ynysoedd tua 900 o filldiroedd i'r gorllewin o Portugal. Mae y rhan o'r cefnfor sydd yn eu gwahanu oddiwrth Ewrop yn 2500 o wrhydau o ddyfnder, ac mae yn sicr na fuont erioed mewn cysylltiad âg Ewrop. Nid oedd yr Ynysoedd hyn, pan ddarganfyddwyd hwynt, yn cynnwys dim mamolion tirol, dim ymlusgiaid, nadroedd, hyena, neu lyffaint, na dim pysgod dwfr croew; ond yr oedd ynddynt greaduriaid hedegog, adar a thrychfilod mewn helaethrwydd. Mae y cwningod, gwencïod, llygod, &c., sydd i'w cael yno yn awr, wedi eu dwyn yno gan ddynion. Mae yr adar a'r trychfilod oll yn perthynu i fathau Ewropëaidd. Pa fodd y darfu i'r ffurfiau hyn gyrhaedd yr Azores o Ewrop? Yn ystod ystormydd y mae adar yn barhâus yn cael eu chwythu i'r Ynysoedd hyn o Ewrop, ac ni all fod ond ychydig ammheuaeth na ddarfu i'r ffurfiau sydd yn awr yn eu trigianu gael eu hunain ynddynt trwy ddamwain yn ystod ystormydd. Mae hyn yn cael ei gadarnhâu trwy y ffaith fod y mathau o adar yn fwy llïosog yn yr Ynysoedd nesaf i Ewrop. O'r tri thŵr o'r Azores, cynnwysa yr Ynysoedd nesaf i Ewrop 40 math o adar; y tŵr canol 36 math; a'r tŵr pellaf, sef y gorllewinol, 29 math. Mae y planhigion yr un modd yn perthyn i fathau Ewropëaidd.

Mae Ynysoedd cyfandirol, sef Ynysoedd fel Prydain sydd yn agos at gyfandir, y rhai mewn rhyw amser blaenorol a fuont yn un â'r cyfandir hwnw, yn cael eu preswylio gan ffurfiau cyffelyb i'r rhai ar y cyfandir.

Fod Prydain Fawr yn gysylltiedig âg Ewrop mewn amseroedd diweddar, a ddangosir nid yn unig gan gyffelybrwydd yr anifeiliaid a'r planhigion, ond hefyd gan y prawf o goedwigoedd tan-suddedig a gafwyd mewn amrywiol fanau ar gyffiniau Cymru a Devon a Cornwall. Fe geir boncyffion coed islaw y gorllanw wedi eu claddu yn y tir ar ba un y tyfent; ac mae yn amlwg, pan oedd y coedwigoedd hyny yn bodoli, y rhaid fod y tir ar lefel uwch nag y mae yn awr, oblegid ni allai coed a olchid gan y llanw fyw. Mewn rhanau o Scotland y mae tylliadau trwy y clai crynfaen, *boulder*—gweddill o'r amser pan oedd iaansoddau yn ffynu yn y wlad—wedi dadguddio mewn dyfnder o 200 o droedfeddi fodolaeth hen afon-ddyffrynoedd. Mae yn rhaid ynte fod y tir yn yr amseroedd hyny yn sefyll yn llawer uwch uwchlaw lefel y môr nag y gwna yn awr. Yr ydym yn cael yn y gwaddodion a ffurfiwyd cyn i'r cyfnod iâaidd ddechreu, weddillion anifeiliaid trofegol, megys yr elephant, hippopotamus, y llew, a ffurfiau eraill, y rhai a gyfyngir yn awr i Affrica. Y pryd hyny yr oedd Prydain yn rhan o'r tirlanerch Ewropëaidd dros ba un y gwibiai y creaduriad hyny. Fe

ddarfu i oerni yr amseroedd iâawl eu gyru tua'r de, ac fe ddarfu i'r tansuddiad—o ba un y mae genym brawf yn y tywod, yn cynnwys cregyn diweddar, ar Foel Tryfan, 1300 o droedfeddi uwchlaw lefel y môr—ysgaru Prydain Fawr oddiwrth Ewrop, a gadael ein hynysoedd wedi eu dibóblogi. Mae yn rhaid fod y cysylltiad tirol âg Ewrop wedi cael ei osod i fyny drachefn, ac fod poblogaeth anifeilaidd bresennol yr ynysoedd Prydeinig wedi gweithio ei ffordd o Ewrop. Ni ddarfu i'r cysylltiad tirol hwn, sut bynag, barhâu am ryw yspaid maith, ddim yn ddigon hir, yn wir, i'r holl ffurfiau Ewropëaidd i wneyd eu ffordd i Brydain, oblegid tra y mae 90 math o famolion i'w cael yn Ewrop nid oes dim ond 40 i'w cael yn Mhrydain Fawr, a dim ond 22 yn Iwerddon.

Ymha wlad bynag yr astudir gwaddodion diweddar, fe geir fod y gweddillion anifeilaidd sydd ynddynt yn perthynu i'r rhai sydd yn awr yn preswylio y wlad hono. Fe ddadgenid y ffaith yma gan y diweddar Mr. Darwin fel "deddf olyniad cynnrychau," *the law of succession of types*, neu y berthynas rhwng y marw a'r byw ymhob cyfandir. Mae yn eglur gan hyny fod deddfau dosbarthiad sydd mewn grym yn bresennol yn dal hefyd yn yr amser aeth heibio.

Mae cymhwysiad yr egwyddorion hyn yn ein galluogi i ddysgu llawer gyda golwg ar gysylltiad blaenorol gwahanol lanerchau o dir â'u gilydd. Yn ngwaddodiadau Prydain Fawr a ffurfiwyd mewn amseroedd *mesozoic*, y mae llawer o ffurfiau y tybid eu bod wedi darfod, ond yn ddiweddar a ganfyddwýd yn fyw yn nyfroedd Awstralia. Mae astudiaeth bywyd Awstralia wedi dangos fod ei hanifeiliaid a'i phlanhigion yn meddu y cysylltiad agosaf â ffurfiau y creigiau *mesozoic*. Fe'n harweinir gan hyny i dybio fod Awstralia wedi ei hysgaru oddiwrth y cyfandir Ewropëaidd mewn amseroedd *mesozoic*, ac wedi aros ar wahân hyd y dydd hwn, fel y mae ei ffurfiau presennol yn ddisgynyddion y rhai a flodeuent dros yr holl lanerch can belled â Phrydain yn yr hen amseroedd hyny.

Y mae llawer yn aros eto i'w wneuthur yn y gangen yma o efrydiaeth, ac fel y ceir gwybodaeth helaethach am ddosbarthiad bywydol ac am gynnwys ffosylaidd y creigiau mewn gwahanol ranau o'r byd, gallwn edrych am ychwaneg o oleuni ar ddosraniad tir a dwfr yn y gorphenol.

R. D. ROBERTS.

*Clare College, Cambridge.*

# MORDAITH BYWYD.

## GEIRIAU CANTAWD.

### RHAN I.—HAFAN MEBYD.

O BORTHLADD cain mebyd
   Mordwyo a wnawn,
Dros fôr tònog bywyd
   Dan ganu yr awn;
Ar alwad ein Ceidwad fe groeswn y lli',—
Mae 'r Iesu yn gwahodd—"O dowch ataf fi!'

Cyfodwn yr angor
   Mae 'r nefoedd yn glir,
A lledwn yr hwyliau,
   Gan adael y tir;
Dros fynwes yr eigion yr awn yn ddi-fraw,
Nes glànio 'n ddiogel o fewn y wlad draw.

#### HWYLIWN YMLAEN.

*(Cydgan.)*

Hwyliwn ymlaen i'r hardd nefol wlad
   Hwyliwn ymlaen;
Yno cawn hedd a bythol fwynhâd,
   Hwyliwn ymlaen.
Ymlaen y mae Canaan—cartref ein Duw,
Ymlaen mae dedwyddwch yn bod ac yn byw,
Ymlaen mae gwynfydedd digymysg ei ryw,—
   Hwyliwn ymlaen.

'D oes yno ffarwelio nac wylo yn bod,
   Hwyliwn ymlaen;
Un yw eu cartref, ac un yw eu clod,
   Hwyliwn ymlaen;
Ar làn afon bywyd risialaidd ei lli',
Mewn gwisgoedd anfarwol, cydrodio gawn ni,
Ymlaen mae 'r anrhydedd, ymlaen y mae 'r bri,—
   Hwyliwn ymlaen.

#### Y PORTHLADDOEDD HYFRYD.

*(Pedwarawd.)*

Y prydferth borthladdoedd sydd draw!
   Ceir yno angorfa gysurus:

Un ddryghin fygythiol ni ddaw
  I'n blino, na gwyntoedd ystormus.

Yr awel bersawrus a chwyth
  Dros fryniau gwynfäol y nefoedd;
A'r cefnfor sydd dawel dros byth
  O amgylch y prydferth borthladdoedd.

Os pell yw y fordaith a blin,
  Os rhaid in' wynebu tymhestloedd,—
Angorwn mewn byth hafaidd hin
  Cyn hir, yn y prydferth borthladdoedd!

## RHAN II.—AR Y TONAU.

### MAE'R DYDD YN DEG.

*(Cydgan.)*

Mae 'r dydd yn deg—y môr yn dawel,
  Ymbelydra haulwen glir,
Llithra 'r llong o flaen yr awel
  Ar ei hynt i'r nefol dir;
Am wynfyd nef cydganu wnawn,
Dan weniadau 'r hafaidd nawn.

*Y Fun Amddifad:*— Amddifad ydwyf fi, heb dad, na thyner fam
I'm gwasgu at ei bron, i'm gwylied rhag un cam;
Digartref wyf, wrth gofio hyn—fy nagrau rêd yn lli';
Fy rhïaint hoff mewn bedd a roed—amddifad ydwyf fi!
  Ond O! mae rhyw lais bendigedig
    Yn sibrwd fel hyn yn fy nglyw,—
  "Cyn hir, ti gei nefoedd yn gartref,
    Mae Tad yr amddifad yn fyw!"

*Y Bardd:*—'R wyf fi yn caru 'r prydferth,
    Fy mynwes lawenhâ,
  Wrth syllu ar addurniadau 'r llwyn
    A heirdd rosynau 'r hâ';
  Mae rhai yn hoffi mawredd
    Y mynydd serth a'r môr,
  Ond y tlws a'r hardd a garaf fi
    Yn nghreadigaeth Iôr.
Ha! y nef ydyw cartref prydferthwch,
  Ac yno mae tlysni yn byw,
Cysgodion yw 'r ddaear a'i harddwch
  O geinion Paradwys ein Duw.

*Y Claf:*—Dihoeni 'r wyf o ddydd i ddydd,
  Fy nghorff sydd lesg, fy mron yn brudd;
  O boen i boen, o loes i loes,—
  Fel yna dirwyn dyddiau f' oes;

Er hyn, ar fyr caf lanio
Yn ngwlad y bythol hâf,
Cartrefle hoen ac iechyd
Lle nad oes neb yn glaf!

*Y Cerddor* :— Cerddoriaeth garaf fi, a miwsig i fy mron
Yw sû yr awel fwyn, a murmur lleddf y dòn;
Caiff eraill ddilyn ffawd a cheisio bydol fri,—
Tra pery dyddiau f' oes cerddoriaeth garaf fi.
A phan y delo 'r awr i'm ado helynt byd,
O! am fynediad llawn i'r "wlad sy 'n gân i gyd!"

*Y Cardotyn* :—Anghenus wyf, a thlodi sydd
Im' beunydd yn gydymaith,
Fe 'm taflwyd ar dosturi byd,
Gwn beth yw angen ganwaith;
Fe dreulia rhai eu dyddiau 'n llon
Yn nghanol breision seigiau,—
Ond gwael gardotyn ydwyf fi
Yn byw yn nghwmni eisiau.
Ond O! i ddinas llawnder
Yn ebrwydd dygir fi,
Lle nad oes un cardotyn llwyd
Yn crwydro 'i heol hi!

*Y Dall* :—Mi glywais yr adar yn canu fin dydd
Mi deimlais y chwâ yn cusanu fy ngrudd;
Aroglais y blodau o amgylch fy nhroed,
Ond O! ni chanfyddais flodeuyn erioed!
Fe soniwch am swynion y gwanwyn a'r haf,
Eu gweled ddymunwn—ond hyny ni chaf;
Mae llen dros y cyfan—y ddaear a'i bri
A guddiwyd o'm golwg—dall, *dall* ydwyf fi.
Ond ha! fe wena 'r borau,
A melus imi fydd,
Pan gaffwyf *wel'd* gogoniant Duw
Yn ngwlad y dydd.

### HWYRGAN AR Y MOR.

Yr haul ymsudda hwnt i'r gorwel draw,
A thros yr eigion lleni 'r nos a ddaw,
Ar derfyn dydd i Dduw a'n cadarn Ri,
Ein hwyrol emyn a offrymwn ni:

Darfu 'r dydd a daeth y cyfnos
I orchuddio 'r eang fôr,
Ninnau ganwn—melus ganwn
Gerdd o fawl i'r Arglwydd Ior,—
Am ein cynnal, am ein cadw,
Molwn Dduw âg uchel lef,

Ef a'n gwylio nes i'n lanio
  Draw ar draethau aur y nef.

Wedi colli gwawr yr heulwen,
  Wedi cilio goleu 'r dydd,
Ni fachluda haul ein gobaith
  Ac ni lwfrhâ ein ffydd;
Yn yr hwyr gwnawn lawen ganu,
  Trown dywyllwch yn fwynhâd,
Ac yn ngoleu 'r addewidion
  Hwyliwn tua thŷ ein Tad.

Dan wenau y ser—llusernau ein Ner
  Yr hwyliwn ymlaen yn ddi-fraw,
A sibrwd i'n bron mae'r awel a'r don,
  Fod hafan ddymunol gerllaw.

## RHAN III.—YR YSTORM.

### AR LYDAN AEL Y NEN.

*(Unawd.)*

Ar lydan ael y nen nid oes un seren wen,
Ymgudd y lloer rhwng lleni'r cwmwl draw;
Y gwynt rydd uchel gri, ymchwydda tonau 'r lli',
Dynesa 'r storm—mi glywaf swn ei throed!
Y Duw reola 'r dòn! yn yr awr gyfyng hon
O trugarhâ—mae 'r storom wedi d'od!

*(Cydgan.)*

Dirion Iesu! clyw ein llef
A gostega 'r storom gref;
Ti yn unig—gadarn Ior,
All geryddu 'r brochus fôr.

Pan ar fôr Tiberias gynt
Yr ymgodai 'r dòn a'r gwynt,
Gair o d' enau—gwel'd dy wedd,
Leddfai 'r storom—grëai hedd!

Mae dy ryfedd allu 'r un,
Yr un yw 'th galon, Geidwad dyn!
Yn y storom, gwrando 'n cri,
  Dirion Iesu, cadw ni!

*(Unawd.)*

Cynnyddu mae y dymhestl gerth,
Y corwynt rüa yn ei nerth;

Ffyrniga 'r dôn—bradwrus yw ei gwedd,
A hyrddia 'r llong i fynwes dyfrllyd fedd!

Anobaith dremia arnom o bob tu,
O ddyfnder ing, ein gweddi esgyn fry:—

*Dirion Iesu, clyw ein llef*
*O! gostega 'r storom gref;*
*Yn dy nefoedd gwrando 'n cri.*
*Gwared, achub, cadw ni!*

BETH, WYLIEDYDD, AM Y NOS?

*(Deuawd.)*

Beth, wyliedydd, am y nos?
Pa hyd y pery 'r storom?
Ganfyddi di 'r un seren dlos
A wena obaith arnom?
Arswydus yw y storm a'i rhû;
Ai byth y pery 'r hirnos ddu?

*Y Gwyliedydd*:—Mae 'r wawr yn tori yn y nen
Mae 'r cwmwl du yn chwalu,
A thrwy y caddug tew uwch ben
Daw gwenau 'r dydd i d'w'nu;
Mae lleni 'r nos yn cilio draw,
Ymlawenhâwn—mae 'r *dydd* gerllaw!

*(Cydgan.)*

Fe wawriodd boreu hyfryd
Mor ysgafn yw ein bron,
Mae 'r haul yn ymbelydru
A gwenu wna y dòn;
Ar ol y nos flinderus,
A'r storom faith, ddi-hedd,
Daeth dydd i d'w'nu arnom
A bywyd yn ei wedd!

Yr hwyliau gwynion ledwn
Yn yr awelon mâd,
A thros y tonau nofiwn
Ymlaen i'r nefol wlad;
Os bu yr hîn yn arw,
Os oedd y 'storm yn gref,
Mae 'r cyfan yn ein gyru
Yn nês i deyrnas nef.
Moliannwn, clodforwn, mae 'r wybren yn glir,
Daw glenydd Paradwys i'r golwg cyn hir!

RHAN IV.—YN YR HAFAN.

YNYSOEDD GRAS.

*(Cydgan.)*

O! dacw heirdd lanerchau,
Eu tlysni sydd ddi-ail,
Pob un fel palas euraidd
Dan fwyn belydrau 'r haul;

Ynysoedd swynol ydynt
  Ar fron yr eigion glas,
A'u henwau—O! mor anwyl,—
  Yw heirdd Ynysoedd Gras.

Oddeutu 'r tlws ynysoedd
  Mae 'r môr yn glir a llyfn,
A changau 'r coed yn gwyro
  I gusanu 'r dyfroedd dyfn;
Yr awel dyner gluda
  Aroglau pêr eu blas,
A heddwch byth deyrnasa
  O gylch Ynysoedd Gras!
Cawn dawel fordwyo a'r hwyliau ar daen,
Tra 'r awel yn sibrwd,—"Mae 'r hafan ymlaen."

*(Unawd.)*

*"'R wyf yn dechreu teimlo eisoes*
  *Beraroglau 'r gwledydd draw,*
*Gyda 'r awel wan yn 'hedeg*
  *Diau fod y wlad gerllaw;*
*Tyr'd, y tir dymunol hyfryd,*
  *Tyr'd, yr ardal sydd heb drai;*
*Dy bleserau o bob rhywiau*
  *Gad im' bellach eu mwynhâu."*

*(Cydgan.)*

Dacw 'r hafan! yr hafan dawel, glyd,
A dacw lànau cain y nefol fyd,—
    Troes gobaith yn fwynhâd;
Ar fyr cawn lànio 'r ochr draw,
A'r Iesu ei hun i'n cwrdd a ddaw,
    I'n dwyn i dŷ ei Dad!

Yn iach i ofid, ing, a chlwy',
Yn iach i flin ystormydd mwy!
    Ffarweliwn byth â phoen;
Henffych! gartref engyl glân,
Bro y delyn—gwlad y gân,
  Paradwys Duw a'r Oen.

CROESAW! CROESAW!

*(Cydgan o Angylion.)*

Croesaw! croesaw! i lawenydd
  A dedwyddwch pur y nef,
Lle 'r ymchwydda 'r ddwyfol anthem—
  Anthem cariad "Iddo Ef:"
"Plant y dagrau a'r och'neidiau,"
  Hoff gan engyl wel'd eich gwedd,

Darfu 'r stormydd, darfu 'r dagrau,
Croesaw mwy i hafan hedd!

O! mor felus fydd cael gorphwys
Heb ofidiau, poen, nac aeth,
Lle na ddaw un dòn drallodus
Byth i olchi dros y traeth!
Croesaw! croesaw! i lawenydd,
A dedwyddwch pur y nef:
Canwch, bellach, ganiad newydd,
Anthem cariad—"Iddo Ef."

R. D. ROWLANDS (*Anthropos*).

---

# DARLITHIAU Y PARCH. D. CHARLES DAVIES, M.A., AR GRISTIONOGAETH.

## DARLITH FEIRNIADOL AR GYFEITHIADAU O'R DDARLITH AR BERTHYNAS CRISTIONOGAETH A MOESOLDEB.*

WEDI edrych dros yr wyth a deugain o gyfieithiadau a ddaeth i law, y peth cyntaf a darawodd ein meddwl ydoedd fod y rhan gyntaf o'r nifer fwyaf o honynt yn tra rhagori ar y rhan olaf. Yr oedd y dalenau blaenaf, fel rheol, wedi eu cyfieithu yn rhagorol, ond o'r canol i'r diwedd cymerai disgyniad pwysig le yn ansawdd y cyfieithiad. Beth allai fod y rheswm am hyn? Tybiem weithiau fod ambell i gyfieithydd wedi derbyn cymhorth gan rywun galluocach nag ef ei hun yn y rhan flaenaf o'r gwaith. Ond wedi sylwi, cafwyd fod y ffaith yn un rhy gyffredinol i ganiatâu y dybiaeth. Barnem wedi hyny y gallai fod y rhan olaf yn cynnwys mwy o anhawsderau, ond erbyn edrych nid oedd unrhyw reswm dros gredu felly. Gan hyny, nid oedd genym ond

* Yn nghyfarfod Cystadleuol Undeb Ysgolion Sabbothol Methodistiaid Calfinaidd Llundain, yr hwn a gynnaliwyd yn Exeter Hall, Nadolig, 1884, cynnygiwyd gwobr o £5 am y cyfieithiad goreu i'r Saesoneg o Ddarlith y Parch. D. Charles Davies, M.A., ar "Berthynas Cristionogaeth a Moesoldeb," yr hon a gyhoeddwyd yn y TRAETHODYDD, Llyfr xxxvii., Hydref 1881. Anfonwyd wyth a deugain o gyfieithiadau i mewn i'r gystadleuaeth, a gofynwyd i'r darlithydd parchedig eu beirniadu. Cydsyniodd yntau â'r cais, ac fel ffrwyth ei ymchwiliad manwl i'w diffygion a'u rhagoriaethau, traddododd "Ddarlith Feirniadol" yn Jewin Newydd, yn mis Ebrill diweddaf. Anfonir y nodiadau hyn o honi i'r TRAETHODYDD, gan olygu y bydd yn llawer o fantais i nifer mawr o Gymry ieuainc sydd yn ymestyn am adnabyddiaeth gywir a meistrolgar o'r iaith Saesoneg, a hefyd yn taflu llawer o eglurhâd ar y ddarlith ei hunan.—E. VINCENT EVANS.

dyfod i'r casgliad fod y cyfieithwyr yn pallu mewn gofal, a llafur, a meddylgarwch, wrth fyned ymlaen; mewn gair, fod eu meddwl yn blino ar ganol y ffordd. Y mae ffaith gyfatebol i'w chanfod yn Nghymru mewn cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol, sef fod nifer y rhai presennol o aelodau yr Ysgol yn llawer mwy yn misoedd cyntaf y flwyddyn nag yn y misoedd olaf. Y rheswm dros hyny yn ddiau ydyw, fod zel a gofal arbenig yn cael eu dangos ar ddechreu blwyddyn, ond o herwydd diffyg dyfalbarhâu fod y naill a'r llall yn gwanychu ac yn colli cyn ei diwedd. Cynghorwn y cyfieithwyr, yn gystal ag aelodau yr Ysgol Sabbothol, i beidio caniatâu i unrhyw ddiofalwch afael ynddynt, yn enwedig gan fod y rhwyddineb sydd yn dyfod o ymarfer â gwaith yn rhy debyg o'i gynnyrchu.

Fe ddylai fod mewn cyfieithiad amrywiol ragoriaethau—rhagoriaethau fel cyfansoddiad yn gystal a rhagoriaethau fel cyfieithiad. I ddechreu, dylid cael cywirdeb sillebol. Ar y cyfan, gydag ychydig o eithriadau, a'r rhai hyny gan mwyaf yn ganlyniad diofalwch, yr oedd y cyfieithiadau dan sylw yn lled gywir. Rhaid hefyd am gywirdeb grammadegol, dilyniad priodol o reolau grammadeg yr iaith Saesoneg. Fel rheol, ychydig hefyd ydoedd y gwallau yn y cyfeiriad hwn. Canfyddid nodweddau gwahaniaethol y cyfieithiadau yn y pethau a ganlyn; cywirdeb yn y geiriau Saesoneg a ddefnyddid, iawn arferiad o briod-ddull yr iaith Saesoneg, a medr i ffurfio brawddegau ystwyth yn yr iaith hono. Gyda golwg ar y geiriau, cyfarfyddai rhai yr anhawsderau trwy ysgrifenu un gair, ac yna attodi ato rhwng cromfachau dri neu bedwar o eiriau cyfystyr, fel y gallai y beirniad gymeryd ei ddewis. Anghofiai y cyfryw mai nid gwaith y beirniad oedd dewis y geiriau, ond barnu priodoldeb y rhai a ddewisid. Yr hyn a wnaeth y beirniad dan yr amgylchiadau hyn ydoedd cymeryd y gair cyntaf, gan adael allan o'i ystyriaeth y rhai a gynnygid iddo rhwng cromfachau.

Codai yr anhawsder i gael cyfieithiad perffaith, oddiar yr angen am gyfuniad o ddau ragoriaeth gwahanol iawn i'w gilydd, sef fod y cyfieithiad yn un llythyrenol, ac ar un pryd yn mhriod-ddull yr iaith Saesoneg. Heb fod yn llythyrenol fe ddarfyddai a bod yn gyfieithiad; ond pe yn llythyrenol heb fod yn null priodol yr iaith Saesoneg, ni byddai yn ddealladwy nac yn ddarllenadwy. Yn y cyfieithiad perffaith fe gyfunid y ddau ragoriaeth. Ar y naill law fe fyddai mor ystwyth fel na ddychymygai Sais wrth ei ddarllen mai cyfieithiad ydoedd; tra ar y llaw arall y teimlai pob un cydnabyddus â'r gwreiddiol mai cyfieithiad a fyddai. Yn yr esiamplau o'n blaen ychydig ydoedd y nifer a aberthent y llythyren er mwyn y priod-ddull Seisonig. Gwall y rhan fwyaf o lawer ydoedd aberthu y priod-ddull Seisonig er mwyn dilyniad llythyrenol y geiriau. Hwyrach mai nid aberth oeddynt yn ei wneuthur; mwy tebyg ydyw nas gwyddent yn amgenach. Cafwyd gwaith mawr i benderfynu rhwng y cyfieithiadau, yn enwedig rhwng y chwech blaenaf o honynt. Pe buasai raid barnu eu teilyngdod cymhariaethol wrth ddarllen yn unig y tu dalenau cyntaf, buasai y gorchwyl braidd yn anmhosibl. Ein gwaith, fel yr awgrymwyd, ydoedd penderfynu gan bwy yr oedd y cyfuniad goreu o'r rhagoriaethau y cyfeiriwyd atynt uchod.

Ond heblaw yr anhawsderau a nodwyd yr oedd eto anhawsder

pellach yn codi, nid yn unig oddiar y gwahaniaeth angenrheidiol a fodola rhwng dwy iaith, ond hefyd oddiar y gwahaniaeth arbenig sydd rhwng y Gymraeg a'r Saesoneg. Iaith farddonol, ddefosiynol, ac areithyddol ydyw y Gymraeg. Y mae hyn i'w weled yn neillduol yn y ffaith fod ei geiriau yn cynnwys yn ychwanegol at feddwl, ddwysder teimlad nas gellir ei ganfod yn y geiriau Saesoneg cyfatebol. Er esiampl, edrycher ar y gwahaniaeth rhwng "Anwyl Syr" a "Dear Sir." Y mae y gwahaniaeth gymaint fel ag i demtio dyn yn aml i ddefnyddio y cyfarchiad Seisonig er mwyn gochel y broffes o anwyldeb. Cyn y gellid rhoddi ystyr Seisonig i'r "anwyl" Cymreig, byddai raid defnyddio y geiriau *dearly beloved.* Yr achos o hyn ydyw yr absennoldeb o'r dwysder teimlad sydd yn y gair Cymraeg yn y gair Saesoneg cyfatebol. O'r ochr arall, nis gellir dyweyd fod y Gymraeg yn iaith athronyddol. Nid ydym wrth ddyweyd hyn yn tybio na fedd yr iaith wreiddiau o ba rai y gellid ffurfio geiriau athronyddol; y ffaith ydyw na chyfododd ysgrifenwyr athronyddol ymhlith y genedl i osod ôl eu meddwl ar eiriau yr iaith, ac i ffurfio geiriau a ddynodant y gwahaniaeth rhwng meddyliau pan fydd raid am hyny. A phe codai ysgrifenwyr o'r fath, ammheus genym a gaent ddigon o ddarllenwyr ymhlith cenedl mor fechan a'n cenedl ni. Dynion o ysbryd barddonol ydyw prif ysgrifenwyr Cymru, y rhai a osodant argraff eu hawen ar yr iaith. I'r gwrthwyneb, fe gododd ysgrifenwyr athronyddol o blith y Saeson, a'r canlyniad ydyw y gellir geirio y gwahaniaeth rhwng meddyliau yn yr iaith hono fel ag i fod yn ddealladwy i ddarllenwyr cyffredin. Ceir esiampl o'r anhawsder a gyfyd oddiar hyn yn nhu dalen 392,* lle y sonir am "bwnc oddiallan neu argraff oddimewn." Ymgais oedd y geiriau hyn i osod allan yn Gymraeg yr hyn a allesid ei eirio yn y Saesoneg mewn dau air, sef *objective and subjective;* yn dduwinyddol, buasid yn dyweyd "athrawiaethol a phrofiadol," neu fel y geirir hwy weithiau yn "wrthddrychol a thumewnol." Ychydig o'r cyfieithwyr a welsant hyn. Aberthai rhai yr ysbryd i'r llythyren, ac eraill y llythyren i'r ysbryd. Buasai cyfuniad o'r ddau yn ein cadw rhag y fath gamgyfieithiadau ag "external and internal," "without and within," "intrinsic and extrinsic," ac felly ymlaen, yn lle y geiriad perffeithiach a gafwyd gan y goreuon, sef "objectively or subjectively viewed."

Cynnwysa y ddarlith nifer o eiriau Cymraeg sydd yn meddu ar ystyr dduwinyddol, a phriodol sylwi yn y fan hon ar y modd y cyfieithwyd hwynt i'r Saesoneg. Un o'r fath ydyw y gair "ymddiried." Cyfieithwyd hwn gan rai yn "*confidence,*" a chan eraill yn "*reliance,*" ond y gair Biblaidd am dano ydyw "*trust;*" a chan mai ystyr dduwinyddol a roddid iddo yn y ddarlith, y gair Biblaidd a ddylesid ei ddefnyddio yn y cyfieithiad.

Gair arall y cyfarfyddir âg ef yn fynych ydyw "cyfiawnder." Pa un a feddylir ai *justice* ynte *righteousness?* Er fod y ddau air a nodwyd yn golygu cyfiawnder, yn ymarferol cyfyngir y gair *justice* i gyfiawnder cyfreithiol a masnachol, tra y mae *righteousness* yn air eang ag sydd yn cynnwys o'i fewn yr hyn sydd *iawn* ymhob cyfeiriad posibl, neu iawn-

* *Traethodydd,* Llyfr xxxvii., Hydref, 1881.

der yn ei holl ddyfnder a'i eangder. Gan fod y ddarlith yn dduwinyddol, yr oedd cyfeiriad y gair nid at gyfiawnder masnachol, ond at iawnder. Y gair Saesoneg cyfatebol gan hyny ydyw *righteousness*. Hwn yw y gair a ddefnyddir yn y Bibl, er, o ddiffyg berf, y gwneir defnydd yno o'r gair *justify*. Ceir cyfnewidiad yn dangos fod cyfieithwyr diweddaraf y Testament Newydd yn gweled y gwahaniaeth, oblegid lle y dywedir yn y cyfieithiad cyffredin am Joseph, "He was a *just* man," yn y cyfieithiad diwygiedig fe ddywedir, "He was a *righteous* man." Yn y ddarlith dywedir, "nid moesoldeb ond sancteiddrwydd." Cyfieithir y gair "sancteiddrwydd" gan amryw yn *sanctity*. Digon yw dywedyd mai nid *sanctity* ond *holiness* ydyw y gair arferedig yn y Bibl.

Gair cyffredin arall sydd yn dduwinyddol, er nad yw yn Fiblaidd, ydyw "cyflwr." Yn y ddarlith ceir y frawddeg "ymddygiad yn tarddu oddiar gyflwr da ac anian bur." "Cyflwr" yn llythyrenol ydyw *condition* neu *state*; yn dduwinyddol ei ystyr ydyw sefyllfa person yn ngwyneb cyfraith, hyny yw, *legal standing* neu *personal status*. Y mae yn amlwg mai yr ystyr dduwinyddol a feddylir yn y ddarlith wrth y geiriau "cyflwr" ac "anian." Golyga hyn, fel y gwelir, sefyllfa person ac ansawdd calon.

Yn y ddarlith fe geir amryw o adnodau o'r Bibl nad oedd raid ond ysgrifenu yn y cyfieithiad yr adnodau fel y maent i lawr yn y Bibl Saesoneg. Er engraifft (1.) "A drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhao gras?" Yr adnod Saesoneg ydyw, "Shall we continue in sin that grace may abound?" ac nid fel y tybiodd rhai: "Shall we remain in sin that grace may be multiplied?" (2.) Tu dal. 392, fe ddywedir, "yn ol Judas," a dilynir y geiriau gan adnod o Epistol Judas; ond meddyliodd rhai mai at Judas Iscariot yr oeddid yn cyfeirio, a chyfieithiwyd y geiriau a nodwyd yn "successors of Judas." (3.) "Gŵr ddauddyblyg ei feddwl sydd anwastad yn ei holl ffyrdd." Yn ol y Bibl Saesoneg, "A double-minded man is unstable in all his ways;" ond yn marn un o'r cyfieithwyr, "A man double-folded is uneven in all his ways!" (4.) Sonir am Satan "yn ymrithio yn angel goleuni." Yn y cyfieithiad cyffredin, dywedir, "is transformed into an angel of light;" yn y cyfieithiad diwygiedig, "fashioneth himself into an angel of light." Fe gyfieithir y frawddeg hon gan un yn bur dda mewn geiriau gwahanol i'r uchod, sef "disguiseth himself as an angel of light." (5.) "Yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu," sef yn ol y Bibl (ac nid oes modd rhagori arno), "wherein dwelleth righteousness;" ac nid fel y tybiodd rhai, "where justice abides at home," na "where justice is domiciled;" nac ychwaith, "where justice makes herself at home."

Yn awr craffer ar rhai o'r geiriau cyffredin a ddefnyddir yn y ddarlith. (1.) "Cyfarwyddiadau" yn dilyn "gorchymynion," ac i'w gwahaniaethu oddiwrthynt, am hyny nid "commands and precepts." Cyfieithiodd rhai y gair yn "instructions," eraill yn "directions." Ond y mae ystyr neillduol geriau y frawddeg (tu dal. 390) yn eu gwahaniaethu oddiwrth "instruct" a "direct." Y cyfieithiad goreu fuasai *rules* neu *principles of guidance*, yr hyn a fuasai yn dangos meddwl yr ymadrodd, sef "gorchymynion" brenin yn gofyn am ufudd-dod yr ewyllys, a "chyfarwyddiadau" prophwyd neu athraw yn goleuo

meddwl dyn am ei ddyledswydd. (2.) "Gwella moesau." Mewn rhai geiriaduron, ond odid, fe gyfieithir y gair "moesau" yn "manners;" ond dengys amcan a chysylltiadau brawddegau y ddarlith, ac yn arbenig y rhinweddau a enwir yn ngwaelod y tu dalen, mai *morals* a feddylir, ac nid *manners*. Hollol anmhriodol ydyw y geiriau "ameliorate morals," lleddfu moesau. Gellir son am leddfu poenau, *ameliorate sufferings;* ond y mae hyny yn dra gwahanol i "wella moesau," yr hyn a olyga yn Saesoneg *improve the morals.* (3.) "Cydnabyddir." Yr hyn a feddylir yw nid "recognize," yr hyn yw *to recover knowledge,* neu ail gyrhaedd gwybodaeth, ond *admit,* neu *acknowledge.* (4.) "Hanesion;" nid "histories." "History" yn y rhif unigol ydyw hanes gwlad neu genedl. Un "history" sydd yn y Bibl. Nid "stories" ychwaith; mân hanesynau ydyw y rhai hyny. Y gair priodol ydyw *narratives.* (5.) "Pwnc." Defnyddiwyd bron bob gair posibl i osod allan y gair "pwnc:" mogys "points," "statements," "themes," "topics," "articles," "subjects," "doctrines;" ond y gair goreu i ddangos y meddwl ydyw *tenets* neu *theoretical truths.* Er mwyn amrywiaeth gellir arfer y naill neu y llall, yn gystal a'r gair *doctrine.* Y mae swyn a gallu mewn amrywiaeth geiriau, fel y dengys Mr. Gladstone, er engraifft, yn y frawddeg hono, "Smash, destroy, and pulverise." (6.) "Pynciau a roddwyd;" *truths revealed,* nid "Subjects imparted." *Impart the knowledge of a subject,* ac nid "impart a subject." (7.) "Hanfodol:" nid "existent," ac nid "fundamental cause," ond *essential,* neu *necessary to existence.* (8.) "Bywyd rhinweddol:" amlwg ydyw mai buchedd neu ymddygiad a feddylir, am hyny wrth "bynciau yr efengyl a bywyd rhinweddol" y meddylir *tenets of the Gospel and virtuous conduct.* (9.) "Tiriogaethau yr Efengyl a moesoldeb:" *territories, regions,* neu *provinces,* ac nid "landed estates" fel y tybiodd un o'r cyfieithwyr. (10.) "Nid credo ond ymddygiad." Meddai rhai "not creed but deed." Nid ydyw "deed" mor ëang ag "ymddygiad," yr hyn sydd yn cynnwys mwy na'r gweithredoedd neillduol a gyflawnir, sef ysbryd a thymher dyn tuag at ei gyd-ddynion mor bell ag yr amlygir hyny mewn gweithred. Y cyfieithiad priodol felly ydyw, *not creed but conduct.* (11.) "Gwrthwynebol a gwrthgyferbyniol" ydyw *antagonistic and antithetical,* neu "in contrast with and opposition to." (12.) "Manwl mewn ymddygiad:" nid "punctilious," yr hyn yw manwl mewn dilyn rheolau a osodwyd i lawr gan ddeddf neu arferiad gwlad. Nid oedd y Puritaniaid, ynglŷn â'r rhai y defnyddir y gair, felly o gwbl; yn hytrach i'r gwrthwyneb. Nid "accurate" ychwaith, hyny yw bod yn gywir yn y ffeithiau a leferir, ac nid "precise;" eithr yn *strict in the details of conduct.* (13.) "Camddefnydd o air" ydyw, nid "illusage" ond *misapplication.* (14.) Wrth "gydsyniad marw," y meddylir nid "helpless concurrence" na "dead agreement," nac "obsolete term," ond *mere formal consent,* neu *passive acquiescense.* (15.) "Gwahanu a gwahaniaethu;" gwahanu mewn gweithred, sef *divide* neu *separate;* gwahaniaethu mewn meddwl, sef *distinguish* neu *discriminate.* (16.) "Pellder:" tu dal. 391, nid "difference," "space," na "distance," ond *gulf* neu *widely apart.* (17.) "Cymhelliadau;" gair amwys yw hwn, i'w benderfynu oddiwrth ei gysylltiadau, naill ai *inducements* os oddiallan, neu *motives* os oddimewn,

ac felly nid "impulses" na "compulsory observances," nac ychwaith "constraining force," nac "exhortations." (18.) "Ysywaeth," sef *alas, unfortunately*, neu *more's the pity*, ac nid "forsooth," fel y mynai rhai. Cynnwysa "ysywaeth" dôn o dosturi neu alar; "forsooth," tôn o wawd neu *irony*. (19.) "Enllib." Y mae gwahaniaeth rhwng "libel" mewn ysgrifen, a "slander" neu "calumny" mewn geiriau â'r tafod. Yma (tu dal. 392) golygir ymddygiad yn enllib, yr hyn nid yw mewn ysgrifen na geiriau. "Libel" ydyw y gair a ddefnyddir fynychaf gan y cyfieithwyr; buasai *slander* yn rhagori. (20.) "Pentwr o briodoleddau," nid "heap," "pile," na "conglomeration," ond *aggregate* neu *mass*. (Gwell Cymraeg hwyrach a fuasai "cyfanswm o briodoleddau.") (21.) "Casgliad" yn y ddarlith yw *inference*, ac nid "collection." (22.) "Arferiad:" pa un ai *custom* ynte *habit* a feddylir? *Custom* gwlad, neu genedl, neu oes; *habit* person neillduol; yr un gair Cymraeg a ddefnyddir am y ddau, am hyny rhaid ychwanegu neu ddeall arferiad gwlad neu arferiad person. (23.) "Safle;" nid "basis," "level," "platform," na "foundation," ond *point of view*, neu y gair lled-newydd, Germanaidd ei ffurf, sydd yn awr yn dyfod yn gyffredin, sef *standpoint*. (24.) "Teimlad." Amlwg ydyw mai teimlad calon a feddylir. *Emotion* ydyw y gair diamwys am hwnw, ac nid "feeling." Cyfieitha rhai ef yn "sentiment;" ond "sentiment" ydyw y meddwl sydd yn ffrwyth teimlad, yn wrthgyferbyniol i "idea," yr hwn yw y meddwl sydd yn ffrwyth rheswm. Sonir yn y ddarlith, nid am y meddyliau sydd yn gynnyrch teimlad calon, ond am y teimlad ei hun, sef *emotion*. (25.) "Ar dir rheswm," on *rational grounds*, neu *by light of reason*, ac nid "grounds of reason," llawer llai, "fields of reason," fel y dywed un. (26.) "Paul y profwr," the *reasoner*, ac nid "experimentalist" na "prover." (27.) "Cyfreithlawn:" nid "legal" na "lawful," ond *legitimate*. "Legal" neu "lawful" ydyw teg yn ol cyfraith gwlad; "legitimate" ydyw teg yn ol egwyddor gyfiawn. (28.) "Dynion cywreiniaf:" nid "cunning," yr hyn yn ei hen ystyr ydyw galluog mewn cywreinrwydd, ond yn ei ystyr bresennol a olyga cywrain o ran meddwl i wneuthur drwg, *dexterity with an evil purpose;* eithr yn yr ystyr o *skilful, subtle*, neu *acute*. (29.) Wrth "blentyndra dadguddiad" y meddylir, nid "childishness" ac nid "minority," ond *youth*. (30.) "Rhwysg dychymyg" Stuart Mill. Ni fwriadwyd ond pob parch i Mill yn y ddarlith, er credu iddo wneuthur camgymeriad pwysig am Dduw y Bibl. Rhaid gan hyny rhoddi ystyr dda i'r gair "rhwysg." Felly nid "pomp," "grandeur," "recklessness," "luxuriance" "haughtiness," "flurry," na "frenzy," nac "exuberance," a feddylir, ond *sway*, neu *unrestrained course of his imagination*. (31.) "Digofaint heb feddu:" nid yn "destitute;" amddifad a fyddai hyny. Pa beth ydyw y gwahaniaeth? Defnyddir "destitute" am amddifadrwydd o rywbeth sydd ar ddyn ei eisieu, hyny yw o rywbeth da neu ddymunol. Gellir dyweyd fod dyn yn "destitute" o unrhyw ddaioni; ond anmhriodol fyddai dyweyd am neb ei fod yn "destitute" o beth drwg neu annymunol. Dyweder am ddiafol, os myner, ei fod yn "destitute" o sancteiddrwydd; ond ni ellir dywedyd am Dduw ei fod yn "destitute" o bechod. "Amddifadrwydd" o beth da; "heb feddu" peth drwg. Am hyny ni ellir dywedyd am Dduw ei fod yn "destitute" o ysbryd

dialgar am ei fod heb ei feddu. Ystyr "heb feddu" ydyw *not possessing*. (32.) "Arweiniwr a chynghorwr bywyd:" nid "author and sustainer of life," ond *guide and councillor of conduct* (33.) "Dyheadau:" nid "pantings," nid "outbursts," ac nid "inspirations," ond *yearnings*, neu *aspirations*. (34.) "Cynneddf sylfaenol:" nid "fundamental faculty," na "basic instinct," na "ground-work quality," ond *the faculty which lies at the basis*. (35.) "Galluogi i deimlo:" nid "empower to feel" (empower ydyw rhoddi awdurdod), eithr *enable*. (36.) "Ystyr gyffredin" ydyw, nid "common sense," ond *usual meaning*. (37.) "Gwylder ger bron Duw" ydyw, nid "bashfulness," er y buasai *abashed* yn air da. Nid "dread" ychwaith, oblegid "arswyd" fuasai hyny, ac nid "tenderness," yr hyn yw tynerwch; ond *abasement*, *humility*, neu *reverence*. (38.) "Hawddgarwch Duw:" y mae y Sais yn fyr o air i osod allan hawddgarwch Dwyfol. Nid yw "amiability," na "beautiness" (os myner y gair "beauty," ychwaneger ato "of holiness"), na "comeliness," yn cyfateb yn gyflawn i'r meddwl. (39.) "Unplyg:" nid "uniform," "universal," "impartial," "obvious," "one-fold," nac "absolute," ond *single-minded veracity* (geirwiredd unplyg). *Simplicity* ydyw y gair mwyaf priodol o ran tarddiad, ond defnyddir ef mewn ystyr nas gellid yn briodol ei gymhwyso at Dduw. (40.) "Crebwyll," ydyw yr awen sydd yn creu; felly *creative power* neu *creative genius* a feddylir, ac nid "fancy," neu "invention." (41.) "Dychymyg:" *imagination*, ac nid "fancy." Gwisg arddunol ar wirionedd, fel gwisg y lili, yn tyfu o'r gwir ei hun ydyw "imagination;" tybiaeth o beth posibl ydyw "fancy" ar y goreu. (42.) "Undeb â'n natur ni" ydyw *union with our nature*; "union" ac nid "unity," fel y mynai rhai. "Unity" ydyw unoliaeth syniadau. (43.) "Ar lwybr cyfiawnder" ydyw *on the lines of righteousness* ac nid "system" neu "course of justice." (44.) "Ufuddhaodd unwaith" ydyw *obeyed once for all*, ac nid "rendered one obedience." (45.) "Eangder diderfyn" ydyw *boundless breadth*, nid "endless amplitude." (46.) Wrth "lygredigaethau" golygir *vices*, nid "depravities." Nid oes rhif lïosog i "depravity," o herwydd nid gweithred ydyw, ond ansawdd halogedig ar feddwl ac ymddygiad. (47.) "Cyfathrach â;" *akin to*, o ran perthynas natur, ac nid "reduced to the level of" fel y cyfieitha un. (48.) Wrth "lechau ceryg" y golygir, nid "slates" ond *tables of stone*. (49.) "Arwydd:" nid "token" na "sign," ond *symbol*. (50.) "Trwy ba rai:" ai y pynciau neu y personau sydd yn cysylltu? Pa un ai "through which" neu "through whom?" Y prif air ydyw pynciau, am hyny y cyfieithiad priodol ydyw *through which*.

Dylid bob amser gymeryd i ystyriaeth gysylltiadau gair â geiriau eraill, er mwyn penderfynu y cyfieithiad goreu mewn lle penodol. Yn aml rhaid defnyddio gair gwahanol mewn cysylltiadau gwahanol, er na fyddo gwahaniaeth yn yr ystyr. A chan fod digon o amrywiaeth geiriau yn yr iaith Saesoneg, gellir yn hawdd roddi gwahanol eiriau mewn gwahanol leoedd ar yr un gair. Yr amcan mawr cyntaf mewn cyfieithiad yw cywirdeb o ran geiriau. Nis gallai unrhyw ragoriaeth arall wneuthur i fyny am ddiffyg yn hyn. Ond ar y sail hyn y mae gan feistr ar iaith, ddefnyddiau i osod *prydferthwch*, neu yn hytrach i beri i brydferthwch dyfu oddiar y cywirdeb, fel y mae prydferthwch

gwyneb natur yn dyfiant oddiar weithrediad ei deddfau. Rhydd y prydferthwch yn ffurfiad ymadroddion hyfrydwch i'r darllenydd, ynglŷn â buddioldeb. Fe fydd yr iaith yn rhydd, yn ystwyth, yn hawdd ei darllen, ac yn bleser i'w darllen. Mewn rhai o'r cyfieithiadau lle y dangoswyd gofal mawr i fod yn gywir, amlygwyd diffyg yn y gallu i ffurfio brawddegau ystwyth a phrydferth ag sydd yn profi meistrolaeth ar yr iaith Saesoneg. Fel y crybwyllwyd yn barod, ein safon i farnu teilyngdod y cyfieithiadau ydoedd penderfynu, hyd y gallem, pwy oedd wedi cyfuno oreu y rhagoriaethau yr ydym yma wedi eu nodi. Gyda golwg ar y chwe' cyfieithiad blaenaf, yr oedd hyn yn waith anhawdd iawn. Nid oedd genym ond barnu goreu gellid, a chymeryd digon o amser a hamdden i'w darllen a'u cymharu â'u gilydd drosodd a throsodd drachefn. Cyfieithiad y neb a gyfenwai ei hun yn "Menai" a ennillasai y lle blaenaf oll pe buasai yr holl ddarlith wedi ei chyfieithu gystal a rhanau o honi. Ond yr oedd y rhagoriaeth yn y naill hanner yn cael ei orbwyso gan ddiofalwch mewn rhanau eraill. Pe buasai wedi ail-ysgrifenu ei gyfieithiad ai gywiro, efe a fuasai yn ddiau y goreu; ond o herwydd y diffygion y cyfeiriwyd atynt ni chyrhaeddodd y lle blaenaf. Rhaner y wobr rhwng "Discipulus" a "Disgybl."*

---

# YMHERODRAETH YR HETHIAID.

*The Empire of the Hittites:* By WILLIAM WRIGHT, D.D., with Decipherment of Hittite Inscriptions by PROFESSOR SAYCE, LL.D.; a Hittite map by Col. SIR CHARLES WILSON, F.R.S., and CAPT. CONDER, R.E.; and a complete Set of Hittite Inscriptions by W. H. RYLANDS, F.S.A.

LLAWER ymosodiad sydd wedi cael ei wneyd o bryd i bryd ar gywirdeb hanesyddiaeth y Bibl o wahanol gyfeiriadau; ond hyd yn hyn y mae pob ymosodiad wedi profi yn ofer i ddymchwelyd dim arno, ac y mae pob darganfyddiad a wnaed ynglŷn â'r hen genedloedd a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau wedi troi yn brofion dros ddilysrwydd y cyfeiriadau Biblaidd at y cenedloedd hyny. Er mai nid crynodeb o hanesiaeth y gwahanol genedloedd boreuol ydyw y Bibl, eto y mae ei awdurdod a'i ddilysrwydd yn gysylltiedig â chywirdeb hanesyddol ei gynnwys. Mae y ganrif bresennol wedi bod yn neillduol o fywiog

* Cyn gwneuthur ei feirniadaeth yn hysbys, rhoddodd Mr. Davies y chwech cyfieithiad o'r dosbarth cyntaf yn nwylaw Mr. W. Prydderch Williams, Borough Road College, gael ei farn ef arnynt. Trefnwyd os byddai gwahaniaeth barn o barthed i'r goreu fod y wobr i gael ei rhanu, ac yn unol â'r trefniad hwn y rhanwyd y wobr rhwng Mr. John Owens, o Ysgol Nassau Street, Llundain, a'r Parch. O. T Williams, Croesor.

mewn ymchwiliadau a darganfyddiadau yn y gwledydd dwyreiniol. Wedi bod yn ddystaw am gannoedd lawer o flynyddoedd, clywir yn yr oes hon hen arwyddluniau *(hieroglyphics)* yr Aipht yn llefaru unwaith eto am wrhydri a gorchestion y naill Pharaoh ar ol y llall; dywed cerfiadau henafol Assyria am ryfeloedd a brwydrau yr hen amser; cloddiwyd trysorau henafiaethol Ninefeh i'r amlwg gan Mr. Layard (yn awr Syr Henry Layard); mae y *Palestine Exploration Fund* yn parhâu i ddyfod â dirgelion "rhyw newydd fan" o hen wlad yr addewid "o hyd i'r golwg." O ba gyfeiriad bynag y daw goleuni ar hanesiaeth ac arferion gwledydd y cynoesoedd, mae cywirdeb y cyfeiriadau Ysgrythyrol at y rhai hyny, yn barhaus yn cael ei gadarnhâu.

Ymhlith y lliaws mawr eraill o anhawsderau ag sydd wedi cael eu teimlo gan ymchwilwyr Ysgrythyrol, nid y lleiaf o honynt ydyw y cyfeiriadau mynych a wneir at genedl a elwir yr Hethiaid. Estyna y cyfeiriadau hyn atynt o amser Abraham hyd ddyddiau caethgludiad y deg llwyth gan yr Assyriaid, cyfnod o tua 1300 o flynyddoedd; ac y mae y cyfeiriadau hyn yn rhoddi lle i ni gasglu fod yr Hethiaid yn genedl nerthol a grymus. Yn awr, os parhaodd y genedl hon dros yspaid mor faith, ac os oeddynt mor nerthol a dylanwadol ag y rhoddir lle i ni gasglu eu bod dros yr yspaid hyny, paham na fuasai genym ryw gymaint o wybodaeth am danynt yn hanesiaeth gyffredinol y byd? Mae genym wybodaeth weddol gryno am yr Aipht yn ngwahanol gyfnodau ei hanes, o'r adeg foreuaf hyd yn bresennol; nid ydym heb wybod rhywbeth am Ninefeh a Babylon, ac ymherodraeth gref yr Assyriaid; mae hanesiaeth dyddorus gwlad Groeg yn dra adnabyddus i ni, a'r un modd am Rufain; ond wele ymherodraeth a barhaodd, yn ol y cyfeiriadau Ysgrythyrol ati, am gyfnod cyhyd a Groeg a Rhufain gyda'u gilydd, ac ymherodraeth o rym a gallu mawr, ac eto nid oes hanesiaeth iddi cyffelyb i eiddo y tywysogaethau eraill. O herwydd hyn ni phetrusai llawer beirniad galluog a dysgedig ammeu cywirdeb y Bibl ynglŷn â'r Hethiaid, ac nid ychydig ydyw nifer y rhai a wadent yn hollol ac yn bendant gywirdeb hanesyddol y cyfeiriadau Ysgrythyrol atynt. Dywedant nad yw yr ysgrifenwyr Ysgrythyrol yn dangos y gradd lleiaf o gydnabyddiaeth â hanesiaeth cyfoesol, &c. Dywed Proff. Newman, Cymrawd o Goleg Baliol, Rhydychain, fod y cyfeiriadau Ysgrythyrol at yr Hethiaid yn "groes i hanesiaeth," ac nad ydynt "yn dangos cydnabyddiaeth yr awdwr â hanes yr oesau hyny mewn goleu ffafriol."* Dywed y Parch. T. K. Cheyne, Cymrawd arall o'r un coleg, yn ei erthygl ar yr Hethiaid yn yr argraffiad newydd o'r *Encyclopædia Britannica*† fod y cyfeiriadau hyn yn groes i hanesiaeth ac yn annheilwng o gredo; ac am y cyfeiriad at yr Hethiaid yn llyfr Genesis, dywed, "nas gellir edrych ar y rhestrau hyn o drigolion Canaan yn meddu ar ddilysrwydd ac awdurdod hanesyddol," a thrachefn, "nas gellir eu cyfrif yn meddu ar gyfryw awdurdod â'r cofrestrau Aiphtaidd ac Assyriaidd," &c.

Ar y llaw arall teimlai rhai o'r ysgrifenwyr mwyaf galluog ar gwestiynau dwyreiniol fod yna ddolen gydiol rywle ar ol. Fel hyn yr ysgrifenai yr enwog George Smith, yr awdurdod gyda'r uchaf ar arwydd-

* *History of the Hebrew Monarchy* tu dal. 178, 179. † Vol. xii.

luniau yr Aipht, a materion dwyreiniol:—"Nis gellir deall yn hollol glir y gwir gysylltiadau rhwng y traddodiadau Babylonaidd â hanesiaeth Palestina, hyd nes y bydd i lenyddiaeth y boblogaeth Syriaidd oedd yn trigo rhyngddynt gael ei ddarganfod."* Yn gyffelyb i fel yr ymresymai seryddwyr oddiwrth ryw effeithiau o fewn cylch eu sylwadaeth seryddol nas gellid cyfrif am danynt drwy y planedau adnabyddus, y rhaid fod yna ryw blaned neu blanedau oeddent hyd hyny heb eu darganfod, ac yna a aent ymlaen yn eu hymchwiliadau seryddol nes llwyddo i ddarganfod y cyfryw blaned, felly y teimlai llawer o'r ysgrifenwyr ar hanesiaeth a llenyddiaeth yr oesau boreuaf, y rhaid fod yna ryw genedl nerthol wedi bod yn preswylio yn Syria a'r wlad gylchynol ag yr oedd iddi hanesiaeth a llenyddiaeth a ffurfiai y ddolen gydiol, y *missing link* yn hanesiaeth yr Aipht, Palestina, ac Assyria.

Erbyn hyn y mae darganfyddiadau pwysig wedi eu gwneyd yn ystod y deuddeng mlynedd diweddaf, ag sydd yn debyg o daflu goleuni ar yr hyn sydd wedi bod yn dywyll ac yn ddyryswch hyd yma. Mor bell a 70 mlynedd yn ol, yr oedd Burckhart, y teithydd a'r henafieithydd dwyreiniol enwog, wedi darganfod maen ar gongl tŷ yn Hamah, tref yn ngogleddbarth Syria, âg arno arwyddluniau (*hieroglyphics*), ond rhai gwahanol i rai yr Aipht. Ni fu chwaneg o son am y maen hwn, pa fodd bynag, hyd y flwyddyn 1870, pryd y daeth Mr. J. A. Johnson, y trafnidydd (*consul*) Americanaidd, a'r Parch. S. Jessop, yn ddamweiniol ar draws y cerfiadau ar y maen, ac y darfu iddynt ddarganfod tri maen arall yn yr un dref â'r cyffelyb arwyddluniau dyeithriol arnynt. Gwnaed llawer cais ganddynt hwy, a chan eraill ar eu hol, i gael argraffiadau o'r arwyddluniau hyn, ac i gael y meini i'w meddiant; ond ennynid llid a digofaint y trigolion a chynhyrfid eu hofergoeledd gan bob ymgais o'r fath, fel mai ofer a fu yr holl ymdrechion. Bygythid dinystrio yr arwyddluniau ar y meini hyn gan y rhai mwyaf penboeth o'r trigolion; ond yn ffodus, cyn i hyny ddygwydd, llwyddwyd i gael y meini ymaith. Yn y flwyddyn 1872 darfu i Sultan Twrci benodi Subhi Pasha yn Llywodraethwr Syria. Yr oedd hwn yn ddyn gonest a chydwybodol, ac yn dra awyddus i wella cyflwr trigolion gwahanol barthau ei dalaeth. Tuag at hyn fe benderfynodd dalu ymweliad â phob cyfran o'i dalaeth, a gwahoddodd y Parch. Dr. Wright i'w ganlyn i Hamah, ac yr oedd Mr. W. Kirkby Green, y trafnoddwr Prydeinig yn Damascus, hefyd ymysg y cwmni. Derbyniodd Dr. Wright y gwahoddiad yn llawen, ac yr oedd yn ei fwriad gymeryd mantais ar yr amgylchiad i geisio sicrhâu y meini arwyddluniol hyn yn Hamah. Wedi cyrhaedd y ddinas, cafodd gyfle yn fuan i ofyn i'r Llywodraethwr am ei gynnorthwy yn ei amcan. Cydsyniodd hwnw yn galonog ar unwaith. Drannoeth bu Dr. Wright mewn cryn drafferth i ddyfod o hyd i'r meini, ond o'r diwedd llwyddodd i'w gweled. Pan ddangoswyd hwy i Subhi Pasha, yr hwn oedd yn ŵr tra dysgedig, gwelodd hwnw ar unwaith eu bod yn drysorau o'r mwyaf gwerthfawr, ac anfonodd bellebyr at y Sultan i ofyn a wnai efe eu derbyn yn anrheg i'r Amgueddfa yn Nghaercystenyn, a derbyniodd atebiad cadarnhäol. Dangosai Dr. Wright iddo fod y cyfryw arwydd-

‡ *Chaldean Account of Genesis*: tu dal. 311.

luniau i fod yn eiddo cyffredin, a bod dysgedigion Ewrop yn dysgwyl yn bryderus am gopïau o honynt, ac y byddent yn debyg o agor pennod newydd mewn hanesiaeth, yn dangos fod cenedl o bobl, a elwid yn Hethiaid yn y Bibl, ar un adeg, wedi bod yn ymherodraeth gref, yn y rhanbarth hwnw. Addawodd y Llywodraethwr y cawsai bob cyfleusdra i gael copïau. Nid heb gryn anhawsder, pa fodd bynag, y caed y meini ymaith. Gorfuwyd rhoddi milwyr i'w gwylio a'u hamddiffyn dros nos, a thalwyd symiau mawrion o arian i'r rhai a berchenogent y tai lle yr oedd y meini yn ffurfio rhan o'u muriau; ac yr oedd un o'r meini mor anferth o fawr, fel y cymerodd i hanner cant o ddynion a phedwar o ychain ddiwrnod cyfan i'w lusgo un filldir o ffordd. Yn y diwedd, fodd bynag, llwyddwyd i'w cael i ddiogelwch; ac wedi hir drafferth a mawr helbul, llwyddodd Dr. Wright i gael copïau perffaith o honynt, y rhai a ddanfonwyd ar unwaith i'r wlad hon. Heblaw y pedwar maen hyn o Hamah, y mae llïaws mawr o rai eraill wedi eu cael yma a thraw ar hyd Asia Leiaf, a chyffelyb arwyddluniau arnynt. Mae y meini hyn, a fu yn gorwedd yn ddystaw am filoedd o flynyddoedd, yn awr yn destun astudiaeth dysgedigion, ac y mae lle cryf i obeithio y clywir hwy, cyn pen nemawr o amser, yn dechreu llefaru eto, ac y ceir goleuni trwyddynt ar gyfnod maith o hanes y byd ag sydd wedi gorwedd mewn tywyllwch dudew. Yn ngeiriau Dr. Wright, mae y bedwaredd ganrif ar bymtheg cyn Crist yn awr yn dechreu taflu pelydrau dysglaer ei goleuni i'r bedwaredd ganrif ar bymtheg ar ol Crist. Mae y Proffeswr Sayce yn barod wedi llwyddo i wneyd allan ryw gymaint o'u hystyr. Hyd nes y ceir clywed llais y meini hyn a mwynhâu eu cenadwri, y mae Dr. Wright, ar ol astudiaeth faith a thrwyadl ar hen arwyddluniau a chofrestrau yr Aipht ac Assyria, wedi gwneuthur hanesiaeth i genedl yr Hethiad, ac wedi eu hadferu fel teyrnas i blith teyrnasoedd mawrion yr oesoedd cyntefig, a thrwy hyny gadarnhâu cyfeiriadau gwasgaredig yr Ysgrythyrau atynt. Ein hamcan ninnau, yn yr ysgrif hon bellach, a fydd rhoddi braslun byr o hanes ymherodraeth yr Hethiad, fel ei dysgir yn mrutiau ac arwyddluniau yr Aipht ac Assyria, ac yna gweled pa fodd y mae yr hanes hyny yn cadarnhâu cywirdeb hanesyddol y Bibl yn ei gysylltiad â'r Hethiaid.

## YR HETHIAID.

Adnabyddid y genedl hon gan yr Aiphtiaid fel gwŷr Kheta, gan yr Assyriaid fel y Khattiaid, ac y mae Mr. Gladstone yn dangos mai atynt hwy y mae Homer, y bardd Groegaidd, yn cyfeirio fel y Keteioi. Estynai eu tiriogaeth dros yr oll o Syria o Lebanon hyd yr afon Euphrates, a'u prif ddinasoedd oeddynt Kadesh ar yr afon Orontes yn y dehau, a Karchemish ar yr afon Euphrates yn y gogledd-ddwyrain. Yr oedd iddynt drefedigaethau yn ymestyn can belled a Hebron i'r dehau, ac hyd yn nod rai ar derfynau tir yr Aipht, ac i'r gogleddorllewin yr oedd iddynt gynghreiriaid ymysg holl ddinasoedd Asia Leiaf, fel y gellir dyweyd fod eu dylanwad yn cyrhaedd dros y gwledydd a adnabyddir yn bresennol fel Syria, Palestina, ac Asia Leiaf.

Mewn llythyr a ysgrifenwyd gan Mr. Gladstone at Dr. Wright ar dderbyniad ei lyfr, dywed:—

Mae y ddamcaniaeth o'r eiddoch am ëangder dylanwad yr Hethiaid, mewn cyd-gordiad hollol â'r dybiaeth eu bod o fewn cylch cynghreirwyr Troy. Gallaf ychwanegu fod y cyfeiriad atynt yn 'Homer yn hollol gytuno â'ch athrawiaeth o berthynas i fawredd yr Hethiaid. (1.) Oblegid fod gwrhydri mab Achilles yn cyrhaedd ei eithaf-bwynt wrth ladd eu penaeth hwy. "Ni wnaf," meddai Odysseus, "enwi yr oll a laddwyd ganddo, ond yn unig y gwron Eurupulus." (2.) Oblegid enwir y Keteioi heb unrhyw ansoddair na desgrifiad o gwbl, yr hyn a awgryma eu bod yn bobl tra adnabyddus ac enwog.

Yr oeddynt lawer ymlaen i'r cenedloedd amgylchynol mewn gwybodaeth a chelfyddyd. Pan yr aeth cenadon eu brenin, Kheta-sira, i lawr i'r Aipht (fel y cawn sylwi eto), i wneuthur heddwch â Rameses II., dygasant gyda hwy ddysgl neu blât o arian, ar yr hwn yr oedd geiriad y cyfammod wedi ei ysgrifenu mewn llythyrenau Hethaidd. "Hon," meddai M. G. Perrot, "ydyw y weithred lys-genadol *(diplomatic)* henaf ag sydd wedi dyfod i lawr i'n meddiant."* Mae y ddysgl wedi myned ar ddifancoll, ond ceir copi o'r cytundeb ar furiau temlau Rameses, lle y dywedir: "Dyma gopi o gynnwys y llech arian, a wnaed drwy orchymyn brenin mawr Kheta, Kheta-sira, ac a gyflwynwyd i Pharaoh drwy law ei lysgenadon Tarthisebu a Rames, i wneuthur heddwch â'r brenin Ramessu-Miamum." Ymddengys fod arian yn bur adnabyddus iddynt, a geilw Professwr Sayce sylw at y ffaith nodedig o bresennoldeb yr Hethiaid yn nghyffiniau mwnau arian. Y fargen arianol gyntaf ar gof a chadw ydyw pryniad tir beddrod oddiwrthynt gan Abraham, pryd y pwysodd "bedwar can' sicl o arian cymeradwy ymhlith marchnadwyr" (Gen. xxiii. 16). Eu harian hwy oedd y safon i'r llwythau cylchynol, a dywed Mr. Barclay Head, o'r Amgueddfa Brydeinig, mai *mina* yr Hethiaid ydoedd y safon yn Asia Leiaf ac ymhlith y Groegiaid, am yspaid maith ar ol terfyn yr ymherodraeth Hethaidd.

Nid mewn llenyddiaeth yn unig y rhagorent. Ar hen gerfiadau yr Aipht ac Assyria, yn gystal ag yn yr Ysgrythyrau, darllenwn am eu cerbydau rhyfel a'u meirch; mewn amryw arwyddluniau sonir am gynifer a 2000 o gerbydau rhyfel mewn un frwydr, yn y rhai y byddai tri milwr yn ymladd, a'r oll yn unol â chynghor rhyfel galluog, yn yr hyn yr oeddynt yn hollol wahanol i'r Canaaneaid eraill.

## YR HETHIAID A'R AIPHTIAID.

Wrth ymestyn tua'r dehau daeth yr Hethiaid yn fuan i wrthdarawiad â'r Aiphtiaid. Y mae yn y Louvre, yn Paris, gofadail, a'i dyddiad yn amser y Pharaoh cyntaf o'r deuddegfed linach, rywle o'r flwyddyn 2084 C.C. i 2047 C.C. Ar hon y mae rhestr o ddinasoedd a phalasau perthynol i'r Hethiaid a ddinystriwyd ar derfynau gwlad yr Aipht. Dyma'r croniclad cyntaf am danynt.

Tua chanol yr 17eg ganrif C.C., cawn hanes Thothmes I. yn esgyn yr

* *Revue Archèologique*, Rhag. 1882.

orsedd, ac yn penderfynu "golchi ei galon" drwy ymddial ar yr Asiaid oedd yn gwasgu ar ororau ei deyrnas. Yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad dechreuodd ar ryfel yn erbyn yr Hethiaid a'u cynghreirwyr, rhyfel, yn ol Brugsch, a gariwyd ymlaen am 500 mlynedd gan wahanol frenhinoedd. Ar ei ol ef daeth brenhines i'r orsedd, a chymerwyd mantais ar hyny gan y rhai oedd wedi eu darostwng gan Thothmes I. i dalu teyrnged i'r Aipht, i daflu ymaith yr iau ormesol, ac i ffurfio cynghreiriau pwysig yn ei herbyn. Yn mlaenaf ymysg ei gelynion y pryd hyn yr oedd brenin yr Hethiaid, yr hwn a gasglodd ynghyd, meddai yr hen arwyddluniau, "y brenhinoedd a'u gwŷr o ddyfroedd yr Aipht hyd at afondir Mesopotamia, a hwy a ufuddhasant iddo megys i'w penaeth."

Tua'r flwyddyn 1600 C.C. esgynodd Thothmes III. i'r orsedd Aiphtaidd. Efe ydoedd Alexander Fawr yr Aipht, a cheir hanes manwl am ei orchestion. Ar ochrau nodwydd Cleopatra sydd yn awr ar lanau'r Tafwys yn Llundain, ceir amryw o'i orchestion wedi eu cofrestru. Yn gyffelyb i Alexander Fawr, gwnaeth Thothmes III. i'r byd adnabyddus y pryd hyny, deimlo ei allu, ac yr oedd yn fuddugoliaethus o ganolbarth Africa hyd at derfynau'r India. Gwnaeth 13 rhuthrgyrch yn erbyn yr Hethiaid; drachefn a thrachefn y goresgynodd y wlad. Casglasai brenin yr Hethiaid y cynghreirwyr ynghyd i dref gaerog Megido. Yn erbyn y dref hon y daeth Thothmes a'i fyddin. Ei orchymyn i'r milwyr y noswaith cyn y frwydr ydoedd: "Cedwch eich hunain yn barod, edrychwch at eich arfau, oblegid yn blygeiniol iawn y cawn gyfarfod â'r gelyn truenus hwn mewn rhyfel." Gwawriodd y boreu, brwydr boeth a ymladdwyd, byddin y cynghreirwyr a drechwyd, a chan adael eu cerbydau ar ol, hwy a ddiangasant i'r ddinas; ond yn lle eu herlid ar unwaith a meddiannu y dref, arosodd byddin Pharaoh i sicrhâu yr yspail a adawyd ar ol gan y gelynion. "O," meddai'r hanesydd, "na buasai gwŷr arfog y brenin wedi gwrthsefyll y demtasiwn o yspeilio anrhaith y gelyn, oblegid yna buasai Megido wedi ei chymeryd y pryd hyny." Yn ddilynol gwarchäewyd y dref, ond yr oedd "nerth mil o ddinasoedd yn Megido," a'r brenin "yn rasol a faddeuodd i'r tywysogion estronol," ac a ddychwelodd i'w wlad, gydag yspail fawr, ymhlith y rhai yr oedd meini gwerthfawr, dysglau aur, 924 o gerbydau rhyfel, a cherbyd goreuredig o aur perthynol i frenin yr Hethiaid. Ond nid oedd nerth yr Hethiaid wedi diffygio; saith mlynedd yn ddiweddarach daeth Thothmes drachefn yn eu herbyn hyd at Kadesh, eu prifddinas, "ac a'i dinystriodd hi, gan lwyr ddiwreiddio yr holl goed o'i hamgylch;" ac yn y 33ain flwyddyn o'i deyrnasiad cawn ymgyrch eilwaith yn eu herbyn, ac ymysg yr yspail o Lebanon a'r wlad oddiamgylch, dywed yr hen frutiau Aiphtaidd fod "teyrnged gwlad fawr yr Hethiaid—301 pwys o arian mewn wyth modrwy, dernyn mawr o faen gwyn gwerthfawr . . . ."

Ar ol marwolaeth Thothmes III., yr hyn gymerodd le yn y flwyddyn 1566 C.C., adfywiodd a chryfhaodd nerth yr Hethiaid, fel ymhen 50 mlynedd y maent yn llwyddo i ffurfio cytundeb â Rameses I., brenin yr Aipht, ac am yspaid y mae y ddwy ymherodraeth yn parhau mewn heddwch ac yn byw yn gytun, gan barchu eu gilydd.

Yn y flwyddyn 1366 C.C. esgynodd Seti I. (yr hwn hefyd a elwir

Sether neu Sethos) i'r orsedd, ac yr oedd ef yn fyw o hen ysbryd milwrol yr Aipht. Yn ystod y seibiant a fu, yr oedd y gelynion wedi ennill eofndra, ac yn mynych ruthro ar y wlad. Yntau a gasglodd fyddin gref, ac a'u hymlidiodd o'i derfynau, ac a'u herlidiodd gan ladd lliaws o'r Phœniciaid. Yn ammeu fod a wnelo yr Hethiaid â'r rhuthrgyrchau mynych hyn oedd wedi cymeryd lle, mae Seti yn myned ymlaen o Phœnicia hyd at Kadesh, prifddinas yr Hethiaid, yn y cymeriad o "ddialydd cytundebau toredig." Cymerwyd y ddinas heb unrhyw anhawsder, gan fod y bobl gyda'u gwaith ar hyd y meusydd, ac felly yn hollol anmharod i gyfarfod âg ymosodiad y gelyn. Ceir desgrifiad o'r frwydr ar y cerfiadau ar furiau teml fawr Karnak,* lle y portreiadir cwympiad y ddinas a'r tywysogion yn gorwedd yn lladdedigion ar y maes o amgylch. Yna adferwyd heddwch, a dychwelodd yr Aiphtiaid i'w gwlad yn fuddugoliaethus; a chan mai yr Hethiaid oeddynt gryfder y cynghrair, golygai heddwch â hwy heddwch â holl elynion yr Aipht, ac felly y dywed y cerfiad: "Brenhinoedd nerthol gwlad druenus Syria a ddygwyd gan y brenin, drwy ei fuddugoliaeth ar yr Hethiaid, i lanw trysordŷ ei dad goruchel, Amon Ra, Arglwydd Thebes, oblegid rhoddi o hono iddo ef oruchafiaeth ar y byd deheuol, a darostyngiad y byd gogleddol."

Dilynwyd Seti I. ar orsedd yr Aipht gan ei fab Rameses II. Efe, mae'n debyg, ydoedd Pharaoh gorthrymwr cenedl Israel. Adnabyddid ef gan y Groegiaid wrth yr enw Sesostris, ac yn yr Aipht gelwid ef y Gorchfygwr. Lliosog ac ardderchog fuont ei orchestion ef, nid y lleiaf o ba rai ydoedd brwydr a buddugoliaeth fawr Kadesh. Yr oedd rhyfel wedi tori allan unwaith eto rhyngddynt a'r Hethiaid. Casglodd brenin yr Hethiaid ei filwyr ynghyd o barthau pellaf ei deyrnas i Kadesh, ac yno yr ymladdwyd un o frwydr penaf y cynoesoedd. Ceir hanes manwl am dani yn ysgrifenedig gan y prif-fardd brenhinol Pentaur, ac yn gerfiedig ar furiau temlau Karnak, Abydos, &c. Mae yr awdl hon gan Pentaur yn 3200 mlwydd oed, ac felly yr arwrgerdd henaf yn y byd. Dodwn yma grynodeb byr o honi :—†

Brenin truenus yr Hethiaid a gasglodd ynghyd bobloedd y ddwy afon, y Dardaniaid o lanau môr Ægea, yr ynyswyr o Arfad, preswylwyr mynydd-dir Mœsius, gwŷr Aleppo, Karchemish, &c. O barthau pellaf Asia Leiaf y daeth y llu mawr ynghyd i Kadesh, ar yr afon Orontes. Ni adawsant neb ar y ffordd heb eu dwyn gyda hwynt. Gorchuddiasant fynyddoedd a dyffrynoedd fel locustiaid heb rif. Ni welwyd y fath dyrfa erioed o'r blaen. Ysgubwyd trysorau y gwledydd o'u blaen, fel na adawyd nac arian nac aur ar ol. Ar yr ochr arall yr oedd y brenin Pharaoh yn ieuanc a gwrol. Ei freichiau oeddynt nerthol, a'i galon yn ddewr. Ymaflodd yn ei arfau, a chan' mil a gwympodd o flaen ei olygon. Arfogodd ei bobl a'i gerbydau. Fel yr oeddynt yn cerdded tua gwlad yr Hethiaid, crynai yr holl ddaear. Ei ryfelwyr a dramwyent gyda llwybr y diffaethwch, ac aethant ar hyd ffordd y gogledd. Yn y man daethant hyd at Kadesh. Daliwyd yspïwyr Arabaidd, y rhai a roddasant hysbysrwydd i Pharaoh fod

* Am deml fawr Karnak, gwel y *Gwyddoniadur*, cyf. I., tu dal. 141.
† Yn Brugsch's *Egypt under the Pharaohs*, ii. 56, ceir cyfieithiad llythyrenol o'r awdl, ac hefyd yn Goodwin's *Record of the Past*, iv. 27.

byddin yr Hethiaid gerllaw Aleppo. Eithr brenin truenus yr Hethiaid a'i gynghreirwyr a arhoisent mewn cynllwyn yn y gogledd-ddwyrain i Kadesh. Yna ffurfiwyd y fyddin Aiphtaidd yn fynteioedd ar eu taith, a Pharaoh a adawyd yn unig,—nid oedd neb gydag ef. Rhuthrodd yr Hethiaid o'u hymguddfa, a'u brenin yn eu canol. Llefodd Pharaoh ar ei wŷr nerthol, ond yr oeddynt gerllaw llyn yr Amoriaid. Marchogion a cherbydau yr Hethiaid oeddynt ddirifedi fel y tywod; rhai a ymosodent ar yr Aiphtiaid a aethant heibio, gan eu gyru i ffoi—filwyr a cherbydau. Eraill hyd yn 2500 o gerbydau, a ymosodasant ar Pharaoh. Pan welodd ef ei fod wedi ei amgylchynu gan ei elynion, ac nad oedd diangfa, llefodd allan, "Nid oes un o'm tywysogion, nid oes un o gapteniaid fy llu, nid oes un o'm gwŷr grymus na'm marchogion gyda mi. Fy rhyfelwyr a'm cerbydau a'm gadawsant, nid oes un yma i ymladd gyda mi!" Yna efe a weddïodd ar ei dad, y duw Amon. Adroddai ei weithredoedd ufudd a duwiol iddo, a gofynai a oedd ef i gael ei ddarostwng gan bobl estronol, ac onid oedd Amon yn fwy na bugeiliad y rhai ni adnabuant un duw? Coffäodd y temlau oedd wedi adeiladu iddo, yr offrymau a gyflwynwyd iddo ar yr allorau, ac yna gan bwyntio at luoedd y gelyn o'i amgylch, dadganai ei ymddiried fod Amon yn rymusach na miliwn o ryfelwyr, ac na chan' mil o feirch, ac na deng mil o frodyr a meibion. Yna y duw Amon a estynodd allan ei law, a Pharaoh a lefodd o lawenydd. Y duw a ddadganai ei hunan yn arglwydd buddugoliaeth, ac yn gyfaill dewrder. Daeth Pharaoh megys duw. Lluchiai bicellau â'i ddeheulaw, ac ymladdai â'i law chwith. Y 2500 meirch a faluriwyd yn ddarnau; calon yr Hethiaid a suddodd ynddynt; eu gliniau a ddiffygiasant, ac nid oedd ynddynt nerth i daflu'r waywffon, a Pharaoh a'u hysgubodd ymaith i'r afon Orontes megys crocodiliaid. Brenin yr Hethiaid a anfonodd wyth o'i frodyr brenhinol gyda cherbydau arfog i ymladd yn erbyn Pharaoh. Gyda 2500 o feirch hwy a ruthrasant ar wyneb fflamiog Pharaoh, ond efe a'u bwriodd hwynt i'r llawr, ac a'u lladdodd hwynt yn y fan. Efe a galonogodd ei gerbydwr, yr hwn oedd ar farw o ddychryn. Chwe' gwaith y rhuthrodd ar y trueiniaid aflan, y rhai ni chydnabyddent ei dduw, ac a'u lladdodd; ni ddiangodd un. Pan ddychwelodd yr Aiphtiaid, a gweled eu brenin yn fuddugoliaethus, a'r gelynion fel gwellt o'i amgylch yn gorwedd yn eu gwaed, maent yn uno i foli ei werth a'i ddewrder. Y mae yntau yn eu ceryddu am ei adael ei hunan, ac wedi adrodd ei wrhydri yn y frwydr, addawa, pan y cyrhaedda gartref i'w balas, i edrych ar fod ymborth priodol yn cael ei roddi i'w bâr o geffylau a lynasant wrtho yn ei berygl. Adnewyddwyd y frwydr bore drannoth, a rhuthrodd Pharaoh a'i ryfelwyr dewr i boethder y frwydr fel y fwltur i blith yr ŵyn. Coronbleth y sarph frenhinol ar ben Pharaoh a boerai dân allan i wynebau ei elynion. Crynai yr Hethiaid a syrthient o'i flaen fel meirw, gan lefain am drugaredd. Yna brenin yr Hethiaid a anfonodd genad at Pharaoh i ddyweyd ei fod wedi tori gwddf yr Hethiaid am byth bythoedd, ac i gydnabod Pharaoh fel yn nerthol mewn rhyfel ac yn hoffi cyfiawnder. Dywed y dylai yr Aiphtiaid a'r Hethiaid drigo ynghyd megys brodyr, fod heddwch yn well na rhyfel, a bod digofaint y brenin yn drwm ar yr Hethiaid, y rhai a ddymunent heddwch. Yna Pharaoh a drodd yn ol mewn

ysbryd hynaws, ac wedi galw ynghyd ei ryfelwyr, caniatäodd iddynt glywed cenadwri "brenin *mawr* yr Hethiaid." Yr Aiphtiaid a annogent Pharaoh i wneuthur heddwch. Gwrandawodd yntau ar eu geiriau, gwnaeth heddwch, dychwelodd i'r Aipht mewn tangnefedd, a gorphwysodd yn ei balas fel yr haul ar ei orsedd. Ysgrifenwyd yn y seithfed flwyddyn o'r Brenin Rameses Miamun, yn y mis Payni, gan Pentaur, yr ysgrifenydd brenhinol.—

Wrth sylwi yn fanwl a darllen rhwng y llinellau, prin y gallwn feddwl fod Pharaoh wedi ennill rhyw fuddugoliaeth fawr. Yn hytrach bron na thybiem fod y ddwy blaid yn bur debyg ar ddiwedd y frwydr. Mae "brenin *truenus* yr Hethiaid" yn nechreu yr awdl wedi dyfod yn "frenin *mawr* yr Hethiaid" yn ei diwedd; ac nid oes genym ychwaith y rhestr arferol o'r yspail a gymerwyd yn ol i'r Aipht gan y gorchfygwyr. Pa fodd bynag, ffurfiwyd heddwch a chyfeillgarwch rhyngddynt a'u gilydd, a gwelid dwy brif genedl y byd y pryd hyny mewn rhwymau tangnefedd unwaith eto. Dilynwyd hyn gan gyfathrach priodasol. Daeth Kheta-sira, brenin yr Hethiaid, i lawr i'r Aipht yn ei wisg Hethaidd, a dilynid ef gan ei ferch landeg, Ur-ma Nofirura, a brenin yr Aipht a'i cymerodd hi iddo ei hun yn wraig, yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg ar hugain o'i deyrnasiad. Yr Ur-ma Nofirura hon, ond odid, ydoedd mam y dywysoges a fabwysiadodd Moses yn "fab merch Pharaoh." Parhaodd yr heddwch rhwng y ddwy genedl hyd derfyniad teyrnasiad maith y brenin Rameses II., yr hwn a deyrnasodd am driugain mlynedd.

Tua'r flwyddyn 1300 C.C. dilynwyd ef ar yr orsedd gan ei fab Mineptah II., Pharaoh llyfr Exodus. Parhaodd yntau yn y teimladau cyfeillgar tuag at yr Hethiaid, ac o bosibl drwy ei gysylltiadau perthynasol y gwnaeth y caredigrwydd â hwy y cyfeirir ato yn un o'r cerfiadau Aiphtaidd: "Efe a anfonodd ŷd mewn llongau i gadw yn fyw bobl yr Hethiaid."

Ymhen tua chanrif yn ddiweddarach cawn fod cyngrair drachefn wedi ei ffurfio i wneuthur ymosodiad ar yr Aipht ar dir a môr. Rameses III. oedd yn teyrnasu y pryd hyn, ac efe a lwyr orchfygodd y gelynion mewn brwydr ar y môr, gerllaw Migdol, wrth enau y Nile. Yn ddilynol efe a wnaeth ymgyrch yn eu herbyn ar y tir, ac a'u gorchfygodd. Ymysg enwau y rhai a orchfygwyd, y rhai sydd i'w cael ar furiau teml Medinet Abon, y mae enw "brenin truenus yr Hethiaid, yr hwn a gymerwyd yn garcharor."

Fel hyn gwelwn yr Hethiaid ochr yn ochr â'r Aiphtiaid mewn rhyfel a heddwch, ac er eu mynych orchfygiad ar y terfynau deheuol, yr oedd y fath eangder i'w hymherodraeth tua chyfeiriad Asia Leiaf, a'r fath gyfoeth yn eu meddiant, fel yr oedd byddinoedd newydd i'w cael yn wastadol, a digon o rym ganddynt i wrthsefyll yr Aiphtiaid yn y cyfnod goreu a chryfaf yn eu hanes, a hyny am yr yspaid maith o fil o flynyddoedd. Rhaid felly fod i'r Hethiaid nerth nid bychan, a lle nid dibwys, yn hanesiaeth gyntefig y byd.

## YR HETHIAID A'R ASSYRIAID.

Nid yn unig â'r Aiphtiaid tua'r dehau y daeth yr Hethiaid i wrthdarawiad, ond hefyd âg ymherodraeth eang a nerthol yr Assyriaid tua'r dwyrain. Yn yr Amgueddfa Brydeinig y mae yn nghadw nifer o gofrestrau a adnabyddir fel Tafleni Seryddol Assyriaidd. Mae y rhai hyn yn nodedig o henafol, ac yn y rhai boreuaf cawn groniclad am "frenin yr Hethiaid" yn cyflawni rhyw wrhydri, neu yn euog o ryw ormes neu gilydd. Ac erbyn dyfod i lawr i gyfnod Tiglath-Pileser I., 1130 C.C., y mae yr Hethiaid yn meddiannu'r wlad o Lebanon hyd yr Euphrates. Yn y flwyddyn 1857 llwyddwyd i ddarllen hen gerfiad a ddarganfyddwyd yn Kelah Shergat, a dywedir fod y cerfiad hwn ymysg yr henafiaethau henaf ei ddyddiad o ddim o faint perthynol i hanes yr Assyriaid. Arno dywedir i frenin yr Assyriaid, ar ei esgyniad i'r orsedd, yn ddioed ymosod ar yr Hethiaid a'u gyru yn ol o derfynau gorllewinol ei diriogaeth. "Tra yr oeddwn ar yr ymgyrch hon," meddai y brenin, "yr hon a orchymynwyd gan yr Arglwydd Asur er mwyn eangu terfynau ei diriogaeth, yr oedd yno 4000 o'r Kashayaid a'r Hurunayaid, llwythau gwrthryfelgar yr Hethiaid, y rhai a oresgynasant ddinasoedd Sabarta. Arswyd fy ymgyrch ryfelgar a'u llanwodd hwynt. Ni wnaent ryfela, ond ymostyngasant i'm hiau. Yna y cymerais eu trysorau, 120 o gerbydau rhyfel,—y rhai a roddais i wŷr fy ngwlad." Ond er i Tiglath-Pileser fel hyn eu darostwng am yspaid dan yr iau, ni pharhaodd y gorchfygiad yn faith, ac am y 400 mlynedd dilynol cawn yr Hethiaid a'r Assyriaid yn ymdrech â'u gilydd pa un fyddai ben.

Asur-Nasir-Pal ydoedd brenin Assyria yn y cyfnod o 883—858 C.C. Hwn a oresgynodd y wlad hyd at Lebanon, a dinasoedd Tyrus a Sidon. Ceir cerfiadau lawer yn rhoddi hanes manwl am ryfeloedd a buddugoliaethau y brenin hwn, ynghyd a'r cenedloedd a roddasant warogaeth iddo, a cheir cyfeiriadau mynych at deyrnged yr Hethiaid yn y ffurf o gerbydau ac arfau rhyfel. Teimlir cryn lawer o dôn ymffrostgar yn y cerfiadau hyn; ond a gadael hyny o'r neilldu, canfyddwn yr ymherodraeth Assyriaidd yn dyfod yn gryfach gryfach, a'r Hethiaid yn myned wanach wanach. Ymddengys fod eu hymherodraeth erbyn yr adeg hon wedi ymranu yn fân daleithiau o dan nifer o frenhinoedd bychain. Nid yw y cofrestrau yn cyfeirio at un cynghrair mawr cryf, cyffelyb i'r hyn oedd gan yr Aiphtiaid i'w gyfarfod yn mrwydrau Megido a Kadesh; ond dinas ar ol dinas a oresgynid gan frenin yr Assyriaid. Yr oedd yr undeb, ymha un yr oedd nerth, wedi diflanu, a'r hyn a gymerodd le yn hanes Groeg yn ddiweddarach trwy ei ngorchfygiad gan Philip o Macedon, a gymerodd le yn awr yn hanes yr Hethiaid drwy law yr Assyriaid. Ar yr un pryd, y mae y ffaith fod yr Hethiaid yn parhau i ymladd yn flynyddol â'r Assyriaid, yn profi fod grymusder mawr yn nghanolbarth y wlad.

Dilynwyd Asur-Nasir-Pal gan ei fab Shalmaneser, yr hwn a deyrnasodd o 858 hyd 823 C.C. Cofnodir dros 30 o wahanol ryfel-dymmorau *(campaigns)* yn ystod ei deyrnasiad ef, ac yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn ngwlad yr Hethiaid. Drachefn a thrachefn gorchfygid yr un dinasoedd; unwaith ac eilwaith dygid ymaith yspail ac anrhaith o'r

dinasoedd hyny, a pharhau a wnaeth y brwydro dros holl deyrnasiad Shalmaneser, a dygid y rhyfel ymlaen gan y brenhinoedd a'i dilynasant ef. Can' mlynedd ar ol ei amser ef, cofrestrir fod yr Hethiaid yn parhau yn eu gwrthwynebiad i'r Assyriaid, ond y mae eu nerth yn awr yn pallu, a'r diwedd yn agosâu.

Yn y flwyddyn 721 C.C. esgynodd Sargon i'r orsedd Assyriaidd, ac yn y flwyddyn 717 B.C. daeth y rhyfeloedd blinion â'r Hethiaid i derfyniad yn nghwymp a gorchfygiad yr Hethiaid, a llwyr ddinystriad Karchemish, eu prifddinas ddwyreiniol. Fel hyn y cofnodir yr amgylchiad pwysig hwn yn un o'r cerfiadau lliosog am deyrnasiad Sargon: —"Yn y bummed flwyddyn o'm teyrnasiad, Pisiri o Karchemish a bechodd yn erbyn y duwiau, ac a anfonodd genadwri elyniaethol i'r Assyriaid. Minnau a ddyrchefais fy llef ar y duw Asur, ac a ymosodais ar dref Pisiri. Gyrais ef ymaith o'i ddinas, cymerais ymaith y llestri aur o'i balasdŷ, a gorchymynais ei ddodi ef mewn cadwynau. Dygais ymaith yr aur a'r arian, a thrysorau y palas. Y gwrthryfelwyr oeddynt gydag ef yn Karchemish a'u heiddo a ddygais i Assyria. Cymerais 50 cerbyd rhyfel, 200 o farchogion, 3000 o wŷr traed, a chadarnhëais â hwy y rhan hon o'm teyrnas. Gwnaethum i'r Assyriaid drigo yn Karchemish, a dodais hwy o dan arglwyddiaeth y duw Asur . . . . . ."

Dyma ddiwedd ymherodraeth eang a chref yr Hethiaid. Daliodd ei thir er gwaethaf pob ymosodiadau arni, er holl ruthrgyrchau yr Aiphtiaid o'r dehau a'r Assyriaid o'r dwyrain, dros yspaid hwy nag y parhaodd ymherodraethau Babylon nac Assyria, Groeg na Rhufain. O'r 19eg ganrif hyd y 6ed ganrif cyn Crist cawn hanes hon, ei rhyfeloedd a'i brwydrau. Cyn bod Abraham yr oedd hon, ac ar ol caethgludiad y deg llwyth yr oedd y bobl hyn yn parhau yn eu prifddinas Karchemish.

## Y CYFEIRIADAU YSGRYTHYROL AT YR HETHIAID.

Yn awr, yn ngoleuni'r henafiaethau hyn o eiddo yr Aiphtiaid a'r Assyriaid, edrychwn beth a ddywed y Bibl am yr Hethiaid. A ydyw y cyfeiriadau hyny yn debyg o ddal eu tir wrth eu cymharu â'r arwyddluniau a'r cerfiadau henafol hyn? A fydd i gywirdeb hanesyddol yr Ysgrythyrau gael ei gadarnhau gan y gymhariaeth?

Y cyfeiriad cyntaf at yr Hethiaid a geir yn y Bibl ydyw yn Gen. xv. 18—21, lle y gwna yr Arglwydd gyfammod âg Abraham, gan ddywedyd, "I'th hâd di y rhoddais y wlad hon, o afon yr Aipht hyd yr afon fawr, afon Euphrates; y Ceneaid, . . . yr Hethiaid hefyd . . ." Crybwyllir yma am lwythau yn byw yn y wlad oedd yn ymestyn tuag afon yr Euphrates, ac enwir yr Hethiaid yn eu plith. Yn ol amseryddiaeth Usher, rhoddwyd yr addewid hon i Abraham tua'r flwyddyn 1913 C.C. Yn y tafleni seryddol a grybwyllwyd yn barod, a gawsant eu parotoi i lyfrgell Sargon, y penadur Babylonaidd, tua'r flwyddyn 1900 C.C., sonir am yr Hethiaid fel yn allu cryf gwrthwynebol iddynt yn y gogledd-orllewin, pan nad oedd brenhiniaeth Assyria wedi ei ffurfio eto. Fel hyn cawn amseryddiaeth Assyriaidd

ac amseryddiaeth Ysgrythyrol yn hollol gytuno parthed sefyllfa yr Hethiaid 3780 o flynyddau yn ol! Yn wyneb hyn, a ydyw yn uniawn a theg yn y Parch. T. K. Cheyne i ddyweyd "nad ydyw y cyfeiriadau Ysgrythyrol yn meddu yr un awdurdod â'r cerfiadau Aiphtaidd ac Assyriaidd?"

Ymhen y 50 mlynedd, darllenwn yn Gen. xxiii. am Abraham yn prynu maes beddrod gan yr Hethiaid yn Hebron, yn nehau Palestina. Gwrthddadleuir yn erbyn cywirdeb yr hanes yn y bennod nad oedd yr Hethiaid yn preswylio mewn rhardir mor bell i'r dehau, ac ymhellach fod y desgrifiad o honynt yma yn prynu ac yn gwerthu ac yn trin arian "cymeradwy *ymhlith marsiandwyr*," yn hollol groes i ddesgrifiadau arwyddluniau a cherfiadau yr Aipht ac Assyria o honynt fel cenedl nodedig o ryfelgar. Ond edrycher ychydig yn fanylach. Nid ydyw y ffaith eu bod yn bobl nodedig o ryfelgar yn myned yn erbyn y posibilrwydd o fod ganddynt drefedigaethau wedi myned allan o'u plith, yn fedrus mewn masnach. Darllener hanes Prydain Fawr, a cheir rhan helaeth o honi yn gofrestriad rhyfeloedd a buddugoliaethau, ac eto mae cenedl y Saeson ar y blaen gyda masnach a thrafnidaeth. Yn y blynyddoedd diweddaf nid oes un wlad wedi bod mor ryfelgar a Germany, ac eto nid oes un genedl mor ddiwyd gartref, ac yn y dyddiau hyn hwy sydd yn cymeryd y blaen gydag ymfudiaeth a sefydliad trefedigaethau. Yn gyffelyb, yr Hethiaid a estynent gortynau eu preswylfeydd, ac yn wir nis gallasent fod wedi gwrthsefyll rhuthriadau yr Aiphtiaid a'r Assyriaid am fil o flynyddoedd, oni b'ai eu bod yn ddiwyd gyda masnach mewn amser heddwch, yn gystal ag yn wrol a medrus gydag arfau yn amser rhyfel. Ymhellach, i gyfarfod yr wrthddadl nad oeddynt wedi ymestyn mor bell i'r dehau a Hebron, gellir cyfeirio at y maen sydd yn bresennol yn y Louvre yn Paris, lle y croniclir am ddinasoedd perthynol i'r Hethiaid a ddinystriwyd ar derfynau yr Aipht, ac yr oedd hyn ymhellach i'r dehau na Hebron. Nid yn unig hyny, ond y mae genym brawf arall. Gwyddom i'r *Hyksos*,* "bugeiliaid crwydrol," fod am yspaid yn llywodraethu yn yr Aipht. Hona Mariette Bey fod yr Hyksos hyn yn gyff o linach yr Hethiaid. Eu prifddinas ydoedd Soan. Yn Num. xiii. 22, cawn frawddeg sydd wedi bod yn dywyll hollol parthed ystyr y cysylltiad: "A Hebron a adeiladasid saith mlynedd o flaen Soan yn yr Aipht." Erbyn hyn y mae y Bibl a'r cofrestrau Aiphtaidd yn esbonio eu gilydd, a'r dyryswch yn cilio. Sefydlodd trefedigaeth o'r Hethiaid yn Hebron, ac ymhen y saith mlynedd aeth trefedigaeth arall ymhellach i'r dehau gan adeiladu Soan, yr hon a fu yn brifddinas yr Hyksos wedi hyny. Fel hyn, y mae cywirdeb hyd yn nod cyfeiriadau damweiniol y Bibl yn cael ei gadarnhâu, a ffoledd y gwrthwynebwyr yn cael ei ddadlenu.

Erbyn dyfod ymlaen i lyfr Exodus, gwelir fod yr Hethiaid wedi ychwanegu eu nerth. Ymysg yr amrywiol genedloedd a nodir fel yn meddiannu gwlad yr addewid, mae yr Hethiaid yn cael eu henwi bob tro, a hyny yn y lle pwysicaf yn y rhestr (Exod. iii. 8, 17; xiii. 5; xxiii. 23, 28). A ydyw yr arwyddluniau a'r cerfiadau yn cadarnhâu cywirdeb yr hyn a ddywedir yma am y cynnydd yn ngallu yr Hethiaid?

* Gwel *Gwyddoniadur*, cyf. i. tu dal. 147.

Cymharer yr hanes am deyrnasiad Thothmes III., yr hwn a esgynodd i orsedd yr Aipht tua 1600 C.C. Yn ol amseryddiaeth Usher, yr oedd hyn tua chwe' blynedd cyn i Jacob fyned i lawr i'r Aipht, a thua 35 o flynyddoedd cyn marwolaeth Joseph. Yn ystod ei deyrnasiad ef crybwyllwyd ei fod wedi gwneuthur 13 o ruthrgyrchau yn erbyn yr Hethiaid ac eraill. Felly gwelwn fod yr Hethiaid yn gyntaf mewn trefn ac yn gyntaf mewn gallu ymhlith y cenedloedd, yn ol arysgrifau yr Aipht, ac yn gyffelyb y dengys y Bibl eu bod yn y rhestrau a geir yn llyfr Exodus, fel y mae yr henafiaethau Aiphtaidd a'r hanes Ysgrythyrol eto yn hollol gyson â'u gilydd.

Yn ystod arosiad yr Israeliaid yn yr Aipht, a'u taith trwy yr anialwch, dengys y cyfeiriad Ysgrythyrol nesaf at yr Hethiaid, eu bod, nid yn unig wedi cynnyddu mewn gallu, ond i raddau wedi ymleoli o ran eu preswyliad, a hyny tua'r gogledd. Mae y bobl a gyfarfuasom yn Hebron a Beersheba, â'u hwyneb tua'r Aipht, erbyn hyn yn genedl ogleddol gref: "O'r anialwch, a'r Libanus yma, hyd yr afon fawr, afon Euphrates, holl wlad yr Hethiaid, hyd y môr mawr, tua machludiad haul" (Jos. i. 4). Y mae y cerfiadau Aiphtaidd yn cadarnhâu y darlun hwn am danynt. Gwelsom fel y cyfarfu Thothmes III. â hwy ar y dechreu yn Megido yn Palestina. Yn y seithfed flwyddyn o'i deyrnasiad mae yn dyfod arnynt yn Kadesh ar yr Orontes, rhwng yr afon Euphrates a'r Môr Mawr; y mae wedi eu canlyn i'w cartref gogleddol. Yn nheyrnasiad y brenhinoedd dilynol, cawn bob ymosodiad ar yr Hethiaid yn cymeryd lle o amgylch Kadesh, a dim i'r dehau i hyn. Mor llwyr y mae yr Hethiaid wedi ymsefydlu yn y gogledd, fel pan y mae Seti yn ymladd â'r Phoeniciaid ac yn eu gorchfygu, nid yw yr Hethiaid yn deall dim am y peth, a daw Seti ar eu gwarthaf yn ddisymwth a dirybudd pan y maent yn y meusydd o amgylch Kadesh.

Ffaith arall a gadarnhâ yr hanes yn Josua, fod yr Hethiaid yn cilio i'r gogledd, ydyw yr hyn a ddywedir am yr Hyksos. Dywed yr hanesydd enwog Manetho (Aiphtwr, ac archoffeiriad i Iris yn yr Aipht Isaf) i'r rhai hyn ymneillduo o'r Aipht i Jerusalem, ac iddynt fod yno am yspaid cyn encilio ymhellach i'r gogledd. Os gwir y dybiaeth mai o'r Hethiaid yr oeddynt yn hanu, teifl hyn oleuni ar eiriau Ezeciel pan yn ceryddu ymffrost Iuddewon Jerusalem: "Dy drigfa a'th enedigaeth sydd o wlad Canaan; dy dad oedd Amoriad, a'th fam yn Hittees" (Ezec. xvi. 3). Cawn un cyfeiriad arall hefyd at enciliad graddol yr Hethiaid i'r gogledd. Y gŵr a gynnorthwyodd yr Israeliaid i fyned i mewn i ddinas Luz neu Bethel, "a aeth i wlad yr Hethiaid, ac a adeiladodd ddinas, ac a alwodd ei henw Luz" (Barn. i. 26). Trwy ymchwiladau diweddar y *Palestine Exploration Fund*, sicrheir i ni fod y ddinas hon yn gorwedd gerllaw tarddiad yr Iorddonen, yn ngwastadedd ffrwythlawn Merom, yr hwn fan oedd yn wlad yr Hethiaid yn amser Josua. Naturiol i ni ddysgwyl i'r cenedloedd gogleddol, y rhai oeddynt yn awr wedi sicrhau heddwch â'r Aipht, i ymuno yn un llu yn erbyn Josua a'r Israeliaid. A chan mai yr Hethiaid oedd yn trigo yn nyffryn Merom, fel y dangoswyd, a'u bod yn bobl ryfelgar wrth natur, gellid dysgwyl iddynt gymeryd rhan bwysig yn y frwydr a fu wrth ddyfroedd Merom. Yn Jos. xi. cawn

ddesgrifiad bywiog o'r frwydr; ymhlith y brenhinoedd oedd wedi ymgyfarfod yr oedd brenin yr Hethiaid (adn. 3); nodwedd neillduol y fuddugoliaeth ydoedd i Josua yn unol â gorchymyn yr Arglwydd, "dori llinynau gàrau eu meirch hwynt, a llosgi eu cerbydau â thân" (adn. 9). Gwyddom oddiwrth y cyfeiriadau parhaus yn ngherfiadau yr Aiphtiaid a'r Assyriaid, fod meirch a cherbydau rhyfel yn nodweddu arddull milwrol yr Hethiaid. Dengys hyn fod hyd yn nod y cyfeiriadau mwyaf damweiniol at yr Hethiaid, yn hollol gytuno â'r hanesiaeth am danynt fel y mae yn ysgrifenedig yn henafiaethau yr ymherodraethau cylchynol.

Y cyfeiriad nesaf ydyw at bersonau unigol o blith yr Hethiaid. Yr oedd dau o ryfelwyr mwyaf dewr a ffyddlawn Dafydd yn Hethiaid—Ahimelech (1 Sam. xxvi. 6), ac Urias (2 Sam. xi. 6). I genedl yr Hethiaid y perthynai Bathseba merch Eliam, gwraig Urias yr Hethiad, yr hon, ar ol marwolaeth Urias, a gymerth Dafydd yn wraig iddo ei hun, a hi a ddaeth yn fam i Solomon, a hi yw un o'r tair mamau a grybwyllir yn llyfr cenedliad Iesu Grist (Mat. i. 6), a thrwy hyny rhoddir i'r Hethiaid yr anrhydedd o le yn y llyfr hwnw. Solomon yntau hefyd a gymerth wragedd o blith yr Hethesau (1 Bren. xi. 1). Nid oedd yn unrhyw ddiraddiad ar Dafydd a Solomon, brenhinoedd enwocaf a chadarnaf Israel i ymgyfathrachu yn briodasol â'r Hethiaid. Yr oedd enwogrwydd a gallu ac ëangder ymherodraeth yr Hethiaid yn gyfryw ag oedd yn rhoddi bri ac anrhydedd arnynt. Cawn hanes Rameses II. a Rameses III., brenhinoedd yr Aipht, yn gyffelyb yn ymbriodi â thywysogesau yr Hethiaid. Yn hyn hefyd gwelir tebygolrwydd a chyfatebiaeth yn yr hanes Ysgrythyrol i hanesiaeth yr henafiaethau Aiphtaidd.

Unwaith ar ol hyn y cawn grybwylliad am yr Hethiaid, ac y mae hwnw yn un tra dyddorus. Yn nyddiau Jehoram, mab Ahab, gwarchaewyd dinas Samaria gan Benhadad brenin Syria; mor gyfyng ydoedd ar y rhai yn y ddinas fel y bwytâi mamau eu plant bychain er cadw eu hunain rhag marw o newyn. Yn yr adeg gyfyngaf arnynt, daeth gwaredigaeth yn ol geiriau Eliseus: "Canys yr Arglwydd a barasai i wersyll y Syriaid glywed trwst cerbydau, a thrwst meirch, trwst llu mawr; a hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Wele brenin Israel a gyflogodd i'n herbyn ni frenhinoedd yr Hethiaid, a brenhinoedd yr Aipht, i ddyfod arnom ni. Am hyny hwy a gyfodasant, ac a ffoisant, ar lasiad dydd, ac a adawsant eu pebyll, a'u meirch, a'u hasynod, sef y gwersyll fel yr ydoedd, ac a ffoisant am eu heinioes" (2 Bren. vii. 6, 7). O berthynas i'r hanes hwn, y mae Proffeswr Newman yn siarad gyda gwawd a dirmyg. Nid yn gymaint ei fod yn anghredu y posibilrwydd, ac yn wir, y tebygolrwydd i *panic* o'r fath gymeryd lle yn rhengau byddin Syria, oblegid y mae Xenophon, yr hanesydd Groegaidd, yn ei *Anabasis* yn son am *panics* peryglus o'r fath yn cymeryd lle yn rhengau byddinoedd y Groegiaid a'r Persiaid; ond yr hyn sydd yn destun gwawd y Proffeswr ydyw fod yr hanesydd Biblaidd yn tybio am foment fod *yr Hethiaid* mor nerthol fel ag i greu arswyd ymysg y Syriaid. Yr oedd y rhai hyn yn "sâl, salach nag islaw sylw" yn nghyfrif y Syriaid, ac eto dywed y croniclydd yma eu bod yn arswydo wrth feddwl fod brenin Israel wedi cyflogi breninoedd yr Hethiaid i ddyfod arnynt!

Yn awr, edrychwn ar ba un y disgyn y dirmyg o dywyllwch ac anwybodaeth, ai ar Proffeswr Newman, neu ynte ar ysgrifenydd ail lyfr y Breninoedd.

Yn ol amseryddiaeth Usher cymerodd gwarchae Samaria le o gylch 802 C.C., ac y mae yr haneswyr yn gyffredin yn cytuno fod teyrnasiad Assur-Nasir-Pal ar Assyria o gylch 883—858 C.C. Beth a ddywed y cerfiadau Assyriaidd perthynol i'r teyrnasiad hwn am genedl yr Hethiaid? Yn ffodus, mae y cerfiadau hyn yn bur lliosog. Arweiniodd Asur-Nasir-Pal ei fyddinoedd i ddinasoedd yr Hethiaid. Pan ddaeth i Karchemish, dywedir yn y cerfiad, "Derbyniais deyrnged gan fab Bahiani, brenin yr Hethiaid, sef *cerbydau buain*, *meirch*, arian, alcan, a phres. *Cerbydau* a pheiriannau rhyfel swyddogion y brenin a ychwanegais at fy nhrysorau." Ymhellach ymlaen ceir cyfeiriad drachefn at gerbydau a pheiriannau rhyfel y cadfridog Hethaidd. A ymlaen i "Lazazi, dinas yr Hethiaid, ac yna i ddinas Kanulua," ac yn y naill a'r llall mae yn derbyn teyrnged, "*cerbydau* a pheiriannau rhyfel." Oddiwrth hyn gwelir fod tuag adeg gwarchaead Samaria, genedl gref yn bodoli i'r gogledd i Syria o Karchemish hyd Lebanon, a bod iddynt amryw frenhinoedd bychain, y rhai oedd yn enwog am "eu *cerbydau cyflym*, *eu meirch*, *a'u peiriannau rhyfel*." Yn gyffelyb y dywedir yn nghofrestrau Shalmaneser, mab ac olynydd Asur-Nasir-Pal. Aeth yntau can belled â Karchemish. "Ymleddais a hwy," meddai, "gwasgerais eu cyrff fel us o amgylch y wlad. Cymerais nifer afrifed o *gerbydau* a *meirch* wedi eu dwyn dan yr iau." Mewn cerfiad arall, dywed; "Cyrhaeddais hyd at yr afon Orontes. Dygais ymaith *gerbydau* yr Hethiaid, eu trysorau, a'u *meirch*." Yn yr Amgueddfa Brydeinig y mae cerfiad arall ar yr hyn a elwir yn Obelisk du, yn perthyn i deyrnasiad yr un brenin. "Yr Euphrates a groesais, yr Hethiaid a orchfygais, a'u teyrnged a dderbyniais. Eu *cerbydau* a'u darpariadau milwrol a ddygais ymaith." Nid yw y rhai hyn ond ychydig o'r lliaws cerfiadau sydd ar gael perthynol i'r cyfnod hwn, yn yr oll o ba rai y sonir am yr Hethiaid fel yn nodedig am eu cerbydau a'u meirch. Ac yn awr, a chymeryd yr henafiaethau hyn yn farnwyr, ymha le y mae y tywyllwch, ac yn mhwy y mae yr anwybodaeth? Sicr genym mai nid gydag ysgrifenydd ail Lyfr y Brenhinoedd, gan fod y crybwylliad a wna am ofn yr Hethiaid, o herwydd eu cerbydau rhyfel, a ddisgynodd ar y Syriaid, mewn perffaith gysondeb â'r hyn a geir ar hen gerfiadau yr Aipht ac Assyria o berthynas i'r genedl hon. Mae yr un mor sicr genym fod ymosodiad Proffeswr Newman ar gywirdeb y rhan hon o'r Ysgrythyr yn disgyn yn ol gyda nerth anorchfygol ar ei ben ef ei hun.

Mor safadwy ydyw gair Duw! Mynyddoedd o ymosodiadau a ddeuant, ac a giliant; bryniau o ammheuon a gyfodant ac a ddiflanant; ond "gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd."

O. T. WILLIAMS.

*Croesor.*

# YNYS ENLLI.

## III.

MAE yr achos crefyddol bychan ar yr Ynys, o bryd i bryd, wedi derbyn llawer o ffafrau ac anrhegion gan garedigion yr efengyl ar hyd a lled y wlad. Yn gyntaf oll gellid enwi Mrs. R. Rowland, Pwllheli, fel un a anrhegodd yr eglwys fechan â llestri cymundeb hardd a gwerthfawr. Hefyd rhoddodd Mrs. Owen Williams, Portmadoc, gwpan bedydd brydferth yn anrheg. Anfonodd Mr. John Gabriel Jones awrlais ardderchog ac anffaeledig at wasanaeth y capel, am yr hwn yr amlygodd y gynnulleidfa, ac hefyd Arglwydd Newborough, eu diolchgarwch. Rhoddodd Mr. Lewis, Caernarfon, yn rhad *flinds* rhagorol ar yr holl ffenestri, fel na byddai gormod o haul na gwres. Gwnaeth Mr. William Jones, Portmadoc, gist gymhwys er cadw yn ddiogel lestri y cysegr. Hefyd darparodd Miss Bowen y pethau angenrheidiol er eu cadw yn lân. Anrhegodd Mr. R. J. Pritchard, Tŷ newydd, y frawdoliaeth â dau Fibl costus, un yn Gymraeg a'r llall yn Saesoneg, ac â llyfr Emynau, i'w gosod ar y pulpud. Cadben Hughes, Gellidara, a anfonodd yn rhodd ddau o Fiblau bras i ddau o'r hen frodorion, am ba rai y teimlent yn dra diolchgar. Hefyd gellid enwi y Parch. David Roberts, Abererch; a Mr. R. P. Ellis, Liverpool, fel rhai caredig at y capel; a diau fod eraill nas gwyddom am danynt. Tua'r adeg hon hefyd ymwelwyd â'r Ynys gan Mr. Wynn o'r Rhug, mab i Arglwydd Newborough, ac amlygai ddyddordeb mawr yn y capel newydd, a chyfranodd yntau ddarn o arian gwerthfawr i'w drysorfa.

Heblaw fod ei Arglwyddiaeth wedi adeiladu capel hardd, a hyny yn gwbl oll ar ei draul ei hun, yr hwn sydd i fod yn rhydd ac yn rhad at wasanaeth yr Ynyswyr, heb ddormach arian yr eisteddleoedd na threth o un math, ychwanegodd hefyd drwy adeiladu tŷ i'r gweinidog yn ei ymyl—adeilad gymhwys ymhob ystyr i fod yn *Manse* i benaeth ysbrydol yr Ynys, ac yn deilwng yn wir o unrhyw esgobaeth. Ac y mae yn adlewyrchu llawer o glod ar haelfrydedd ei Arglwyddiaeth, yn gystal âg ar fedr Mr. Williams, y goruchwyliwr, fel *architect*. Ar ei orpheniad symudodd yr esgob iddo i drigiannu, ac ynddo y bu hyd adeg ei ymadawiad â'r lle. Ac ynddo hefyd y cyfannedda y cenadwr presennol.

Hefyd, yn ol ei haelfrydedd arferol at y lle hwn, darfu i Gyfarfod Misol ac Eifionydd ganiatâu o'i gyllid y swm o £80 at ei ddodrefnu, hyny yw, dodrefnu rhan o hono. Gwir mai £50 ydoedd y swm y penderfynwyd arno yn gyntaf gan y Cyfeisteddfod—ond yn y weithred o bwrcasu ymhelaethodd y gwŷr da i'r swm mwyaf, yr hyn ar ol eglurhâd a ganiatäwyd yn rasusol gan y Cyfarfod Misol. Ac wrth gwrs, mae y dodrefn hyn yn eiddo y Cyfundeb, ac i fod yn arosol yn y lle at wasanaeth y Genadaeth. Cedwir rhestr o honynt gan Ysgrifenydd y Cyfar-

fod Misol, a gofelir am eu cadwraeth gan y Cenadwr a ddygwyddo fod *in residence*.

Cynnaliwyd amryw gyfarfodydd pregethu yn y capel newydd ar ol yr un agoriadol. Hefyd bu amryw gyfarfodydd o'r fath yn cael eu cynnal yn yr hen gapel, ond nid oes genym fanylion am danynt; ond y mae hanes y rhai a gynnaliwyd yn y capel newydd ar gael. Yn y flwyddyn 1879 bu yno ddau, pryd y pregethodd y Parchn. Thomas Williams, Rhydclafdy, a Robert Williams, Pencaerau, yn y cyntaf; a'r Parchn. John Hughes, Edeyrn, ac Owen Hughes, Tregynon, yn yr ail. Yn y flwyddyn 1880 caed gŵyl gyffelyb, pryd y gweinyddodd y Parchn. Robert Hughes, Uwchlaw'r-ffynnon; John Richard Williams, Pentreuchaf; a John Hughes, Edeyrn. Yn y flwyddyn 1881 anfonwyd drosodd, fel ymwelwyr â'r eglwys, gan y Cyfarfod Misol, ac i ddwyn adroddiad iddo o'i hansawdd, ac hefyd i gynnal cyfarfod pregethu—y Parchn. John Jones, Plastirion, a Hugh Hughes, Gellidara. Aeth y ddau hyn i Aberdaron yn brydlawn a diogel, ond bu raid aros yno ran o dridiau a theirnos cyn cael cyfleusdra a hamdden i groesi drosodd i'r Ynys. Dygwyddai y gwynt fod dipyn yn ystormus, a'r môr mewn canlyniad mor gynhyrfus fel na fynai bâdwyr yr Ynys ddyfod drosodd i'w hymofyn. Ond wedi hir ddysgwyl, ac ar ol llosgi cryn bentwr o "eithin mân" oddiar yr uchelfa, o'r diwedd caed atebiad ffaffriol trwy dân o'r tir pell, a'r canlyniad fu gweled y cwch yn cychwyn, yn dynesu, yn cyrhaedd, ac yn cymeryd y cenadon i fewn. Wedi cael y *passengers* ar y bwrdd, ymaith â hwy yn ol yn ddiatreg, a chyrhaeddasant hafan y "Cafn" yn fuan a diogel. Ar y làn cafodd y pregethwyr bob sirioldeb ac ymgeledd, er eu bod rai dyddiau yn ddiweddarach yn cyrhaedd i'w cyhoeddiad na'r cytundeb gwreiddiol. Ond nid oes deddf i'r môr yn y mater hwn. Dymuna y gwŷr hyn gydnabod gyda diolchgarwch y caredigrwydd a'r llettŷgarwch patriarchaidd a dderbyniasant gan y cyfeillion yn Aberdaron yn ystod dyddiau y dysgwyl, ac yn enwedig teuluoedd y Cwrt a Pwlldefaid. Mae y gras o lettŷgarwch, yn enwedig i weinidogion yr efengyl, eto yn aros yn ei holl burdeb cyntefig yn y cymydogaethau hyn; a pharhäed felly yn hir.

Pan ydoedd yn dechreu hwyrhâu clywid sŵn soniarus cloch y capel yn canu, adsain yr hon oedd yn cyrhaedd i eithaf "Pendibyn," sef terfynau yr Ynys, a phawb o'r ynyswyr yn ufuddhâu i'r alwad nes yr oedd y capel yn rhwydd lawn, a hyny yn brydlawn, pan y caed odfa reolaidd a hapus. Cyfeiriwn yn awr at gyfarfod y noson gyntaf. Parhaodd yr odfeuon drwy y dydd drannoeth; ac yn ol yr arfer, caed tri daliad a phregethau dwbl ymhob un, a chaed ychydig o arwyddion sicr fod y gwirioneddau a draddodid yn cael dylanwad ar y gwrandäwyr. Ac fe roddwyd adroddiad o'r ymweliad hwn i'r Cyfarfod Misol. Yn y flwyddyn 1883 ymwelwyd â'r Ynys gan y Parchn. Thomas Charles Edwards, M.A., a Llewelyn Edwards, M.A., Aberystwyth, a Hugh Hughes, Gellidara. Caed pregethu rhagorol y pryd hwn, yr hyn hefyd a adawodd effeithiau daionus ar ol. Yr oedd hefyd yn bresennol y Parch. Robert Roberts, Edeyrn, Cadben Thomas, Bodlondeb, a Mr. Thomas Williams, Pwlldefaid, ac eraill fe allai nas gwyddom am danynt. Dechreuwyd y gwahanol odfeuon gan y brodyr hyn. Felly

gwelir fod yr Ynys fechan hon, er dyddiau ei hadferiad, wedi ei bendithio â'r doniau goreu, ac hefyd âg amrywiaeth "doniau De a Gogledd."

Yn y flwyddyn 1879 darfu i'r *Amateur Artist* celfyddgar o Uwchlaw'r-ffynnon dynu darlun—*oil painting*—o Arglwydd Newborough, a gydnabyddir gan bawb a'i gwelodd fel yn fynegiant cywir ac yn wir ddelw o berson y gwrthddrych. Ceir ef yn eistedd ar *sofa*, gan ddal yn ei law ddalen o bapyr gwŷn, ac yn ysgrifenedig arni y geiriau hyn yn Saesoneg: "Law, Justice and Liberty. What is right, is right." Gerllaw, yn ymyl, ceir yr un geiriau yn yr iaith Lladin: *Lex, Justitia, et Libertas. Id quod rectum, rectum est.* Hefyd ceir yn ysgrifenedig ar y *canvas* gerllaw yn yr iaith Roeg yr adnod ganlynol, yr hon sydd hefyd mor gymhwys i'w Arglwyddiaeth yn y cysylltiad hwn ag i'r canwriad yn Capernaum: —"Oblegid y mae efe yn haeddu cael gwneuthur o honot hyn iddo; canys y mae yn caru ein cenedl ni, ac efe a adeiladodd i ni synagog." (Luc vii. 4, 5.) Cyflwynwyd y darlun i'w Arglwyddiaeth gan yr awdwr, ac fe'i derbyniodd gyda llonder a boddhâd, ac a orchymynodd ei anfon drosodd i Enlli, lle y ceir ef ar y pared yn nhŷ y gweinidog, ac yno hefyd y mae i aros.

Yn y flwyddyn 1880 penderfynodd Cyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd yn unfrydol a brwdfrydig ar fod Anerchiad yn cael ei chyflwyno i'w Arglwyddiaeth fel arwydd o deimladau cynhes y frawdoliaeth tuag ato, ac hefyd fel amlygiad o'u diolchgarwch iddo am ei garedigrwydd a'i ffafrau at achos crefydd o fewn y cylch, ac yn arbenigol i Ynys Enlli. Caed anerchiad cymhwys, wedi ei pharotoi yn addurniadol a phrydferth, yr hon hefyd a gyflwynwyd i'w Arglwyddiaeth yn mhalas Bodfean, pan y derbyniodd hi gyda sirioldeb, a gorchymynodd ei hanfon hithau hefyd drosodd er mwyn bod yn gydymaith i'r darlun. Ac yn bresennol, yn grogedig ar bared ystafell oreu y palas esgobol yn Enlli, ceir yr *address* a'r *portrait*, ac yno cânt aros yn etifeddiaeth i'r oesau a ddêl, ac er mantais i'r ymwelwyr eu gweled.

Dyma gopi o'r Anerchiad :—

THE RIGHT. HONOURABLE SPENCER BULKELEY, LORD NEWBOROUGH.

We have the honour of presenting this Address on behalf of the Calvinistic Methodists of Lleyn and Eifionydd, who now number over 15,000 persons, and also on behalf of the inhabitants of Bardsey Island. We have for years felt desirous of formally expressing the gratitude which we feel towards your lordship for favours received by us during many years. We have beheld with pleasure the improvements made upon the Glynllifon and Bodfean estates during the last forty years in the farm houses and outbuildings. The tenants on the estates now want for no comfort to bring up their families, nor convenience to rear their stock, which the landlord can supply. We are glad to inform your lordship that we appreciate these things, not only as a proof of goodwill between landlord and tenant, but in the influence of proper and commodious houses upon the morals of the occupiers, and especially the servants. With no less gratification, my lord, did we notice the care which our late chief magistrate bestowed upon the monetary affairs of the country, lest the money of the ratepayers should be wasted in needless expenditure, and the sensitive conscientiousness with which your lordship administered not only the finances of the county, but the law of the land, from the magistrates' bench. But in connection with education and religion we have received favours more directly, favours which Nonconformists could not have had from a Churchman, except from generosity. Sites and leases for chapel building have always been most

readily granted to us upon the most favourable terms. The late Lord Newborough erected a building for the inhabitants of Bardsey which served them well in its time When we thought of building a chapel on the Island, we knew the site and ease would be willingly granted to us. But when your lordship built at your own expense the handsome chapel and the comfortable house attached, our expectations were far exceeded. We ought to have built the chapel years ago; and although we would wish to get a chapel of our own in Bardsey, yet we sincerely admire the catholicity of spirit evinced by your lordship for the islanders, irrespective of all denominational differences. We hope, however, that while the missionary cause there will be under our care, the work and success attending it will not be unworthy of the noble gift. And while it is a pleasure to us to present this Address as a formal expression of our thanks to your lordship for this special favour, we must confess that we cannot express adequately the feelings of respect, admiration and attachment which we have for half a century cherished towards the family of Glynllifon, nor the blessing which we would ask our gracious God to bestow upon them. We pray that even as your lordship and family have been rich towards men, you may be also rich towards God.

ROBERT HUGHES, Uwchlaw'rffynnon.
HUGH HUGHES, Gellidara.
JOHN JONES, Plastirion.
JOHN OWEN, Cricerth.
ROBERT JONES, Plas Tan'rallt.
ROBERT OWEN JONES, Hall Place.

Ond nid ydyw yr eglwys fechan newyddian hon yn dewis bod ei hunan yn segur a diffrwyth. Nid byw yn hollol ar elusenau a derbyn y cwbl y mae hi; ond y mae yn hytrach yn arfer tipyn o haelioni, ac yn meddu trysorfa arbenigol iddi ei hun. Gwir mai eglwys fechan genadol a dibynol ydyw, gwir mai chwaer fechan ydyw, ond eto y mae iddi fronau, ac y mae hi yn dewis gwneyd ychydig offrwm fel cydnabyddiaeth am y gras a ddangosir tuag ati, os nad hefyd fel prawf o'r gras a weithredir ynddi. Ceir hi bellach yn rhestr tŵr ei chwïorydd ynysoedd, yn dwyn ymlaen ei haberth i Arglwydd y lluoedd, ac er nad ydyw eto ond cymhariaethol fychan, y ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling, eto diammeu ei fod yn gymeradwy ganddo Ef.

Yn ol taflen a ddarparwyd gan Mr. Jones, fel y canlyn y safai casgliadau yr Ynys am y chwe' blynedd o'i arosiad yno, sef o'r flwyddyn 1875 hyd 1881:—

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Am y flwyddyn | 1875 | ........................ | Casglwyd | £18 | 10 | 0 |
| " | 1876 | ........................ | " | 20 | 12 | 4 |
| " | 1877 | ........................ | " | 26 | 0 | 1¼ |
| " | 1878 | ........................ | " | 22 | 0 | 0 |
| " | 1879 | ........................ | " | 21 | 0 | 0 |
| " | 1880 | ........................ | " | 22 | 9 | 7¼ |
| | | | | £181 | 5 | 8 |

O'r swm uchod yr oedd £64 14s. 1½c. wedi eu casglu yn neillduol at y Genadaeth, pa rai a dalwyd yn rheolaidd i'r Trysorydd, ac fe wneir yno gasgliad blynyddol i'r amcan hwnw. Yn y swm uchod ceir casgliadau hefyd at y newyn yn y Deheudir, at Goleg Aberystwyth, at y Fibl Gymdeithas, ac hefyd at Eisteddfod Pwllheli. Gwelir fod addysg, llenyddiaeth, a chrefydd yn dyfod o fewn cylch eu haelfrydedd. A phan gofir nad oedd holl boblogaeth y lle ond prin ddeuddeg enaid a thriugain, gan gymeryd i fewn y gwragedd a'r plant, ac nad oeddynt

eto ond ieuainc yn y gras hwn, nis gellir ond eu canmawl, ac nid rhaid iddynt hwythau ychwaith gywilyddio. A diammeu genym mai cynnyddu ac ymddadblygu wnant i bob helaethrwydd a pherffeithrwydd yn y ddawn ragorol hon.

Fel y crybwyllwyd eisoes mewn cysylltiad â'r Genadaeth, fe sefydlwyd ysgol ddyddiol ar yr Ynys, i fod dan ofal y Cenadwr. Ac yr oedd hyny yn ddyeithr-beth yn ei hanes er ys blynyddoedd. Clywsom y bu yno ysgol ddyddiol ddeng mlynedd ar hugain yn ol, yr hon a gedwid gan ŵr ieuanc o wlad Lleyn, Wesleyad wrth ei gredo, a'r hwn a lysenwid gan y brodorion yn "Schoolyn." Elai y dysgawdwr hwn ar gylch bob yn ail wythnos trwy yr holl dai, er cael ei fwrdd a'i letty; a hyny fyddai ei dâl, neu o'r hyn lleiaf ran o'i dâl am ei lafur. Ond wedi myned trwy y cylch *unwaith*, penderfynodd fyned ymaith, ac felly darfyddodd y sefydliad. Ac am a wyddom, felly y bu pethau mewn ystyr addysgawl ar yr Ynys, hyd nes yr aeth y Parch. William Jones, M.A., yno, pan yr ail gychwynwyd hi, fel y soniasom eisoes. Un o actau cyntaf y Cenadwr ar ol ei ymsefydliad, ydoedd ymaflyd o ddifrif yn ngwaith yr ysgol ddyddiol, a bu hefyd yn hynod lwyddiannus yn hyny. Cedwid hi yn yr "Hen Gapel," yr hwn oedd le cyfleus, a nifer yr ysgolheigion ydoedd 12, sef yr holl blant a breswyliai ar yr Ynys. Buwyd hefyd yn cynnal am amryw dymmorau "ysgol nos," i'r hon yr elai y llanciau a'r llancesau, a'r hon a wnaeth fawr les i amryw o honynt. Yn amser agoriad y Capel Newydd bu arholiad ar y plant, a'r *Inspector* ar y pryd ydoedd Mr. R. Rowland. Holwyd hwynt yn fanwl, a phrofwyd hwynt yn galed mewn ysgrifenu, mewn cyfieithu o'r Saesoneg i'r Gymraeg, mewn darllen Saesoneg, ac hefyd mewn rhifyddiaeth. A rhoddodd yr arholiad foddlonrwydd a boddhâd mawr i'r Arholwr a'r gwŷr dyeithr, a phasiodd y plant oll yn y dosbarth *cyntaf*. Ac er dangos eu medr a difyru yr ymwelwyr, canent yn dra swynol a soniarus amryw o emynau a thonau Mr. Sankey. Cofus gan yr ysgrifenydd i'r Parch. Hugh Hughes ac yntau, pan ar yr Ynys, dalu ymweliad â'r ysgol, ac am y mawr fwynhâd a gaed wrth wrandaw ar y plant yn ateb pob cwestiwn a osodid ger eu bron, ac wrth sylwi ar eu cyflymder yn gwneyd hyny. Yr oeddynt yn myned trwy bob *exercise* mewn modd nodedig o bert a chyflym. Fe barheir i gario yr ysgol ymlaen gan Mr. William Jones, y Cenadwr presennol.

Buwyd fwy nag unwaith yn ymohebu â'r Cynghor Addysg yn Llundain yn achos yr ysgol fechan hon, gan osod ger bron ei sefyllfa eithriadol, fel dadl am estyniad ychydig gymhorth iddi. Cymerai Mr. Rathbone, A.S., ddyddordeb mawr yn y mater, a bu fwy nag unwaith yn ymddyddan â Mr. Mundella yn ei chylch, yr hwn hefyd a ddaeth i deimlo dyddordeb mawr ynddi, ac i ddymuno estyn rhyw ymwared iddi, er nas gallai yn ol y deddfau a'r amgylchiadau wneyd hyny. Fel atebiad i lythyr a anfonwyd i swyddfa y Cynghor, derbyniwyd yr un canlynol, yr hwn sydd yn hysbysu nas gellid yn ol y rheolau estyn yr un cymhorth iddi heb i'r athraw fod yn un trwyddedig, yr hyn nad ydoedd yn y cysylltiad hwn. Ac yn ychwanegol dywedir y byddai i'r *Inspector* rywbryd dalu ymweliad â'r Ynys. A dyma y llythyr :—

Education Department,
18th October.

SIR,—Adverting to your letter of the 22nd ult., I have to invite your attention to articles 19 D and 5 B of the Code. Her Majesty's Inspector thinks it might be possible that a female teacher should be obtained under the latter article, and he adds that he will endeavour to pay the Island a visit in July of next year.

I have the honour to be, Sir,
Your obedient servant,
A. F. CORRY.

Rev. John Jones, Plastirion.

Ar ol hyn, ysgrifenwyd at Mr. Rathbone, gan osod holl fanylion ei hanes ger bron, ac yn deisyf ei ffafr i arfer ei ddylanwad gyda'r awdurdodau ar ei rhan, yr hyn yn garedig a wnaeth, er fel y dengys y llythyrau canlynol nas gallasai dim daioni ymarferol ddeilliaw o hyny. Yn gyntaf dodwn ger bron y llythyr a dderbyniodd Mr. Rathbone oddiwrth Mr. Mundella ar y mater:—

Privy Council Office,
14th June, 1882

MY DEAR RATHBONE,

I will look carefully into the Bardsey Island case, and if I can help them, I shall certainly do so. I am afraid the Missionary may not be an authorised teacher, but the matter deserves consideration.

Faithfully yours,
A. J. MUNDELLA.

Ac wedi hyn derbyniwyd y llythyr canlynol oddiwrth Mr. Rathbone, yr hwn sydd yn cadarnhâu y tybiaethau blaenorol, sef nad oedd yn bosibl estyn cymhorth iddi heb i'r athraw fod yn un trwyddedig. Ac awgrymir hefyd y priodoldeb i'r athraw fyned o dan yr arholiad gofynedig, er cymhwyso ei hun. Dyma y llythyr:—

18, Princess Gardens, London, S.W.,
17th June, 1882.

DEAR SIR,

I enclose Mr. Mundella's reply to my letter. I have also had a long consultation with him upon the subject, into which he has gone very fully, as it has interested him much from the educational difficulties which such a case must possess. He finds, after careful examination into the law, that there is no way in which the Education Department can help Bardsey Island, unless either the Missionary, or his wife, or the teacher of the school, could have a fourth-class certificate from the Department. If one of them has that, the Department can give £15 a year and the Government grant, by which the school might earn from 12s. to 15s. per head for the children. Further, if there were an evening school for young people above the ordinary school age, or adults, something more might be added. Do you not think that the Missionary or his wife could thus qualify themselves for a fourth-class certificate? I cannot help thinking that the Department would be very lenient in the examination if the work of teaching the children is now being well done, as it is such an exceptional case.

The School Inspector will be going there sometime soon to report upon the case; so probably you will consider these points and let me hear again.

Yours faithfully,
WM. RATHBONE.

Rev. John Jones.

Fe welir oddiwrth y llythyrau hyn nad oedd yn bosibl o dan yr amgylchiadau cael yr un *grant* i ysgol yr Ynys, gan nad ydoedd yr athraw yn drwyddedig, ac nad ydoedd ychwaith wedi ei fendithio eto â *gwraig*. Ond fe allai y buasai yn cymhwyso ei hun yn ol gofynion y gyfraith,

oni buasai am ei symudiad o'r Ynys yn fuan ar ol hyn. Felly y dybenodd yr ohebiaeth, ac fel cynt yr erys pethau hyd yn hyn.

Ond ceir fod yr *Inspector* yn penderfynu rhoddi yr arfaeth mewn grym trwy dalu ymweliad â'r Ynys er arholi yr ysgol, a gwneyd adroddiad o'i hansawdd i'r awdurdodau yn Llundain. Ac un diwrnod ar y neges hon, cawn ef wedi cyrhaedd pentref Aberdaron, ac yno yn dysgwyl yn bryderus am gyfle i groesi drosodd. Ond er dysgwyl, nid oedd y cyfle yn dyfod, gan na fynai yr Ynyswyr ar un cyfrif dyfod i'w ymofyn, am yr ammheuent ef fel yspïwr, ac mai treth drom fyddai canlyniad ei ymweliad. Gwir y daeth y cwch drosodd yn y cyfamser, ond aeth yn ol yn ebrwydd a dystaw, a hyny heb yr arholwr, er ei fod ar y pryd yn y pentref cyfagos, gan dybied mai y peth diogelaf ydoedd ei adael lle yr ydoedd! Nid oedd yn bosibl eu darbwyllo o'u camsyniad am amcan cenadaeth y gŵr dyeithr, am y credent yn ddiysgog mai un o osodwyr y dreth ydoedd. Teimlai Mr. Jones y cenadwr yn hynod flin ei ysbryd oblegid yr ymddygiad, er yr ymddangosai yr arholwr ei hun yn weddol foddlawn. Ond er hyny fe fynai swyddog ei Mawrhydi gyflawni ei genadwri, a llogodd gwch iddo ei hun yn Aberdaron i fyned drosodd, a chyrhaeddodd yr Ynys yn ddiogel. Ac yn ebrwydd y mae yn dechreu ar ei waith, gan gyfarfod y plant yn yr hen gapel, er nad yr oll o honynt, gan fod dau deulu wedi rhwystro eu plant i fod yn bresennol, ac un o'r rhai hyny y goreu yn yr ysgol, a hyny drachefn o herwydd arswyd y dreth. Ac wrth gwrs teimlai yr athraw yn bur siomedig, os nad hefyd yn ddig o herwydd y peth, er y dangosai yr arholwr yr ysbryd mwyaf rhagorol, ac i'w galonogi dywedai—"Never mind, Jones, I hope to be able to give you your wishes." Ac er dangos ei anghymeradwyaeth o ymddygiad y cychwyr a'r teuluoedd a rwystrasant eu plant rhag myned i'r ysgol ar ddiwrnod y prawf, torodd yr athraw yr ysgol i fyny am wythnos. Hefyd rhoddwyd ar ddeall i'r brodorion fod Mr. Watts yn dyfod i'r Ynys yn ol cydsyniad os nad dymuniad Arglwydd Newborough, yr hyn hefyd oedd wir, ac fe barodd hyny iddynt wasgu y glust, ac ofni y canlyniadau. Ond ni ddaeth dim daioni ymarferol o hyn. Fe barheir i gadw yr ysgol ymlaen megys cynt yn gwbl dan nawdd y Genadaeth, ac yn gwbl annibynol ar bob cymhorth oddiallan. Fel y canlyn y dywed yr athraw am gyrhaeddiadau a daioni yr ysgol fechan:—"Er mai ychydig ydyw nifer holl blant yr Ynys y mae eu mantais at gynnyddu gymaint a hyny yn fwy. Ac y mae yr oll, oddigerth dau neu dri o rai bychain, yn gallu ysgrifenu yn ddestlus, a darllen yn rhwydd. Ac y mae y goreuon yn dda iawn yn hynyma, ac yn hyddysg mewn rhifyddiaeth hyd y *simple proportion*, ac yn gallu cyfieithu llyfrau cyffredin yn rhwydd, a chyfansoddi llythyrau Cymraeg a Saesoneg cystal os nad gwell na'r dysgwyliad."

O bryd i bryd fe gynnaliwyd amryw o gyfarfodydd cyhoeddus gyda'r plant, yn gwisgo y nodwedd o gyfarfodydd llenyddol, pan y ceid adroddiadau, canu a sillebu er mawr fwynhâd i'r rhieni ac eraill. Fel siampl, rhoddwn fanylion o un cyfarfod, yr hwn a gynnaliwyd ar ddydd Nadolig 1875. Fel hyn yr ysgrifena Mr. Jones:—"Nid oedd Enlli yr holl flynyddoedd a basiodd yn ol i leoedd eraill o dreulio ei Nadolig mewn cael gwleddoedd i'r corff. Ond eleni cafwyd gwledd

feddyliol na chafwyd ei chyffelyb er cof neb yn fyw. Yr oedd yn cael ei dwyn ymlaen yn Gymraeg a Saesoneg, ac yr oedd hyny yn angenrheidiol, gan mai ei hamcan penaf ydoedd gosod allan y modd y safai yr holl ysgol ddyddiol a'r modd yr ymgymerodd y plant âg addysg. Yr oedd y capel yn orlawn o'r Ynyswyr ac eraill. Ac yr oedd gweled a chlywed y plant yn myned trwy eu darnau yn dra addysgiadol, ac yn addaw dyfodol dysglaer i'r Ynys."

Ac nid ydym wedi anghofio yr Ysgol Sabbothol, yr hon yn fuan a ddaeth i fri a dylanwad mawr ar yr Ynys. Yr oedd hithau, fel yr ysgol ddyddiol, o dan ofal arbenig y Cenadwr. Amlygid cryn lafur ynddi, a bywiogrwydd gyda hi. Canolrif ei nifer bob Sabboth ydoedd hanner cant. Dygid hi ymlaen yn y dull a ganlyn: dechreuid trwy i un o'r plant adrodd pennod allan ar dafod-leferydd, ac i un o'r henafgwyr weddïo; ac un Sabboth diweddwyd hi trwy holi y plant o'r *Rhodd Mam*, a'r Sabboth arall trwy i rywun mewn oed adrodd allan bennod o'r Bibl. Cedwid rhif presennoldeb a rhif y llafur mewn llyfr pwrpasol, yr hyn a ddarllenid yn gyhoeddus i'r Ysgol ar ddiwedd y flwyddyn, pan y gwobrwyid y goreu. Amcenid ei chario ymlaen yn ol dull Ysgolion goreu y wlad. Yn y flwyddyn 1881 darfu i un lodes fechan ddysgu ac adrodd allan 1130 o adnodau, a hi a gafodd y wobr. Cyfanrif yr holl adnodau a ddysgwyd allan y flwyddyn hono ydoedd 8097 o nifer, a'r cyfanrif am y chwe' blynedd ydoedd 142 o bennodau a 24,521 o adnodau.

Ychydig flynyddoedd cyn sefydliad y Genadaeth ar yr Ynys, talwyd ymweliad â hi gan y Tad Ignatius, y mynach perthynol i'r Eglwys Sefydledig, am yr hwn y crybwyllasom o'r blaen, er edrych i fewn i'w hansawdd grefyddol, offrymu gweddïau dros ei llwyddiant, ac hefyd gyda'r amcan o'i hadferyd megys cynt yn *retreat* ysbrydol, ac yn wir Ynys y Seintiau. Yn y llyfryn a gyhoeddodd ac a gyflwynodd i Arglwydd Newborough, cawn ddesgrifiad o'i ymweliad â hi, ac o'r cais a wnaeth at ei Arglwyddiaeth am gael caniatâd i adeiladu Eglwys ac Ysgoldŷ ar *site* yr hen Fynachlog, gan addaw na byddai i hyny gostio dim i'r brodorion. Ar waelod y ddalen yn y llyfryn ceir nodiad, yr hyn yn Gymraeg sydd fel y canlyn:—

"Arglwydd Newborough ydyw perchenog presennol yr Ynys sanctaidd. Y mae ei phreswylwyr heb Eglwys nac offeiriad. Ysgrifenais ato i ofyn iddo am hawl i *site* yr hen Fynachlog, er adeiladu arni eglwys ac ysgoldŷ, pa rai a gynnelid ac a ddygid ymlaen heb gostio dim i neb o honynt. Yr oedd Offeiriad da Aberdaron yn ffafriol iawn i'r cynllun."

Ond er pob denu a bygwth a arferid yn y cais, ac er fod "Offeiriad da Aberdaron" yn bleidiol i'r mudiad, eto ei wrthod yn benderfynol a diatreg a ddarfu ei Arglwyddiaeth. Yn y llyfryn fe gyfeiria y mynach at y gwrthodiad gyda thristwch, os nad dialedd, gan awgrymu y gallai hyny fod yn achos poenedigaeth i'w Arglwyddiaeth rywbryd yn y dyfodol, ac hefyd ddadgan gobaith gwell llwyddiant yn ei neges gyda'r etifedd sydd i ddyfod ar ol. Gosodwn ger bron gyfran o'i ganiad ar hyn:—

List to that I tell you:
Years three hundred shall not end,
Ere the King of Heaven shall send,

Saints to rear this sacred fane,
And restore her walls again.

Saints above cease not their cry,
Unto Christ the Lord Most High;
That his ceaseless praises may
Here arise by night and day.

Newborough's Lord shall own this soil;
Ere he resteth from life's toil,
Jesus, for his servants' sake,
Bids him restoration make.

And if Newbo ough's Lord obey,
That which Jesu's servants say,
He shall gain a blessing bright
In the realms of Morning Light.

If he do not grant their prayer,
He shall lose a blessing rare,
When he lies on his last bed
Sad regret shall crown his head.

To his son shall then be given,
Choicest blessings from High Heaven;
For he shall restore to God,
Through the Monks this sacred sod.

Saying thus he sought repose,
In the tomb whence he arose.

Ond er bwgwth :—

He shall lose a blessing rare,
When he lies on his last bed,
Sad regret shall crown h s head,

ni lwyddodd ac ni chafodd ei neges, a bu o dan angenrhaid i droi ei wyneb tua gwlad y dehau i chwilio am well ffawd. Nid ydoedd perchenog yr Ynys yn ŵr a gredai yn ei fygythion, ei brophwydoliaethau, na'i addewidion, ond yn hytrach edrychai arno fel un yn ynfydu!

Yn lled fuan ar ol yr amgylchiad hwnw, penderfynodd ei Arglwyddiaeth adeiladu synagog a thŷ at wasanaeth crefyddol yr Ynys, a hyny yn gwbl ar ei draul ei hun, fel y dywedasom eisoes. Dylid dyweyd fod yno gapel bychan yn flaenorol, i'r hwn yr ymgasglai nifer o'r trigolion i addoli, ac yn yr hwn y gwasanaethai y diweddar Barch. Robert Williams; ond yr oedd erbyn hyny wedi myned yn hen ac yn oedranus. Ond dyma adeilad newydd hardd yn ei le, ac ysgrif fel hyn ar y llechfaen sydd yn ei dalcen: "Y capel hwn a adeiladwyd er budd trigolion Ynys Enlli yn y flwyddyn 1875." A chan mai y Methodistïaid Calfinaidd ar hyn o bryd ydyw y mwyafrif, os nad agos yr oll o'r preswylwyr, hwy sydd yn defnyddio y capel, a hwy pïau yr achos sydd ynddo, ac hefyd sydd yn ei gynnal. Arglwydd Newborough pïau y capel, ond y Methodistiaid Calfinaidd pïau yr achos sydd ynddo. Ac nid peth hollol gymhwys a hapus ydyw hyny i'r Cyfundeb, os edrychir arno o wahanol gyfeiriadau. Ac nid ydym yn gwybod am siampl arall yn hanes yr enwad o achos yn cael ei gynnal, ac yn enwedig achos Cenadol, mewn capel heb fod yn eiddo i'r Cyfundeb. Ond dyma achos,

yr hwn fu yn costio i'r Gymdeithas Genadol £100 yn y flwyddyn am flynyddoedd, ac yn bresennol yn costio £55 yn y flwyddyn, ac heb rith o sicrwydd am y babell, ond yn unig hoedl ac anrhydedd y gŵr boneddig. A dyma'r unig wedd anffafriol sydd ar yr achos yn Enlli, yn enwedig os edrychir ymlaen i'r dyfodol. Gobeithio na ddaw dar-oganau rhai personau byth i ben yn y cyfeiriad hwn. Ond yn ddi-ddadl, mantais a chysur y sefydliad a fyddai cael rhyw sicrwydd am yr adeilad, a byddai hyny hefyd yn sicrhâu ei barhâd a'i iawn gadwr-aeth yn y dyfodol. Ond methiant a fu pob ymgais i geisio sicrhâu hyny hyd yn hyn; ac felly rhaid cymeryd pethau fel y maent. Ond yn ddiammeu dylesid bod wedi edrych i fewn yn fanwl i'r mater hwn cyn myned i ddechreu ar y gwaith o gwbl. Ond gobeithio na ddaw dim yn y dyfodol a fydd yn llesteirio cynnydd a pharhâd y gwaith sydd wedi ei ddechreu mor ragorol. Dyma ddywed un gŵr, un o awdurdod ac yn adnabod carictor teulu anrhydeddus Glynllifon yn dda:—"Pwy bynag fydd y llywodraethwr dyfodol, gallaf ddyweyd hyn, mor bell ag yr adwaen i y teulu, y credwyf na bydd i neb ymyryd â'r Ynyswyr mewn ystyr grefyddol."

Wedi llafurio ar yr Ynys am flynyddoedd gyda llwyddiant amlwg, ymadawodd y Parch. W. T. Jones oddiyno, er ymsefydlu fel gweinidog ar Eglwys Rhydbach, pan y teimlid hiraeth a chwithdod mawr ar ei ol. Gellir dyweyd, heb arfer gormodiaeth, ei fod wedi bod yn foddion llesâd annhraethol i'r Ynyswyr mewn ystyr feddyliol, moesol, a chref-yddol, yr hyn a barhâ yn hir. Y mae Mr. Jones i'w ychwanegu at restr y gwroniaid ac amddiffynwyr y ffydd, pa rai a gerfiasant eu henwau yn ddwfn ar hanesiaeth yr Ynys, ac nas gall cyfnewidiadau ac amgylchiadau canrifoedd mo'u crafu ymaith. Ei olynydd ar y maes ydyw Mr. William Jones, Gosen, Llanaelhaiarn, gŵr cymharol ieuanc, caredig a llednais, ac un y mae ei lafur a'i weinidogaeth yn hynod fendithiol a chymeradwy gan yr Ynyswyr. Y mae yn dangos ei fod yn meddu llawer o gymhwysder i'r lle, ac wedi ei dori allan i'r gwaith. Ac y mae yn hynod ddiwyd a ffyddlawn yn y gwahanol gylchoedd, ac yn amcanu goruwchadeiladu yn dda ar y sylfaen a osodwyd i lawr gan ei ragflaenydd. Yr ydym wedi derbyn amryw dystiolaethau o gyfeir-iad yr Ynys, fod ei fuchedd a'i wasanaeth yn hynod dderbyniol yn y lle. Parhaed felly. Ei gyflog ef ydyw £55 yn y flwyddyn, sef £50 oddiwrth y Genadaeth Gartrefol am wasanaethu crefydd, a £5 yn y flwyddyn oddiwrth Fwrdd y *Trinity* at gynnal yr ysgol ddyddiol. Mae y tŷ iddo i fyw heb ardreth.

Yn awr gosodwn ger bron adroddiad o eiddo y Cenadwr presennol am ansawdd yr achos ar yr Ynys er pan y mae yno yn llafurio, sef yn ystod y ddwy flynedd diweddaf, a chanfyddir wrtho ei fod yn dal ei dir ac yn ychwanegu cryfder.

Enlli, Chwefror 13eg, 1885.

BARCHEDIG SYR,

Ar fy nyfodiad cyntaf i'r Ynys hon, er ys agos i ddwy flynedd bellach, cefais dderbyniad siriol a chroesawgar gan yr holl ynyswyr yn ddieithriad; a da genyf hysbysu eu bod yn parhâu yn eu caredigrwydd a'u cymwynasgarwch.

Yn ystod yr ychydig amser rhwng ymadawiad Mr. Jones, y cyn-genadwr, oddi-yma a fy nyfodiad innau yma, pan oedd yr Ynyswyr fel defaid heb ganddynt fugail, cefais ddeall yn union eu bod yn teimlo yn bryderus, chwith, a digalon. Ofnai rhai

o honynt na anfonid neb i'w gwasanaethu. Ac yr oedd hyny yn gysur nid bychan i minnau, sef eu gweled yn teimlo dyddordeb a zel tuag at yr achos mawr. Poblogaeth yr Ynys yn bresennol ydyw 72 o eneidiau.

Deuant oll i wrando yr efengyl yn gyson, oddigerth un, a gwrandawant yn astud iawn hefyd; a byddaf yn cael lle i gredu weithiau y bydd y gwirioneddau a draethir yn cael argraff ar eu meddyliau, gan y bydd ambell un o honynt weithiau yn teimlo nes gollwng dagrau.

Cynnelir y moddion fel y canlyn :—Y Sabboth, pregethir y bore a'r nos, a chynnelir Ysgol yn y prydnawn; nos Fawrth, cyfarfod gyda'r plant; nos Fercher, cyfarfod gweddi; nos Iau, cyfarfod eglwysig. Nifer yr eglwys, rhwng y rhai mewn oed a'r plant, ydyw 39

Dygir ymlaen y seiat yn y dull a ganlyn :—Dechreuir drwy i'r plant ddyweyd eu hadnodau; yna i'r swyddogion ddyweyd gair o'u profiadau, ac fe ddywed yr holl aelodau adnod neu ddwy, ac ambell waith air o'u teimlad oddiar yr adnodau. Ac yna byddaf finnau yn ceisio dyweyd ychydig wrthynt mewn ffordd o adeiladaeth a chysur, er yn dra anmherffaith. Ni ddaeth neb i'r eglwys o'r newydd yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf; ond y mae y rhai a ddychwelwyd yn lled ddiweddar yn arddangos llawer o ffyddlondeb, ac yn ymroddi o ddifrif i ymarfer â dyledswyddau cyhoeddus crefydd, fel y mae yn amlwg eu bod drwy hyny yn dal eu ffordd ac yn ychwanegu cryfder.

Bu un o'r aelodau farw er pan y daethum yma, sef Mary Jones, Gareg Fawr, yn yr oedran teg o 84 mlwydd. Nid oedd ond ychydig o amser er pan y daethai at grefydd, ond crefydd fyddai testun ei hymddyddan yn wastadol. Byddwn yn arfer ymweled â hi bron bob dydd yn ystod ei hafiechyd. Dywedai wrthyf ychydig ddyddiau cyn ei hymadawiad, "Y mae arnaf lawer o ofn na chaf fi ddim myn'd i'r nefoedd;" pan y dywedais wrthi, "Os oes rhyw gymaint o gariad genych yn eich calon at Iesu Grist, yr ydych yn bur debyg o gael myned." "Oes, yn wir y mae," meddai, ac felly y bu hi farw.

Nifer yr Ysgol Sabbothol ydyw 55. Gellir dyweyd fod cryn lawer o zel a gweithgarwch yn cael eu dangos mewn cysylltiad â'r sefydliad daionus hwn yn ein plith. Mae y rhan fwyaf o'r ysgolheigion yn gallu darllen yn rhwydd, er mai yr hyn sydd ddiffygiol ynddynt ydyw gallu amgyffred a deall yr hyn a ddarllenir. Y mae yma gryn lawer o zel gyda dysgu allan a thrysori Gair Duw yn y cof, yn enwedig ymysg y plant a'r bobl ieuainc. Byddwn yn arfer dechreu yr Ysgol bob Sul drwy i un o'r plant adrodd allan bennod fydd wedi ddysgu, a chredwn fod hyny yn ateb dyben daionus. Ac ar y diwedd holir y plant yn y *Rhodd Mam* a llyfrau eraill.

Ceir cynnulliad da i'r cyfarfod gweddi bob wythnos. Er nad oes yma ond yr un rhai i'w gynnal braidd bob tro, eto y mae yn dal ei dir, ac yn bell o gael edrych arno a chael ei deimlo fel peth cyffredin a diflas. Hyfrydwch mawr i mi fydd clywed y brodyr yma yn erfyn gyda thaerineb o flaen yr orsedd am i'r Arglwydd achub eu cyd-ddynion i fywyd tragywyddol, a diammeu genyf y bydd y Nefoedd yn foddlawn i'w dymuniadau. Fe deimla y plant ddyddordeb neillduol yn y cyfarfod a gynnelir nos Fawrth, a theilyngant bob canmoliaeth am yr ufudd-dod a ddangosant i lafurio yn y gwahanol ganghenau a roddir iddynt.

A chymeryd golwg gyffredinol ar ansawdd yr achos yn ein plith, credwn ei fod yn myned ymlaen ac yn llwyddo. Ond y mae yma dir lawer eto i'w feddiannu; y mae hanner y trigolion bron heb ddyfod i broffesu crefydd, a'r rhan fwyaf o honynt wedi myned i gryn oedran.

Ein gweddi ydyw am i'r Arglwydd fwrw eilwaith ei law i feddiannu gweddill ei etifeddiaeth yn yr Ynys hon.

Yr eiddoch yn gywir,

WILLIAM JONES.

Oddiar annogaeth bendant gan amryw wŷr goleuedig, yr ydym yn dodi cywydd rhagorol Islwyn i Seintiau Enlli yn gyflawn ger bron, a diammeu na raid i ni ofyn pardwn am hyny.

## SAINT ENLLI.

GAN Y PARCH. W. THOMAS *(Islwyn).*

*Rhagsylw*

Ar ol darllen yn helaeth ar y traddodiadau anghytunus parthed Enlli, barnodd yr ysgrifenydd mai addasaf a fyddai iddo ef ymgadw at y gwaith a ymddangosai y mwyaf cymedrol a rhesymol, sef eiddo y Parch. P. B. Williams, B A., Rector Llanrug, Sir Gaernarfon. (See *Transactions of the Cymrodorion, or Metropolitan Cambrian Institution,* Vol. II., Part iv., page 238. London: Published for the Institution, by H. Hughes, 15, St. Martin's le Grand. Llandovery: William Rees, 1843.) Traethawd y periglor dysgedig ydyw fy awdurdod am a ganlyn.

DEG Awen, cân dy gywydd
I gynnar ddiffynfa 'r ffydd.
Enlli fach! ennillaf hwyl
O'th gofion union anwyl.
Cofio 'th saint fel cyfoeth sydd,
Neu foeth i henafiaethydd.
Yr oedd Ffydd ar ddiffoddi
Yn y 'storm, hyd nes i ti
Fwrw gwŷn dy fore ganwyll
O'r môr, uwch y tra mawr wyll.

Dwy filldir gywir dy gylch,
A'r eigion yn gaer ogylch—
Un o hŷd—os bychan oedd
Dy led. O dïail ydoedd
Rhyfedd glod dy grefydd glan,
Fel haul dy Ddwyfol Olau!
Er lleiéd am-led dy dir,
Y Fendith oedd Gyfandir!
Ni fu erwi gan feirwon,
O wir saint mor fras â hon:
Yn dirion cuddia d' oror
Ugain mil wrth eigion môr;
Ugain mil o'th saint-hil sydd
Yn llenwi 'th erwi llonydd.
E feda'r Adgyfodiad
Wych doraeth o'th odiaeth hâd.
Ca Llawddog gawell heddwch
A hûn lawn o fewn dy lwch.
Dirfawr Abad fu Derfel
I'r Ynys hon o ran zel;
Yntef sydd dan lonydd lên
Dew orchudd dy dywarchen.
Diboen i'r Abad Beuno
Yw gwely rhad dy gul rô.
Mae Cadfan o dan dy dô
Hoff was i'r Ne 'n gorphwyso,
Yn dysgwyl egwyl agor
Ryw loew ddydd ei farwol ddôr!
Gwir brofodd glwysgor Brefi
Fawr gnwd ffydd ein Dyfrig ni:
Rhodd yno ei urdduniant,
Do, was hen, i'n Dewi Sant.

O bob Archesgob ni chaid
Purach neu wŷnach enaid;
Rhoi ei fraint a'i ddirfawr fri
A'i anlloedd, am hedd Enlli

Deyrn o Sant! Oedrannus oedd,
A'i ddidwyll awydd ydoedd
Am dreulio yno ei oes
Yn llonydd, weddill einioes;
Byw mwy mewn cymundeb mêl
A Duw, yn Enlli dawel—
Ryw Seion bêr o swn byd
Mwy, â'i elfen am eilfyd.
Fawredig dduwiolfrydedd!
Pwy 'n awr drwy fyd mawr a'i medd!
Byw beunydd, rhoi bob enyd
Yn ddi goll i Dduw i gyd:
Gado 'r byd, dal gyda 'r bedd
Ryw ofeb sobr a rhyfedd!

Aeth rhif o wŷr difrifol
Drwy hyfryd unfryd o'i ol,
I fwynhau yr un dwfn hedd,
Yr un hygar unigedd,
A daethant o'i gymdeithas
Dirion, yn gryfion mewn Grâs:
Brwd elai eu brawdoliaeth,
Ac yn Nuw cynnyddu wnaeth.

Lle braint ydoedd Enlli brid,
Goreu addysg a roddid.
Fe ranai Einion Frenin
I'w mysg, er addysg, o'i rin;
Rho'i lladaeth Emyr Llydaw,
Urddol ŵr, yn rhwydd o'i law,
I gadw y coleg odiaeth,
A than nawdd Duw 'n Athen daeth.
Y Monachod mynychynt
Ein Enlli gain yn llu gynt.
Glaniaw rhag llid gelynion
Wnai saint yn yr Ynys hon;
I fwynhâu, i fyw yn ol
Cywir foddion crefyddol.

Os oedd ofergoelion syn,
Hudolus yn eu dilyn;
Eu rhinwedd oedd er hyny
Drwy fraint, fel Goleudwr fry:
Rhyw wawr wàn, yr oreu oedd
Acw yn asur cynoesoedd;
Gwawr o Ras, goreu 'r oesau,
Nid oedd hi ond yn dyddhau!

Finnau yn llesgedd fy henaint,
Hoffwn, cyfrifwn yn fraint
Gael treulio yno mewn hedd
O dawel ymneillduedd,
Eiddilion flwyddi olaf
Fy ngyrfa, yn noddfa Naf.
Byw arno, byw iddo Ef,
Mwy 'n ddiddig mewn hedd-haddef;
A dal cymundeb â'r dòn,
Byd ail, o wydd bydolion.
Heb dyrfau byd, heb derfyn
Ond y gwyrddfor, gefnfor gwŷn.
O'n holl fyd, Enlli a fo
Iach wlad i'm haul fachludo.

Gwedi y boen, gyda Beuno
Gorphwysaf, mi drigaf dro:
Ac hefo Beuno, o'r bedd
Codi yn mawr-rwysg adwedd. . . .
Gwytherin goeth ei arawd,
'R enwog Tyfriog ei frawd,
A'u chwaer dyner Eleri—
Fo aml oes yn f' ymyl i!
A Derfel mewn rhwysg dirfawr
Gyfyd ar yr hyfryd wawr;
A'r doniog Cawrda rinwedd
Draw aiff i wlad yr hoff wledd.
A Phadarn hoff eheda
I fro lon anfarwol ha'.
Dwg Naf ein Tegwyn hefyd
O Enlli ban i well byd.
Do'f finnau—minnau 'n y man
Fry 'n gydfyw â'r hen Gadfan.

Gwnaethom un camgymeriad trwy ddyweyd fod yr hen frawd Griffith Pritchard yn flaenor dewisedig; nid ydoedd yn flaenor er ei fod yn *blaenori*, yr hyn a wnaeth yn ffyddlawn hyd ei angau.

O peaceful, happy Bardsey,
Sweet Islet of the Sea!
I would for ever rest me,
All joyfully in thee!

JOHN JONES.

---

## SALLWYR EDMUND PRYS.

"TRI pheth," meddai Archddiacon Meirionydd, "a wnaeth, na chyfieithwyd y Salmau bendigaid ar yr un o'r Pedwar Mesur ar hugain. Un yw, am na allwn ryfygu clymu'r Ysgrythyr Sanctaidd ar fesur càn gaethed: rhag i mi, wrth geisio cadw'r mesurau, golli deall yr Ysbryd; ac felly pechu yn erbyn Duw er mwyn boddloni dyn." I ba fesur y llwyddodd i beidio "colli deall yr Ysbryd," er ymgadw o hono yn gaeth at y mesur "gwael ond esmwyth" a ddefnyddia, a ganfyddir yn eglurach po manylaf yr edrycher i mewn i'w gyfieithiad. Er ei fod yn gorfod gwylied beunydd ar y mydr a'r odl, llwyddodd yr Archddiacon, i raddau ag sydd i ryfeddu ato, i gadw at y llythyren yn ei gyfieithiad. Y mae ei eiriau a'i linellau llanw hefyd wedi eu dewis yn fanwl, ac wedi eu dodi, fel rheol, tuag ag at ddeall yr Ysbryd ac nid yn unig er mwyn llanw. Nid efe oedd y cyntaf na'r diweddaf i droi y Salmau ar gân yn y Gymraeg; rhagflaenwyd ef gan Gwilym Canoldref, a dilynwyd ef, yn ddiweddar

mewn cymhariaeth, gan Nicander a Hiraethog. Nid oes berthynas rhwng y gweithiau hyn a'u gilydd—os nad oes rhwng y ddau ddiweddaf a enwyd; nid oes berthynas o gwbl, fodd bynag, rhwng gwaith Edmund Prys a'i ragflaenydd, y Cadben Middleton, mwy nag sydd rhwng "Twr Dafydd" Gwilym Hiraethog a "Psallwyr" Nicander, ac eiddo Edmund Prys. Y mae yr oll, yn ddiammeu, yn rhagorol yn eu ffordd, a da pe y mabwysiadid mwy o'r hymnau Salmyddol allan o'r gweithiau olaf a enwyd yn ein Llyfrau Hymnau; canys y mae y mater yn ysbrydoledig, a'r ffurf yn waith ein prif-feirdd. Gwaith Edmund Prys, pa fodd bynag, ydyw yr unig un sydd yn deilwng o'r enw cyfieithiad.

Edrychir yn rhy gyffredin ar y gwaith rhagorol hwn fel math o domen (maddeuer y gymhariaeth) ag y gall pawb a ddewiso fyned i'w phen i bigo fel y myn ac i gaboli wrth ei ewyllys allan o'i chynnwys yr hyn a eilw wedi hyny yn emynau, heb ystyried ei fod wrth hyny mewn perygl yn fynych o'i yspeilio o'i wir werth. Os nad ydyw yr emynau sydd ynddo yn gyfaddas fel y maent i'w harfer mewn gwasanaeth cyhoeddus, gwell ydyw eu gadael yn llonydd, oddieithr yn wir i ni fod yn sicr, os gwelwn angen newid ychydig, ein bod yn cadw yr un mor agos, os nad yn agosach at "feddwl yr Ysbryd." Am ei gyfaddasder fel y saif, hyny yw, y rhan fwyaf o hono, i'w arfer mewn cynnulleidfäoedd cyhoeddus, cydsyniwn yn rhwydd â'r hyn sydd wedi ei ddyweyd gan eraill. "Buasai yn dda gan y casglwyr [dros Gymanfa Gyffredinol y Methodistiaid Calfinaidd] pe gallasent roddi ychwaneg o waith ardderchog yr Archddiacon; ond cafwyd fod anwastadrwydd y mydr a'r acen yn rhwystr anorfod i wneyd hyn." A dyma dystiolaeth Gwilym Hiraethog am dano: "Y mae ganddo lawer o eiriau anarferedig yn awr, a llawer o linellau anystwyth a chlogyrnog, ac y mae ei gorfanau yn aml yn boenus o aflerw. Gyda'r eithriadau hyn, gwaith gorchestol ydyw y gwaith yn ddiau; ceir ynddo ugeiniau o bennillion nad ellir eu gwella, y rhai ydynt wedi eu hystrydebu yn llyfrau emynau pob plaid grefyddol yn Nghymru, a chenir hwynt o genedlaeth i genedlaeth tra y byddo yr iaith Gymraeg ar dafod y werin." Ond hyd yn nod yn y cymeriad hwn, deil Sallwyr Archddiacon Prys i'w gystadlu âg unrhyw waith cyffelyb yn yr iaith agosaf atom. Ni chawn ddim ynddo, er engraifft, mor llipa ag a gyfarfyddwn yn ngwaith Saesoneg "Sternhold and Hopkins," megys:

In them the Lord made for the Sun
  A place of great renown,
Who like a bridegroom ready trimmed
  Comes from his chamber down.

Nid rhydd gyfieithiad ychwaith ydyw, fel Salmau "Brady and Tate," yn y Saesoneg. Y mae, fel rheol, yn rymus; ac fel y dywedasom o'r blaen, yn rhyfeddol o ffyddlawn i'r gwreiddiol, ac ystyried ei fod "ar fesur cerdd."

Yr ydym wedi galw gwaith Edmund Prys yn gyfieithiad fwy nag unwaith. Gwnaethom hyny yn fwriadol; oblegid, yn un peth, ein bod wedi dyfod i ddeall, fel eraill o'n blaen, ei fod felly; ac nid yn unig hyny, ond ei fod yn gyfieithiad hynod iawn—yn wir, y mae yn rhywbeth mwy, y mae hefyd, mewn rhai manau, yn esboniad rhagorol; ac

ymhellach, am mai ein hamcan yn yr ysgrif hon ydyw galw sylw o'r newydd ato yn y cymeriad hwn, ac yn y cymeriad hwn yn unig. Teimlem y gallai hyn fod o fantais i rai, ac o ddyddordeb i bawb o ddarllenwyr y TRAETHODYDD yn y dyddiau hyn, y rhai a gânt eu hadnabod yn y dyfodol, yn ddiammeu, fel cyfnod y Cyfieithiadau Diwygiedig o'r Ysgrythyrau. Gan obeithio y bydd i hyn fod yn symbyliad i eraill i ymgynghori â'r gwaith rhagorol hwn sydd yn ein hiaith, pan y byddant yn ymwneyd â Llyfr y Salmau. A hyderwn, os gwnant, y derbyniant yr un mwynhâd a'r un cynnorthwy ag y byddwn ninnau yn ei dderbyn wrth wneuthur hyny. Cânt yr hyfrydwch weithiau o ganfod ffrwyth prif esboniadaeth ddiweddar wedi ei ragflaenu yn ngwaith ein cydwladwr hyglod.

Gyda golwg ar y berthynas a all fod rhwng Sallwyr Edmund Prys â chyfieithiad yr Esgob Morgan, nid ydym ar dir ag y gallwn ddyweyd fawr, os dim, yn bendant. Gwyddom fod yr Archddiacon wedi ei alw i gynnorthwyo yr Esgob i ddwyn allan ei gyfieithiad o'r Bibl; ond ni wyddom pa ran a gymerodd yn y gwaith. Ond gan nad pa law a fu ganddo yn y gwaith hwnw, mae yn eglur i bawb a'u cymharo, nad cyfaddasiad ar Fesur Cerdd o'r Salmau yn ol y cyfieithiad hwnw, mwy nag o'r un cyfieithiad arall, ydyw ei Sallwyr ef; oblegid y mae profion ddigon ynddo o'i fod yn gyfieithiad hollol annibynol. A golygu hyd yn nod ddarfod i'r Esgob ei ddal ef yn gyfrifol i raddau helaeth, dyweder, am gyfieithiad o'r Salmau, gellir dyweyd ei fod wedi rhagori arno ei hunan mewn lliaws o fanau yn ei Sallwyr.

Yr ydym wedi gwneuthur detholiad o ychydig engreifftiau o hono, gan eu cymharu â gwaith y Dr. Morgan—canys felly y rhaid ei adwaen —ar y naill law; ac â'r Cyfieithiad Awdurdodedig Cymraeg a Saesoneg ar y llaw arall, gan y tybiem y byddai hyn y ffordd effeithiolaf i ddangos ei deilyngdod. Cadwasom ein hunain at un dosbarth o engreifftiau, sef at y rhai hyny ymha rai y mae Edmund Prys yn gwahaniaethu oddiwrth y cyfieithiadau eraill a enwyd. Teimlwn fod yr eglurhâd hwn yn angenrheidiol, gan y gallai rhai ein beïo am beidio talu gwarogaeth i brydferthwch aml i bennill wrth fyned heibio, ac am basio adranau eraill heblaw y rhai a nodir genym, ag y perthyn anhawsder beirniadol iddynt.

Un gair eto parthed y defnyddiau oedd gan Edmund Prys at ei law i gynnyrchu y fath gyfieithiad gorchestol. Dywedasom o'r blaen nad oes berthynas rhyngddo â gwaith Gwilym Canoldref; nac, ond i raddau nad ydyw yn tynu dim oddiwrth ei annibyniaeth, â'r Cyfieithiad sydd yn Mibl y Dr. Morgan, fel ei gelwir. Gallwn, ymhellach, fod yn lled hyderus nad ydyw wedi dilyn yr un cyfieithiad arall allasai fod o'r Salmau yn ei ddyddiau ef; megys yr hwn a geir yn "y Llyfr Gweddi Gyffredin," a gyhoeddwyd yn 1586, yr hwn a briodolir i William Salesbury; neu "Psalmau Dafydd" 1588, hyd y gallem farnu oddiwrth yr hyn a welsom o honynt. Ymhellach, mae yn eglur, dybiem ni, gan nad faint o gynnorthwy allai Edmund Prys, a chydag ef cyfieithwyr y Bibl Cymraeg, fod wedi ei dderbyn o weithiau yr hen gyfieithwyr Seisonig a'r Diwygwyr Protestanaidd ar y Cyfandir, o'r LXX. a'r Vulgate, ac, hwyrach, o ychwaneg o'r Hen Gyfieithiadau, eu bod oll yn dra hyddysg yn nhestun gwreiddiol yr Hen Destament.

Casgliad ydyw hwn ag yr ydym yn rhwym o'i dynu oddiwrth y ffaith eu bod—yn enwedig felly Archddiacon Prys—yn ymddangos mor gartrefol ac eto mor gywir yn eu hymdriniaeth o neillduolion y testun gwreiddiol. Er mwyn byrdra galwn y Cyfieithiad Awdurdodedig Cymraeg a Saesoneg yn Cyf. Awd. Cym. a Saes. Am yr un rheswm cymerasom ryddid i alw gwaith Edmund Prys yn "Sallwyr." Ni roddasom y Cyf. Awd. ond mewn rhai manau, gan y tybiem y byddai i'r darllenydd a'n hanrhydeddo â'i sylw o gwbl droi i'w Fibl, os na ddygwydda gofio yr adnod.

Salm i. 1.—Y sawl ni rodia, dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gynghor;
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
Nid eiste 'n 'stol y gwatwor.

Rhoddir yr amser anmherffaith am y perffaith yn "ni rodia," i ddynodi (1.) yr arferiad o rodio; (2.) fod y gwynfyd *yn* y rhodio, ac nid mewn canlyniad i rodio, fel y golyga yr amser perffaith, "ni rodiodd," fel yr edrych Dr. Morgan, Cheyne, &c., arno. Yr athrawiaeth hefyd yw, "Efe a fydd dedwydd yn ei weithred." Y mae "dedwydd yw" yn well na "gwyn ei fyd," y Cyf. Awd. Yn llythyrenol: "O ddedwyddwch y gŵr," &c. "Yn" ac nid "yn ol" ydyw ystyr gyffredin y rhagddodiad a arferir yn y fan hon. Y mae Gesenius, fodd bynag, yn rhoddi yr un ystyr iddi yma ag y mae Prys wedi ei wneyd; gwel y Thesaurus: "juxta concilium improborum." Yn erbyn hyn gellir nodi (1.) mai anfynych iawn y mae y rhagddodiad *be* a *ce* yn cyfnewid ystyr; (2.) ystyr yr un rhagddodiad yn y ddau le arall yn yr adnod yw "yn;" (3.) y mae ystyr y gair a gyfieithir yn "gynghor" yn erbyn y golygiad, sef penderfyniad meddwl, hyny yw, ni rodia yn yr un ystâd meddwl ag y mae yr annuwiol ynddi pan yn penderfynu ar ei ymddygiad.

Wrth ddyweyd "drwg ystryw gynghor" mae yn amlwg fod Prys yn deall y gair "annuwiolion" yn ansoddiadol, i wneuthur yr hyn yr oedd iddo berffaith hawl, yn ol dullwedd gyffredin yr Hebraeg; cymharer "mynydd dy sancteiddrwydd" am "dy fynydd sanctaidd," a'r cyffelyb. Ond yn sicr dylasai, i fod yn gyson, gymeryd y geiriau "pechaduriaid" a "gwatwarwyr" yn yr un modd. Gwell, yn hytrach, yw golygu fod yma gyfeiriad at dri dosbarth o ddynion, ac nid at raddeg mewn ansoddau yn unig. Yn "troseddwyr ffol" aberthodd, er ein syndod, er mwyn y mydr, ystyr *hatt'aim*—ἁμαρτωλοί—pechaduriaid, ac ysgrifenodd "troseddwyr" fel pe mai *posh'im* oedd i'w gyfieithu.

Adn. 2.—"Ond ei holl serch ef sydd yn rhwydd."

Gwell "serch" nag "ewyllys," y Cyf. Awd.; "hyfrydwch," fodd bynag, ydyw y gair; Saes. "delight."

Adn. 3.—"Ef fydd fel pren plan ar lân dôl."

Y mae "ar lân dôl" yn gyflëad o'r meddwl, sef llecyn manteisiol i'r pren; ond nid ydyw yn gyfieithiad o'r Hebraeg. Y mae "afonydd dyfroedd" y Cyf. Awd. yn gamarweiniol. Y mae "ffrydiau" hyd yn

nod yn rhy gryf. Y cwbl a olygir yw, "gerllaw i dreigliad dyfroedd," —lle y byrlyma y dwfr o'r ddaear, neu y llifa mewn rhigolau ar wyneb y tir o amgylch. "Ar làn dyfroedd" ydyw cyfieithiad Dr. Morgan.

A'i holl waith
A lwydda 'n berffaith iddo.

Y mae hwn yn fwy diamwys na'r Cyf. Awd., sef, "A pha beth bynag a wnel, efe a lwydda." Beth a lwydda, ac i bwy? Yn ol Prys, gwaith y cyfiawn a lwydda iddo ef ei hunan. Ond gellir cymeryd y ferf a gyfieithir yma yn "llwyddo" yn y *modd* y mae i lawr, yn drawsfynedol; a cheir, ond i ni ei chymeryd felly, ystyr arall i'r gair, sef cario allan, a gorphen yn llwyddiannus yr hyn a ymgymera dyn â'i wneuthur. Yr ystyr yma a roddir i'r gair gan Delitzsch, Cheyne, &c.

Salm. ii. 2. —Yn erbyn Duw a Christ ein plaid
Y mae penaethiaid bydol.

Gwell yn ddiau "Eneiniog" na "Christ" fel cyfieithiad o *Mashiah* yn y fan hon, fel ymhob man arall y ceir y gair yn yr Hen Destament. Gall y gair "Crist" fod yn gamarweiniol. "His annointed" ydyw y Saes.

Adn. 7.—Dyma 'r ddeddf, a dd'wedai 'n rhwydd,
Hon gan yr Arglwydd clywais:
Ti yw fy Mab (o'm perffaith ryw),
A heddyw y'th genedlais.

Yn ol Prys, â'r hwn y cytuna Dr. Morgan, y mae cynnwys y ddeddf neu yr ordeiniad, yn dechreu gyda'r geiriau, "Ti yw fy Mab." Ond gwell, yn ddiau, ydyw golygu gyda'r Cyf. Awd. Cym. a Saes. yr ordeiniad yn dechreu gyda'r geiriau, "Dywedodd yr Arglwydd wrthyf." "Mynegaf y ddeddf." "I will relate *a decree*," Cheyne. "I will declare concerning *a decree*," Delitzsch. Ac nis gellir gadael allan o'r appwyntiad, "Dywedodd yr Arglwydd wrthyf," oblegid hyn oedd yn rhoddi grym ac awdurdod iddo. Gwelir felly fod Prys, tra yn galw sylw mewn gwedd darawiadol iawn yn ei gyfieithiad at sail a thermau appwyntiad y Mab i fod yn Frenin ar Sïon, wedi esgeuluso rhoddi yr arbenigrwydd dyladwy i'r awdurdod a gyflëir yn y geiriau, "Dywedodd yr Arglwydd wrthyf;" er mae'n wir y cyfeiria at hyny yn y geiriau, "hon gan yr Arglwydd clywais."

Adn. 9.—Ti a'u briwi hwynt yn dy farn,
A gwïalen haiarn hayach.

Rhydd "yn dy farn" ei lawn ystyr i'r gwreiddiol am wïalen haiarn, hyny yw, *teyrn*-wïalen haiarn.

Adn. 11.—A byddwch lawen yn Nuw cu,
Eto trwy grynu hefyd.

Y mae "trwy grynu," Saes., "with trembling," yn gywirach na "mewn dychryn" y Cyf. Awd. Cym. Ac er fod ystyr arall i'r gair a gyfieithir yn "byddwch lawen," eto y mae y llinell fel y mae gan Prys yn gyflead llawn a chywir o honi fel ei deallir yn gyffredin.

Salm v. 10.—Dystrywia hwynt i'w camwedd, Ion,
O'u holl gynghorion cwympant.

Nid ydyw "dystrywia hwynt" y Cyf. Awd. Cym. a Saes. yn gyflead o ystyr y ferf sydd yn y fan hon o gwbl. Y mae "dystrywia i'w camwedd" Prys yn agosach i'r gwreiddiol, os ydym, fel mae'n debyg ein bod, i ddeall wrth hyn gosb am bechod. Golyga y ferf, yn y *modd* ei defnyddir yma, weithiau, dyfarnu dyn yn euog; ac weithiau, peri i ddyn ddwyn y gosb, neu roddi iawn am ei drosedd. Gwelir, fodd bynag, er yr hyn a ddywedwyd, nad ydyw y syniad o ddystrywio yn bell oddiwrth y gair; oblegid gwaith Duw yn cyfrif pechod sydd yn cyfansoddi dystryw yr annuwiol. "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?"

Adn. 12.—A'th gywir serch, fel tarian gref,
Rhoi drosto Ef yn goron.

Mae'n eglur mai yr hen ystyr gyntaf sydd i'r gair "coron," sef cylch, yn y fan hon; ac mai "amgylchu" a olygir wrth "coroni" yn y Cyf. Awd. a Dr. Morgan. Y mae y Cyf. Saes. yn gywir, "Wilt thou compass him." Gwell, fodd bynag, yr amser presennol na'r dyfodol,—"Thou dost compass him;" oblegid golyga y Salmydd mai dyma arferiad Duw tuag at y cyfiawn. Gan na ddefnyddir y gair "coron" yn yr hen ystyr mwy, a chan fod eisieu gair i osod allan y syniad fod Duw yn arfer amddiffyn y cyfiawn yn wastadol, hwyrach y goddefir i ni am y tro hwn, gynnyg y gair "cyson" i'w ddodi yn lle "coron." Tynir, mae'n wir, oddiwrth brydferthwch y pennill; ond gwneir i fyny, i ryw fesur, mewn cywirdeb ac eglurder:—

Can's ti (Arglwydd) anfoni wlith
Dy fendith ar y cyfion;
A'th gywir serch, fel tarian gref,
Rhoi drosto ef yn gyson.

Salm x. 3.—Hoff gan ddyn drwg ei chwant ei hun,
Pawb yn gyttun â'i bechod;
Bendithio mael ydyw eu swydd,
A'r Arglwydd maent i'w wrthod.

Eglurhâd yn hytrach na chyfieithiad ydyw y ddwy linell gyntaf; ac mae yn debyg o fod yn gywir. Ymorchesta y dyn drwg yn ei hunanfoddhâd—yn ei chwant ei hun. (Gwell ydyw "chwant" nag "ewyllys," ac y mae "ei hun" yn gyfystyr â "ei galon" neu "ei enaid.") Y mae yn caru ei gyffelyb, "bendithio mael ydyw ei swydd," sef y dyn sydd â'i fryd bob amser ar fanteisio ar bawb, ond yn gwrthod neu yn diystyru yr Arglwydd. Y mae y ddwy linell olaf yn gyfieithiad, nid yn unig posibl, ond yn gyfryw ag sydd yn dra thebyg o fod yn gyflead o wir feddwl y Salmydd, yr hwn feddwl a wisgasid mewn geiriau ag sydd wedi achosi llawer o anhawsder i'r cyfieithwyr a'r esbonwyr.

Ond prin y mae "mael" neu faelydd yn air digon cryf yn y fan hon; arwydda y gair gwreiddiol, leidr, neu yspeilydd trachwantus. Gwell, o'r tu arall, "gwrthod" na "ffieiddio" y Cyf. Awd.; ond rhagora "diystyru" Dr. Morgan ar y ddau. A ganlyn ydyw ei gyfieithiad ef o'r adnod: "Canys yr annuwiol a ffrostiodd wrth ewyllys ei galon; a'r cybydd a ymfendithiodd; diystyru y mae efe yr Arglwydd." Gwelwn ei fod yn cymeryd y gair "cybydd" fel *testun* i'r ferf "bendithio" ac nid fel *gwrthddrych* iddi fel y gwna Prys a'r Cyf. Awd. Felly hefyd y

gwna rhai o'r prif esbonwyr diweddar. Hengstenberg a gynnygia y cyfieithiad canlynol o'r hanner olaf o'r adnod: "Yr yspeilydd a fendithia ac (ar yr un pryd) a ddirmyga yr Arglwydd. Y mae Delitzsch wedi dyfod i'r casgliad, gan ddilyn Ewald a Hitzig, mai yr un ystyr sydd i'r gair *berek* yn y fan hon ag sydd iddo yn Job ii. 5: "ac efe a'th felldithia." Gair ydyw a arferid ymysg yr Iuddewon pan yn cyfarch eu gilydd wrth gyfarfod neu ymadael. Yn yr ystyr diweddaf y mae yn cyfateb, mae'n debyg, i'n "Da y b'och" ni. Yn unol â hyn cyfieitha yr ysgolheigion uchod y rhan olaf o'r adnod yn debyg i hyn: "Y dyn trachwantus a wrthyd (ac) a ddirmyga yr Arglwydd." Er hyn oll y mae'n ddigon posibl mai Edmund Prys sydd yn iawn.

**Adn. 5.—Am fod ei ffyrdd mewn llwyddiant hir,**
**Ni wêl mo 'th wir gyfammod;**
**Bydd dordyn wrth elynion mân,**
**Fel chwythu tân mewn sorod.**

Y mae Edmund Prys, yn y pennill hwn, wedi dangos ei annibyniaeth fel ysgolhaig Hebreig o radd uchel, ac hefyd ei fod yn meddu ar allu na cheir ond yn y prif gyfieithwyr, sef gallu i dywys yr ysbryd o'r gwreiddiol a pheri iddo drigo yn gartrefol yn nghorff y cyfieithiad i iaith wahanol. Daw y cyntaf i'r golwg, nid yn unig yn y pennill drwyddo, ond, mewn modd arbenig, yn ei gyflead o'r ferf *iahilw*, "bod (ei ffyrdd) mewn llwyddiant hir." Rhagflaenodd yn hyn y prif esbonwyr diweddar. Wele gyfieithiad Delitzsch: "Sure are his ways at all times;" ac eiddo Cheyne: "His ways are stable at all times;" ac eiddo cyfieithwyr "Yr Hen Destament newydd," yr hwn sydd bellach ger bron y wlad: "His ways are firm at all times." (Yr oeddym wedi cwblhâu ein hysgrif i'r fan hon cyn i'r cyfieithiad newydd ddyfod i'n llaw. Galwn ef o hyn i'r diwedd yn Cyf. Diwyg.*) Mae yn deg dyweyd hefyd mai nid wedi dilyn y LXX. na'r Vulgate y mae Prys yn y fan hon: canys nid dyna'r syniad a gyfleir o gwbl ganddynt hwy. "Halogedig yw ei ffyrdd" sydd gan y LXX., a chyfieithiad o hyn ydyw y Vulgate, "inquinatæ sunt viæ illius." Cytuna y Cyf. Awd. Cym. a Saes., Dr. Morgan, ac ymyl y ddalen yn y Cyf. Diwyg. â'u gilydd, a rhoddant: "Eu ffyrdd sydd *flin* hob amser." Gyda golwg ar y peth arall a nodwyd, teimlwn yn sicr fod y pennill hwn yn rhywbeth mwy na chyfieithiad cyffredin: y mae yn bortread, anghymharol o fyw, er ei fod hwyrach dipyn yn anurddasol, o'r cymeriad sydd o flaen meddwl y Salmydd. Cymharer y cyd-destunau, a cheir gweled fod y sicrwydd y mae y dyn balch a ddesgrifir yn ei deimlo yn ei "lwyddiant hir," yn rheswm dros ei fod, ar y naill law, drwy ystyried ei hunan felly "i'w falchder cyfuwch" â Duw, wedi darostwng ei hunan mewn gwirionedd mor isel, fel "ni wêl mo'th wir gyfammod:" ni ddeall y drefn fawr, ni wêl yr Hwn sydd wedi trefnu y ffordd, ac ordeinio y farn sydd yn hofran mor agos ato, ag sydd eto mor bell oddiwrtho, mor uchel allan o'i olwg; ac, ar y llaw arall, ei fod yn ymddwyn mor drahâus tuag at ei holl elynion. Teimla

* Mae yn iawn dyweyd fod yr erthygl hon wedi ei pharotoi at y Rhifyn diweddaf o'r TRAETHODYDD.—GOL. y TRAETHODYDD.

yn "ei lwyddiant hir" y gall eu chwalu oll drwy ddim ond chwythu arnynt. Ond mor eiddil ydyw y gair "chwythu" wrtho ei hun i osod allan y syniad sydd yma. Y mae "he puffeth at them" yn rhyw gymaint yn well; ond os ydym am y syniad yn llawn, derbyniwn ddarluniad anghymharol Edmund Prys:

Bydd dordyn wrth elynion mân,
Fel chwythu tân mewn sorod.

Adn. 10.—Fe duchan, fe a 'mgryma 'i hun,
Fel un ar farw o wendid;
Ac ef yn gryf, ac fel yn wael,
Ar wan i gael yr ergyd.

Rhydd Dr. Morgan yr un ystyr a Prys i'r ferf *iddcceh* y Kethibh neu *weddacah* y Keri, sef "Efe a ymgystuddia." Golyga "ei gedyrn ef," yn ol Prys, a hyny, mae'n lled debyg yn gywir, bawenau y llew. Ond gwell o lawer yn y fan hon yw y Cyf. Awd. Cym., sef "efe a ymgrymma ac a ymostwng." Tebyg i hyn ydyw y Cyf. Diwyg., yr hwn hefyd a gyflea y rhan olaf o'r adnod yn debyg i hyn: "a chwympa y trueiniaid trwy ei gedyrn ef." Barna Cheyne fod gair wedi syrthio allan o'r testun Hebraeg, a chyfieitha:—

. . . . and being crushed (the poor) sinks down.
And the hapless fall by his strong ones.

Rhywbeth yn gyffelyb hefyd ydyw barn Hengstenberg, Perowne, a Kay.

Salm xi. 6.—Ar bechaduriaid marwor tân
A brwmstan a ddaw 'n gawod,
A gwynt tymhestlog uchel iawn,
Fal dyma lawn ffialenod.

Y mae rhaniad yr adnod hon yn y Cyf. Awd. Cym. a Saes. yn anghywir. Dylai ddarllen: "Ar yr annuwiol y gwlawia Efe faglau; tân, brwmstan, a phoethwynt ystormus fydd rhan eu phïol hwynt." Y mae rhaniad y Dr. Morgan o honi yn gywirach ond yn aneglur: "Ar yr annuwiolion y gwlawia Efe faglau, tân, a brwmstan, a gwynt ystormus [fydd] rhan eu phïol hwynt."

A siarad yn fanwl, "annuwiolion," ac nid "pechaduriaid," a ddylai fod yn y llinell flaenaf. Dilyn wnaeth y LXX. ac nid yr Hebraeg. Gwel Salm i. 1. Ond prin, hwyrach, y goddefir i ni wneyd y sylw hwn, am nad ydym wedi arfer rhoddi cymaint o bwys ar sylwi ar ein cyfystyron.

Gyda golwg ar y gair nesaf, "marwor," dyma'r ystyr a roddir iddo gan lïaws o'r prif esbonwyr. Anmhosibl, fodd bynag, penderfynu oddiwrth ffurf y gair fel y mae yn y gwreiddiol pa un ai "marwor" ai "maglau" a feddylir. Os y rhif unigol ydyw *pahim*, "marwor" yn ddiammeu ydyw ei ystyr; ond, os y llïosog o *pah* ydyw, "maglau" ydyw ei ystyr. Ceidw y Cyf. Diwyg. at yr ystyr ddiweddaf, gan ddilyn y LXX. παγίδας, a'r Vulgate *laqueos*.

Gwell ydyw "poethwynt ystormus" y Cyf. Awd. Cym. na "gwynt ystormus uchel iawn" Prys, a "gwynt ystormus" y Dr. Morgan, ac na'r Saes. "horrible tempest," y rhai ydynt gyflëad o πνεῦμα καταιγίδος

y LXX. a *spiritus procellarum* y Vulgate. Ond y mae "poethwynt" heb "ystormus" yn ddigon; felly y Cyf. Diwyg., "a burning wind." Yn "fal dyma lawn wïalenod" y mae Prys wedi cymeryd y rhyddid i newid y ffugyr: "fydd rhan eu *phïol* hwynt."

Salm xiv. 7.—Pa'm ? oni wyddant hwy eu bod
Drwy bechod, y modd yma,
Yn ysu fy mhobl a'u cildroi,
Un wedd a chnoi y bara ?

"Oni ŵyr gweithredwyr anwiredd." Gwybod pa beth? Y daw dychryn arnynt, am fod Duw yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn; gwel yr adnod nesaf. Felly y golyga Gesenius ac eraill. Gwybod eu bod yn bwyta fy mhobl fel y bwytânt fara, hyny yw, heb synied eu bod wrth hyny yn cyflawni unrhyw weithred anghyfreithlawn a pechadurus; felly Prys a Dr. Morgan. Dealla Delitzsch y cwestiwn yn yr ystyr sydd iddo yn y Cyf. Saes. hen a diweddar: "have the workers of iniquity no knowledge?" Y maent fel anifeiliaid direswm; pa ryfedd, gan hyny, eu bod heb gydwybod, pan yn bwyta ei bobl Ef?

Adn. 8.—Gweddïo 'r Arglwydd hwy ni wnant;
Yn hyn dychrynant luoedd:
Am fod Duw 'n dala gyda 'r iawn,
Yn un a'r cyfiawn bobloedd.

Cymerodd Prys ryddid, fwy nag arfer, yn y fan hon. Cysylltodd ddiwedd yr adnod flaenorol a hon. Y mae hyny mewn undeb â'r llinell nesaf fel ei cyfleuir ganddo ef, sef "yn hyn dychrynant luoedd," yn rhoi ystyr hollol wahanol i'r gwreiddiol. Cymharer y Cyf. Awd.

Dylid crybwyll hefyd fod Prys a Dr. Morgan, gan ddilyn y LXX., Cod. Alex. a'r *Vulgate*, yn rhoddi y tair adnod a ddyfynir gan Paul yn Rhuf. iii. 12, yn dechreu gyda "bedd agored yw eu ceg," &c., ar ol y drydedd adnod yn y Salm hon, fel y mae y seithfed adnod yn Prys a Dr. Morgan yn cyfateb i'r bedwaredd adn. yn y Cyf. Awd.

Salm xv. 4.—Yr hwn sydd isel yn ei fryd,
Yn caru 'i gyd-Grist'nogion;
Yr hwn sy 'n ofni 'r Arglwydd Dduw,
Ac sydd yn byw yn ffyddlon.

Yr hwn ni thyng ddim ond y gwir,
Er dir neu niweid iddo.

Hawdd gweled y golygiad a gymer o ddechreu yr adnod, er fod ei gyfieithiad ymhell o fod yn un llythyrenol. Yn hyn cytuna y Dr. Morgan âg ef: "Yr hwn sydd ddirmygus [a] diystyr yn ei olwg ei hun." Dyma olygiad Delitzsch hefyd: "that is displeasing in his own eyes, to be despised." O'r ochr arall cytuna y Cyf. Saes. hen (ar y cyfan) a diweddar (yn gyfangwbl), a'r Cyf. Awd. Cym., sef "yr hwn y mae y *drygionus* yn ddirmygus yn ei olwg."

Amgylchodd Prys gryn lawer—gan gymeryd tair llinell—i gyfleu y syniad syml sydd yn, "ond a anrhydedda y rhai a ofnant yr Arglwydd." Gyda golwg ar y ddwy linell nesaf, cymharer Dr. Morgan: "Yr hwn [os] twng ([ïe] i'w niwed ei hun), eto ni newidia;" ac â Cheyne: "If he swear to his hurt, he changes not." Methodd y cyfieithwyr di-

weddar a gwella dim ar y llinell hon; ond cynnygiant ddarlleniad arall ar ymyl y ddalen, sef "Efe a dwng i'w gyfaill, ac ni newidia."

Adn. 5.—Ac ni ro ei arian yn llôg,
Er dwyn cymydog dano,
Na gwobr, na rhodd, yr hwn ni fŷn,
Er dal yn erbyn gwirion.

Dyma gyfieithiad ffyddlon; ac ar yr un pryd, mewn gwedd hynod o hapus, esboniad ar natur usuriaeth:

A wnelo hyn ni lithra fyth;
Fe gaiff y ddilyth goron.

Salm xvi. 1, 2.—Cadw fi, Dduw; can's rhoes fy mhwys
A'm coel yn dradwys arnad:
Fy Arglwydd wyd; mae dan fy mron
Y gyffes hon yn wastad.

"*Fy enaid*, dywedaist wrth yr Arglwydd: Fy Arglwydd ydwyt ti,' ydyw y Cyf Awd. Cym. a Saes.; felly hefyd y Dr. Morgan, gan ddilyn y testun Hebraeg. Yn lle yr ail berson yn "dywedaist," ceir yn y LXX., Vulg. a'r Syr., y person cyntaf, "dywedais." Tueddir ni i gredu fod Prys wedi gweled yr anhawsder, a'i fod yn ceisio ei gyfarfod drwy gymeryd llwybr canol, gan ddywedyd, mewn effaith, "Dywedais yn fy nghalon." Nid ydyw, beth bynag, yn gwneuthur i'r Salmydd gyfarch ei enaid yn yr ail berson. Gwelir nad ydyw "fy enaid," yn y gwreiddiol. Y mae Prys, ymhellach, yn gadael allan "wrth yr Arglwydd," gan y tybiai, yn ddiau, fod hyn yn cael ei gynnwys yn "Fy Arglwydd wyd." Gan mai hyn oedd y gyffes, rhaid i ni olygu fod "ac" neu "ac felly," i'w dybied o flaen y pennill nesaf, oblegid fel y saif gellir casglu mai yr hyn sydd yn y pennill nesaf ydyw y gyffes:—

Nad lles it' yw, na 'm da, na 'm rhin;
Ond i drin saint daearol:
I Iesu rhai 'n fy 'wyllys yw,
Y rhai sy 'n byw 'n rhinweddol.

hyny yw, gan mai ei "Arglwydd oedd;" nad lles felly iddo ef, na'i dda na'i rin, ond lles i'r saint, &c. Felly hefyd y Cyf. Awd. Cym. a Saes., a'r Dr. Morgan; ac mewn rhan y LXX. a'r Vulg. Mewn rhan meddwn, oblegid tra y maent yn debyg i'r uchod yn yr ail adnod, y maent yn dra gwahanol yn y drydedd adnod; a'r ddau, sef y LXX. a'r Vulg., yn hon yn wahanol i raddau oddiwrth eu gilydd. Adran ydyw hon, yn wir,—un o lawer—a bâr i ni groesawu cyfieithiad newydd hollol o honi. Rhywbeth yn debyg i hyn ydyw cyfieithiad Delitzsch a Perowne o honi, â'r hyn hefyd y cytuna ar y cyfan y Cyf. Diwyg. a Cheyne:—

Dywedais wrth Jehofah, fy Arglwydd wyt;
Hebot ti, nid oes i mi ddim daioni.
Ac wrth y saint sydd yn y tir (y dywedais),
Dyma y rhai rhagorol, yn y rhai y mae fy holl hyfrydwch

I ddwyn y cyfnewidiad hwn oddiamgylch nid oedd dim yn eisieu ond ad-drefnu ychydig ar yr arwyddion seiniadol, a newid lle un cysylltair bychan.

Salm xvii. 3.—Pan chwiliaist fi (da yw dy gof)
Ni chefaist ynof gamwedd:
Fy myfyr mad, na'm meddwl llaes,
Na ddoed i faes o'm dannedd.

Gwell yn ddiau y gorphenol, "ni chefaist," na'r dyfodol, "ni chei" y Cyf. Awd. A chyflawna "ynof gamwedd" y syniad, "ni chei ddim ynof." Felly, Dr. Morgan, rhwng cromfachau, "(ynof anwiredd)," a'r Cyf. Diwyg. ar ymyl y ddalen. Y cwbl a ellir ddyweyd am y ddwy linell nesaf yw, eu bod yn cyfleu syniad a gymeradwyir gan lliaws o'r prif esbonwyr, er nad ydynt yn gyfieithiad llythyrenol. Dewisa, er engraifft, Delitzsch, gan ddilyn Böttcher, gymeryd y geiriau i ddynodi, "If I think evil, it does not pass my mouth;" neu yn ol syniad Prys, "Penderfynais na ddeuai dim drwg drwy fy ngenau," neu "dros fy ngwefusau," yn ol ein dullwedd ni. Ac onid hon yw yr athrawiaeth? "Ond yr hyn sydd yn dyfod allan o'r dyn, hyny sydd yn halogi dyn." Yn sicr y mae "dyfod i faes o'm dannedd" yn ffyddlonach i'r gwreiddiol yn y fan hon na "throseddai fy ngenau" y Cyf. Awd. a Saes., Dr. Morgan, a'r Cyf. Diwyg. Ond y gair a gyfieithir "bwriadais" neu "fy meddwl llaes" Prys, ydyw anhawsder mawr yr adnod hon. Digon, fodd bynag, yn bresennol yw dyweyd, nad ydyw awdwyr y Cyf. Diwyg. wedi gweled digon o reswm dros newid dim ar y llinell hon.

Adn. 15.—A minnau mewn myfyr, fel mewn hûn,
A welaf lun d' wynebpryd:
A phan ddihunwyf o'r hûn hon,
Y byddaf ddigon hyfryd.

"Am danaf fi, caf edrych ar dy wynebpryd mewn cyfiawnder. Digonir fi, pan ddihunwyf â'th ddelw Di;" felly y Cyf. Diwyg. ac, ar y cyfan, Cheyne a Delitzsch. "Gad i mi edrych ar dy wynebpryd, digoner fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di;" felly Perowne a Driver; gwel *Hebrew Tenses*, tu dalen 63. Gadawn bennill dihafal Edmund Prys yn ei ogoniant, gyda gofyn, ar ol Dr. Edwards, a ellir casglu oddiwrth bennill Prys fod yma gyfeiriad at yr adgyfodiad?

Salm. xix. 3.—Er nad oes ganddynt air nac iaith
(Da, dywed gwaith Duw Llywydd),
Diau nad oes na môr na thir,
Na chlywir eu lleferydd.

Syrthiodd Prys i anghysondeb yn y pennill hwn, oblegid tra y mae yn rhoddi yr ystyr briodol, fel y tybir yn awr, yn y linell gyntaf, y mae yn syrthio yn ol, yn niwedd y pennill, ar y golygiad a gymeradwyir yn y Cyf. Awd. Arweiniwyd ef a'r hen gyfieithwyr ar gyfeiliorn drwy edrych ar yr adnod nesaf: "Eu llinyn a aeth drwy yr holl fyd," &c., a chamddeall y gair a gyfieithir yn "glybuwyd." Y meddwl yn ddiau yw, nad oes yno neu ganddynt (Prys), nac ymadrodd na geiriau, ac o ganlyniad nad ydyw eu lleferydd yn glywadwy. Felly y Cyf. Diwyg.

Adn. 3.—Aeth eu sain drwy yr holl fyd,
A'u geiriau hyd eithafoedd;
Yr haul teg, a'i gwmpas sydd bell,
A'i babell yn y nefoedd.

"Aeth ei *sain*," felly y Dr. Morgan, Gesenius, a Cheyne, gan ddilyn y LXX., φθόγγος; Symmachus, ἦχος; a'r Vulgate, *sonus*. Ond y mae y syniad o linyn wrth wraidd y golygiad hwn; llinyn offeryn cerdd

ydyw, wedi ei dynhâu, fel ag i roddi allan y sain. Ceidw Delitzsch, Hengstenberg, ac eraill, fodd bynag, at y gair llinyn yn llythyrenol, gan ddilyn Acquila, κάνων. Felly hefyd y Cyf. Diwyg. Yr ystyr yn ol y golygiad hwn yw fod llinyn yn dynodi llywodraeth; ac mai meddwl y Salmydd yw, fod "eu llywodraeth yn cyrhaedd drwy yr holl ddaear." Ond gan y gall y gair a gyfieithir yma olygu "sain," onid mwy cydweddol â'r ail fraich o'r gyfochraeth, sef, "a'u *geiriau* hyd eithafoedd," fyddai deall y gair yn yr ystyr o sain yn y fan hon?

Adn. 7.—Dysg yr Arglwydd sydd berffaith ddawn,
A dry i'r iawn yr enaid:
Felly hydd ei wir dystiolaeth
Wybodaeth i'r ffyddloniaid.

"Dysg," neu "ddysgeidiaeth," yn ddiammeu, yw y gair priodol am *thorah* yn y fan hon. Y mae ystyr y naill a'r llall hefyd yn cyfateb yn hollol i'w gilydd, sef dangos, a thrwy hyny hyfforddi. Nid cyfraith y Deng Air a olygir, oblegid nid yw yn ngallu hono i droi yr enaid. Y mae "perffaith ddawn" hefyd yn gyflëad hapus iawn o'r hyn a amcenir ei osod allan; hyny yw, perffaith fel dawn i ateb y dyben sydd mewn golwg, sef "troi yr enaid." Tra y mae, "A dry i'r iawn yr enaid" yn llawer gwell na "throi" arno ei hun;" ac na'r Saes., "converting;" ac hyd yn nod nag "adfywia," yr hwn a gymeradwyir gan llaws. "Restoring the soul," ydyw y Cyf. Diwyg. Cymerodd Prys gryn ryddid ar ran olaf yr adnod. Gwell ymhob modd ydyw y Cyf. Awd.: "Tystiolaeth yr Arglwydd sydd sicr, yn gwneuthur y gwirion yn ddoeth;" neu yn ol Dr. Morgan, "yn peri doethineb i'r ehud."

Salm xxiv. 6.—Hon sydd gan Dduw 'n genedlaeth gref,
A'i ceisiant ef yn effro;
A geisiant d' wyneb, dyma 'u maeth,
Sef gwir genedlaeth Iago.

Gwelir ar unwaith yr ystyr a rydd Prys i'r gair "Iago," yr hwn sydd wedi peri cymaint o anhawsder i'r esbonwyr. Nid y genedl sanctaidd fel yn cael ei *chyfarch* dan yr enw hwn a olygir. Nid oes angen ychwaith am help "O Dduw," ymyl y ddalen, a'r Cyf. Diwyg. Ni raid, mwy na hyny, syrthio yn ol ar yr hen gyfieithiadau, y LXX., er engraifft, yr hwn a rydd "y rhai a geisiant wyneb Duw Jacob" (ζητούντων τὸ πρόσωπον τοῦ Θεοῦ Ἰακώβ). Esboniad ydyw, neu enw eglurhäol, yn ol Prys, ar y genedlaeth a ddesgrifir. Pwy ydynt y rhai a geisiant wyneb yr Arglwydd? "Gwir genedlaeth Iago ydynt." Ymddengys mai fel hyn y deallir y gair yn Targ. David Kimchi, ac Aben Ezra, y rhai a ddilynir gan Hitzig, Kay, a Delitzsch. Pa fodd y daeth Edmund Prys i'r un casgliad?

Gallasem fyned ymlaen i ddiwedd y Sallwyr, gan ychwanegu engreifftiau i ddangos ysgoleigdod y cyfieithiad rhagorol hwn. Fe allai y cawn gyfleusdra i wneuthur hyny eto mewn rhyw wedd neu gilydd.

RICHARD E. MORRIS.

*Aberdyfi.*

# ESBONIAD *PRINCIPAL* EDWARDS AR YR EPISTOL CYNTAF AT Y CORINTHIAID.

*A Commentary on the First Epistle to the Corinthians.* By THOMAS CHARLES EDWARDS, M.A., of Lincoln College, Oxford; Principal of the University College of Wales, Aberystwyth. London: Hamilton, Adams & Co., 1885.

AIL ERTHYGL.

FEL yr awgrymwyd yn niwedd yr erthygl flaenorol, yr hon a fwriedid fel Arweiniad i ychydig o sylwadau mwy uniongyrchol ar yr Esboniad hwn, yr oeddym wedi nodi lliaws o ddarnau yma a thraw ar hyd y llyfr i'w dyfynu, naill ai fel engreifftiau o nodweddion yr Esboniad, neu er mwyn galw sylw at y gwirionedd neillduol a gynnwysid yn y dyfyniad. Ond lluddiwyd ni gan y ddau ammod sydd yn gosod terfynau i bob gwaith dynol. Gwesgid arnom gan amser a lle. Buasai myned ymlaen ar y cynllun yna mewn un erthygl yn ei gwneuthur yn rhy faith. A chyfyngid ni gan amser yn gystal a lle, gan fod yr argraffwyr yn gwaeddi yn groch am y gweddill o'r copi. A rhag i ni wastraffu dim o'r ddau nwydd gwerthfawr yna wrth ddechreu yr ysgrif hon, gadawn y mater hwn heb chwanegu arno.

Cyn myned ymhellach, fe allai y dylem wneyd rhyw grybwylliad am yr adolygiadau ar yr Esboniad hwn a ymddangosasant ar ol cyhoeddiad ein hysgrif flaenorol. Heblaw nodiadau mewn cylchgronau Cymreig, ymddangosodd cyfres o erthyglau mewn newyddiadur wythnosol Cymreig, y rhai ydynt yn amlygu llawer o allu a chraffder, o wybodaeth a dawn. Ymddangosodd hefyd adolygiadau pwysig mewn cyhoeddiadau Seisonig ar ol y rhai y dyfynasom o honynt yn yr ysgrif o'r blaen. Ceir un yn y *British Quarterly Review* gan ysgrifenydd galluog, yn rhoddi canmoliaeth uchel i'r Esboniad. Y mae yn ddigon dyddorol i roddi rhanau o hono yma fel yr ysgrifenwyd hwynt:—

This is a thoughtful and scholarly work, somewhat cumbrous in form, and certainly not attractive to the general reader; but it is an exposition of the writing and doctrine of St. Paul which no student ought to pass by. Mr. Edwards has brought to the task two qualifications of peculiar importance. He is a good Greek scholar, and he is also thoroughly familiar with the Greek philosophical writers. While the spirit of the exposition is eminently practical and devout, it has preserved, perhaps, a little too much of the character of a student's note-book; but it sets an admirable example of the mode in which the study of the Greek Testament should be pursued. It is at once textual and comprehensive. The meaning of the words in their grammatical connection is carefully considered. . . . But the exegesis is subordinated to the logical argument of the Apostle. . . . Mr. Edwards is also a preacher, and his volume will be found very useful and suggestive in preparation for the pulpit. . . . The author is well read in the classical interpreters of the Epistle. He occupies a distinctly orthodox standpoint, but his method is critical and liberal. He is one of that school of English writers which represents the best side of modern

critical study—at once orthodox on the great questions of Catholic faith, but in free contact with the historical and critical teaching of all ages of the Church. The juxtaposition of the two names of the "revered teachers" to whom the author dedicates his book—Professor Jowett and Dr. Edwards of Bala—is startling; but, at the same time, encouraging for the future relations both of ecclesiastical parties and dogmatic and critical opinion.

Ymddangosodd un arall yn y *London Quarterly Review*, cyhoeddiad fel y mae yn hysbys sydd yn dwyn cysylltiad â Chyfundeb parchus y Wesleyaid, yn cael ei olygu gan Dr. Pope, Prifathraw Athrofa y Wesleyaid yn Didsbury, gŵr galluog a dysgedig, awdwr gwaith pwysig ar Berson Crist; a Dr. Rigg, gweinidog enwog arall fel ysgrifenwr. Dywed yr adolygydd hwn, yn debyg i'r hyn a ddywedwyd o'r blaen gan Dr. Dods yn yr *Expositor*, mai peth tra anghyffredin ydyw i awdwr newydd, yn cyhoeddi Esboniad am y tro cyntaf gymeryd ei le, ar unwaith ymhlith y dosbarth blaenaf o Esbonwyr yr oes; ond fod hyny wedi ei gyflawni gan *Principal* Edwards trwy yr Esboniad hwn. Dywed yr adolygydd hwn eto:—

It is not often that a commentator puts himself, on his first appearance, into the front rank of a distinguished class; but it is no exaggeration to say this of the writer of the present work. In grammatical criticism and interpretation of the line of thought alike, the work is solid and strong. . . . The acuteness of philological criticism is worthy of a scholar of the Master of Balliol, and reminds us, more than any other recent work, of Meyer. . . . The exposition of the substantive teaching of the Epistle is equally thorough. No difficulties are shirked. The crucial phrases and passages are ably discussed, even if they are not always satisfactorily explained. . . . The discussions of "natural" and "spiritual" (ii. 14), of vii. 12, the sanctification of believers' children (vii. 14), baptism for the dead (xv. 29), and of the whole of chapter xv., strike us as particularly good. . . . We trust Principal Edwards will give us much more work of the same quality.

Ceir hefyd adolygiad neu yn hytrach Nodiad ar y gwaith mewn cyhoeddiad mor uchel a'r *Contemporary Review*, ac wedi ei ysgrifenu gan uchelwr Eglwysig o'r fath fri ag Archddiacon Farrar. Y mae wrth reswm yn gorfod canmol y gwaith, ond canmoliaeth gynnil a hwyrfrydig a roddir ganddo, nemawr gwell na'r hyn a eilw y bardd yn

Damning with faint praise.

Heblaw fod y gwaith yn tystiolaethu am dano ei hun i bawb cymhwys i farnu, y mae y ffaith fod cynifer o wŷr enwog fel beirniaid ac ysgolheigion yn ei osod yn y dosbarth uchaf o esboniadau, yn dystiolaeth allanol gref o'i deilyngdod. Na feddylied neb ein bod yn beio yr Archddiacon am na fuasai yn canmawl mwy ar y llyfr. Nid oes eisieu i neb ei ganmawl o gwbl, heb son am organmawl, os na bydd yn barnu fel y mae yn dyweyd, ac yn meddu rhyw gymhwysder i farnu. Rhaid i ni addef fod ein hamynedd yn cael ei drethu gan ryw arferiad fursenaidd o'r gair "gorganmawl" sydd wedi ymlusgo i'n plith yn ddiweddar. Y mae dynion fel defaid yn dueddol i ddilyn eu gilydd; ac y maent yn fynych yn llithro i adrodd rhyw eiriau y naill ar ol y llall heb fyned i'r drafferth i feddwl am eu hystyr. Wrth ddechreu son am berson neu adolygu llyfr, clywir yn fynych rai yn dyweyd nad ydynt hwy yn myned i organmawl. Gobeithio nad ydynt yn myned i wneyd

dim mor ddrwg. Nid yw gorganmawl ymwybodol yn ddim gwell na rhagrithio a dyweyd celwydd. A gorganmawl anymwybodol yw cyfeiliorni mewn barn. Os bydd dyn yn ddiragrith yn credu fod unrhyw berson neu beth yn deilwng o'r ganmoliaeth uchaf, rhodded hi iddo. Y mae yn ddigon posibl ei fod yn methu; ond os ydyw, methu mewn *barn* y mae. Pa un a ydyw yn *gor*ganmawl, neu ganmawl uwchlaw teilyngdod, mater o farn yw hyny yn gyfangwbl. Rhaid i bob un fod yn sicr yn ei feddwl ei hun nes yr argyhoedder ef. Y mae gan y dyn sydd yn rhoddi y ganmoliaeth ryddid hollol i farnu drosto ei hunan; ac y mae gan bawb sydd yn ei wrando neu yn ei ddarllen yr un rhydd-id ag yntau. Felly pan y dywed dyn nad yw yn bwriadu gorganmawl, nis gall fod ond un o ddwy ystyr i'r dywediad, sef nad yw yn bwriadu rhagrithio, neu nad yw yn bwriadu cyfeiliorni; ac y mae y naill broffes fel y llall yn afreidiol.

Nis gellir gwadu nad yw yr Archddiacon Farrar yn ŵr o ddysg a dawn. Y mae yn hysbys ei fod yn ysgolhaig Groeg gwych (a dywed dynion croesion ei fod yn meddwl nad oes neb felly ond efe), ac y mae yn ŵr o hyawdledd mawr o ryw fath, fel ysgrifenydd ac areithiwr. Ymddengys ei fod o nwydau a rhagfarnau cryfion. Gwnaeth ei hun yn dra hynod yn ddiweddar trwy geisio diffodd y tân tragywyddol âg ychydig o eiriau Groeg. Ond am y cynneddfau sydd yn bwysig i esboniwr, y maent ynddo ef yn tynu sylw trwy eu habsennoldeb. Yr ydym yn cofio wrth ddarllen tua phymtheng mlynedd yn ol ei lyfr ar dystiolaeth Hanesyddiaeth i Grist, ein bod yn synu gymaint mwy o ysgrifenu doniol oedd yn y llyfr nag o dreiddgarwch athronyddol. Ac o hyny hyd yn awr, wedi darllen ei Esboniadau ar yr Epistolau at yr Hebreaid a'r Corinthiaid, yr ydym o'r un farn nad mewn Rhesymeg nac Athroniaeth na Beirniadaeth nac Eglurhadaeth Ysgrythyrol y mae nerth Canon Farrar. Daeth y Parch. Joseph Agar Beet i'r golwg yn ddiweddar fel Esboniwr galluog i gymeryd poen, ac i lafurio am wybod-aeth dan anhawsderau. Ond a barnu oddiwrth bobpeth a welsom ni o'i eiddo ac am dano, y mae gwaith Farrar yn gosod ei esboniadau yn uwch na'r un sydd dan ein sylw yn beth nas gallwn ni roddi cyfrif am dano ond mewn un o ddwy ffordd—rhagfarn nodedig, neu anghymhwys-der nodedig i farnu. Teilynga Mr. Beet barch mawr am ei fod wedi gweithio ei hunan i fyny o'r hyn ydoedd i'r hyn ydyw. Eithr ni raid ond darllen yn ddiduedd ranau o'i Esboniad ef ar yr Epistol hwn, ac o Esboniad Mr. Edwards, pennod am bennod, na welir fod y ddau Esboniad, o ran dyfnder ac eangder dysg, a nerth a chyfoeth meddwl, yn symud ar *planes* gwahanol.

Ond o bob adolygiad a ysgrifenwyd ar yr Esboniad hwn hyd yma, rhaid i ni addef mai yr un mwyaf dyddorol i ni ydyw yr un a ym-ddangosodd yn yr *Athenæum*, yr hwn, er nad yw ond byr—llai na thair colofn, sydd yn gynllun o ysgrifenu cynnwysfawr. Teimlem gywrein-rwydd i weled pa fodd y buasai gwaith fel hwn yn cael ei drin gan hen gyhoeddiad o gymeriad llenyddol uchel, ac heb gydymdeimlad âg unrhyw dduwinyddiaeth o gwbl. Y mae yn ddealledig mai ysgrifen-ydd yr adolygiad hwn yw Dr. Samuel Davidson, yr hwn, fel y mae yn hysbys, sydd yn ŵr o ddysg ac enwogrwydd mawr fel beirniad ysgrythyrol, yn awdwr llyfrau pwysig, ac a fu am

lawer o flynyddoedd yn Athraw yn y *Lancashire Independent College* gerllaw Manchester. Ond y mae yn hysbys ei fod er ys hir amser bellach wedi dechreu ymadael oddiwrth y ffydd a rodded unwaith i'r saint, yn ei olygiadau ar Ysbrydoliaeth ac erthyglau eraill y ffydd, a'i fod erbyn hyn bron yn un â'r ysgol o feirniaid Ysgrythyrol yr Almaen a gynnwysai Gesenius, Ewald, Baur ac eraill, sydd wedi eu trwytho mewn rhesymoliaeth. Y mae yn gofus ei fod wedi ei benodi er ys mwy na phum' mlynedd ar hugain yn ol, ynghyd a Horne a Tregelles, i ail-olygu ac ail-ysgrifenu mewn rhan fawr yr unfed argraffiad ar ddeg o waith enwog Hartwell Horne—yr *Introduction to the Scriptures.* Yr oedd Dr. Davidson i gymeryd yr ail a'r bedwaredd gyfrol, y rhai a ymdrinent â beirniadaeth ac eglurhadaeth yr Hen Destament a'r Newydd; ond darfu i ymddangosiad yr ail gyfrol, yr hon oedd wedi ei hysgrifenu bron oll o newydd gan Dr. Davidson, ddychrynu y byd uniongred i'r fath raddau gan eofndra ei rhesymoliaeth, fel y barnodd y Cyhoeddwyr nad oedd ganddynt ddim i'w wneyd, yn gymaint a bod cyfrol Davidson, er yn gwerthu yn dda wrthi ei hunan, yn dyfetha gwerthiant y llyfr cyflawn, ond dwyn allan yr ail gyfrol mewn argraffiad newydd wedi ei hail-ysgrifenu gan y Parch. John Ayre, M.A.

Parai hyn i ni deimlo cywreinrwydd i wybod pa beth a ddywedai gŵr fel Dr. Davidson am yr Esboniad hwn, heblaw mai efe yw y dyn mwyaf dysgedig, o leiaf yr ysgolhaig Biblaidd enwocaf, sydd hyd yma wedi adolygu y gwaith. Gwelem wrth ddechreu darllen ei fod yn trin y llyfr yn fwy annibynol a diseremoni,—mewn dull mwy *off-handed*—na'r un o'r adolygwyr eraill; a'i fod yn ysgrifenu fel un yn teimlo fod yr adolygwr yn sefyll ar dir pell uwchlaw yr awdwr. Bydd yn ddyddorol gan y rhai hyny o'n darllenwyr sydd heb ddygwydd darllen yr adolygiad hwn wybod beth a ddywed gŵr o fath Dr. Davidson am yr Esboniad mewn ffordd o feïo a chanmawl. Gan fod duwinyddiaeth yr adolygydd ei hun erbyn hyn o'r fath letaf a llacaf, nid rhyfedd ei fod yn cwyno yn erbyn duwinyddiaeth yr awdwr. Dywed fod ei dduwinyddiaeth yn naturiol wedi rhoddi ffurf i'w ddëongliad mewn amryw leoedd, yn enwedig yn y bymthegfed bennod, yr hon, meddai, ni ddëonglir mor gywir â rhanau eraill, nid yn unig am fod y pethau a ddywed yr Apostol am yr adgyfodiad yn anhawddach eu deall, ond am fod rhai o honynt yn anghytuno â duwinyddiaeth yr esboniwr. Cwyna fod y llyfr yn rhy fawr, fod ynddo ormod o fanylion mewn cyfeiriadau, dyfyniadau, ac ystyron clasurol a chysegredig i eiriau a dullweddau Groeg, y rhai a berthynant yn hytrach i eiriaduron a gramadegau; a bod ynddo ormod o grybwyll gwahanol farnau. Noda fel bai arall ddirdynu geiriau, i gael allan o honynt wahaniaethau cywrain o ystyr. Dywed na ddylai arferiad ysgrifenwyr clasurol da gael ei chymhwyso at yr Apostol Paul,—"*Whose highly nervous nature did not comport with the weighing of words;*" ac am wahaniaethau bychain mewn rhaneiriau ac arddodiadau *(particles and prepositions)* dywed—"*as if the apostle, intent upon ideas, condescended to these niceties.*"

Hawdd yw beïo a chanmawl mewn ffordd gyffredinol. Gadewch i ni edrych pa engreifftiau a ddyry yr adolygydd hwn o'r hyn, yn ei farn ef, sydd yn afreidiol neu wallus. Ar y gair *rhai* yn iv. 18: "Y mae rhai wedi ymchwyddo," ceir nodiad fel hyn yn yr Esboniad :—

τινες, some, either "whom I cannot name," or "whom I could name" (cf. xv. 12; Gal. i. 7). So in Soph., *Aj.* 1138, τινι is ironical for σοι.

Dywed yr adolygydd am y sylw hwn:—"*Such remarks are useless.*" Anturiwn ofyn paham y mae y cyfryw sylwadau yn afreidiol? Ymddengys i ni fod y ddwy ffordd o ddeall y gair "rhai," sef "nas gwn" neu "nas enwaf," yn hollol berthynasol, yn eglurhâd da ar y gair yn y nifer lleiaf o eiriau oedd yn bosibl. Os elid ynghyd ag egluro y gair o gwbl, dymunem wybod pa fodd y gellid ei egluro yn well? Ond gallai fod yr adolygydd â'i olwg yn benaf ar y cyfeiriad clasurol at Sophocles. Os felly, addefwn yn rhwydd nad yw y cyfeiriad yn angenrheidiol tuag at ddeall yr adnod, nac o nemawr gymhorth uniongyrchol i hyny. Os dyna a feddyliai yr adolygydd, rhaid iddo faddeu i ni am ddychwelyd ei sylw yn ol iddo, a dyweyd—"*Such remarks are useless.*" Oni ŵyr pawb nad oedd y cyfeiriad clasurol yn cael ei roddi fel peth angenrheidiol tuag at ddeall yr adnod, ond yn unig fel engraifft eglurhaol o ddefnyddiad o'r gair τινες gan yr ysgrifenwyr clasurol, o natur gyffelyb i'r dull y defnyddiai yr Apostol ef yn y lle hwn—defnyddiad hannergwawdus, ac eto miniog a difrifol? Nid oes neb a ŵyr yn well na Dr. Davidson fod yr esbonwyr sydd yn alluog i wneyd hyny bob amser yn arfer cyfochri engreifftiau o ddefnyddiad geiriau neillduol gan yr ysgrifenwyr clasurol a'r ysgrifenwyr ysbrydoledig. Y mae cymharu y cyfryw engreifftiau yn addysgiadol a dyddorol. Ac y mae felly yn yr achos hwn. Nid yw y sylw oll ond llai na dwy linell a haner; ac nid yw y cyfeiriad clasurol yn llawn un linell. Credwn fod y cyfeiriad yn ddigon dyddorol i dalu am fwy o le nag a gymer yma. Y mae y sylw bychan hwn ar y gair "rhai" yn engraifft darawiadol o'r un dulliau o ymadroddi yn ffynu ymysg cenedloedd gwahanol, ac yn dangos fel y maent oll â'u gwraidd mewn un natur gyffredin. Defnyddir y dull cwmpasog o "rhai" yn lle "ti" neu "chwi" ar un llaw mewn materion difrifol, megys rhagddyweyd marwolaeth neu weinyddu cerydd, neu ar y llaw arall mewn materion ysgafn a dull chwarëus. Y mae y defnydd o'r gair gan yr Apostol Paul a Sophocles yn yr ochr ddifrifol. "Y mae *rhai* wedi ymchwyddo," meddai Paul am ryw nifer o'r personau a gyferchid ganddo. Ac yn fynych yn ngweithiau Sophocles rhoddir bygythiad neu rag-fynegiad tywyll fod drygfyd ar ddyfod i "*rywun*," gan olygu "*i ti*." Felly y mae yr esboniwr gwreiddiol, Esgob Horsley, yn deongli ymadrodd tywyll ein Hiachawdwr: "Yn wir y dywedaf wrthych, Y mae *rhai* o'r sawl sydd yn sefyll yma, a'r ni phrofant angeu, hyd oni welont Fab y dyn yn dyfod yn ei frenhiniaeth"—mai cyfeiriad personol sydd yna at dynged Judas, gan olygu wrth "angeu" y gosb dragywyddol yn ei chyflawnder ar ol dydd y farn. Fel yr awgrymwyd o'r blaen, dyddorol iawn yw sylwi ar ryw syniadau neillduol yn cael eu gosod allan yn hollol yn yr un wedd mewn gwahanol ieithoedd, ac felly yn profi unoliaeth dynolryw. Heblaw yr engraifft a nodwyd, dyna un arall hynod o darawiadol—y reddf hono yn ein natur sydd yn peri i ni ochel defnyddio y gair *marw* yn ei berthynas â ni ein hunain neu ein perthynasau, a chwilio am *euphemism* i'w osod allan—ymadrodd sydd yn swnio yn well, ac yn cuddio i raddau ofnadwyaeth yr amgylchiad. Hynod mai yr un ymadrodd a ddefnyddir i'r dyben hwn yn yr

ieithoedd Groeg a Lladin ag yn y Saesoneg a'r Gymraeg. "Pe b'ai *rhywbeth yn dygwydd iddo*"—"*If anything should happen to him*"—*si quid ei acciderit*—εἴ τι πάθοι Felly yr arferiad sydd wedi bod dan ein sylw o'r rhagenw *rhai* yn lle *chwi* neu *ti*. Fel engraifft olaf o honi wrth ei gadael, gallwn ddychymygu un yn dyweyd wrth Dr. Davidson yn ngeiriau yr Apostol: "Y mae *rhai* wedi ymchwyddo," neu "y mae *rhai* yn anffaeledig"—(*τινι ironical for σοι!*). Arosasom cyhyd gyda'r pwnc bychan hwn am ei fod yn cynnrychioli sylwadau eraill cyffelyb yn yr adolygiad.

Y mae y sylw nesaf oll a wna yr adolygydd, i'n tyb ni, ymhellach o'i le na'r llall. Wedi dyweyd ar y mater blaenorol—"*Such remarks are useless,*" ychwanega:—"So is this also, which puts an extraneous idea into the imperfect:" yna dyfyna y sylw hwn o'r Esboniad:—"ηὔξανεν. The imperfect means that when Paul planted and when afterwards Apollos watered, God was simultaneously giving the increase." Nis gallwn weled beth yw yr *extraneous idea* a ddygir i mewn yma i'r amser anorphenol. Y mae pob awdurdod a welsom ni ar amserau berfau yr iaith Roeg yn cadarnhâu cywirdeb sylw Mr. Edwards. Y mae yn hysbys mai ystyr yr amser anorphenol yw gweithrediad yn cael ei barhau; ac mai yr *aorist* a ddefnyddir i osod allan weithred orphenedig. Os trŷ y darllenydd i'w Destament Groeg, efe a wêl mai *aorists* yw y ddwy ferf "a blenais" ac "a ddyfrhaodd" yn yr adnod hon (iii. 6): ἐγὼ ἐφύτευσα, Ἀπολλὼς ἐπότισεν; ond yn y ferf arall, "a roddes y cynnydd," gwelir fod yr amser wedi ei newid i'r anorphenol (*imperfect*)—ἀλλὰ ὁ Θεὸς ηὔξανεν. Nid yw y newidiad hwn yn amseriad y ferf wrth gwrs yn beth diystyr, ond arwyddocaol. A pha beth a all arwyddocâu ond fod y ddwy ferf gyntaf yn yr *aorist* yn golygu gweithredoedd gorphenedig, a bod y ferf olaf yn yr anorphenol (*imperfect*) yn golygu gweithrediad parhaus a chydfynedol:—"Pan blenais I, ac wedi hyny pan ddyfrhaodd Apolos, Duw oedd yn rhoddi y cynnydd." Os gwrthddadleuir na fedd y ferf αὐξάνω ond y ddau amser, presennol ac anorphenol, yr ateb yw ei bod mewn ffurf ychydig yn wahanol (αὔξω) yn cymeryd yr amserau eraill. Nis gallwn feddwl am ddim arall a allasai Dr. Davidson olygu wrth "roddi *extraneous idea*" yn yr amser anorphenol, os nad oedd yn tramgwyddo wrth y gair *simultaneously*, am ei fod yn ymddangos yn cyfyngu yr anorphenol i amser pendant. Os dyna oedd ei feddwl, addefwn y gallai fod rhyw gymaint o sail i'r sylw.

Y mae sylw nesaf yr adolygydd yn un hynod iawn. Mynegu y ddeddf y mae gydag awdurdod, a chau allan bob ymresymiad. Y mae gan Alford Nodiad maith a dysgedig ar x. 4: "Canys hwy a yfasant o'r Graig ysbrydol a oedd yn canlyn," yn yr hwn y dadleua dros y golygiad fod yr Apostol wedi mabwysiadu y traddodiad a ffynai ymysg yr Iuddewon, fod y graig wedi canlyn yr Israeliaid yn eu teithiau, gan roddi dwfr iddynt yr holl ffordd. Dywed *Principal* Edwards yn ei esboniad ar yr adnod hon fel hyn:—"Oddiwrth y sacrament ddechreuol o fedydd, ä yr Apostol ymlaen at y sacrament o gynnaliaeth, yr hon sydd yn canlyn Israel Duw hyd ddiwedd eu taith. Dengys y defnydd o'r gair ἀκολουθούσης ('oedd yn canlyn') fod gan yr Apostol yn ei feddwl y traddodiad Rabbinaidd fod y graig a darawyd

gan Moses wedi canlyn yr Israeliaid trwy eu crwydriadau. Ond nid yw yn profi ei fod ef yn credu ac yn rhoddi ei gymeradwyaeth i'r chwedl (Alford), na'i fod yn gosod allan fod y dwfr a darddai o'r graig yn rhedeg gydag ochr y llu yn ystod eu hymdaith (Theod. Mops., Calvin, Estius, &c.). Y mae y ddwy dyb yn anghyson â Num. xxi. 5, 16." Fel hyn y dywed Dr. Davidson:—"In like manner the contradiction of Alford's opinion on p. 245 is out of place, and should be expunged." Nid yw yr adolygydd yn cynnyg un rhith o reswm dros y dywediad, ond yn penderfynu tynged y sylw *ex cathedrâ*, fel barnwr yn cyhoeddi dedfryd.

Dywed yr adolygydd eto mai camgymeriad yw dyweyd fod i ἵνα unrhyw ystyr yn y Testament Newydd heblaw yr un *telic*—yr ystyr o *ddyben;* "er," meddai ar unwaith, "fod rhai ysgolheigion wedi dal y gwrthwyneb mewn ychydig o adnodau." Ceir gan un o'r awdurdodau uchaf ar Roeg y Testament Newydd yr engraifft hon, ymysg eraill, lle nad yw ἵνα yn golygu bwriad:—"When the Optative (after a Pres.) follows ἵνα, as in Eph. iii. 16. . . . . ἵνα δῴη ὑμῖν ('ar roddi o hono ef i chwi'), ἵνα is not properly a particle of design; but the sentence which it commences expresses the object of a wish and prayer *(that He may give)* . ."—*(Winer's Grammar of the New Testament Diction,* p. 306.)

Gellid dyfynu lliaws o nodiadau cyffelyb o'r adolygiad hwn. Ac y mae pellder Dr. Davidson oddiwrth *Principal* Edwards yn ei olygiadau duwinyddol, a'r gwrthddadleuon a ddwg ymlaen yn erbyn lliaws o bethau yn yr Esboniad, yn rhoddi cymaint a hyny mwy o werth yn y ganmoliaeth a ddyry i'r gwaith. Dywed fod cylch darlleniad Mr. Edwards wedi bod yn eang, a bod ei gydnabyddiaeth â'r Esbonwyr goreu, hen a diweddar, yn helaeth. "Ymddengys," meddai, "nad yw wedi esgeuluso braidd yr un ffynnonell o wybodaeth—ffaith sydd yn ei alluogi i gofnodi y barnau gwahanol o eiddo eraill fel y mae yn myned ymlaen, gan feirniadu eu gwerth, ac ychwanegu atynt ei olygiad ei hunan mewn modd ysgolheigaidd. Heb fod yn amddifad o allu beirniadol ei hunan, eistedda mewn barn ar feirniaid sydd wedi esbonio yr epistol gyda llawer iawn o ddirnadaeth i'w ystyr." Eto: "Cawsom ein boddhau wrth weled cymaint o esbonio da oddiwrth un sydd wedi defnyddio lliaws o awduron gydag annibyniaeth, ac wedi myned *ymhell tu hwnt* i unrhyw esboniwr Seisonig mewn eglurhadaeth gywir o'r Epistol. Y mae dysgeidiaeth amryfal wedi ei dwyn i egluro gwaith yr Apostol, gyda chanlyniad llawer gwell nag yn ngheisiadau anmherffaith Wordsworth ac Alford." Ail ddyweda drachefn wrth ddiweddu ei adolygiad, fod y gyfrol ar y blaen i bob Esboniad Seisonig arall ar yr Epistol: "Y mae yn fwy ysgolheigaidd," meddai, "ac yn fwy trwyadl."

Ein hesgusawd—pe buasai eisieu hyny—am aros mor hir gyda'r adolygwyr Seisonig ydyw fod yr achlysur yn un o ddyddordeb neillduol, ac yn gyfryw na ddygwyddodd erioed o'r blaen. Gobeithiwn nad hwn yw y tro olaf, ond y mae yn sicr o fod y tro cyntaf i weinidog gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru ddwyn allan Gyfrol o Esboniad yn yr iaith Saesoneg, o'r hòniadau uchaf—un sydd yn ymgystadlu mewn dysgeidiaeth glasurol a Biblaidd, mewn beirniadaeth a duwinyddiaeth, â gweithiau esbonwyr enwocaf Prydain. Yr oedd cymaint yn

cael ei anturio ar y fath dafliad a hwn, fel yr oedd yn debyg o fod yn llwyddiant mawr neu yn fethiant truenus. Nis gallwn lai na theimlo dyddordeb neillduol wrth wrando pa fath dderbyniad a ga yr awdwr newydd hwn gan y beirniaid Seisonig. A diau genym mai llawenydd mawr gan bob Methodist—a gawn ni ddyweyd gan bob Cymro?—yw gweled y fath gydgordiad o farn mewn perthynas iddo; a bod yr adolygwyr mwyaf galluog a diduedd yn ei osod ymhlith esbonwyr mwyaf yr oes, ac yn cyhoeddi ei waith hwn fel yn rhagori, a hyny ymhell, ar bob Esboniad Seisonig a ymddangosodd o'i flaen ar yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid.

1. Y cwestiwn cyntaf sydd yn naturiol i'w ofyn wrth fyned uwch ben y gwaith pwysig hwn ydyw—Beth yw y *dull* o esbonio a ddefnyddir yma? Canys nid yw pob dull unrhyw ddull. Y mae gwahanol ddulliau. Dull arall sydd i Peter Williams ac arall i Alford. Arall yw dull yn gystal a rhagoriaethau. Arall yw dull James Hughes, a'r dynion da a elwir ganddo mor barchus "ein hawdwyr," a'n "hawdwyr dysgedig"—Henry a Gill, Poole a Guyse a Doddridge; ac arall yw dull Meyer, Ebrard, Olshausen, a Lightfoot, Westcott ac Ellicott. Y mae rhagor rhwng esboniwr ac esboniwr mewn gogoniant. Gellir dyweyd am danynt: "Y mae cyrff nefol, ac y mae cyrff daearol;" ac hefyd mai "arall yw gogoniant y rhai nefol, ac arall y rhai daearol." Yr "ysbryd" yw pobpeth gan rai, a'r "llythyren" yw pobpeth gan y lleill; tra y mae eraill gwell na'r ddau yn chwilio i'r llythyren er mwyn cael gafael ar yr ysbryd. Bu y dull allegawl o esbonio mewn bri mawr yn yr Eglwys, o amser Origen am ganrifoedd. Ac er mor ddigrifol oedd rhai esboniadau fel hyn, nis gallwn lai na pharchu y reddf grefyddol oedd wrth eu gwraidd. Y reddf hon oedd achlysur gwendid a gogoniant y Canol-oesoedd, trwy geisio gwneyd pobpeth yn ffenestri i ollwng drwyddynt oleuni o'r byd ysbrydol. Mŷn rhai fod yn y nefoedd o hyd, ac eraill ar y ddaear o hyd. Y cyfryw oedd tuedd Dr. Macknight at esbonio pobpeth yn llythyrenol, fel y dywedai Robert Hall am dano—"nad elai byth i'r nefoedd os cai le i roddi ei droed i lawr ar y ddaear." Ond gwell na'r ddau yw yr un sydd yn treiddio yn ddwfn i'r ddaear er mwyn esgyn yn uwch i'r nefoedd. Felly y gwna yr esbonwyr goreu. A dyna un o brif ragoriaethau yr esboniad hwn—ei fod yn meddu digon o nerth a chwmpas i uno yr eithafion. Disgyna i fanylion grammadeg a chystrawiaeth, ac oddiyno esgyna at arweddion mwyaf ysbrydol a gogoneddus y gwirionedd.

Ond wrth son am y dull o esbonio yn y cysylltiad hwn, nid ydys yn golygu neillduolion meddyliol na chrefyddol, na dim a allai benderfynu mater yr esboniad, o ran bod yn allegol neu lythyrenol, hanesiol neu athrawiaethol. Golygir yn unig yr offeryn, mewn ystyr lenyddol, â pha un y gwneir y gwaith. Gair mawr yn ein hoes ni yw y gair yr ysgrifenodd Coleridge draethawd arno—y gair Dull (*Method*) yn ei ystyr athronyddol. Daeth Bacon â chwyldröad i mewn i athroniaeth, i'r gwyddorau naturiol yn enwedig, trwy ddyfod â *Novum Organum*, offeryn neu *ddull* newydd i mewn i chwilio dirgeloedd natur. Daeth gwyddorau newydd i fod yn ddiweddar, ynglŷn â'r wybodaeth am genedloedd,

ieithoedd a chrefyddau, trwy fod dull newydd wedi ei ddwyn i mewn i'r astudiaeth o'r pethau hyn, sef y dull cymhariaethol, neu yr efrydiaeth o honynt ar raddeg eang yn eu perthynas â'u gilydd. Tua diwedd yr hanner cyntaf o'r ganrif hon, trwy Esboniad Alford ar y Testament Groeg, a thrwy gyfieithiadau o rai o Esboniadau goreu yr Almaen, dygwyd i'r deyrnas hon ddull newydd o esbonio, mwy llafurfawr, mwy manwl ac athronyddol na dim a welwyd o'r blaen. Pan y tröem o ddarllen yr esbonwyr Seisonig goreu i ddarllen un o brif esbonwyr yr Almaen, teimlem ein bod, nid wedi symud ymlaen ar yr un gwastadedd, ond wedi tori i haen ddyfnach ac wedi agor gwythïen newydd. Caem ein hunain mewn byd arall o ddrychfeddyliau. Canlyniad oedd hyn i ddull gwahanol o esbonio—dull mwy beirniadol, mwy trylwyr, mwy dwfn mewn ystyr athronyddol a duwinyddol, na dim yr amcenid ato o'r blaen. Ac yn y blynyddoedd diweddaf, cynnyrchodd yr adfywiad hwn mewn beirniadaeth a dëongliadaeth Ysgrythyrol restr o esboniadau Seisonig o'r dosbarth uchaf, ar ol yr eiddo Alford, megys yr eiddo Ellicott, Westcott, Lightfoot ac eraill, at y rhai y bydd raid chwanegu o hyn allan yr enw Edwards.

Y mae y dull goreu o esbonio yn ymwneyd â phedwar math o ymchwiliad, ac i fesurau mwy neu lai yn eu cyfuno. Yn y Bibl y mae Duw yn llefaru trwy ddynion ysbrydoledig mewn iaith ddynol. Dyna yw y defnydd gan hyny sydd o dan ddwylaw yr esboniwr i weithredu arno—meddyliau Duw yn cael eu cyfleu mewn geiriau. Beth yw yr hyn y mae yr esboniwr yn chwilio iddo o berthynas i'r geiriau hyn? Pedwar peth. Pa rai yw y geiriau? Beth yw ystyr y geiriau? Beth yw y gwirionedd a ddysgir trwy yr ystyron? A pha beth yw y drychfeddyliau a gynnwysir yn y gwirionedd?

Y cwestiwn cyntaf ydyw—Pa rai yw y geiriau? Cyn dechreu esbonio, rhaid penderfynu beth sydd i'w esbonio. Ac nis gellir penderfynu hyn, wrth gwrs, uwch ben cyfieithiad o'r Ysgrythyrau; rhaid eu cael ger bron yn yr iaith yr ysgrifenwyd hwynt. Angenrhaid cyntaf oll esboniwr yw cael yr *ipsissima verba*—y geiriau eu hunain a ysgrifenwyd dan ysbrydoliaeth Ddwyfol. Felly y defnydd i'r esboniwr weithio arno yn y Testament Newydd yw y Testun Groeg. Ond dyma gwestiwn anhawdd yn cyfodi eto—*pa* Destun? Hwn yw y cwestiwn sydd yn rhoddi bôd i'r wyddor o Feirniadaeth Fiblaidd yn yr ystyr briodol, a gwaith y wyddor hono yw ceisio ei ateb. Allan o gant a hanner o filoedd o wahanol ddarlleniadau yn y Testament Newydd, pa fodd y mae yn bosibl penderfynu y gwir ddarlleniad? Y prif ffynnonellau ydynt hen ysgriflyfrau o'r Testament Newydd, cyfieithiadau hynach fyth, a dyfyniadau gan y Tadau mor foreu a diwedd y ganrif gyntaf. Gwnaed cyfraniadau pwysig at wyddor beirniadaeth y testyn o Mill yn nechreu y ddeunawfed ganrif, hyd Griesbach; wedi hyny gan Lachmann, Tischendorf, a Tregelles; ac yn ddiweddar gan waith mawr, gorchestol Westcott a Hort,* gan y rhai y cymhwyswyd yr egwyddor gymhariaethol at destun y Testament Newydd, sef olrhain

* Gall y "Cymro uniaith" gael llawer o wybodaeth werthfawr am y gwaith uchod, ac am hanes Beirniadaeth Ysgrythyrol, mewn erthygl alluog a hynod ddyddorol ar Destament Groeg Westcott a Hort yn y TRAETHODYDD am Gorphenaf, 1882, gan y GOLYGYDD.

achyddiaeth a chydberthynas y gwahanol ddarlleniadau. Y mae yn debyg fod llafur y doctoriaid enwog hyn, ynghyd a'r eiddo Cwmni y Cyfieithiad Diwygiedig, wedi dwyn y gangen bwysig hon o efrydiaeth Ysgrythyrol i'r perffeithrwydd mwyaf y gellir ei ddysgwyl yn bresennol, a'r cyfryw ag i gau allan ymchwiliadau annibynol am faith amser. Dyma Feirniadaeth Destunol (*Textual Criticism*).* Gwnaeth Alford wasanaeth mawr i efrydiaeth Fiblaidd yn y deyrnas hon yn nghyhoeddiad ei Esboniad ar y Testament Groeg tua deng mlynedd ar hugain yn ol. Gellir dyweyd iddo ddechreu cyfnod newydd mewn Esboniadaeth yn Lloegr trwy ddwyn golygiadau esbonwyr goreu yr Almaen, De Wette, Meyer, Olshausen, Tholuck, ac ereill, ac esboniad Lladin Bengel, am y tro cyntaf i gyrhaedd darllenwyr Seisonig. Yr oedd efe yn ŵr o ddysgeidiaeth anghyffredin, ac yn Eglwyswr eang-galon a rhyddfrydig. Disgynodd ei Esboniad fel tywalltiad o feirniadaeth destunol a dull newydd o ddehongli. Credwn iddo roddi symbyliad i efrydiaeth Fiblaidd, a dwyn ffrwyth da yn ein gwlad. Ond fel y sylwa Mr. Edwards yn ei Arweiniad, y mae yn sicr ei fod yn fwy fel beirniad testynol nag fel esboniwr. Er llawer o ddysg a llafur diflino, nid oedd ynddo fel esboniwr nemawr rym na gwreiddioldeb. Nid yw yn annhebyg i farnwr cywir a chydwybodol, wedi gwrando yn ofalus ar y tystion, ac wedi ysgrifenu yn ei nôd-lyfr nifer lliosog o ffeithiau, ond heb y nerth a'r clirder meddwl angenrheidiol i'w trefnu, dehongli eu harwyddocâd, a ffurfio barn addfed oddiar gymhariaeth o'r cwbl. Mewn egwyddorion ac athrawiaeth, hyny yw, yn yr ystyr ysbrydol, y mae yn diffygio; ond yn llenyddiaeth llyfrau y Testament Newydd a beirniadaeth y testun, y mae yn dangos dysg a llafur anghyffredin.

Dengys *Principal* Edwards trwy yr holl Gyfrol hon ei fod wedi talu sylw manwl i feirniadaeth y testun, ac ymhob amgylchiad nad yw yn arbed trafferth i sicrhâu y gwir ddarlleniad. Dyma engraifft o wahaniaeth darlleniad, a hwnw ond un bychan, yn rhoddi dullwedd newydd ar y meddwl, ac hyd yn nod yn awgrymu meddwl newydd :—

Pen. ii. adn. 13 :—"Y rhai yr ydym yn eu llefaru hefyd, nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb ddynol, ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glân . . . . ." "Gan *Ysbryd*." Y mae (yr ysgriflyfrau) ℵ A B C D yn gadael allan *Glân*. Felly Lachm., Tisch., Westc. a Hort, Cyf. Diwyg. Gwell yw hebddo. "A ddysgir gan Ysbryd," —gan oleuni goruwchnaturiol oddimewn.

Hyd yn nod yn naturiol, dyna y geiriau byw—geiriau a ddysgir gan *ysbryd* (y dyn). Ac yn yr ystyr uchaf—"a ddysgir gan Ysbryd" (Duw) yn fywyd a goleuni yn ysbryd y dyn.

Yn ei sylwadau ar xi. 24 : "Ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torodd, ac a ddywedodd, Cymerwch, bwytewch ; hwn yw fy ngorff, yr hwn a dorir drosoch. . ." gwelir mor annibynol, ac hefyd mor fanwl y mae ein hawdwr yn trin beirniadaeth y testun. Fel hyn y dywed :—

Gadewir allan y geiriau "*cymerwch, bwytewch*" (yr ydym yn rhoddi y geiriau Cymraeg yn lle y Groeg) yn ℵ A B C D. Gadawa St. Luc a St. Marc *bwytewch* allan. Rhoddodd y copïwyr y gair i mewn yma o St Matthew.

*Ceir hanes cyflawn a rhagorol iawn o Feirniadaeth Testun y Testament Newydd yn Reuss' *History of the Sacred Scriptures of the New Testament* (Eng. Trans. Clark Edin. 1884).

Yna rhydd ei farn o blaid gadael i mewn "a dorir," yn erbyn pedwar o'r ysgrifiyfrau hynaf, a phedwar o'r awdurdodau beirniadol uwchaf; tra yr enwir tri dros ei gadw. Seilia y farn hono ar dri rheswm o natur wahanol i'w gilydd; un yn ramadegol, y llall yn hanesiol-athrawiaethol, a'r trydydd yn perthyn i feirniadaeth destunol bur:—

Gadewir allan y gair "*a dorir*" yn ℵ A B C (Gan D y mae *a ddrylliwyd.*) Y mae Lachm., Tisch., Treg., Westc. a Hort yn ei adael allan; a De Wette, Reiche, Hofmann yn ei adael i mewn. Yn iawn; oblegid, yn gyntaf, y mae τὸ ὑπὲρ ὑμῶν *(yr hwn sydd drosoch)* yn dra garw, fe allai heb ei debyg; yn ail, yr oedd tori y corff yn hanfodol i'r aberth; yn drydydd, gellir rhoddi cyfrif am waith y copïwyr yn ei adael allan ar y dybiaeth eu bod hwy yn ammeu gwrthddywediad rhwng yr adnod hon a Ioan xix. 36. Y mae Meyer yn methu wrth dybied fod yr Apostol yn gadael allan *a dorwyd* am y gellid ei gael o *efe a'i torodd,* canys cyfeiria y toriad hwnw at y bara, hwn at y corff.

Nodwn fel engreifftiau pellach o fanylrwydd ymchwiliad yr awdwr mewn beirniadaeth destunol, y sylwadau ar "Mi a weddïaf â'r ysbryd," xiv. 15; ac ar "Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i Dduw a'r Tad," xv. 24. Y mae y darlleniad yn dra ammheus yn vii. 34: "Y mae gwahaniaeth hefyd rhwng gwraig a gwyryf. Y mae yr hon sydd heb briodi, yn gofalu am y pethau sydd yn perthyn i'r Arglwydd, fel y byddo hi sanctaidd yn nghorff ac ysbryd; ac y mae yr hon sydd wedi priodi, yn gofalu am bethau bydol, pa fodd y rhynga hi fodd i'w gŵr." Credwn fod yr esboniad ar yr adnod hon yn un o'r engreifftiau goreu yn y llyfr o fanylwch beirniadaeth a medr ymresymiadol tuag at benderfynu y gwir ddarlleniad, a thrwy hyny y gwir ystyr. Gwelir yma engraifft dda o bwys y darlleniad mewn penderfynu yr ystyr. Gwnai y dernyn hwn y tro i'w osod i efrydydd fel tasg i'w feistroli, neu *exercise* mewn ymresymu, tebyg i *problem* yn Euclid. Dyma rydd-gyfieithiad i ddangos mor eglur ag y gallwn y prif ddolenau yn y gadwen:—

Y mae y darlleniad yn dra ammheus. Dyry pedwar ysgriflyfr *ac* o flaen "Y mae gwahaniaeth" (μεμέρισται); a dyry tri *ac* o flaen "gwraig." Y mae awdurdod rhai ysgriflyfrau a rhai Tadau o blaid ac yn erbyn rhoddi *dibriod* ar ol "gwraig." Dyry dau ysgriflyfr y gair *dibriod* ar ol "gwyryf." Y mae yr ysgriflyfr hynaf o'r Testament Newydd sef B yn ei adael allan; felly y *Vulgate* a'r holl Dadau Groegaidd a Lladinaidd. Y mae pwysau y profion yn ei erbyn. Ymddibyna ystyr yr adnod ar y cwestiwn pa un a yw "ac y mae gwahaniaeth" i'w gysylltu â'r hyn sydd o flaen ynte â'r hyn sydd ar ol. Dibyna hyn eto ar y cwestiwn pa un a roddir *dibriod* ar ol "gwraig" ai ni wneir. Oblegid, os gadewir ef allan, golyga "gwraig" wraig briod, yr hon felly nis gall fod yr un sydd "yn gofalu am y pethau a berthyn i'r Arglwydd." Os felly, "gwraig" a "gwyryf" fydd y gwrthddrychau y cyfeirir atynt yn yr ymadrodd "Y mae gwahaniaeth:" "Ac y mae y wraig a'r wyryf yn gwahaniaethu." Felly De Wette, Meyer, Osiander, Baur, Maier, Alford. Yna eglura yr adnod nesaf pa fodd y maent yn gwahaniaethu. Ond y mae fod y ferf *yn gwahaniaethu* (μεμέρισται) yn y rhif unigol yn wrthddadl yn erbyn y darlleniad yna. Amddiffyna Meyer ef ar y tir fod y ferf o flaen y ddau wrthddrych *(subjects)*, a bod "gwraig" a "gwyryf" yngyd yn cynnwys y rhyw fenywaidd fel un cyfan. Ond dyben yr Apostol oedd nid eu golygu fel un cyfan cymhleth, ond i'r gwrthwyneb. Eisieu dyweyd sydd arno ef ymha beth y maent yn gwahaniaethu, a gwna hyn y rheol am y defnydd o'r rhif unigol yn anghymhwysadwy at y lle hwn. Os, ar y llaw arall, y darllenwn *y wraig ddibriod* rhaid cysylltu "ac

y mae gwahaniaeth" â'r hyn sydd o'r blaen. Yr wyf fi, gan hyny, yn derbyn attalnodiad Lachmann a Tregelles: "Y mae yr hwn a wreicâodd yn gofalu am bethau y byd, pa wedd y bodlona ei wraig, ac y mae yn rhanedig *(distracted*, yn cael ei wahanu, *μεμέρισται*); ac y mae y wraig ddibriod a'r wyryf yn gofalu am y pethau sydd yn perthyn i'r Arglwydd." Felly Estius, Neander, Hofmann, Westc. a Hort. Ystyr *μεμέρισται* ("y mae gwahaniaeth") yna fydd, "sydd ranedig yn ei achosion," "sydd yn cael ei dynu mewn gwahanol gyfeiriadau." Cymh. Mat. xii. 25: "teyrnas wedi ymranu yn ei herbyn ei hun." Bydd "y wraig ddibriod" yn golygu y wyryf, y weddw, a'r wraig yr hon y mae ei gŵr wedi ei gadael. Defnyddir y ferf (*μεριμνᾷ*—"a ofala") yn y rhif unigol am fod y ddau wrthddrych yn ffurfio un syniad cymhleth, *καί (ac)* yn golygu "ac i fanylu."

Wedi penderfynu *pa rai yw y geiriau*, cwestiwn nesaf beirniadaeth yw *Beth yw ystyr y geiriau?* Dyma feirniadaeth eiriol *(verbal criticism)*. Chwilir ymlaenaf i ystyr briodol y gair yn ol y geirlyfrau a'r awduron goreu; yna i'w ystyr ramadegol yn y lle dan sylw, fel y mae yn dyfod o dan ddylanwad moddau, amserau, ac achosion, ynghyd a chystrawen a chysylltiad y lle; ac fel y mae yn cael ei ddullweddu o bosibl gan ryw wahaniaethau rhwng Groeg y Testament Newydd a'r Groeg clasurol. Y mae yr Esboniad hwn yn gyfoethog yn y feirniadaeth hon. Cwyna rhai o'r adolygwyr ei fod yn cael ei orlwytho â manylion dysgeidiaeth Roegaidd, mewn mân-reolau gramadegol, cyfeiriadau at yr arferiad o eiriau gan yr awduron clasurol, a dyfyniadau, mwy perthynol i eiriaduron a gramadegau, a'i fod felly yn dwyn gormod o ddelw coflyfr efrydydd. Ond mater o farn yw hyn; ac nid yw yn fater pwysig. Bydd y rhan fwyaf o bosibl o'i ddarllenwyr yn ystyried fod hyn yn cyfoethogi y gwaith, yn chwanegu at ei werth, yn arbenig i ddosbarth lliosog a phwysig o'r rhai a'i defnyddiant, sef efrydwyr ein hathrofëydd, a'n gweinidogion sydd wedi cael addysg dda pa un bynag ai y tu fewn ai y tu allan i'r Prifathrofëydd; a bod y llawnder hwn mewn manylion nid yn unig yn profi eangder a manylder dysgeidiaeth yr awdwr, ond hefyd yn dangos yn amlwg y cydwybodolrwydd gwerthfawr hwnw sydd yn cymhell dyn i gyflawni ei waith mor llwyr a thrwyadl ag y mae yn bosibl iddo wneyd, i lawr hyd yn nod i'r manylion lleiaf.

Dyma engraifft o wahaniaethiad manwl rhwng ystyron ἐκ ac ἀπὸ—*o* a *chan*.

Pen. iv. adn. 5: "Ac yna bydd y glod i bob un gan Dduw." "*Gan Dduw*." Dwg Crist bethau dirgel i oleuni; y mae Duw yn barnu. Yr elfen ddwyfol yn marn Crist sydd yn ei gwneyd yn hollol a therfynol. Gosodir allan y wedd derfynol hon yn dda gan *ἀπό—gan* (cymh. Rhuf. ii. 29, "*o* Dduw.") 'Eκ *(o)* a olyga fod y weithred o farnu yn cymeryd lle yn meddwl Duw, a'r farn a ffurfir a gyhoeddir ganddo Ef; y mae, gan hyny, yn farn *annibynol*. 'Aπό *(gan* neu oddiwrth) a olyga fod y farn yn dyfod yn yr eithaf oddiwrth Dduw, ac nas gellir ei holrhain i unrhyw awdurdod uwch; y mae gan hyny yn farn *derfynol*.

Dyma eglurhâd rhagorol ar i. 22. Ceir yma engraifft o feirniadaeth *fine* ar y geiriau "gofyn" a "cheisio." Y mae yma hefyd esiampl brydferth o'r grym a roddir i air weithiau gan yr *hanes* sydd y tu cefn iddo. Rhoddwn sylwedd yr eglurhâd:—

Pen. i. adn. 22: "Oblegid y mae yr Iuddewon yn gofyn arwydd, a'r Groegwyr yn ceisio doethineb." Nid yw y fannod *yr* yn y gwreiddiol.—"Y mae Iuddewon yn gofyn arwydd, a Groegwyr yn ceisio doethineb." Ni roddir y fannod am fod

lliaws o Iuddewon a Groegwyr erbyn hyny yn Gristionogion. Gochelir y dull garw—"Y mae *yr* Iuddewon yn gofyn arwydd, &c." Eto y mae nodweddion cenedlaethol y ddau yn cael eu taro i berffeithrwydd yn y geiriau αἰτεῖν ("gofyn") a ζητεῖν ("ceisio"). Wrth yr Iuddewon yr oedd Duw eisoes wedi llefaru; ac y maent hwy, oddiar uchelder balch eu crefydd o ddwyfol darddiad, yn "gofyn" (yn awdurdodol, yn hawlio—*demand*) gan bob crefyddau newydd (*upstart*) eu profion a'u cred-lythyrau (cymh. Mat. xii. 38; xvi. 1; Ioan vi. 30). "Ceiswyr" ar y llaw arall yw y Groegiaid; ac y maent yn ceisio, fel y maent yn addoli yr hyn nis gwyddant. Nis gallant ond rhoddi iddo yr enw cyffredinol o ddoethineb neu wirionedd.

Dengys y sylw nesaf fel y mae cydnabyddiaeth athronyddol â hanes meddwl a chrefydd yr hen fyd yn cyfoethogi yr Esboniad:—

Dadganiad yr Apostol o wahaniaeth cenedlaethol yn y ffordd o feddwl yw fe allai un o'r rhai diweddaf y cyfarfyddir â hwynt mewn llenyddiaeth henafol. Yn yr ail a'r drydedd ganrif yr oedd cyfuniaeth (*syncretism*) gyffredinol (o wahanol ddaliadau athronyddol) wedi dilëu yr hen neillduolion cenedlaethol o dueddiadau meddyliol a moesol o dan ddylanwad oll-dduwiaeth naturiol y Dwyrain. . . . . . Mewn crefydd yn unig yr oedd gwahaniad cenedlaethol yn parhau i gael ei ystyried yn anhebgorol. Tybiai Celsus, er esiampl, ei fod yn afresymol i Roegiaid a barbariaid fod â'r un grefydd ganddynt. Ond nid yw hyn ond yn profi fel yr oedd crefydd yn cael ei hystyried mor hollol yn fater o ddefodau allanol, ac wedi ei gwahanu mor lwyr oddiwrth fywyd meddyliol a moesol dynion.

Wedi penderfynu *ystyr y geiriau* o dan bob goleuni a ellir ei daflu arnynt gan egwyddorion iaith, deddfau gramadeg, arferion awdwyr cysegredig a phaganaidd, ac amrywiol gyfnewidiadau hanesyddiaeth, gwaith nesaf yr esboniwr ydyw tynu allan o honynt y *Gwirionedd* y bwriadai yr ysgrifenwyr ysbrydoledig ei gyflëu trwyddynt. Dyma yw "esbonio" yn yr ystyr fwyaf priodol, neu *Eglurhadaeth Ysgrythyrol.* Moddion i hyn yw y cwbl sydd o'i flaen, mewn penderfynu cywirdeb y testun ac ystyr y geiriau; a helaethiad ar hyn yw yr hyn sydd yn dyfod ar ol, yn y ffordd o agor cynnwys y gwirionedd, neu ymdriniaeth athrawiaethol. Dyma y cnewyllyn: cael allan beth *yw* y gwirionedd a ddysgir—beth yw meddwl yr Ysbryd Glân yn yr ymadrodd, yr adnod, neu yr adnodau sydd wedi eu cyd-gysylltu mewn un meddwl neu ymresymiad. Y mae tarddiad y gair Saesoneg am hyn—*Exegesis,* fel tarddiad y gair am addysg, *Education,* yn arwyddo *dwyn allan;* y blaenaf yn golygu dwyn allan feddwl y geiriau trwy eglurhâd, a'r llall dwyn allan alluoedd meddwl y dyn trwy addysgiad. Dyma gan hyny a wna yr esboniwr sydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd,—"*dwyn allan*" o drysorau y Gair sanctaidd "bethau newydd a hen."

A dyma ragoriaeth pwysicaf yr Esboniad hwn; y mae trwy "*eglurhâd* y gwirionedd" yn ei ganmol ei hun wrth bob barn a chydwybod. Yn hyn y mae y rhagoriaethau blaenorol yn cyrhaedd eu hamcan. Ac y mae yr eglurhâd yn gyflawn yn gystal a manwl. Cydunwn yn hollol â barn Dr. Davidson am dano yn yr *Athenæum*—fod "llawnder eglurhâd" (*fulness of comment*) yn ei nodweddu. Anhawdd gweled Esboniad mwy dysgedig, manwl a beirniadol na'r eiddo Esgob Ellicott ar yr Epistol at y Galatiaid. Ond nid oes cyfartaledd rhwng yr *exegesis* a'r *criticism.* Yn wahanol i'r Esboniad hwn,

*prinder* eglurhâd sydd yn ei nodweddu, er ei ragoriaethau uchel eraill. Y mae Esboniadau Esgob arall, Dr. Lightfoot, yn rhagori ar rai Ellicott yn hyn. Tra y maent mor ddysgedig a beirniadol, y maent yn darostwng y pethau hyn yn fwy llwyr i wasanaethu prif amcan Esboniad—egluro y gwirionedd Dwyfol.

Mewn cysylltiad agos â hyn y mae y gangen olaf a nodwyd o'r ymchwiliad a berthyn i Esboniadaeth Ysgrythyrol, sef nid yn unig penderfynu beth yw y gwirionedd a ddysgir, ond hefyd dangos beth yw *y Syniadau* a gynnwysir yn y gwirionedd hwnw; "eglurhâu y gwirionedd" yn yr ystyr o olrhain ei gysylltiadau â gwirioneddau eraill, ac o ddwyn allan rhyw fesur o'r golud a'r gogoniant sydd ynddo. Dyma yr elfen *athrawiaethol* mewn Esboniadaeth. Amrywia hon lawer, o angenrheidrwydd, mewn gwahanol ddynion, ac yn yr un dyn; penderfynir hi gan amcan a chynllun yr esboniwr, gan ei alluoedd, ei gyrhaeddiadau a'i ysbryd, a chan y rhanau gwahanol o'r Ysgrythyr a fydd dan ei sylw. Os yw o'r blaen yn myned i mewn i'r geiriau i gael gafael ar y gwirionedd, y mae yn awr yn myned i mewn i'r gwirionedd i gael gafael ar y trysorau cuddiedig sydd ynddo. Gwyddom fod beirniadaeth sych yn dueddol i edrych yn gilwgus ar hyn, fel peth dros ben ac uwchlaw gwir esbonio, ac yn perthyn yn fwy priodol naill ai i Gorff o Dduwinyddiaeth neu i bregethu. Ac at y nodwedd hon yn Esboniad *Principal* Edwards yn ddiau y cyfeiria adolygydd yr *Athenæum* pan y cwyna fod duwinyddiaeth yr awdwr wedi ei arwain "*to indulge in something like sermonizing.*" Ond o fewn terfynau barn a chwaeth, dyma fêr a brasder Esboniad. Dyma y sancteiddiolaf, i'r hon yr arweinia cyntedd beirniadaeth a chysegr eglurhadaeth. Os goddefir i ni ddyweyd fod i waith yr esboniwr ddaear a nef, a nef uwch, hon yn ddiau yw y drydedd nef. Dyma "nef y gogoniant" i'r esboniwr, pan y mae wedi esgyn heibio i fydoedd o wybodaethau nes cael trem ar "y tir sydd yn bell iawn," ac ambell i fflachiad o'r goleuni "na thywynodd erioed ar fôr na thir." Ychydig o Esboniadau sydd yn cyrhaedd yr *ideal* hwn. Ond credwn y teimla darllenwyr yr Esboniad sydd dan sylw ei fod ambell dro yn eu cyfodi i'r rhandir dyrchafedig yma.

O'r pedair elfen a nodwyd mewn Esboniad cyflawn, y mae y bedwaredd yn perthyn i'r drydedd yn debyg fel y mae yr ail yn perthyn i'r gyntaf. Wedi i Feirniadaeth Destunol benderfynu *pa rai* yw y geiriau, y mae Beirniadaeth Eiriol yn dwyn allan *ystyr* y geiriau. Felly wedi i'r ymdriniaeth Eglurhäol benderfynu *beth yw* y gwirionedd a ddysgir, y mae yr un Athrawiaethol yn dwyn allan *gynnwys* y gwirionedd. Credwn nad gormod yw dyweyd fod Esboniad *Principal* Edwards yn un o'r ychydig Esboniadau sydd yn cyfuno y pedair elfen a nodwyd, a phob un mewn gradd uchel iawn o ragoriaeth. Y mae yn amlygu yr un rhagoriaethau nodedig o feddwl ac ysbryd, o ddysg a dawn, a llafur cydwybodol, trwy yr holl waith, a'r cwbl yn gwneyd i fyny Esboniad beirniadol (testunol), beirniadol (geiriol), eglurhäol, ac athrawiaethol; (*critical*) (textual), (*critical*) (verbal), *exegetical, and doctrinal.*

Gwelir profion o'r cyfuniad a nodwyd yn rhai o'r dyfyniadau a wnaethom eisoes. Tra y gwneid y dyfyniad yn benodol i ddangos rhyw un ansawdd, yr ydoedd ar yr un pryd yn engraifft o ragoriaethau

eraill hefyd. Chwanegwn eto ychydig ddyfyniadau, y rhai ydynt yr un modd, weithiau yn unigol, ac yn arbenig oll gyda'u gilydd, yn amlygu rhagoriaethau uchel yr Esboniad.

Dyma baragraph sydd yn engraifft ragorol o gyfuniad yr ansoddau a nodwyd. Heblaw beirniadaeth destunol ar y gair "arwyddion," ac eglurhâd ar ystyr yr adnod, cawn sylw o'r pwys mwyaf fel cyfraniad at dduwinyddiaeth y pwnc o wyrthiau, a hwnw yn cyfodi o'r eglurhâd ar feddwl yr adnod :—

Pen. i. adn. 22 : "Canys y mae yr Iuddewon yn gofyn arwydd." "Arwyddion"—σημεῖα. Felly ℵ A B C D, Vulg., yr holl Dadau Lladinaidd a'r rhai Groegaidd gan mwyaf. Meddwl y gair yw "gwyrthiau," fel yn Rhuf. xv. 19 ; 2 Cor. xii. 12. Cyfeirio y mae yr Apostol at grediniaeth yr Iuddewon y byddai i'r Messïah wneuthur gwyrthiau mwy na Moses. Rhaid i bob Dadguddiad Dwyfol fod yn gyflawn o wyrthiau ac o ddoethineb. Heb wyrthiau, nis gellir profi yr un dadguddiad yn Ddwyfol ; os nad yw yn cynnyg eithaf doethineb, profir nad yw yn Ddwyfol. Ond rhaid i ni fyned ymhellach. Y mae y ddoethineb a'r wyrth, y naill a'r llall, yn rhan o hanfod y dadguddiad ei hunan. Beïa yr Apostol yr Iuddewon am ofyn gwyrthiau yn hollol ar yr un tir ag y beïa y Groegiaid am ofyn doethineb. Y mae efe yn gwrthwynebu y syniad fod yr Efengyl i gael ei derbyn am ein bod eisoes wedi derbyn rhywbeth arall sydd heb fod yr Efengyl. Y mae edrych ar wyrthiau yn unig fel attegion allanol ein ffydd, nid yn rhan o'r cynllun, fel y gwnaed gan Paley, yn gyfeiliornad o'r un natur ag ydyw gorphwys yn *opus operatum* neu effeithiolrwydd y gweinyddiad allanol o sacrament. Dyna ydyw, mewn gwirioneddd, i ddyfynu Archddiacon Hare, "yr hyn sydd yn cyfateb mewn duwinyddiaeth i amcandyb yr athronydd materol, fod ein holl wybodaeth yn dyfod trwy y synwyrau." Yr unig atebiad i gwestiwn Lessing, "Os nad oes genyf ddim yn hanesyddol i'w ddwyn ymlaen yn erbyn y grediniaeth yn adgyfodiad Iesu Grist, a raid i mi oblegid hyny gredu ei fod ef yn Fab Duw?"—ydyw y tir y mae yr Apostol yn ei gymeryd, mai ffeithiau goruwch-naturiol Cristionogaeth ydyw hanfod Cristionogaeth.

Dyma eto sylw craff a gwir iawn, yn dangos fel y mae gwaith ysbrydol dynion yn rhedeg i'w gilydd :—

Pen. iii. adn. 13 : "Gwaith pob dyn a wneir yn amlwg." "Pob dyn"—ἑκάστου. Y mae yr unoliaeth adeilwaith yn ei wneyd yn anmhosibl i ddynion wahaniaethu gwaith un adeiladydd oddiwrth waith un arall. Duw yn unig a all ddyweyd pa le y mae gwaith un dyn yn diweddu a gwaith un arall yn dechreu. Bydd helaethrwydd yn gystal ag ansawdd y gwaith yn cael ei farnu.

Eto, dyma engraifft o eglurhâd rhagorol ar bwynt neillduol yr adnod, a hwnw trwy gyferbyniad yn awgrymu gwirionedd mwy :—

Pen. ix. 20 : "Ac mi a ymwneuthum i'r Iuddewon megys yn Iuddew." I Iuddew deuai yn Iuddew. Nid yw yn chwanegu yn y lle hwn ei fod i'r Groegiaid yn dyfod yn Roegwr. Yr oedd hyn yn ddiangenrhaid, mewn rhan am fod yr hen falchder a'r culni Groegaidd i fesur mawr wedi darfod y pryd hwn, ac mewn rhan am mai Groegwr yn ymarferol oedd yr Apostol ei hunan mewn teimlad ac iaith. Er mor fawr yw uchder a mantoliad moesol Paul, y mae yn syrthio yn fyr o gymeriad perffaith, cyffredinol Iesu Grist, yn yr hwn nis gallwn weled unrhyw ymdrech i fod yn Iuddew i'r Iuddewon neu yn Roegwr i'r Groegiaid, ond unoliaeth perffaith â'r ddau.

Un o gymhwysderau penaf *Principal* Edwards, fe allai y pwysicaf oll, tuag at gynnyrchu Esboniad mor uwchraddol â hwn, ydoedd meddwl ac ysbryd athronyddol, ac ar yr un pryd trwyadl efengylaidd. Dyma ddernyn ardderchog ar athroniaeth yr Efengyl ac athroniaeth

Cristionogaeth, rhwng y rhai y mae gwahaniaeth er nas gellir eu gwahanu, gan eu bod yn un yn eu gwreiddyn a'u natur.

Pen. ii. adn. 9: "Eithr fel y mae yn ysgrifenedig, Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef." Nid yn unig yr oedd doethineb Duw yn anadnabyddus i dywysogion y byd hwn, ond y mae y pethau hyny yn y rhai yr amlyga ei hunan yn eu natur yn gyfryw ag nas gellir adnabod eu hystyr fewnol heb ddadguddiad o eiddo yr Ysbryd oddi fewn. Y mae yr adnod yn fwy na phrawf nad adnabu tywysogion y byd ddoethineb Duw. Amlygodd doethineb Duw ei hunan mewn pethau ac mewn ffeithiau. Ond y mae i'r ffeithiau hyn o eiddo Cristionogaeth fywyd ac ystyr mewnol, yr hwn sydd yn guddiedig nid yn unig oddiwrth elynion Duw, ond hefyd oddiwrth bob creadur, ac a raid gael ei ddadguddio yn dufewnol mewn trefn i'w adnabod. Nid yw yr Apostol yn rhoddi y dadguddiad hwnw. Dyry Ysbryd Duw ef i'r rhai cyfarwydd. Rhaid i ni gael yr Ysbryd i adnabod pethau Duw, er y gellir eu llefaru wrth bawb mewn geiriau. Nis gall yr Apostol ei hunan ond dyweyd wrthym yr hyn nad ydynt. Nid y pethau a welodd llygad ydynt, hyny yw gogoniant y greadigaeth weledig; ac nid y pethau a glywodd clust, hyny yw, athrawiaethau yn cael eu dysgu gan athraw i'w ddysgyblion; ac nid y pethau sydd yn tarddu i fyny yn nghalon dyn, hyny yw, creadigaethau dychymyg a dymuniad. Y mae yr esgyniad i sylwi arno. Y mae gan weithredoedd Duw mewn natur ragoroldeb a phrydferthwch nad yw o gwmpas rhai mawrion y byd; y mae y lili wedi ei gwisgo yn fwy gogoneddus na Solomon. Ond y mae meddyliau yn Nuw rhy fawr i gael eu dangos yn weledig byth mewn dyfnderoedd cefnfor na heuliau fflamllyd. Eto y mae rhai o leiaf hyd yn nod o'r meddyliau hyn yn cael eu traethu mewn iaith ddynol a'u derbyn i'n meddyliau. Ond y mae y galon yn dymuno yr hyn nas gall fynegu mewn geiriau, ac yn "gwneuthur," trwy rym dychymyg, ffurfiau o ddaioni a phrydferthwch nad ydynt yn bod ond yn unig yn "y tir sydd yn bell iawn." Ond y tu hwnt i natur, y tu hwnt i ddrychfeddyliau, y tu hwnt i ganfyddiad dychymyg a chyrhaeddiad y dymuniad naturiol arno ei hunan, y mae y pethau a ddarparodd Duw yn weithredol, sylwedd gorphenedig yr Efengyl. Gellir ymhellach ofyn a ydyw yr Apostol yn bwriadu hyn i fod yn ddosbarthiad cyflawn o'r pethau nad ydynt yn ddoethineb guddiedig Duw? Os nad yw, paham y crybwylla natur, athrawiaeth, a'r hyn sydd mewn drychfeddwl? Y rhai hyn ydynt wisg allanol y tragywyddol ddirgelwch. Amlyga ei hunan, yn gyntaf, trwy gymeryd ei le mewn hanesyddiaeth ddynol trwy ffaith yr ymgnawdoliad; yn ail, trwy gyfundraeth o wirionedd Cristionogol, athroniaeth y dadguddiad Dwyfol yn Nghrist; yn drydydd, trwy *ideal* o berffeithrwydd. Yr oedd yn angenrheidiol i'r dirgelwch Dwyfol amlygu ei hunan yn y ffurfiau dynol hyn, oblegid y mae Crist yn mlaenaf oll yn allu; hyny yw, y mae yn elfen newydd mewn hanesyddiaeth ddynol, yn rym newydd mewn gwirioneddau o athrawiaeth, yn safon (neu *ideal)* uwch o berffeithrwydd moesol. Ond nis gall unrhyw weithred neu withddrych allanol arno ei hunan, ar wahân oddiwrth ganfyddiad ysbrydol yr edrychydd, fod yn ddadguddiad o ddim y tu hwnt i allu, ac nis gall unrhyw amlygiad o allu fod yn ddigonol ddadguddiad o Dduw. Nis gall gweithred oruchaf cariad Dwyfol, fod i Dduw anfon ei Fab ac i'r Mab aberthu ei Hun drosom ni, fod yn ddim mwy i ddyn anysbrydol nag amlygiad o anfeidrol allu, os gall fod yn hyny. Y mae i'r pethau hyn fywyd mewnol adnabyddus i'r rhai sydd yn caru Duw.

Dyma ddernyn prydferth eto ar Gariad yn "cyd-lawenhâu â'r Gwirionedd"—neu Gristionogaeth yn dwyn i mewn i'r byd gyfnod o lawenydd.

Pen. xiii. 6. . . . Y mae yr Efengyl yn wirionedd Duw, nid yn gymaint am ei bod yn cael ei gwahaniaethu oddiwrth gysgodau goruchwyliaeth Moses, ag am mai hi ydyw y ddoethineb berffaith, yr athroniaeth ddwyfol, yr hon nad oedd holl ymdrechion y rheswm dynol, a'r holl oleuadau rhanol oedd wedi tori o'r nefoedd, yn ddim ond y gwawriad o honi. Cymh. Gal. ii. 5; Eph. i. 13; 3 Ioan 3; i gyd yn adsain o eiriau Crist yn Ioan xiv. 6. Y mae y dadguddiad hwn o Dduw yn tori ar ddyn gyda llawnder o lawenydd. Y mae y Mab ei hun wedi ei eneinio âg olew gorfoledd y tu hwnt i'w gyfeillion, ac y mae yn rhoddi hefyd i'r galarwr ogoniant yn

lle lludw, olew llawenydd yn lle galar, gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig. Gwelodd Abraham ddydd Crist ac a lawenychodd. Amser y cynauaf ydyw, pan y mae yr hwn sydd yn hau a'r hwn sydd yn medi yn llawenhâu ynghyd. Darfu i lawenydd yr Eglwys foreuol dynu sylw yr haneaydd (cym. Act. ii. 46). Gallem dybied mai ei llawenydd oedd yn creu cân ac yn tori allan yn yr hwyl orfoleddus (*ecstatic*) o lefaru. Pwy nad yw yn cael ei daraw gan y gwrthgyferbyniad rhwng hyn â phrudd-der dwfn tymmor olaf paganiaeth Groeg a Rhufain? . . . . Apostol Cristionogol yn unig a all roddi i'w ddarllenwyr, heb wawdiaeth, yr annogaeth, "Byddwch lawen yn wastadol" (1 Thes. v. 16). Y mae yr Apostol yn yr Emyn hwn i Gariad yn personoli yr Efengyl, ac yn ei gosod allan fel yn llawenhâu. Y mae y gwirionedd yn llawenhâu yn ei allu i greu cariad; oblegid, fel y dywed Awstin, buddugoliaeth y gwirionedd yw cariad. Yna y mae cariad wedi ei greu gan y gwirionedd yn llawenhâu yn hawddgarwch y gwirionedd ac yn cydlawenhâu â'r gwirionedd yn ei rymusder i greu cariad. Llawenydd y bugail ydyw wedi iddo gael y ddafad a gollasid; llawenydd y tad pan y mae yr afradlawn wedi dychwelyd; llawenydd angelion sanctaidd a Duw am un pechadur a edifarhäo.

Yr oeddym wedi nodi allan lïaws o ddyfyniadau eraill fel engreifftiau o amrywiol ragoriaethau yr Esboniad. Ond ni oddef ein terfynau i ni eu rhoddi i mewn. Cyfeiriwn at ychydig eto. Yn y sylwadau ar viii. 3, "Ond od oes neb yn caru Duw, hwnw a adwaenir ganddo ef," lle y dangosir fod yr Apostol yn dysgu mai y ddwy elfen a ffurfiant gydwybod oleuedig yw gwybodaeth a chariad, ni a gawn engraifft ragorol o allu esboniadol—ymchwiliad gofalus i farnau esbonwyr hen a diweddar; medr ymresymiadol i bwyso eu golygiadau, a phan y gwrthwynebir, i roddi rheswm da am hyny; a gallu mawr i gyflwyno barn annibynol, ac ysgolheigaidd (fel y dywed Dr. Davidson), ac yn y cyffredin, glir a chref a thra argyhoeddiadol. Ar iv. 13, "Pan y'n ceblir, yr ydym yn gweddïo; fel ysgubion y byd y gwnaethpwyd ni, a sorod pob dim hyd yn hyn," ceir engraifft nodedig o ymchwiliad manwl a chyflawn, yn ngoleuni hanesyddiaeth, arferion Groegaidd, a defnydd clasurol, i ystyron ammheus geiriau. Paragraph lled anhawdd yw xiv. 20—25, lle y dyfyna yr Apostol brophwydoliaeth Esaiah, "Trwy rai estronieithus, a thrwy wefusau estronol, y llefaraf wrth y bobl hyn" (xxviii. 9—13), gan gymhwyso bygythiad y prophwyd, y byddai i ieithoedd dyeithr Assyria fod yn farn ar Israel, at sefyllfa eglwys Corinth, yn yr hon yr oedd ymdoriad o dafodau dyeithr yn y cynnulliadau eglwysig, yn gerydd arnynt am eu plentynrwydd a'u rhodres, ac hefyd ar y Pagan anghrediniol. Fel yr oedd geiriau gwawdus Israel yn cael eu cyflawni arnynt yn gosb am blentynrwydd ac anufudd-dod, mewn ystyr nad oeddynt hwy yn meddwl, felly y mae plentynrwydd Eglwys Corinth yn cael ei ad-dalu â rhoddion plentynaidd; a'r anghredadyn yn cael clywed ieithoedd annealladwy, neu lefau pêr-lewygol ("gorfoleddu" mewn gradd eithafol—*ecstatic cries*)—o dan yr oruchwyliaeth sydd yn hynod am ei goleuni. Y mae yr eglurhâd cyffredinol a roddir (dros ddau du dalen 372 a 373) ar y cymhwysiad o brophwydoliaeth Esaiah at sefyllfa eglwys Corinth, gan ddangos cyfatebiad yr amgylchiadau, o ansawdd wir ragorol, yn engraifft o ymdriniaeth oleu, rymus ac *exhaustive*—llawnder, ond heb air yn ormod. Ceir yn y sylwadau ar xii. 8—11, ddosbarthiad newydd ar y doniau ysbrydol, yr hwn sydd, dybygem, yn fwy *logical* na'r eiddo Bengel a Meyer, ac yn cadw yn well y drefn naturiol o gynnydd, neu berthynas y doniau â'u gilydd yn y gyfres. Ar y *crux* enwog, xv. 29—

"bedyddio dros y meirw," nodir y rhai teilyngaf o'u crybwyll o'r lliaws gwahanol olygiadau. Ni a gawn resymau cryfion mewn ychydig eiriau dros y rhai a wrthodir, ac o blaid yr un a gymeradwyir, sef golygiad Tertullian, yr hwn hefyd a dderbynir gan yr esbonwyr diweddar goreu—bedyddio y byw fel cynnrychiolwyr rhai oeddynt wedi marw yn ddifedydd.

Sylwadau o bwys a gwerth mawr, a chyfraniad at feddylddysg (*psychology*) y Testament Newydd yw y rhai a wna yr awdwr yn yr esboniad ar yr ail bennod (adn. 14, 15, &c.) ar y dyn "cnawdol," y dyn "eneidiol" neu "anianol," a'r dyn "ysbrydol." Yr ydys yn teimlo fod yr ymdriniaeth yn llwyr a meistrolgar â'r holl gwestiynau a gyfodent yn nghwrs y llythyr, o dan y gwahanol raniadau—y Pleidiau yn Eglwys Corinth; Dysgyblaeth Eglwysig; Priodas a bywyd sengl; Bwyta yr hyn a aberthwyd i eilunod; Afreoleiddiwch yn y cynnulliadau eglwysig; a'r Doniau Ysbrydol. Ceir yma mewn gradd anghyffredin y gwahaniaeth sicr hwnw rhwng nerth a gwendid, nad yw yr awdwr byth yn osgoi anhawsderau. Yn hytrach, y mae fel pe byddai swyn ac attyniad iddo mewn anhawsderau; "ymlawenhâ fel cawr" i redeg i'w cyfarfod â'u gorchfygu. A'n teimlad wrth ddarllen yw ei fod yn gorchfygu. Un achos o hyn, ac un o brif ragoriaethau yr Esboniad, yw fod yr awdwr yn myned trwy fanylion at egwyddorion. Ni wnai yr olaf y tro yn lle y blaenaf y mae'n wir; ond ni a gawn yma feistrolaeth gyfartal ar y ddau. Olrheinir pobpeth i egwyddorion cyntaf. Dyma engraifft fechan, bron ar antur. Dengys ein hawdwr fod yr Apostol yn dwyn yn erbyn y Corinthiaid ddau gyhuddiad a ymddangosent yn anghyson â'u gilydd—goddef pechodau gwarthus, a methu goddef niweidiau bychain gan eu gilydd heb fyned i ymgyfreithio. Ond dywed fod y ddau yn deilliaw o'r un cyfeiliornad, sef colli golwg ar y syniad o'r Eglwys fel corff Crist. Y mae corff bywiol yn allu hunan-lywodraethol. Felly y mae yr hawl a'r ddyledswydd i esgymuno yn allu sydd yn aros yn yr Eglwys yn rhinwedd presenoldeb ysbrydol yr Arglwydd Iesu. Fel hyn y mae undeb yr Eglwys â Christ yn penderfynu natur dysgyblaeth Eglwysig tuag at y ddau ddosbarth o achosion. Y mae awdurdod cariad i benderfynu y naill; ac awdurdod sancteiddrwydd, yr hyn hefyd sydd gariad yn yr eithaf, i benderfynu y llall. 'Penderfynwch eich dadleuon rhyngoch â'ch gilydd; traddodwch yr aflan i ddinystr y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig.' Engraifft arall o achosion neillduol yn cael eu penderfynu gan egwyddor yw y cymhwysiad a wna ein hawdwr o'r gwirionedd eang, pwysig, a eilw *The Christian order of subordinations*—y drefn Gristionogol o ddarostyngiadau:—y byd i'r Eglwys, y wraig i'r gŵr, dyn i Grist, a Christ i Dduw. Cymhwysir yr egwyddor hon at amryw bynciau, o'r ymbleidiau yn Eglwys Corinth a gwragedd yn gweddio yn ben-noeth, hyd at beth mor fawr a "rhoddi y deyrnas i fyny i Dduw a'r Tad," yr hyn fydd yn cyfansoddi perffeithiad gorphenol trefn y darostwng. Dyma egwyddor ddigon mawr i gofleidio yr eithafion pell o wragedd yn gorchuddio eu pen ac adgyfodiad y meirw.

Ac yn awr, gan ein bod wedi cyrhaedd at adgyfodiad y meirw, dysgwylir, y mae'n debyg, fod diwedd ein herthygl wedi nesâu. Y mae hon, y seithfed Ran o'r llyfr, fel y lleill, os nad yn fwy, yn arddercho g

dros ben. Bron na ddywedem fod yr esboniwr, fel y Cristion, yn cyrhaedd ei berffeithrwydd yn adgyfodiad y meirw.

Ceir yma i ddechreu eglurhâd ar syniadau Plato ac Aristotle ar y berthynas rhwng y corff a'r enaid—y blaenaf yn gosod y corff fel gwrthgyferbyniad i'r enaid, ac yn ffynnonell gwendid, yn garchar a bedd yr enaid; a'r olaf yn gosod yr enaid fel *ideal* y corff. Dangosir fod gwrthwynebrwydd sylfaenol rhwng syniad uchaf y pagan am ddyn â'r hyn a geir yn nysgeidiaeth Crist a'r Apostolion. Rhoddir hyn i gyfrif mewn rhan am y lle mawr a roddai yr Apostol yn ei weinidogaeth i athrawiaeth yr Adgyfodiad. Yna ni a gawn eglurhâd ar y gwahaniaeth a'r rhagoriaeth annhraethol rhwng yr athrawiaeth Gristionogol am yr adgyfodiad a syniadau yr athronwyr paganaidd. Nid yw yr ymdriniaeth hon yn faith, ond prin y tybiwn fod dim yn y llyfr yn fwy meistrolgar. Rhoddwn yma yr hyn a farnwn yn un o'r darnau mwyaf ysplenydd yn yr holl gyfrol, o ran ëangder, grym a dysgleirdeb y meddyliau (*t.d.* 387):—

Nid yw y Testament Newydd yn dyweyd dim ar ddyrysbwnc yr athronwyr o anfarwoldeb yr enaid. Nis gellir canfod dim o olion ymresymiadau y Phædo yn Epistolau Paul. Ond y mae efe yn dysgu athrawiaeth ardderchocach—fod bywyd diddiwedd yn aros dynion ar ol angeu, bywyd yn yr hwn y bydd corff yn gystal ag enaid yn y pen draw yn cyfranogi.

Y mae y syniad hwn mewn cysylltiad agos â Christyddiaeth (*Christology*) yr Apostol, neu, dylem yn hytrach ddyweyd, yn tarddu allan o hono. Y mae Mab Duw wedi dyfod yn ddyn. Y mae yr ysbrydol wedi dyfod i mewn i hanesyddiaeth ddynol, ac wedi trawsffurfio dadblygiad yr hiliogaeth i sylweddoliad o ddrychfeddyliau Dwyfol. Cynnysgaeddir hyd yn nôd natur âg agoriëydd o bosibilrwydd goruwchnaturiol a diddiwedd. Heb athrawiaeth yr ymgnawdoliad, ni buasai drychfeddwl arddunol yr Apostol o'r adgyfodiad yn ddim ond chwareuad y dychymyg. Buasai naill ai wedi suddo i dir isel materolaeth ddaearol Parsees ac Iuddewon, neu ynte—yr hyn sydd fwy tebygol—wedi lluchio pob cyfryw syniadau daearol i'r gwynt, ac wedi derbyn athrawiaeth ysbrydol Plato, felly yn aberthu ei syniad mawreddog o gysegriad pob peth crëedig i wasanaeth Crist. Yr athrawiaeth oedd gan St. Paul yn ganolbwynt oedd undeb dynion trwy ffydd â'r Crist byw, yr hwn yw yr Ysbryd yn bywhâu. Yn rhinwedd yr undeb hwn y mae corff ac enaid yn aros, er wedi eu gwahanu yn l'eol trwy farwolaeth, mewn undeb personol â'u gilydd; ac fel y mae hollalluogrwydd bywyd-gyfranol Crist yn dyrchafu bywyd yr enaid i fywyd uwch yr ysbryd, felly y mae yn newid y corff, trwy adgyfodiad, o eneidiol i ysbrydol. Fel hyn rhydd athrawiaeth yr ymgnawdoliad ystyr newydd a rhyfeddol i'n bodolaeth gorfforol ac i holl gwrs natur, tra y mae yn rhoddi llifeiriant o oleuni ar dywyllwch marwolaeth.

Oddiwrth hyn arweinir ni i ddysgwyl y bydd ymdriniaeth yr Apostol â'r pwnc yn troi ar ei syniad am Berson Crist; a dyna yw y ffaith. Fod Crist yn awr yn byw mewn corff dynol; fod y Crist hwn yn Ysbryd yn rhoddi bywyd; dyma y syniadau cyferbyniol ond cyd-ddibynol ar eu gilydd o amgylch y rhai y mae prif feddyliau y bennod yn ymgrynhoi. Mewn gwirionedd, helaethiad yw ymresymiad yr Apostol ar eiriau Crist: "Yr hwn sydd yn bwyta fy nghnawd I, ac yn yfed fy ngwaed I, sydd ganddo fywyd tragywyddol, a myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf" (Ioan vi. 54).

Teimlem fod un frawddeg yn neillduol yn y dyfyniad hwn yn un o'r engreifftiau goreu yn y llyfr o rymusder ac ëangder meddwl (*massiveness and breadth of thought*). Gosodiad ëang neu *generalization* mawr ydyw; rhydd y syniad mwyaf efengylaidd yn y ffurf fwyaf athronyddol; a chawn ynddi athroniaeth trefn iachawdwriaeth wedi ei wasgu i un frawddeg gynnwysfawr:—

The Son of God is become man. The spiritual has entered into human history, and transformed the development of the race into a realization of Divine ideas.

Ystyriwn fod golygiadau dyfnion ac ysbrydol yr Esboniad hwn ar y *corff* yn gyferbyniol i'r cnawd, ar undeb a chymundeb y saint â Christ yn peri cyfranogiad o'i fywyd Ef i'r holl natur, nes rhoddi ynddynt hedyn corff yr adgyfodiad, ac ar yr adgyfodiad fel dadblygiad,—yn gyfraniad pwysig i Dduwinyddiaeth.

2. O ran *nodweddion cyffredinol* yr Esboniad, yr ydym eisoes o angenrheidrwydd wedi cyffwrdd â hwynt wrth geisio darlunio *dull* yr awdwr o esbonio. Gallwn eto nodi fod yma gyfuniad nodedig o feddwl a dysg athronyddol â syniadau ac ysbryd efengylaidd. Ceir yma feistrolaeth ar fanylion ac ymafaeliad *(grasp)* cryf ar egwyddorion. *Platonist* wrth gwrs yw yr awdwr—*synthetic* yw prif nodwedd ei feddwl. Ond bron na ddywedem fod Plato ac Aristotle i'w gweled yn y gwaith hwn "wedi d'od ynghyd." Y mae yr *analytic* a'r *synthetic*—y gallu i ddeol ac i gyfuno—yn ymddangos yma mor nodedig â'u gilydd. Cydgyferfydd yma hefyd ddysgeidiaeth a phelydr yn fynych o fyd dychymyg sydd yn cyfranu llewyrch a bywyd—elfen o nerth rhyfeddol *(vigour)*, nerth meddwl a grymusder ymadrodd—ac fel y sylwa un o'r adolygwyr Seisonig, duwinyddiaeth sydd ar unwaith yn uniongred, ac yn gatholig a beirniadol, mewn cyffyrddiad âg agweddau a chynnydd meddwl crefyddol a gwyddorol. Y mae y llyfr drwyddo yn *masterly*, ac yn dangos fod yr awdwr o ran galluoedd a chyrhaeddiadau amryfal wedi ei gyflawn ddodrefnu i'r gwaith.

Nid ydym yn cydolygu â *Principal* Edwards ymhob syniad nac ymhob esboniad ar adnodau neu eiriau. Ei olygiad ef ar i. 30, "yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd ac yn brynedigaeth," ydyw—o ran perthynas y pedwar hyn â'u gilydd, fod y tri olaf yn eglurhaol o'r blaenaf:—"yn ddoethineb, *sef* yn gyfiawnder, &c." Dwg Mr. Edwards resymau medrus, ieithyddol yn benaf, dros y golygiad hwn. Ond gan y goddefa yr iaith, gwell genym ni yr hen olygiad, â'r hwn y cytuna y mwyafrif o'r esbonwyr, fod y tri olaf yn syniadau ychwanegol at y blaenaf. Y mae y pedwar fel hyn yn cyfateb i anghenion mawr cyflwr ysbrydol dyn, ar gyfer pedair ffurf ei drueni—tywyllwch, euogrwydd, halogrwydd a chaethiwed. Ac y maent hefyd fel hyn yn cyflwyno gwrthgyferbyniad naturiol â'r hyn a ddywedasai yr Apostol am yr hyn yw credinwyr ynddynt eu hunain ac yn nghyfrif y byd:—ffôl-bethau. . . doethineb; gwân-bethau . . cyfiawnder; pethau dirmygus . . sancteiddrwydd; pethau nid ydynt. . . prynedigaeth (bodolaeth newydd ysbrydol, ac felly gwirioneddol). Dylem ddyweyd fod Mr. Edwards yn addef, os dewisir y golygiad hwn, nad yw y gwrthgyferbyniad (yr hwn sydd agos yr un peth a'r uchod) a awgrymir gan Bengel, yn annaturiol.

Eto, ar xi. 1: "Byddwch ddilynwyr i mi, megys yr wyf finnau i Grist," dywedir fel hyn:—"Nid ydym yn cael yn Epistolau St. Paul y syniad o fywyd daearol Crist fel patrwn neu gynllun yn ol yr hwn y dylai dynion ffurfio eu bywyd. Y mae ei feddwl wedi ei lyncu yn mawredd yr hunanymwadiad a amlygwyd yn ngwaith Mab Duw yn cymeryd arno agwedd gwas ac yn ei ddarostwng ei Hun trwy ei ufudddod i angeu y groes." Y mae y sylw yn un tarawiadol a phrydferth. Ond nid ydym yn credu ei fod yn sylw cywir fel eglurhâd ar yr absennoldeb yn Epistolau Paul o'r syniad o fywyd

Crist fel cynllun i'w ddilyn. Cynnygiwn yr ystyriaethau canlynol fel rhesymau :—

(1.) Yn lle *cyferbynu* bywyd Crist fel esiampl â'i ymddarostyngiad, fel y gwneir uchod, onid yr hyn sydd iawn yw eu *huno?* Yr oedd yr ymddarostyngiad *yn* esiampl—dyma *oedd* yr esiampl. Sylwa Mr. Edwards ar yr un adnod, "Pa bryd bynag y crybwyllir esiampl Crist yn y Testament Newydd, fod y cyfeiriad at anhunangarwch hollol yn y naill ffurf neu y llall." Yr oedd ei holl fywyd yn un weithred o hunan-aberthiad yn cyrhaedd ei heithaf yn ei angeu, felly y mae yr oll gyda'u gilydd yn esiampl; yn unol â'r paragraph mawr ar yr ymddarostyngiad (Phil. ii. 4, 5, &c). (2.) Nid oes dim yn fwy nodweddiadol o addysg y Testament Newydd na rhoddi pwys ar *ysbryd* yn hytrach nag ar *reolau*—ar egwyddorion yn hytrach na gorchymynion pendant. Felly nid dynwarediad o fanylion bywyd Crist a gymhellir, yr hyn a fuasai yn dirywio i ffurfioldeb a deddfoldeb Phariseaidd, ond yr *ysbryd* oedd yn ei lywodraethu ef—y meddylfryd. Ond cael hwnw i deyrnasu oddimewn, dilynir ei esiampl ef o anian, heb ymdrech: "Bydded ynoch y *meddwl* yma yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu," &c.: Phil. ii. 5. "Chwithau hefyd byddwch wedi eich *arfogi â'r un meddwl,*" 1 Pedr iv. 1. (3.) Yr oedd bywyd Crist yn rhy agos, o bosibl, o ran amser, pan oedd Paul yn ysgrifenu, i ddyfod i'w lawn rym fel esiampl i'w ddilyn. Onid yw hyny yn perthyn yn hytrach i gyfnod diweddarach yn nadblygiad meddwl Cristionogol? (4.) Nid oedd hanes bywyd Crist ganddynt hwy fel y mae genym ni. Ac er fod yr Epistolau o gymhwysiad cyffredinol i'r Eglwys hyd ddiwedd amser, yr oeddynt yn cael eu cyfaddasu yn neillduol at amgylchiadau yr amser yr ysgrifenwyd hwynt. Yr oedd yr Epistolau o flaen yr Efengylau. Y mae lle i gredu fod Epistolau boreuaf Paul (ac yr oedd y 1af Cor. yn un o honynt) wedi eu hysgrifenu cyn bod yr un o'r Efengylau wedi eu cyhoeddi. Ac yr oedd ei holl Epistolau wedi eu hysgrifenu ymhell cyn cyhoeddiad yr oll o'r Efengylau. Felly nid oedd ond traddodiad yn aros am fanylion ei Fywyd, heblaw yn nghof y rhai a fuasent gydag Ef, hyd gyhoeddiad yr Efengylau. (5.) Hefyd, credwn fod yr awdwr ei hun yn rhoddi gwell rheswm am hyn mewn rhan arall o'r llyfr, ar xv. 19 (t. d. 408), pan y dywed nad oedd yr Apostolion yn adnabod Crist yn ol y cnawd mwyach; fod yr Iesu gogoneddedig fel ffynnonell bywyd ysbrydol yn lle yr Iesu yn ystâd ei ddarostyngiad fel cynllun bywyd daearol—fod ei fywyd ar y ddaear wedi ei weddnewid i fywyd goruwchnaturiol gan yr adlewyrchiad arno o'r bywyd yn y nef. "Yr Arglwydd yw yr Ysbryd."

Gwir iawn oedd y sylw a wnaeth y Parch. D. Charles Davies, yn Nghymdeithasfa Pontrhydfendigaid, fod cyfaddasrwydd neillduol yn yr Esboniad hwn i ddeffro meddylgarwch. Yr oeddym wedi nodi amryw ddyfyniadau i ddangos y nodwedd hon—fel y mae yn *awgrymu* cymaint, heblaw yn cyflwyno gwybodaeth uniongyrchol, yn agor drysau i randiroedd newyddion a chyfoethog. Gwnelai *Text-book* ardderchog mewn dosbarth o efrydwyr, neu wŷr ieuainc digon pell ymlaen i allu ei ddefnyddio; byddai iddynt fel yspïenddrych cryf yn dwyn bydoedd newyddion i'r golwg, y rhai nad oeddynt o'r blaen yn gwybod eu bod. I bob efrydydd gwirioneddol—i bob un sydd

yn *caru* gwybodaeth, a'r wybodaeth uchaf, bydd yr Esboniad hwn yn borfa fras. Nis gallwn ddymuno yn well i wŷr ieuainc ein gwlad, ac i bregethwyr yn gyffredinol, nag iddynt ei ddarllen, myfyrio arno ac aros ynddo, nes "oddimewn ei dreulio" a'i feddiannu yn eu deall a'u hysbryd.

GRIFFITH PARRY.

---

# BORD GRON.

## DADGYSYLLTIAD A DADWADDOLIAD YN NGHYMRU

### III.

NID yw yn rhyfedd fod yr Eglwyswyr yn eu cyfyngder yn gorfod defnyddio aml o resymau gweiniaid yn erbyn Dadgysylltiad a Dadwaddoliad yr Eglwys Wladol, ond prin y buasem yn dysgwyl ei bod mor galed arnynt fel nas gallasent hebgor rhesymau cryfach nag a ddefnyddia y Parch. E. Hughes i'w hamddiffyn yn y TRAETHODYDD. Dadleua nad yw Eglwys Loegr yn sefydledig mwy na'r Enwadau Anghydffurfiol, a dywed fod y Llyfr Gweddi wedi ei drefnu gan yr Eglwys ei hunan, a'i fabwysiadu yn union yn yr un dull ac y trefnwyd, y mabwysiadwyd, ac y "sefydlwyd" *Cyffes Ffydd* y Methodistiaid Calfinaidd yn y flwyddyn 1826. Nid oes unrhyw angenrheidrwydd ateb y ddadl eiddil hon er argyhoeddi y wlad, nac ychwaith i rwystro i'r dadleuydd gamarwain y genedl. Y mae Cymru yn deall yn dda ac yn gweled ac yn teimlo bob dydd y gwahaniaeth hanfodol rhwng cysylltiad yr Eglwys â'r Wladwriaeth, a'r cysylltiad sydd rhwng yr Enwadau Anghydffurfiol â'r cyfryw; ond gan fod yr Eglwyswyr yn tybio fod y ddadl yn deilwng i ymddangos ar ddalenau y TRAETHODYDD, ymgymerwn â'i hateb.

Dywed Mr. Hughes i'r ymadrodd "sefydledig trwy gyfraith" gael ei ddefnyddio yn Neddf Unffurfiaeth 5 a 6 Edward VI. c. 1, mewn cysylltiad â'r Llyfr Gweddi, ac nid mewn cysylltiad â'r Eglwys; ond ymhellach ymlaen, yn tu dalen 373, geilw y Llyfr Gweddi yn *Trust Deed* yr Eglwys. Gan mai y gyfraith a sefydlodd *Trust Deed* yr Eglwys, anhawdd yw gweled gwahaniaeth rhwng hyny a sefydlu yr Eglwys trwy gyfraith. Addefa Mr. Hughes yr arferwyd yr ymadrodd ar ol hyny yn 1689, mewn anerchiad at y Brenin, a'i fod yntau wedi defnyddio yr un ymadrodd yn ei atebiad; ond dywed mai damweiniol ydoedd hyny. Damweiniol neu beidio, amlwg yw y defnyddiwyd yr ymadrodd gan y Brenin a'i Anerchwyr, am eu bod yn ystyried mai

sefydledig trwy gyfraith ydoedd yr Eglwys Wladol. Gŵyr Mr. Hughes yn dda, neu o leiaf dylai wybod, fod yr unrhyw ymadrodd yn britho tu dalenau lliaws o Ddeddfau Seneddol o'r pryd hyny hyd yn awr. Ofer yw ceisio dadleu fod deddflyfrau Prydain Fawr yn cyfeiliorni pan yn galw yr Eglwys Wladol yn Eglwys Sefydledig trwy Gyfraith.

Dywed Mr. Hughes y cytunodd y Methodistiaid ar Gyffes Ffydd a Rheolau Dysgyblaethol yn Sasiynau y Bala ac Aberystwyth, ac y cysylltwyd hwynt â'r Wladwriaeth Awst 10fed, 1826. Ac er mwyn dangos fod yr Eglwys wedi ffurfio ei herthyglau mor annibynol ar y Llywodraeth ag y luniwyd Cyffes Ffydd y Methodistiaid, dyfyna y penawd canlynol i'r Erthyglau o'r Llyfr Gweddi: "Erthyglau a gytunwyd arnynt gan archesgobion ac esgobion y ddwy dalaeth a'r holl offeiriaid yn y Gymanfa a gynnaliwyd yn Llundain yn y flwyddyn 1562." Ond wrth gyfeirio at y Llyfr Gweddi, gwelwn fod y penawd yn myned ymlaen i ddyweyd fod yr Erthyglau yn cael eu "hail-brintio trwy Orchymyn ei FAWRHYDI, gyda'i Frenhinol Ddeclarasiwn o'u blaen hwynt." Ac wrth edrych ymlaen i'r "Brenhinol Ddeclarasiwn" gwelwn ei fod yn cynnwys y geiriau canlynol: "Tybiasom gan hyny, ar bwyll ystyriol, ac wrth gynghor cynifer o'n hesgobion ag a ellid yn gyfleus eu galw ynghyd, yn gymhwys wneyd y Declarasiwn sy'n canlyn: Fod Erthyglau Eglwys Lloegr . . yn cynnwys gwir Athrawiaeth Eglwys Loegr, yn gytunol â Gair Duw: *y rhai yr ydym gan hyny yn eu sicrhau ac yn eu cadarnhau; gan orchymyn i'n holl Ddeiliaid serchog barhau yn yr unffurf hono o broffes, a gwahardd yr Anghydfod lleiaf oddiwrth y dywededig Erthyglau.*"

Yn y flwyddyn 1571, pasiwyd Act yn gorfodi pob gŵr Eglwysig i gydsynio â, a thanysgrifio yr Erthyglau, dan boen cael ei amddifadu o'i holl swyddau Eglwysig, a dywed yr Act fod yr Erthyglau wedi eu gosod allan "*drwy awdurdod y Frenhines Elizabeth.*" Yr un modd gosodwyd y Llyfr Gweddi yn drefn gwasanaeth i'r Eglwys drwy awdurdod y gallu gwladol yn unig.

Drachefn pasiwyd Act yn nheyrnasiad Edward VI. (2 and 3 Ed. VI. c. 1), yr hon ar ol rhagymadroddi fod y "Brenin, drwy gynghor ei Arglwydd Amddiffynydd"—*guardian* y Brenin, yr oedd ef ei hun dan oed—"a'i Gynghor, wedi penodi Archesgob Caergrawnt ac amryw esgobion a duwinyddion dysgedig a doeth, i dynu allan drefn addoliad Dwyfol;" yr hyn y dywedir a wnaethpwyd ganddynt, a darfu iddynt ei osod allan mewn llyfr a elwir "Y Llyfr Gweddi Gyffredin a Gweinidogaeth y Sacramentau," &c. Yna ä yr Act ymlaen i ddyweyd fod y Senedd yn deddfu (*enact*) fod i'r holl weinidogion ymhob Eglwys Gadeiriol a Phlwyfol i arfer y cyfryw; ac os gommeddant, eu bod i gael eu carcharu am chwe' mis a fforffedu gwerth eu bywoliaethau am flwyddyn am y trosedd cyntaf; ac am yr ail drosedd, i fforffedu eu holl fywoliaethau a'u carcharu am flwyddyn; ac os troseddant y drydedd waith, eu bod i gael eu carcharu am eu hoes. Cadarnhäwyd yr Act hon gan yr Act 5 & 6 Ed. VI. c. 1; a diddymwyd hi gan Mari Waedlyd (1 Mar. sess. 2, c. 2). Ail sefydlwyd deddf Edward VI. gan ddeddf Unffurfiaeth Elizabeth (1 Elizth. c. 2), Rhagymadrodd yr hon ddeddf a ddywed,—"Fod yn nheyrnasiad Edward VI. drefn unffurf o Wasanaeth a Gweddi, ac o weinyddiad y

Sacramentau, defodau, a seremoniau yn yr Eglwys, "*wedi eu hawdurdodi gan Act Seneddol a basiwyd yn y 5ed a'r 6ed flwyddyn o'i deyrnasiad,*" ac fod yr Act hono wedi ei diddymu gan Act a basiwyd yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Mary; ac yna ä ymlaen i ddeddfu "*drwy awdurdod y Senedd bresennol,*" fod yr Act o Ddiddymiad a basiwyd gan Mary i gael ei llwyr ddiddymu, ac fod y Llyfr Gweddi, &c., "gyda'r cyfnewidiadau ynddo a'r ychwanegiadau ato a ychwanegwyd ac a benodwyd gan yr Act hon, i fod mewn grym;" ac ä ymlaen i orfodi pob offeiriad a gŵr Eglwysig, dan boen cosbedigaethau trymion, i ddefnyddio y Llyfr Gweddi diwygiedig.

Gwnaed cyfnewidiadau wedi hyn yn y Llyfr Gweddi gan Act Unffurfiaeth Charles yr Ail. Dywed yr Act hono ddarfod i'r Brenin roddi commissiwn dan Sêl Fawr Prydain i amryw Esgobion a Duwinyddion eraill i wneyd y cyfnewidiadau, ac yna fod y *Brenin* wedi galw ynghyd Gonfocasiwn y ddwy dalaeth, ac wedi gweled yn dda eu hawdurdodi a'u herchi i'w adolygu; ac yna fod iddynt gyflwyno y cyfryw i'r Brenin i'w caniatâu a'u cadarnhâu. Yna, ar ol hysbysu fod hyny oll wedi ei wneyd, dywed: "Bydded yn Ddeddf gan odidocaf Fawrhydi y Brenin, trwy gynghor a chyda cydsyniad yr Arglwyddi Ysbrydol a Thymmorol a'r Cyffredin, ymgynnulledig yn y Senedd bresennol, a thrwy awdurdod yr unrhyw," fod i'r holl Weinidogion Eglwysig, dan boenau llymion, fel arferol, i arfer y Llyfr Gweddi diwygiedig.

Pa gyfatebiaeth sydd rhwng hyn oll â'r dull y ffurfiwyd yr Enwadau Ymneillduol? Y mae yr holl Enwadau Ymneillduol wedi eu ffurfio ganddynt hwy eu hunain. Cymdeithasau gwirfoddol ydynt ac oeddynt o'u dechreuad cyntaf. Yn hyn o beth nid oes unrhyw wahaniaeth rhyngddynt a chymdeithasau neu bartneriaethau masnachol. Nid yw *Model Deed* y Wesleyaid, *Trust Deeds* yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr, na *Constitutional Deed* y Methodistiaid, yn ddim amgen o ran eu ffurfiad a'u dyben na *Partnership Deeds* perthynol i *Firms*, *Articles of Associations* perthynol i *Limited Companies*, *Deeds of Settlement* perthynol i *Joint Stock Companies*, neu reolau perthynol i Gymdeithasau Adeiladu neu Gyfeillgar. Dyben yr oll ydyw gosod allan amcan y gymdeithas, ynghyd a'r rheolau ar ba rai y cytunir i weithredu, fel ag i rwystro ymrafaelion rhwng yr aelodau gyda golwg ar y materion hyny. Yn wir, dyma yw amcan ysgrifenu pob cytundeb a wneir rhwng dyn a dyn, sef osgoi ymrafael ynghylch y telerau ar ba un y gwneir y cytundeb. Yr unig gysylltiad rhwng y cyfryw â chyfraith ydyw, fod y gyfraith ymhob achos yn gorfodi yr holl bleidiau mewn unrhyw gytundeb i sefyll at y cytundeb a wnaethpwyd ganddynt.

Y mae Mr. Hughes yn pwyso ar y ffaith nas gall y Methodistiaid gyfnewid pwnc o athrawiaeth heb gael gweithred Seneddol i hyny. Y mae hyny yn wir, ond y mae yn wir yn unig am fod y Methodistiaid eu hunain wedi cytuno na fydd iddynt wneyd hyny; ac y mae y gyfraith yn gorfodi pob Methodist i sefyll at y cytundeb. Y mae gan y Methodistiaid hawl trwy eu Cymdeithasfäoedd Chwarterol i newid Rheolau Dysgyblaethol, am fod y Methodistiaid eu hunain wedi cytuno fod i'r Cymdeithasfäoedd Chwarterol feddu yr hawl hono; ac nid oes gan y Cymdeithasfäoedd hawl i gyfnewid pwnc o athrawiaeth am fod

y Methodistiaid eu hunain wedi cytuno nad ydynt i feddu y cyfryw hawl. Yn y naill achos a'r llall y mae y gyfraith yn gorfodi pawb i sefyll at y cytundeb a wnaed ganddynt. Yn yr un modd, nis gall unrhyw gymdeithas fasnachol newid ei rheolau ond yn unig o fewn y terfynau a osodwyd i lawr yn y trefniad gwreiddiol y cytunwyd arno gan y gymdeithas ei hun. Er engraifft, nis gall y *North and South Wales Bank* ddefnyddio cyllid y Banc at adeiladu capelau, neu i brynu a gweithio chwarelau, neu i unrhyw ddyben arall croes i'r dybenion y cytunwyd arnynt ac a osodwyd i lawr yn *Deed of Settlement* y Banc; a phe byddai i *Directors* y Banc, gyda chydsyniad pob *Shareholder* ond un, ddefnyddio cyllid y Banc i'r fath ddybenion, gallai yr un *Shareholder* hwnw a fyddai yn anghytuno, rwystro y fath gamddefnyddiad o'r cyllid. Yn unol â hyn y penderfynwyd yr achos Jones *v.* Stannard gan yr Is-Ganghellydd Hall. Yr oedd y *Trust Deed* y cytunasid yn wirfoddol arni gan sylfaenwyr y capel ymha un y codwyd yr ymrafael, yn trefnu fod athrawiaethau penodol i gael eu pregethu yn y capel, ac felly ni chaniatäwyd i fwyafrif yr aelodau newid yr athrawiaethau yn groes i ddymuniad y lleiafrif. Y rheswm am hyny oedd fod aelodau y capel, pan gychwynwyd yr achos, oll wedi cytuno yn wirfoddol na fyddai i'r fath gyfnewidiadau gymeryd lle, ac nid mewn un modd ar gyfrif fod gan y Wladwriaeth unrhyw ran yn sefydliad yr achos, neu hawl i ymyryd âg ef.

Ymddengys fod Mr. Hughes, yn ei ddiniweidrwydd, yn tybio fod cofrestriad *Constitutional Deed* y Methodistiaid yn llys y *Chancery* yn brawf o gysylltiad y Corff Methodistaidd â'r Wladwriaeth. Y mae yn anmhosibl darllen y gosodiad hwn o'i eiddo heb wenu. Dyben y cofrestriad yn unig yw cydymffurfio â'r *Mortmain Acts.* Pasiwyd y *Mortmain Acts* ar y cyntaf er attal gwanc yr Eglwys Babaidd. Yn yr oesoedd tywyll byddai mynachod ac offeiriadon yr Eglwys hono yn cymeryd mantais ar wendid ac ofergoeledd tirfeddiannwyr pan ar eu gwely angeu i'w hud-ddenu i roddi eu tiroedd yn eu hewyllysiau i'r Eglwys Babaidd, gan eu harwain i gredu y gallent, yn y modd yma, sicrhâu iddynt eu hunain ollyngdod buan o'r purdan. Trwy yr ystrywiau hyn cyfrifir fod yr Eglwys Babaidd ar un adeg wedi cael i'w dwylaw gymaint ag un ran o dair o diroedd y deyrnas. I attal y fath gam, trefnodd y gyfraith na ellid trosglwyddo tir i ddybenion elusengar neu grefyddol heb ganiatâd y Llywodraeth, ac yn y diwedd deddfwyd na fyddai i dir gael ei drosglwyddo i'r dybenion hyny oddieithr fod y trosglwyddiad wedi ei *gwblhâu* ddeuddeng mis o leiaf cyn marwolaeth y trosglwyddwr, a'r weithred o drosglwyddiad wedi ei chofrestru yn llys y *Chancery* o fewn chwe' mis ar ol ei gwneuthuriad. Yr amcan oedd gwneuthur yn anmhosibl trosglwyddo tir at y cyfryw amcanion drwy ewyllys, ac amcan yr orfodaeth i gofrestru ydoedd rhoddi cyfleusdra i etifedd a theulu y trosglwyddwr i weled mewn modd sicr a didrafferth ar ba amseriad, am ba hyd, ac ar ba delerau y gwnaed y trosglwyddiad. Y mae y Llywodraeth wedi trefnu fod trosglwyddiad eiddo i gael ei gofrestru mewn llys cyhoeddus mewn amryw o amgylchiadau eraill; er engraifft, mae trosglwyddiad neu wystl-weithred ar eiddo personol (*bills of sale*) i gael eu cofrestru yn Llys y *Queen's Bench* er galluogi gofynwyr y trosglwyddwr i wybod am y trosglwyddiad.

Yn yr un modd rhaid i drosglwyddiad llongau gael eu cofrestru yn y *Custom House;* rhaid i bob trosglwyddiad ar dir yn Middlesex a Swydd Gaerefrog gael ei gofrestru mewn swyddfëydd a sefydlwyd i'r dyben hwnw. Felly hefyd y mae yn rhaid cofrestru rheolau y cymdeithasau adeiladu a chyfeillgar yn swyddfa y Cofrestrydd, ac yn yr un modd y mae yn rhaid cofrestru *Articles of Association* perthynol i. *Limited Liability Companies.* Felly, os oes grym yn nadl Mr. Hughes, y mae holl berchenogion *bills of sale*, holl berchenogion llongau, holl dirfeddiannwyr Middlesex a Swydd Gaerefrog, pob cymdeithasau adeiladu a chyfeillgar, ynghyd a holl *Limited Liability Companies* y wlad yn sefydledig drwy gyfraith yn yr un modd. Y mae y ffolineb i ba un y mae y ddadl yn arwain yn brawf o ffolineb y ddadl.

Pwysa Mr. Hughes ar y ffaith fod y gair "sefydlu" yn cael ei ddefnyddio yn y *Constitutional Deed.* Ymddengys ei fod yn meddwl mai yr un peth yw "sefydlu" a "sefydlu drwy gyfraith." Wrth gwrs y mae y Corff Methodistaidd wedi ei sefydlu; felly hefyd y mae pob cymdeithas grefyddol, elusengar, neu fasnachol, ag sydd mewn bod wedi eu sefydlu. Ond gan bwy? Gan yr aelodau a'u cychwynasant yn unig, ac y mae pob person ag sydd wedi hyny yn dyfod yn aelod neu yn *shareholder* o honynt, trwy ei waith yn ymuno, yn cydsynio â'r sefydliad. Ond y mae sefydliad trwy gyfraith yn golygu fod egwyddorion y sefydliad a'r rheolau yn ol pa rai y mae i'w ddwyn ymlaen, wedi eu deddfu yn unig gan y gyfraith, hyny yw—y Llywodraeth Wladol. Y mae Byrddau Ysgol, Byrddau Iechyd, *Municipal Corporations*, Carcharau, *Convicts Establishments*, y Fyddin, y Llynges, yr Heddgeidwaid, y Llysoedd Gwladol, y *Charity Commissioners*, yr *Ecclesiastical Commissioners*, ynghyd a'r *Eglwys Wladol*, wedi eu sefydlu *drwy gyfraith.* Y mae yr egwyddorion ar ba rai y sylfaenwyd, a'r rheolau dysgyblaethol yn ol pa rai y dygir ymlaen y sefydliadau hyn wedi eu trefnu gan y Llywodraeth, ac nid gan ddeiliaid y sefydliadau. Nid yw rheolau y Fyddin wedi cael eu trefnu gan y milwyr, mwy nag y mae rheolau y *Convicts Establishments* wedi eu trefnu gan y *convicts*, ond gan y gyfraith yn unig. Dichon fod Mr. Hughes yn ymddiried yn y ffaith fod yr erthyglau wedi cael eu dodi wrth eu gilydd gan esgobion a duwinyddion eraill; ond gwnaed hyny gan yr esgobion a'r duwinyddion yn ngrym eu penodiad gan y Llywodraeth i'r cyfryw waith. Felly mae parotoad deddfau seneddol yn gyffredin yn cael eu hymddiried yn y lle cyntaf i *parliamentary draftsmen* cyfarwydd â'r mater y bwriedir deddfu arno, ac yn gyffelyb yr ymddiriedir tynu allan weithredoedd cyfreithiol rhwng dyn a dyn i gyfreithwyr; ond y mae y naill a'r llall yn derbyn eu grym a'u hawdurdod *yn unig* oddiwrth y gallu a wnaeth y penodiad ac a fabwysiadodd ac a gadarnhaodd y gwaith, sef y Llywodraeth Wladol yn y naill achos, a'r pleidiau sydd yn arwyddo y weithred yn y llall.

Cydolygaf â Mr. Hughes fod y pwnc o hawl y Wladwriaeth i'r eiddo sydd yn llaw yr Eglwys ei hun yn destun erthygl lled faith, ond gofynaf am dipyn o ofod y TRAETHODYDD i wneyd ychydig sylwadau ar resymau Mr. Hughes. Ceisia gyfarfod y ddadl fod yr eiddo yn eiddo cenedlaethol am fod yr Eglwys yn Eglwys genedlaethol, trwy ddyweyd fod amwysedd yn y gair "cenedlaethol." "Ystyr y gair," meddai,

"yn y cynsail, 'Eglwys Loegr yn Eglwys genedlaethol' ydyw, fod yr Eglwys yn gweinyddu er lles y genedl, ac nid golygu y genedl fel y meddiannydd." Y mae holl feddiannau yr Eglwys yn cael eu dal gan y clerigwyr ar y telerau fod iddynt wasanaethu yr holl genedl, ac nid unrhyw gyfran o honi; ac y mae yn rhaid iddynt wasanaethu y genedl yn y drefn a'r dull a benodwyd gan y Llywodraeth. Os gwrthodant wneyd hyny, cymerir yr eiddo gan y Llywodraeth oddiarnynt drwy awdurdod y Ddeddf Unffurfiaeth, a rhoddir ef i eraill a fyddant yn barod i weithredu yn ol y rheolau a drefnwyd gan y Llywodraeth. Felly y dadfeddiannwyd dwy fil o glerigwyr Eglwys Loegr yn amser Siarl yr Ail, am iddynt wrthod cydffurfio â'r trefniadau a'r rheolau a osodwyd i lawr yn y ddeddf hono. Tybia Mr. Hughes ei fod yn dymchwelyd rhesymau y dadgysylltwyr trwy ddyweyd:—" Byddai yr un mor gywir i ymresymu fel hyn:—Mae Prifweinidog Lloegr yn Brifweinidog cenedlaethol, felly mae eiddo Prifweinidog Lloegr yn eiddo cenedlaethol. Neu bwriwch fod A. B. yn *overseer* plwyf; yn ol ymresymiad y dadgysylltwyr gellir dyweyd fod A. B. yr *overseer* yn *overseer* plwyfol, ac felly fod eiddo A. B. yn eiddo plwyfol," &c. Derbyniwn y gymhariaeth gyda llawenydd, a dywedwn: Os oes unrhyw eiddo yn gysylltiedig â swydd Prifweinidog Lloegr a feddiennir ganddo yn unig yn rhinwedd ei swydd fel Prifweinidog, a'r hyn, o ganlyniad, a gyll pan y collo ei swydd, ac a roddir i'w olynydd i'w feddiannu ganddo yntau tra y pery yn ei swydd, dywedwn yn ddibetrus mai eiddo cenedlaethol ydyw yr eiddo hwnw, hyd yn nod pe byddai y tŷ yn Downing-street a feddiennir gan Brifweinidog Lloegr ar y pryd wedi ei roddi gan ryw henafiaid duwiol yn y bedwaredd ganrif i fod yn feddiant am byth i Brifweinidogion Lloegr yn olynol ymhob oes, fel rhan o'u cyflog am wasanaethu y genedl. Dywedwn yn gadarn mai eiddo y genedl fyddai y cyfryw dŷ; a phe penderfynai y genedl ddiddymu y swydd o Brifweinidog, byddai ganddi berffaith hawl i ddefnyddio y tŷ i ryw bwrpas arall. Yn yr un modd, pe byddai fferm neu dyddyn yn gysylltiol â'r swydd o *overseer* unrhyw blwyf, ac yn cael ei feddiannu ganddo yn unig yn ngrym ei swydd, a thra y parhao ynddi, eiddo plwyfol fyddai y cyfryw fferm neu dyddyn. Wrth gwrs, ni freuddwydiai neb am ymyryd âg eiddo *private* y Prifweinidog neu yr *overseer*, gan y byddai yr eiddo hwnw yn perthyn iddynt fel personau unigol, yn annibynol ar eu swyddi. Yr un modd dywedwn fod yr eiddo sydd yn nwylaw y clerigwyr, a feddiennir ganddynt yn unig yn ngrym eu swydd, a thra y parhânt yn eu swydd, fel tâl am wasanaethu y genedl, yn eiddo cenedlaethol; ond ni freuddwydiai hyd yn nod y dadgysylltwyr anfad am ymyraeth dim âg eiddo *private* y clerigwyr. Bydd ei ŷch, ei asyn, a'r cwbl sydd eiddo y clerigwr yn ddiogel iddo. Tybed na wêl ein cyfaill oleuni newydd ar y gymhariaeth yr ymddengys ei fod yn meddwl cymaint o honi, wrth ei hail ystyried?

Nid yw Mr. Hughes yn gwadu yn uniongyrchol mai yr un rhai yn ngolwg y gyfraith ydyw deiliaid y Wladwriaeth ac aelodau yr Eglwys. Ond gofyna pa gyfraith? Ai y *Canon Law* ynte y *Common Law?* Y mae Mr. Hughes, wrth drin y rhan yma o'r pwnc, yn myned i gryn hwyl, yn ymgolli mewn ymholiadau, yn

ymwylltio mewn *notes of interrogation*, ac yn llefain nes deffro yr "adsain." Ceisiwn ddilyn ei resymau yn ostyngedig a didrwst, ond cyn ymgymeryd â diwallu gwanc Mr. Hughes am wybodaeth o barth i'r *Canon*, *Common*, a *Statute Law*, dymunwn wneyd sylw ar y ddadl "Felly tithau" a ddefnyddia. Dywed Mr. Hughes fod y *Toleration Act* a'r ddeddf 52 Geo. III. c. 155, sec. 11, yn rhoi hawl i bob dyn fynychu y gwasanaeth yn y capeli Ymneillduol, ac felly os ar hawl y genedl i fwynhâu gwasanaeth yr Eglwys y seilir ei hawl i'r eiddo, fod yr Enwadau Ymneillduol ar yr un tir. Wele hyn hefyd sydd wagedd! Gwir fod yr Actau Seneddol a enwyd yn gosod dirwy o ugain punt os cynnelir cyfarfod i addoli gan Ymneillduwyr a'r drws wedi ei gloi neu ei folltio. Teimlwn yn ddiolchgar i Mr. Hughes am dynu ein sylw at y creiriau sydd yn aros o'r hen orthrymderau ac erlidigaethau a ddyoddefodd ein tadau oddiar law yr Eglwys. Pe byddai perygl i ni laesu dwylaw yn achos Dadgysylltiad, ambell i gyfeiriad fel hyn i'n hadgoffa am ddyoddefiadau yr hen Anghydffurfwyr a fyddai yn sicr o adnewyddu ein zel ac o gryfhâu ein penderfyniad. Nid yw y cyfreithiau a enwyd gan Mr. Hughes yn sylfaenedig o gwbl ar hawl dybiedig y genedl i wasanaeth yr Anghydffurfwyr, ond yn hytrach ar elyniaeth a rhagfarn yr Eglwys yn erbyn rhyddid crefyddol. Hysbys yw i bawb na oddefid Anghydffurfiaeth cyn y *Toleration Act*. Ni chaniateid gan Lywodraeth Doryaidd ac Uchel-Eglwysig y Stuarts ac Ann i Ymneillduwyr ymgynnull i bregethu, i weddïo, neu addoli. Cosbid a charcherid pawb a wnai hyny. Dan y cyfreithiau gormesol yna y carcharwyd John Bunyan am ddeuddeng mlynedd. Gorfodid i bawb fyned i'r Eglwys Wladol; ond pan ddaeth William a Mary i'r orsedd cafodd yr Anghydffurfwyr ychydig o esmwythâd. Cafwyd hyny er gwaethaf Toryaid ac Uchel-Eglwyswyr y dyddiau hyny. Gan nad oedd eu hysbryd erlidigaethus yn tycio gyda'r Goron a'r Senedd, dygent yn erbyn yr Anghydffurfwyr gyhuddiadau o anffyddlondeb i'r Llywodraeth. Dywedent mai prif waith yr Anghydffurfwyr yn eu cyfarfodydd, os caniateid hwynt, fyddai cynllunio bradwriaeth yn erbyn y Llywodraeth. Mor debyg yw llid Uchel-Eglwysig ymhob oes! Felly gynt: "Y mae hwn yn dywedyd yn erbyn Cesar." Felly yn awr; cyhuddir ni o drin *politics* yn ein cyfarfodydd eglwysig. Rhyfedd fel y bydd celwydd yn rhedeg mewn teulu. Er na allai y blaid Eglwysig luddias y *Toleration Act*, llwyddasant drwy eu cabldraeth i gael rhoddi ynddi yr adranau y cyfeiria Mr. Hughes atynt fel nôd sarhaol ar Ymneillduwyr. Nis gallent bellach eu herlid, ond mynent eu sarhâu. Y mae y gyfraith yn awdurdodi yr heddgeidwaid i fynu mynediad i bob tafarn ar unrhyw adeg o'r nos, i edrych na bo yfed anghyfreithlawn yn cymeryd lle. Y mae yn eu hawdurdodi efo *search warrant* i fyned i dŷ dyn a dybir ei fod yn lleidr. Llwyddodd gelynion a gormeswyr Eglwysig yr hen Buritaniaid i beri ymddwyn atynt megys at ladron neu ddrwgweithredwyr. Cyfatebiaeth eto i'r hyn a gymerodd le ddeunaw can' mlynedd yn ol!

Ond dychwelwn at y Deddfau y mae Mr. Hughes yn dangos y fath awyddfryd canmoladwy i gael ychydig wybodaeth yn eu cylch. Gyda golwg ar y *Canon Law*, ni ymholwn beth a ddywed, gan nad oes grym ynddi; ond dywedwn yn ddibetrus fod y *Common Law*, cyfraith gyn-

henid y wlad, yn golygu fod deiliad o'r Llywodraeth Wladol, ac o herwydd hyny, yn ddeiliaid o'r Eglwys Wladol. Ond gofyna Mr. Hughes, os y *Common Law* a olygir, paham y dadleuir dros Ddadgysylltiad ar y tir fod mwyafrif y genedl yn Nghymru wedi troi eu cefnau ar yr Eglwys, a chyhudda ni o ddywedyd, "Y ni pïa yr eiddo," pan yn son am Ddadwaddoliad; ond nad ydym yn perthyn i'r Eglwys ac nad oes a fynom â hi pan y soniwn am Ddadgysylltiad. Os caniatâ Mr. Hughes i mi fenthyca y geiriau, dywedaf gyda golwg ar yr wrthddadl hon, Rhyfedd fel y twyllir y wlad drwy ymresymu ar amwysedd, fel yn yr engraifft yma. Gorwedd yr amwysedd yn y gair Eglwys. Defnyddir y gair mewn cysylltiad â'r Eglwys Loegr Wladol mewn dau ystyr. Arferir ef, (1) i ddynodi yr Eglwys hono fel Sefydliad Gwladol. Y mae pawb yn aelodau o'r Eglwys yn yr ystyr yna o'r gair. Nis gall neb fod yn ddeiliad Prydain heb fod yn aelod o'r Eglwys. Eglwys y Wladwriaeth ydyw, ac y mae holl aelodau neu ddeiliaid y Wladwriaeth yn meddu yr un hawl a'u gilydd ynddi. Y mae ganddynt oll hawl i'w chymundeb ac i wasanaeth ei swyddogion i fedyddio, priodi, a chladdu. Y mae gan bob trethdalwr yn ddiwahaniaeth hawl i fyned i'r *vestry* ac i bleidleisio ar bob mater a ddaw dan sylw, hyd yn nod i ethol y *churchwarden.* Ac y mae pob trethdalwr yn etholadwy i'r swydd o *churchwarden.* Gellid ethol blaenor Ymneillduol i'r swydd, er gwaethaf y person. Gwnaed hyn yn ddiweddar yn Llanberis. Profa hyn ein gosodiad yn amlwg. Ond (2.) defnyddir y gair Eglwys ac Eglwyswr hefyd i ddynodi y sect o Esgobaethwyr, y bobl ag sydd yn derbyn eu crefydd o'r plwyf. Ein cŵyn yw fod yr Eglwys Wladol, yr hon a sefydlwyd ac a waddolwyd ar y cyntaf er mwyn y genedl oll, yn awr yn cael ei chadw i fyny fel Sefydliad Gwladol yn unig er mwyn sect, neu adran fechan o'r genedl. Y mae corff y genedl yn ymwrthod â hi, ac yn ymwrthod yn gwbl â'r egwyddor o Eglwys Sefydledig gan y Wladwriaeth, pa un bynag a fyddo ai Esgobaethol fel yn Lloegr a Chymru, ai Presbyteraidd fel yn Scotland. Tybia yr adran o'r genedl ag sydd yn mynychu yr Eglwys Sefydledig mai hwy a'i pïa, ynghyd a'i gwaddoliadau. Byddai yr un mor resymol dadleu fod y tlottai yn eiddo i'r tlodion a'r cardotwyr a fyddant yn eu mynychu. Y mae miloedd o bobl yn Llundain na fyddant byth yn myned i Hyde Park, nac yn gwneuthur yr un defnydd o hono. Ond y mae y Park yn perthyn iddynt hwy lawn cymaint ag i'r boneddigion a'r *nursemaids* a fyddant yn myned iddo bob dydd. Sefydliad gwladol yw. Gobeithiwn fod Mr. Hughes wedi ei ddigoni bellach, ac y caiff yr "adsain" orphwysdra.

J. ROBERTS.

*Brynadda.*

# YR ETHOLIAD CYFFREDINOL.

ERBYN y bydd y rhifyn hwn o'r TRAETHODYDD wedi cyrhaedd ein darllenwyr, mae yn ddiau y bydd ein gwlad o gŵr i gŵr yn prysur ymbarotoi at yr Etholiad Seneddol sydd i gymeryd lle yn mis Tachwedd.

Y mae pob Etholiad yn deffro ein chwilfrydedd, ac y mae yn naturiol i bobl geisio dyfalu pa fodd y bydd i'r nerthoedd a welant o'u hamgylch weithredu mewn ffordd o benderfynu gwladlywiaeth y dyfodol. Ond y mae yr amgylchiadau dan ba rai yr wynebir ar yr ymgyrch sydd yn awr o'n blaen mor eithriadol, fel nad ydyw ryfedd yn y byd fod dynion yn teimlo dyddordeb neillduol, os nad hefyd radd o bryder, wrth geisio ystyried i beth y gallent fod yn debyg o arwain. Dyna yr ychwanegiad anferth at nifer yr etholwyr. Y mae pob mesur o Ddiwygiad Seneddol a fu o'r blaen yn fychan mewn cymhariaeth i'r un sydd yn awr, at y tair miliwn oedd eisoes mewn meddiant o'r etholfraint, yn dwyn dwy filiwn yn ychwaneg i feddu yr un gallu. Ac os oedd pob un o'r mesurau blaenorol, fel y dywedai y diweddar Iarll Derby am un 1867, yn "naid yn y tywyllwch," y mae hwn felly yn llawer mwy. A ydyw y llafurwyr amaethyddol a phobl y wlad yn gyffredin yn debyg o deimlo digon o ddyddordeb mewn gwleidyddiaeth i wneyd defnydd o'r hawlfraint a roddwyd yn eu llaw? Os ydynt, dan luman pa un o'r pleidiau politicaidd y maent yn debyg o ymrestru? Neu a ellid dysgwyl y bydd i'w dyfodiad hwy i awdurdod roddi bôd i allu newydd yn y wladwriaeth—gallu ag y b'ai yn bosibl iddo ddwyn oddiamgylch fawr ddaioni, ac o'r ochr arall, na f'ai yn anmhosibl iddo beri melldith a dinystr? Drachefn, dyna ad-drefniad yr etholiadaethau. Y mae etholiadau bellach i gael eu dwyn ymlaen mewn cylchoedd bychain. Yn lle bod gwlad gyfan, neu ddinas fawr, yn cael eu deffro a'u cynhyrfu, a hyny fel ag i ddwyn i arbenigrwydd eu nerthoedd uchaf mewn talent a chyfoeth a dylanwad, ni fydd bellach mewn lliaws o amgylchiadau ond cyfran o wlad, neu barth neu *ward* o dref yn faes i'r ymrysonfa; ac y mae llawer wedi bod yn darogan y bydd i hyny ddwyn ymaith holl urddas yr etholiadau, a'u darostwng i lefel cwerylon y *vestry* blwyfol; a phrophwydant nad ydyw yn bosibl i hyny drachefn lai nag effeithio yn andwyol ar ein deddfwriaeth, a'n gwneyd fel pobl yn chwibaniad i'r holl genedloedd. A heblaw hyn oll, dyna ddeddf y *Corrupt Practices at Elections* mewn grym, yr hon sydd yn gosod y fath attalfeydd ar foneddigion parchus fel na allant wneyd nemawr fwy o ddefnydd o'u cyfoeth a'u dylanwad mewn etholiadau na phe buasent yn ddim ond pobl gyffredin; ac o'r ochr arall, yn gwneyd yn anmhosibl i rai sydd wedi arfer gwneyd marchnad ragorol o'u pleidleisiau i ennill dim arnynt, ac yn gorfodi miloedd—a fyddent yn foneddigion o leiaf ar ddydd yr etholiad—i fyw y diwrnod hwnw fel dyddiau eraill, a hyd yn nod i ymostwng i gerdded i fwth y pleidleisio, neu fod heb bleidleisio o gwbl.

Fe'n sicrheir gan wŷr syber ac anrhydeddus fod yn anmhosibl i hyn oll lai nag effeithio yn ddrwg ar ein gwlad, ac y gellir eu cymeryd yn brofion diammheuol fod Prydain wedi gweled ei dyddiau goreu, ac fod ei dyfodol, o angenrheidrwydd, yn dywyll ac anobeithiol.

Ond er hyn oll nid ydym ni yn petruso cymeryd ein lle ymysg y bobl bwyllog a rhesymol nad ydynt yn gweled fod unrhyw achos anobeithio am y wladwriaeth. Yr ydym wedi cynnefino â'r darogan drygfyd ar ddygiad i fewn unrhyw fesurau o ddiwygiad. Pe buasai rhywbeth yn y daroganau, fe ddylasai ein teyrnas bellach, er ys llawer o flynyddoedd, fod wedi ei gorchuddio gan y diluw. Ond yr ydym yn gweled fod y llïaws sydd o bryd i bryd wedi eu hychwanegu at nifer yr etholwyr wedi profi eu hunain yn llawn mor gymhwys i'r etholfraint â'r rhai oedd yn ei meddiannu o'r blaen. Yn wir, am yr holl anfadrwydd a'r ffieidd-derau sydd wedi eu dwyn i'r golwg yn ddiweddar ynglŷn âg etholiadau, yr ydys yn eu cael bron yn ddïeithriad yn yr hen etholiadaethau parchus, dan gysgod yr Eglwysi Cadeiriol, a than nawdd y bendefigaeth, pan y buasai yn ysgorn gan y rhan fwyaf o lawer o etholwyr y mesurau diweddar feddwl am i neb eu sarhâu trwy gynnyg eu llwgrwobrwyo, neu eu dirwasgu trwy orthrech i bleidleisio yn groes i'w hargyhoeddiadau. Ac er maint y dirmyg y mae Arglwydd Randolph Churchill a'i gymdeithion urddasol wedi bod yn fwrw ar y llafurwyr ac eraill yn y wlad, fel rhai hollol anaddas i ymddiried yr etholfraint iddynt, nid ydym ni yn gweled fod unrhyw le i ammeu na fydd iddynt hwy wybod pa ddefnydd i wneyd o honi yn gystal â'r gweddill o'u cydwladwyr, ac na ymdeimlant yn ddyladwy â'r cyfrifoldeb a osodir arnynt gyda golwg ar lywodraethiad y deyrnas. Am ad-drefniad yr etholiadaethau, yr ydym ymhell o feddwl na cheir dynion ymhob man fydd yn abl i ffurfio barn oleuedig ar yr achosion a ddygir o'u blaen, ac na fydd y rhai a ddychwelant i'w cynnrychioli yn llawn mor deilwng o eisteddleoedd yn y Senedd, a dyweyd y lleiaf, â'r rhai sydd yn eu sarhâu, a'r rhai, yn enwedig yn ystod y Senedd sydd yn awr yn terfynu, ydynt wedi profi eu hunain mor annhebyg i foneddwyr, os nad mor annheilwng o gymdeithas wareiddiedig. Y mae yn gysur i ni wybod na all un *ward* nac un ran o wlad, pa mor ddistadl bynag, ddychwelyd i'r Senedd neb a all ymddwyn yn fwy annheilwng o'r lle na rhai o'r pendefigion ydynt wedi bod yn prophwydo y fath ddrygau mewn canlyniad i'r ëangiad ar yr etholfraint, sydd bellach, er gwaethaf eu gwrthwynebiad, wedi ei sicrhâu. Ac am y *Corrupt Practices*, y mae yn falch genym feddwl y gesyd y ddeddf werthfawr hono "fachau yn mochgernau" ein mawrion a'n cyfoethogion—pobl a ddylasent fod uwchlaw angen am y fath addysgiaeth,—gan wneuthur yn dra anhawdd, os nad yn anmhosibl iddynt mwyach chwareu yr ystranciau a arferent gyda rhyddid ac iawnderau y werin. Nid ydyw yn sicr y bydd i'r bobl ymhob man weithredu yn deilwng o'r trefniadau rhagorol hyn a wnaed er eu mwyn; ond fe ellir dyweyd am y trefniadau, fel y dywedai Mr. Cobden mewn atebiad i'r darogan y troai y Balot yn fanteisiol i Doryaeth,—Y maent yn bethau *iawn*, gwneler o honynt y defnydd a fyner. Ac mae yn anhawdd meddwl y gall y werin fod mor ffol a defnyddio y rhagorfreintiau a sicrhäwyd iddynt trwy ymdrechion eu cyfeillion goreu, i osod mewn awdurdod bobl nad oes ganddynt achos i ddiolch iddynt am ddim o'r bendithion gwladwriaethol y maent yn awr yn fwynhâu.

Fe ddygwyd i derfyniad weinyddiaeth gref Mr. Gladstone mewn dull hynod o annysgwyliadwy. Yr oedd y costau yr elsid iddynt yn yr Aipht, ynghyd a rhagolygon bygythiol ein perthynas â Rwssia, yn gwneyd yn angenrheidiol i Ganghellydd y Trysorlys ofyn am £11,000,000 yn ychwaneg at ein treuliau rhyfel. Fe basiwyd y bleidlais hono yn y Senedd gydag unfrydedd mawr: yn wir, yr oedd Arglwydd Salisbury ac Arglwydd Randolph Churchill yn llefaru am Rwssia fel gallu nad oedd wiw meddwl am wneyd dim âg ef ond ei drechu trwy ryfel; a chan fod rhyfel rhyngom a Rwssia yn gynt neu yn ddiweddarach yn anocheladwy, mynent mai goreu po gyntaf i dynu y cleddyf. Yr oedd eu canlynwyr mor awyddus a hwythau i ruthro i'r ymrafael—ymrafael na fuasai yn bosibl rhagweled pen draw y trychineb a fuasai yn achosi i'r ddwy wlad, ac yn wir, mewn cysylltiad â hwy, i holl wledydd y byd. Ni fu erioed yn gymaint bendith i ni fel teyrnas fod genym yn y Llywodraeth wŷr o ysbryd tra gwahanol, y rhai trwy eu pwyll a'u doethineb a droisant ymaith y perygl, gan sicrhau, heb dynu y cleddyf o gwbl, yr holl fanteision a allesid ennill wedi blynyddoedd o ryfela. Yr oedd clywed am hyn, oedd i bobl resymol yn gymaint llawenydd a thestun diolch, i Arglwydd Randolph Churchill yn "*terrible news*," yn newydd dychrynllyd! Ond yr oedd y darpariaethau yr elsid iddynt ar bwys y *vote of credit* am yr un filiwn ar ddeg, wedi llyncu miliynau lawer, ac yr oedd yn rhaid i Mr. Childers feddwl am ryw ddull i gyfarfod â'r draul. Yn dra rhesymol fe feddyliodd y gŵr parchus hwnw y gallesid gwneyd hyny mewn rhan trwy beidio talu am y flwyddyn hon y swm y cytunasid arno at ddileu y ddyled wladol, ac mewn rhan trwy wneyd ychwanegiad o swllt y baril yn y dreth ar gwrw, a dau swllt y galwyn yn y dreth ar wirodydd, a hefyd godi toll ar drosglwyddiad tiroedd trwy farwolaeth. A chan nad oedd bellach, yn y rhagolwg am heddwch, angen am yr oll o'r arian ag yr oedd y Tŷ gyda'r fath unfrydedd wedi bleidleisio, yr oedd Mr. Childers pan ydoedd yn dyfod â'i gynnygiad ger bron am y modd i'w codi, yn gweled y gallasai wneyd gyda dim ond *swllt*, yn lle *dau swllt* o ychwanegiad yn y dreth ar wirodydd. Ond er hyny cynnygiodd Syr Michael Hicks-Beach ei welliant, yn gwrthdystio yn erbyn ychwanegu y dreth ar gwrw a gwirodydd, a hefyd yn erbyn y *death duties*. Yr oedd Mr. Chaplin ac Arglwydd Randolph Churchill wedi bod yn son y dylesid rhoddi toll ar siwgr, a daliai Syr Michael yn gryf yn ei araeth wrth gynnyg ei welliant, y gallesid gwneyd hyny gyda thê. Yr oedd yn gweled fod tê yn nwydd ag yr oedd y defnydd o hono yn cynnyddu, ac nad oedd y dreth a godid arno ond cymedrol, tra yr oedd y dreth ar y cwrw, medd efe, yn 90 y cant. Ond dangosai gyda dirmyg trahâus fod ar y Llywodraeth ormod o ofn anfoddlonrwydd eu cefnogwyr ymhlith y "*Radical Teetotalers*" i osod treth ar dê, ac am hyny eu bod am wneyd yn anhaws i'r gweithiwr gael ei gwrw. Yr ydoedd trwy hyn yn bradychu anwybodaeth trwch, oblegid fel y dangosodd Syr Charles Dilke y noswaith hono, nid oedd y dreth ar gwrw ond 20 y cant, yn lle 90, fel y dywedasai efe, ac yr oedd y dreth ar dê eisoes yn 50 y cant. Ac yn sicr yr oedd tê yn fyrdd mwy angenrheidiol i'r bobl ag yr oedd yn bwysig i'r wladwriaeth ysgafnhau eu beichiau, na chwrw. Ni chrybwyllai am y cynnygiad o berthynas i drosglwyddiad tiroedd, er

mae yn ddiammeu mai dyna a deimlid yn fwyaf gwrthwynebus ganddo ef a'i frodyr Toryaidd. Gwasger hyd yr eithaf ar y werin a'r dosbarth canol, sydd yn bwyta eu bara trwy chwys eu hwyneb; ond er pobpeth, na chyffyrdder â phobl yr etifeddiaethau mawrion, a "aethant dros feddwl calon o gyfoeth," ond hyd yma a lwyddasant yn rhyfedd i osgoi y rhan a ddylai fod yn ddyledus iddynt o'r beichiau cyhoeddus. Fe ddangosodd y Llywodraeth yn eithaf clir eu bod am sefyll neu syrthio gyda y cynnygion a osodasid ger bron yn y *Budget*; ond gan faint yr ymdrech a wnelsai y Toryaid i chwipio eu pobl ynghyd, a chan y pleser maleisus a deimlai y blaid Wyddelig mewn ymuno â hwynt i geisio disodli y Weinyddiaeth a wnelsai fwyaf o ddaioni i'w gwlad, a chan ddifrawder ac anffyddlondeb gwaradwyddus llawer o aelodau y blaid Ryddfrydig, fe bleidleisiodd 264 dros welliant Syr M. Hicks-Beach, a dim ond 252 yn ei erbyn, yr hyn a roddai fwyafrif yn erbyn y Llywodraeth o 12. Dan yr amgylchiadau nid oedd dim i Mr. Gladstone wneyd ond rhoddi i fyny yr awenau, a gadael y bobl oedd wedi pleidleisio yn ei erbyn dan y cyfrifoldeb o ddwyn ymlaen lywodraeth y wlad. Yr oedd ffigyrau y pleidleisiad hwnw yn peri cyffro digyffelyb. Yr oedd y Rhyddfrydwyr claiar oeddent wedi bradychu eu penaeth teilwng trwy eu hesgeulusdra, mewn gofid a chywilydd, ac yn arswydo wrth feddwl am gyfarfod â'u hetholwyr; yr oedd llawer o honynt hefyd yn ddigon o lyfrgwn i roddi bai ar y *Whips*, y swyddogion yn y blaid oedd i'w galw ynghyd i'r rhaniad, er fod yn amlwg fod y bonedigion hyny wedi gwneyd eu dyledswydd; ac yr oedd eraill yn dra blaenllaw i gynnyg rhyw esboniad am eu habsennoldeb. Ond yr oedd gan Syr Wilfrid Lawson ystori oedd yn cyrhaedd yr holl helynt. Yr oedd y cwbl yn ei adgofio ef o amgylchiad ymha un yr oedd rheithwyr goleuedig mewn trengholiad yn Swydd Dorset wedi dychwelyd dedfryd o "Farwolaeth trwy ymweliad Duw, dan amgylchiadau hynod o ddrwgdybus!" Am y Toryaid, yr oedd eu dychryn yn ofnadwy. Yr oeddynt wedi bod ar hyd y misoedd yn chwareu â phleidleisiau o anghymeradwyaeth, y rhai na atebent unrhyw ddyben heblaw treulio yr amser ac attal gwaith y Senedd, tra yn teimlo mor rydd oddiwrth bob cyfrifoldeb a phe buasent yn delio â gwleidyddiaeth un o'r planedau. Ond yn awr dyma hwy wedi eu dal yn y fagl a osodasent i eraill, ac fe ddisgyna arnynt y cyfrifoldeb, gyda lleiafrif mawr yn Nhŷ y Cyffredin, o ddwyn ymlaen y llywodraeth ar yr egwyddorion trwy ba rai yr oeddynt yn barhaus yn condemnio Gweinyddiaeth Mr. Gladstone, a hwythau heb feddwl dim am y fath siars mwy na'r neb y sonia y gŵr doeth am dano, oedd "fel dyn gwallgofus a daflai bentewynion tân, saethau ac arfau marwolaeth," ac a ddywedai, "Onid cellwair yr ydwyf?" Beïent Mr. Gladstone am roi ei swydd i fyny. Chwedl Syr William Harcourt: "Y maent am fisoedd wedi gwneyd yr oll a allent i wrthwynebu, dyrysu, a gorchfygu y Llywodraeth, ac o'r diwedd y maent wedi ei dinystrio; ac wedi iddynt lwyddo y maent yn dyweyd, 'Arnoch chwi y mae y bai i gyd.' Y mae yr un fath a phe b'ai dyn y tu ol i'r gwrych gyda mwsged a chynghreiriad Gwyddelig, wedi bod yn saethu atoch ddydd ar ol dydd a nos ar ol nos, ac wedi methu eich anelu yn fynych iawn, ond o'r diwedd wedi gosod ei fwled yn eich calon, ac yna yn haeru mai achos o hunanladdiad ydoedd." Ond i Mr. Gladstone ei

hunan, ynghyd a'r gwŷr rhagorol oedd gydag ef yn ymdrechu yn gydwybodol, ac yn wyneb rhwystrau na phrofwyd eu cyffelyb yn holl hanes ein Senedd i ddwyn ymlaen waith y wladwriaeth, mae yn hawdd i ni feddwl fod y bleidlais oedd yn eu rhyddhâu o sefyllfa ag oedd wedi myned mor annyoddefol yn ymwared mawr.

Am y bobl a orfu ymgymeryd â'u lleoedd, yr oedd eu sefyllfa ar lawer cyfrif ymhell o fod yn un i genfigenu wrthi. Mae yn wir fod yr enw o fod mewn swydd i amryw o honynt yn beth gwerthfawr iawn. Beth bynag a ddaw o honynt o hyn hyd ddiwedd eu hoes, ni ellir dileu y ffaith iddynt unwaith, am adeg fer, fod yn weinidogion y goron! Nid dibwys ychwaith i'r gwŷr urddasol ydyw y rhagolwg am y tipyn *pension* y gellir gobeithio am dano mewn canlyniad i fod yn y fath swyddau anrhydeddus. Ond er hyn oll mae eu sefyllfa yn dra lledchwith. Yr oedd Arglwydd Salisbury yn ei theimlo felly yn gymaint fel y dywedai na allai ymgymeryd â ffurfio Gweinyddiaeth heb gael *guarantee* gan Mr. Gladstone na fyddai iddo ddefnyddio ei allu mawr yn y Tŷ—canys er anffawd y lleiafrif o 12 yr 8fed o Fehefin, yr oedd mwyafrif y Rhyddfrydwyr yn orthrechol—i lesteirio dygiad ymlaen waith y Llywodraeth. Wrth reswm fe ommeddodd Mr. Gladstone roddi y *guarantee*, oblegid pwy wyddai pa ddefnydd a allasai efe wneyd o hono? Ond *er hyny*, fe ymgymerodd Arglwydd Salisbury â ffurfio Gweinyddiaeth. A'r fath drafferth y maent wedi gael i fwyta eu geiriau! Ni feddyliodd Syr M. Hicks-Beach am gyfrifoldeb na pherygl o gwbl pan yn siarad gyda'r fath wroldeb am osod treth ar dê; ond pan welodd iddo lwyddo gymaint tu hwnt i'w ddysgwyliadau, fe welodd hefyd er ei fraw fod y geiriau hyny yn codi i'w wyneb fel ellyllon, ac yn bygwth chwareu yr andras yn ei erbyn yn yr etholiadau. Beth oedd i'w wneyd? Dim ond ymsythu yn y Tŷ y cyfleusdra cyntaf a gai, a thaeru na ddywedodd ddim o'r fath ag a briodolid iddo, ond mai peth cwbl wahanol oedd yn ei fryd ef. "Os gofyna aelodau anrhydeddus i mi a ydwyf am gynnyg treth ychwanegol ar dê, nid oes genyf yr anhawsder lleiaf i'w cyfeirio am atebiad at fy sylwadau ar y *Budget*, oblegid hwy a gânt yno, wedi dyweyd o honof yr hyn a dybiwn a ddylaswn ddyweyd yn gyflawn wrth y Tŷ am y rhesymau cyllidol o blaid treth ychwanegol ar dê, fy mod yn fwriadol, ac fel y tybiaf yn gyflawn, wedi dymchwelyd y rhesymau hyny mewn dwy frawddeg—sef trwy ddadgan fy nghred y byddai y fath ychwanegiad mor anmhoblogaidd fel na allai un Lywodraeth ei gynnyg." Mae yn debyg fod ei ganlynwyr yn ddigon ehud i dderbyn ei eiriau, ac i gredu mai felly y dywedasai; ond fel yr adgofiai Mr. Childers ef, ac fel yr erys yr adroddiad o'i araeth yn y newyddiaduron, fe ddywedodd y buasai y dreth ar dê mor anmhoblogaidd am fod y Llywodraeth ddiweddar mor ddibynol ar y *Radical Teetotalers*,—yr hyn, mae yn amlwg, oedd yn bur wahanol. Yr oeddynt hwy, bid siwr, yn bobl onest, ac am dalu eu ffordd fel yr elent ymlaen; ond wedi dymchwelyd Gweinyddiaeth Mr. Gladstone fel amddiffynwyr pybyr cwrw a gwirodydd, fel rhai a fuasent yn ei ystyried yn yspeiliad i ymyraeth âg anferth gyfoeth y tirfeddiannwyr, ac fel rhai na feiddient osod treth ar dê rhag dwyn arnynt gynddaredd yr holl deyrnas—wele y bobl anrhydeddus a deimlent y fath eiddigedd am dalu eu ffordd fel yr elent

ymlaen, yn taflu holl faich y treuliau rhyfelgar ar y dyfodol, i'w adael, fel y maent yn arfer gwneyd, yn gynnysgaeth i'r Rhyddfrydwyr fyddant yn dyfod ar eu hol. Fe feirniadai y gweinidog anrhydeddus gyllidaeth y Rhyddfrydwyr gyda llymder mawr, a dadganai nad ydoedd wedi profi yn ddim amgen na chyfres o fethiantau, a "series of failures." Ac eto daeth ei blaid ef i allu yn 1874 gyda chwe' miliwn o weddill wedi ei adael iddynt, ac o'r chwe' chyllideb a gyflwynasant yr oedd pedair yn dangos diffyg; ac er fod y Rhyddfrydwyr yn ystod y pedair blynedd diweddaf wedi gorfod wynebu treuliadau eithriadol mawrion, eto dyma y flwyddyn gyntaf iddynt ddangos diffyg; ond can gynted ag y cafodd y Toryaid bethau i'w llaw, y peth cyntaf a wnant ydyw taflu y baich yn ei grynswth ar ysgwyddau y dyfodol. Nid oedd neb yn fwy egr na hwynt i ennyn y teimladau rhyfelgar a chwyddo y ddyled; yn wir, pe na buasai y Llywodraeth ddiweddar dan arweiniad llawer doethach, buasai ein dyled wedi myned lawer iawn yn fwy; ac eto ni fynent hwy gymaint a gwneyd unrhyw osgo at ei thalu, er eu bod yn hyfion i haeru eu bod am dalu eu ffordd fel yr elent ymlaen. Y mae gwladlywiaeth dramor y Rhyddfrydwyr wedi bod ganddynt trwy y blynyddoedd dan gondemniad parhaus; ac eto wedi iddynt ddyfod i allu, nid ydynt yn meiddio ei newid mewn dim oll. Gallesid meddwl oddiwrth liaws o'u hareithiau, a'u *votes of censure* gwastadol, y buasent, y fynyd gyntaf y daethent i allu, yn anfon at Arglwydd Wolseley am iddo ddychwelyd a gorchfygu y Soudan, a meddiannu yr Aipht fel talaeth o'r Ymherodraeth Brydeinig; ond dim o'r fath beth, canys yr oedd Arglwydd Randolph Churchill wedi darganfod mai y Khedive yw "ffrwyth gwaethaf ffieidd-derau Dwyreiniol a gynnyrchodd canrifoedd," mai y peth goreu fyddai ei fwrw allan o'r wlad "*bag and baggage*," ail-drefnu y ddyled Aiphtaidd, adfer Arabi Pasha, adsefydlu y gallu cenedlaethol, a gadael i'r Aipht ei llywodraethu ei hunan dan nawdd y galluoedd Ewropëaidd. Ac fe siaradai yr un gŵr am Rwssia, pan oedd ein cysylltiad â'r gallu hwnw o'r natur fwyaf llednais, fel un "ag yr oedd ei holl ymddygiad yn un clytwaith maith a digymysg o fradwriaeth, twyll, a chelwydd; ni phetrusai ddyweyd, o bob dichell a brad o ba rai y ceid engreifftiau yn hanes diplomyddiaeth a chymundeb cydgenedlaethol, nad oedd dim y tu hwnt i ymddygiad Rwssia mewn düwch bradwriaeth." Ychwanegai "ei fod yn fradwrus wedi ein twyllo a dywedyd celwydd wrthym yn unig fel y gallai Rwssiad." Ac yn debyg Arglwydd Salisbury. "Os na cheidw dyn ei air mewn achosion masnachol," meddai, ac mewn cyfeiriad neillduol at Rwssia, "os ydyw yn ei wneyd yn fwriadol, chwi a ddywedwch ei fod yn dwyllwr; os ffaela am nad all gadw ei air, chwi ddywedwch ei fod yn fethdalwr; ond pa un bynag ai twyllwr ai methdalwr, yr ydych yn bur ofalus gyda golwg ar ei gredu y tro nesaf." A hyn oll am ymddygiadau o eiddo Rwssia ag y daliai Arglwydd Beaconsfield eu bod lawn mor gyfiawn â'n hymddygiadau ninnau. Ond fe luchid oddiamgylch y fath bentewynion tân â'r ymadroddion hyn ar yr adeg fwyaf peryglus ag y gellid meddwl am dani, ac nid ymddangosai fod un amcan iddynt ond ein cynhyrfu i ryfel â Rwssia; ac fel y crybwyllasom o'r blaen, yr oedd deall nad oedd rhyfel yn debyg o fod, i'r ieuengaf o'r Arglwyddi hyn, yn "*terrible news.*" Ond er hyn

oll, y mae yr Arglwyddi tanbaid wedi bwyta eu geiriau yn dawel, ac wedi cario allan rhyngom â Rwssia y cytundeb yr aethai eu rhagflaenwyr mor bell gydag ef, a'r hwn, ychydig amser yn ol, na allasent gael geiriau digon cryfion i'w gondemnio. Ac yn debyg gyda phethau eraill. Gyda golwg ar Iwerddon, yn neillduol, y mae eu hymddygiadau wedi bod yn waradwyddus o anghyson. Fe ŵyr pawb mai er eu gwaethaf y cariwyd yr holl fesurau diweddar er estyn i'r Gwyddelod eu hawlfreintiau cyfiawn, ac mai y Toryaid o bawb oedd fwyaf awyddus am basio mesurau llymion er darostwng y troseddau sydd, ysywaeth, wedi ffynu yn gymaint yn y wlad druenus hono. Ond yn eu hymdrechion di-ildio i lesteirio Llywodraeth Mr. Gladstone, ac yn y diwedd i'w dymchwelyd, hwy gawsant gymhorth gwerthfawr gan Mr. Parnell a'i ganlynwyr, ac am hyny teimlent eu hunain dan rwymau i wneyd a allent er ad-dalu iddynt. Un taliad sylweddol a wnaethant oedd penderfynu cario ymlaen lywodraeth y wlad heb unrhyw fesurau o attaliad. Da iawn fod pethau wedi dyfod, trwy ymdrechion y rhai na flinent yn eu cablu, i ystâd ag y gallent anturio gwneyd heb fesurau *coercive*; ond yr hyn sydd yn annyoddefol ydyw, fod pobl a fyddent yn barhaus yn ysgrechain yn erbyn unrhyw fesurau o degwch neu diriondeb i'r Iwerddon, yn awr yn siarad fel pe mai hwynt-hwy o bawb oeddent wedi bod yn bleidiol i fesurau o'r fath, pan yr oedd yn amlwg nad oeddynt ond yn talu rhan o'u dyled i'r blaid Wyddelig yn y Senedd am eu cymhorth i boeni, ac yn y diwedd i ddymchwelyd y Weinyddiaeth ddiweddar. Drachefn fe ofynodd Mr. Parnell, fel y gwnaethai yn mis Tachwedd diweddaf, am ymofyniad i achosion Maamtrasna, Barbavilla, &c., lle yr haerai fod camfarn wedi ei gweinyddu, a phobl wedi eu dienyddio a dyoddef cosbedigaethau trymion pan yr oedd profion diymwad o'u diniweidrwydd. Nid allai y Llywodraeth Doryaidd fyned mor bell a chaniatâu ymofyniad ffurfiol o'r fath ag y gellid meddwl a ddysgwylid, ond dywedai Syr M. Hicks-Beach "fod Arglwydd Raglaw yr Iwerddon yn barod bob amser i wrando ar unrhyw gwynion a ddygid ger ei fron, ac fod Iarll Caernarfon wedi ei awdurdodi ef i ddyweyd os dygid achos y bobl y cyfeirid atynt o'i flaen, y byddai iddo dalu iddynt yr un sylw personol ag a ystyriai yn ddyledus i bob achosion a ddygid i'w sylw, a chyda dymuniad difrifol am gael allan yr hyn a ofynai cyfiawnder." Yn ychwanegol fe ofalai Syr M. Hicks-Beach am ddyweyd fod llawer iawn yn ngwladlywiaeth Wyddelig y Llywodraeth ddiweddar "y byddai yn ddrwg iawn ganddo ef ei wneyd ei hun yn gyfrifol am dano;" ac ychwanegai Arglwydd Randolph Churchill y "byddai y Llywodraeth bresennol wedi ei diofrydu i fethiant os äent o'u ffordd yn ddiangenrhaid i gymeryd arnynt yr un iod nac un tipyn o'r cyfrifoldeb am weithredoedd y Weinyddiaeth ddiweddar." A siaradent felly mewn atebiad i araeth Mr. Parnell, yr hon drwyddi oedd yn dwyn y cyhuddiadau trymaf yn erbyn barnwyr a rheithwyr yr Iwerddon, yn gystal ag yn erbyn Iarll Spencer, y diweddar Arglwydd Raglaw. Yr oedd hyny ar unwaith yn golygu fod yr hyn a geisiai Mr. Parnell y fath fel nad allai Iarll Caernarfon lai na'i ganiatâu, gan fod cymaint yn ngwladlywiaeth Wyddelig y Llywodraeth ddiweddar ag y byddai mor ddrwg ganddynt wneyd eu hunain yn gyfrifol am dano, a'u bod wedi eu diofrydu i fethiant os cymerent arnynt

un iod nac un tipyn o'r cyfrifoldeb am eu gweithredoedd. Ystyr hyn oll ydyw, fod ffafr y blaid Wyddelig yn y Senedd mor werthfawr gan y rhai sydd yn awr yn ceisio dal yr awenau, fel nad yw yn ormod ganddynt daflu dirmyg ar weinyddiad cyfiawnder yn Iwerddon, a chytuno â hwynt i sarhâu Arglwydd Raglaw na bu ei deilyngach erioed yn dal yr un swydd o ymddiried. Hauer dannedd dreigiau eto, a chyfodant yn wŷr arfog; ac nid ydym eisoes heb arwyddion fod ymddygiadau diraddiol yr arweinwyr Toryaidd yn yr argyfwng diweddar yn cynnyrchu y ffrwyth a allesid ddysgwyl oddiwrtho. Nid rhyfedd fod ymddygiadau o'r fath yn ennyn digllonedd yn mynwesau Toryaid parchus trwy y deyrnas, ac yn peri i'r *Standard*, y prif newyddiadur Ceidwadol, mewn erthygl rymus a llem, chwipio Arglwydd Randolph Churchill yn bur ddidrugaredd. Mewn cyfeiriad at ei sylwadau yn y ddadl y cyfeiriwn ati, a'i feirniadaeth ar araeth Mr. Bright yn y wledd a roddodd cwmni llïosog a pharchus iawn i Arglwydd Spencer, dywedai y *Standard*:—

Yr ydym yn dyweyd, heb y petrusdod lleiaf, y byddai yn fil gwell i'r blaid Geidwadol fod unwaith eto mewn Gwrthwynebiad—er i ni ein hunain eu hergymhell yn gryf i gymeryd swydd—nag i ni eto fod yn agored i waradwydd y fath araeth â'r un a draddododd Arglwydd Randolph Churchill nos Lun. Yr oedd gan Arglwydd Hartington y dewrder a'r gŵreidd-dra i ddyweyd wrth y Parnelliaid na fyddai i'w hachwynion "cwynfanus" gael dim cydymdeimlad ynddo ef na'i gydlafurwyr; ac fe'i gadawyd i Arglwydd Randolph Churchill ddianrhydeddu y blaid fawrfrydig, hanesyddol, ac anrhydeddus â pha un o ddamwain y mae mewn cysylltiad, trwy ymgais eiddil i ddangos fod yr aelodau Gwyddelig ar yr iawn, fod Arglwydd Spencer wedi cau ei lygaid ar lofruddiaethau barnedigaethol, ac fod Mr. Parnell yn cael ei gamddeall yn fawr. Yr ydym wedi cael digon o hyn. Nid ydym yn sicr na fydd i'r ffrwydriad rhanol hwn o'r anfoddlonrwydd a deimlir yn gyffredin yn rhengau Ceidwadwyr fod yn y diwedd yn llesol, gan y gallai agor llygaid cydlafurwyr Arglwydd Randolph Churchill i'r peryglon y maent yn rhedeg wrth barhau i ymostwng i'w orchymyn. Y mae yn bosibl, yr ydym yn gwybod, cynnyg rhyw eglurhâd gwahanol ar ymddygiad y Llywodraeth tuag at yr Iwerddon, na fyddo yn anghyson ar y cyfan â'r synwyr cyffredin trwy ba un, wedi y cwbl, y mae helyntion y byd gan fynychaf yn cael eu llywodraethu. Ond am yr iaith a ddefnyddiwyd yn erbyn Arglwydd Spencer mewn cefnogaeth i Mr. Parnell, nid oes dim esgus na chyfiawnhâd o fath yn y byd; ac oni chaiff, neu oni chiëa y Llywodraeth gyfleusdra buan, nid yn unig i ymwadu â hi, ond hefyd i'w chondemnio, hwy a deimlant ei heffeithiau ar ol hyn yn llawer mwy difrifol nag y mae yn bosibl iddynt erioed fod wedi ystyried. Mae cydwybod y genedl wedi ei harcholli gan yr ad daliad anraslawn hwn am y gwasanaeth anhawdd a pheryglus y mae Arglwydd Spencer wedi ei wneuthur, a hyny gyda chymaint o lwyddiant ag o ddewrder; a hyd yn nod wedi i Arglwydd Randolph deilyngu hanner cymaint oddiwrth ei wlad â chyn-Raglaw Iwerddon, ni all adrodd degwm yr hyn a ddywedodd am dano yn ddiweddar heb ennyn digllonedd cyffredinol.

Ac er yr holl ddirmyg y mae y bobl hyn wedi ymuno â'r Parnelliaid i'w fwrw mor ddiarbed ar Arglwydd Spencer, y mae y ffaith yn aros—ac y mae y gofgolofn ardderchocaf i lwyddiant ei Raglawiaeth,—pan aeth efe i'r Iwerddon yn 1880, yn ol tystiolaeth Arglwydd Beaconsfield ei hunan yn ei lythyr enwog at Duc Marlborough—llythyr, chwedl Mr. Gladstone, nas gwyddai efe am ysgrif hanesyddol fwy enwog wedi ei gosod o flaen llygaid pobl y wlad hon er ys llawer o flynyddoedd—mae y ffaith, meddwn, yn aros, fod Iwerddon y pryd hyny mewn ystâd o wrthryfel cuddiedig, "*veiled rebellion,*" ac y gellid dysgwyl pethau ofnadwy i gymeryd lle ynddi; ond er hyny fod yr un wlad, *ar derfyn*

Rhaglawiaeth Arglwydd Spencer, wedi ei dwyn i'r fath sefyllfa fel y mae hyd yn nod y Toryaid, fyddent bob amser yn llefain am ddeddfau attaliol, yn anturio ei llywodraethu heb ddeddfau attaliol o gwbl!

Ond mae y benbleth a'r anghysonderau gwaradwyddus y cyfeiriasom atynt, oll yn codi o'r dirywiad sydd yn anocheladwy yn dilyn yr ymgais i lywodraethu gan blaid nad ydyw yn meddu y gallu angenrheidiol at y fath waith. Fel y dywedai Mr. Rathbone dro yn ol, yn ei anerchiad ymadawol i'w etholwyr yn Eifion: "Nid oes dim yn fwy dirywiol i fywyd cyhoeddus ac egwyddor gyhoeddus, na chael y blaid Ryddfrydig yn dal swydd ar yr ammod o gario allan wladlywiaeth Geidwadol, neu lywodraeth Geidwadol yn dal swydd pan mae y wlad yn Rhyddfrydig, ar yr ammod o fyned y tu hwnt i'r Rhyddfrydwyr yn yr hyn a olygant yn fesurau poblogaidd, y rhai, fel Ceidwadwyr, a ystyriant yn beryglus ac anghyfiawn." Nid ydym yn gwybod am unrhyw adeg yn hanes y deyrnas pan oedd y Rhyddfrydwyr felly mewn gallu ac yn gorfod cario allan amcanion y Ceidwadwyr; ond prin y mae y Ceidwadwyr, er ys hanner can' mlynedd, wedi bod mewn tipyn o allu o gwbl nad oeddynt yn gorfod cario allan fesurau eu gwrthwynebwyr. Wedi taeru am flynyddoedd eu bod o'r nodwedd mwyaf peryglus, ac os pesid hwynt fod ein dinystr yn anocheladwy, eto wedi iddynt, trwy ddamwain, gael eu hunain mewn awdurdod, y maent yn y fan, ac megys wrth flaen y bidog, yn gorfod eu pasio eu hunain; a'r hyn sydd yn fwy gwaradwyddus fyth, y maent wedi hyny yn ddigon hyfion i ddyfod ger bron y wlad a hòni iddynt eu hunain yr holl glod o basio y cyfryw fesurau! Fe allai y byddai braidd yn galed i ddyweyd na ddylai y Ceidwadwyr gymeryd swydd ond pan y maent yn y mwyafrif, oblegid felly prin y byddai obaith iddynt am y melusion o gwbl. Mae yn ymddangos na fuont yn y mwyafrif ond unwaith er ys 35 mlynedd, ac os eir can belled yn ol a 50 mlynedd na fuont ond dwywaith yn y mwyafrif, a hyny gydag etholfraint gyfyngedig; gydag ëangiad yr etholfraint, chwedl Syr William Harcourt, mae yn ammheus a fyddant ddwywaith mewn 400 mlynedd. Ond y maent yn ateb rhyw ddyben mewn sicrhau trafodaeth gyflawn ar faterion cyn deddfu arnynt; a phe *dygwyddai* iddynt fod yn yr uchafiaeth, dylent gael pob chware teg—ac y maent yn sicr o'i gael—i gario allan eu mesurau. Yn y sefyllfa y maent ynddi yn bresennol, fodd bynag—oddieithr o edrych arnynt yn unig fel yn llanw bwlch hyd yr Etholiad—y mae eu cyflwr yn resynus. Meddwl am ŵr o uchder ysbryd Arglwydd Salisbury yn ymostwng i ofyn *guarantees* oddiar law ei elyn gorchfygedig; yn dyweyd na ymgymerai â ffurfio Gweinyddiaeth hebddynt; ac er hyny yn gorfod gwneyd! A'r un modd Mr. Gibson, un o'r rhyfelwyr mwyaf pybyr yn y gwersyll, ac ar gael ei greu yn Arglwydd, yn gwneyd araeth ac yn dyweyd, "fod Llywodraeth Geidwadol yn myned i gael ei ffurfio fel mater o wladgarwch pur a dyledswydd gyhoeddus, a than yr amgylchiadau hyny fod ganddynt hawl i chware teg oddiwrth eu gwrthwynebwyr." Pobl ysplenydd i son am chware teg! Y maent, yn nghanol yr amgylchiadau mwyaf llednais a pheryglus, wedi gwneyd a allent i wanhâu breichiau y rhai oeddynt yn ceisio gwasanaethu eu gwlad; wedi gwneyd eu goreu, trwy holi a chroesholi, i'w dyrysu a'u syfrdanu, a hyny ar adegau pan oedd eisieu y gwyliadwriaeth mwyaf,

a phan y gallasai gair a lithrasai dros eu gwefus beri i ryfel dori allan; wedi bod yn condemnio y peth a alwant "Cytundeb Kilmainham," y gwyddant na fu erioed yn bodoli, fel "cyfammod â gwrthryfelwyr a llofruddion," a thrachefn wedi bargeinio â'r un bobl eu hunain am eu cynnorthwy i ddymchwelyd y Llywodraeth; y maent, laweroedd o weithiau, wedi gwneyd ymdrechion oeddynt deilwng o amcanion gwell, ac nad oedd iddynt unrhyw ddyben oddieithr llesteirio y gwaith cyhoeddus; ac y maent wedi siarad ar draws, sarhâu, a dirmygu ymhob ffordd ag oedd yn ddichonadwy y Prifweinidog hybarch, gŵr na ynganodd air angharedig am neb, sydd â'i holl fryd ar wasanaethu ei genedl, ac sydd yn gorfforiad o urddas a doethineb uchaf y Tŷ ag y mae yn ofid penaf ei galon anrhydeddus ei weled yn cael ei ddarostwng i'r fath iselder: ac er hyn oll, dyma y bobl sydd yn awr yn clebran am *guarantees*, ac yn gwaeddi am chware teg! Mae yn ymddangos fod Arglwydd Salisbury yn golygu ei fod yn gorchuddio ei holl noethni gyda'r sylw oraclaidd mai gwaith Gwrthwynebiad ydyw beirniadu, ond fod Llywodraeth i'w barnu yn ol yr hyn y mae yn ei wneuthur. Ac y mae ei Lywodraeth ef, bid sicr, yn cario allan amcanion Llywodraeth Mr. Gladstone ymhob dim, ac am hyny yn dda a chymeradwy; ac wrth reswm nid yw yr oll a ddywedasant ac a wnaethant mewn Gwrthwynebiad, i'w gymeryd i'r cyfrif! Wel, y maent wedi cael yr holl chware teg a allai eu calon ddymuno i ddirwyn i fyny waith yr Eisteddiad; yn gymaint felly, yn wir, fel y maent wedi bod yn ddigon digywilydd i ymffrostio gymaint yn rhwyddach y maent hwy yn gallu cario y gwaith cyhoeddus ymlaen, a hyny pan nad oeddynt ond yn gweithio allan amcanion nad oedd eisieu eu dadleu, a phan oedd yn hawdd rhoddi esiampl iddynt i ddangos fel y gweddai i Wrthwynebiad ymddwyn.

Ond y cwestiwn pwysig sydd yn awr ger bron y wlad ydyw, Pa un o'r ddwy blaid a anfonwn i'r Senedd gyda gallu i gario ymlaen lywodraeth y deyrnas? Hyderwn fod ein pum' miliwn o Etholwyr yn rhoddi i'r cwestiwn mawr yma y dyddiau hyn ystyriaeth feddylgar, ac y rhoddant iddo yn mis Tachwedd atebiad fydd yn fanteisiol i lwyddiant y wladwriaeth. Hyderwn yn arbenig na fydd dim camgymeriad mewn perthynas iddo ymysg ein cydwladwyr. Yr oedd *gig* yn ddigon i ddwyn i'r Senedd ein cynnrychiolwyr Toryaidd yn 1880; hyderwn y bydd *bicycle* yn ormod yn 1886. Mae yn wir fod Arglwydd Randolph Churchill yn ymffrostio pethau mawrion, ac ymddengys ei fod yn awyddus i greu dysgwyliadau nad ydyw yn bosibl iddynt gael eu cyflawni. Yn y rhan fwyaf o'i honiadau, nid ydyw ond yn rhamantu. Ac am y gweddill, ni allai eu dwyn i ben ond trwy Radicaliaeth eithafol ei natur; ac os Radicaliaeth, y mae yn anfesurol well i ni ei gael dan ei ènw ac yn ei liw ei hun, ac nid mewn ffurf fydd yn dymchwelyd pob trefn ac yn gwneyd ein holl wleidyddiaeth yn chwalfa. Dywedai yn ei araeth ddiweddar yn Sheffield, wrth sôn am wladlywiaeth Geidwadol y dyfodol, ac mewn ffordd o osod y peth yn gryno a dealladwy o flaen ei wrandäwyr, y byddai y fath ag i fod yn groes ymhob pwynt i wladlywiaeth gartrefol Mr. Chamberlain. Ond yr oedd gan y gŵr hwnw, sydd mor glir a grymus ei feddwl ac mor llyfn ei dafod, atebiad da i'w roddi iddo yn Warrington. Yr oedd braidd yn ddiweddar iddo siarad felly, pan yr oedd y Toryaid wedi cytuno i gario allan bron bob mesur

ag yr oedd efe wedi bod yn dadleu drosto! Felly am estyniad yr etholfraint, a'i hestyniad i'r Iwerddon fel i Brydain Fawr; felly am ddosbarthiadau etholiadol cyfartal; felly am "bleidlais y lleiafrif;" felly am ddeddfwriaeth eithriadol i'r Iwerddon, wedi i'r amgylchiadau a alwent am hyny fyned heibio; felly am lywodraeth leol ymhob man, mewn cysondeb â chyfanrwydd yr Ymherodraeth, &c. Ar gwestiwn yr etholfraint amser yn ol yr oedd pob Tory yn ei erbyn, ond Arglwydd Randolph Churchill, ac yr oedd yntau hefyd yn dyweyd cymaint yn ei erbyn un diwrnod ag a ddywedai o'i blaid y diwrnod arall. "Ond yn awr," ychwanegai Mr. Chamberlain, "heb air o gydnabyddiaeth, heb gysgod o reswm, oddieithr amgylchiadau pleidiol a manteision pleidiol, y maent wedi meddiannu pob rhan o fy rhaglen. Y maent yn ei hawlio fel yr eiddynt eu hunain, ac y maent wedi fy yspeilio o'm gwladlywiaeth a fy ngadael yn noeth a thlawd nes y gallaf ddyfeisio un arall, yr hon, mae yn ddiammeu, a ladratant hefyd yn ei thro. Foneddigion, na chamddeallwch fi; nid wyf yn cwyno o'r lladrad, ond yr wyf mewn gofid am anniolchgarwch y rhai sydd wedi ei wneyd. Mi ddarllenais ychydig amser yn ol am ymosodiad yspeilgar a wnaed ar balas boneddwr yn y wlad. Cymerodd y rhai a'i gwnaethant y llestri aur a'r pethau gwerthfawr, ac yna aethant i'r *cellar* a'r *pantry*, a gwnaethant swper rhagorol. Cyn ymadael gadawsant ar y bwrdd nodyn, i'r perwyl a ganlyn: 'Mae eich pasteiod a'ch *champagne* yn gampus, ond mae eich cwrw yn ffiaidd; ac os na newidiwch eich *tap* ni ddeuwn drachefn.' Dyma yn union sefyllfa Arglwydd Randolph Churchill. Y mae efe a'i gyfeillion wedi ystwffio eu hunain â'r ymborth gwleidyddol oeddwn i wedi ddarparu; ac yn awr y maent yn troi ac yn fy sarhâu, ac yn dyweyd y gadawant fi oni newidiaf fy *nhap*."

Mae yn dra phwysig, fodd bynag, i ni oll fod ar ein gwyliadwriaeth rhag yr ymdrechion cyfrwys a wneir i'n camarwain. Nid yw yn annaturiol i rai, yn wyneb y marweidd-dra masnachol sydd wedi ffynu am gymaint o amser, ddychymygu y gallai dychwelyd y blaid arall am dro i allu, beri tro ar fyd; ac y mae y Toryaid yn gwneyd eu goreu i faethu y teimlad hwn, ac yn rhoddi arbenigrwydd mawr, fel gwystl o ddyddiau gwell—os cânt hwy eu dychwelyd i allu!—ar eu gwaith yn penodi Dirprwyaeth Frenhinol i ymofyn i Iselder masnach ac Amaethyddiaeth. "A ydych chwi yn gweled,—ni wnaeth y Rhyddfrydwyr ddim at wella masnach; ond dyma ni, can gynted ag y daethom i allu, wedi penodi Dirprwyaeth Frenhinol i edrych ymha le y mae y drwg!" Hyderant, wrth reswm, y bydd rhai yn ddigon ffol i deimlo yn ddiolchgar am y ffafr ysplenydd hon, ac i roddi iddynt eu pleidleisiau. Ond wedi y cwbl, faint o werth allai fod yn mhenodiad y Ddirprwyaeth? Am achosion *naturiol* yr iselder—olyniad o gynauafau gwlybion; gwrthweithiad yn dilyn gorweithiad yn llwyddiant annaturiol blynyddoedd a aethant heibio; gwylltineb y cydymgais sydd ymhob cyfeiriad wedi tagu y marchnadoedd; y cynnydd a wnaed mewn gwledydd eraill mewn gallu i gynnyrchu y nwyddau ag yr arferai eu marchnad fod yn gwbl yn ein llaw ni; diffyndollaeth, fel y mae yn llesteirio llwyddiant ein cwsmeriaid yn y Cyfandir ac yn America; y marweidd-dra masnachol sydd wedi ymdaenu dros yr holl fyd; y lliaws trefniadau gorthrymus sydd eto yn aros ynglŷn â'n deddfau tirol; ac yn enwedig ein gwaith yn

gwario bob blwyddyn o chwech i saith ugain miliwn o bunnau am ddiodydd meddwol—y mae y pethau hyn oll mor amlwg fel nad oedd eisiau penodi Dirprwyaeth Frenhinol er eu darganfod. Ond y mae cyfansoddiad y Ddirprwyaeth y fath fel y gellir bod yn sicr, os gwna unrhyw adroddiad hefyd, y bydd ei holl argymhellion yn ffafr y breuddwyd a adnabyddir fel Masnach Deg, yr hyn nad ydyw yn y pen draw ond enw arall ar Fasnach Gaeth, neu Ddiffyndollaeth. Mae yn wir y gofynwyd i ambell un, y naill ar ol y llall, o'r Rhyddfasnachwyr i ymuno â'r Ddirprwyaeth; ond gwelent oll fod y mwyafrif o'r ochr arall mor fawr fel na atebai eu henwau hwy unrhyw ddyben amgen nag adlewyrchu gogoniant mwy ar olygiadau y mwyafrif. Am hyny, er fod y Ddirprwyaeth dan lywyddiaeth boneddwr y mae gan bawb gymaint parch iddo ag Arglwydd Iddesleigh—ein hen gyfaill Syr Stafford Northcote—eto darfu i'r fath wŷr a Meistri Goschen, J. K. Cross, Shaw Lefevre, Forster, Slagg, Hibbert, Courtney, Norwood, Broadhurst, a'n cydwladwr Syr Hussey Vivian, wrthod yr anrhydedd o gael eu penodi arno. Cyhuddai y Prifweinidog Arglwydd Granville yn Nhŷ yr Arglwyddi o geisio *boycottio* y Ddirprwyaeth! Ffol iawn fyddai neb a ddysgwyliai ddim oddiwrth Ddirprwyaeth o'r fath a ddangosai, er engraifft, fod dim a fyno ein deddfau tirol gorthrymus, neu ddeddfwriaeth y fasnach feddwol, ag effeithio yn niweidiol ar amgylchiadau y deyrnas. Nid ydyw yn debyg y gwelai y boneddigion a benodwyd ddim o'r fath beth, pe na b'ai haul y nefoedd, dros hirddydd haf, yn tywynu ar ddim arall. Ond y maent yn dra thebyg o weled yr hyn sydd yn eu calon hwy eu hunain, ac ni fyddai ryfedd yn y byd eu gweled, os tybiant y bydd gan y deyrnas rywfaint o amynedd i wrando arnynt, yn dwyn allan adroddiad fydd fel llef un yn llefain yn y diffaethwch yn prophwydo Masnach Deg. Eithr gwae ni, pe gwrandawem arnynt! Mae yn ddiammeu y byddai yn llawer gwell i ni pe byddai gwledydd eraill yn taflu ymaith ffynbaglau Diffyndollaeth ac yn cydredeg yn hoew gyda ni hyd brif-ffyrdd teg Masnach Rydd; ond y mae o bwys mawr cofio y byddai yn llawer gwell hefyd i'r gwledydd hyny eu hunain. Wedi diddymu *Protection* fe ddadblygwyd ein hadnoddau ni yn y fath fodd fel y mae pum' rhan o wyth o holl gario y byd yn awr yn cael ei wneyd gan ein llongau; ac yr oedd ein hallforion am y 12 mlynedd yn terfynu 1882, yn dyfod at eu gilydd yn £223,331,000 yn y flwyddyn, tra nad oedd allforion y 12 mlynedd yn terfynu 1842, cyn dyddiau Masnach Rydd, ar gyfartaledd, yn ddim ond £45,939,000 yn y flwyddyn,—hyny yw, y mae ein hallforion yn bresennol yn fwy *bum' waith* nag oeddynt ddeugain mlynedd yn ol, tra nad ydyw cynnydd y boblogaeth ond 37 y cant. Y mae boneddigon parchus y Ddirprwyaeth Frenhinol yn rhai sydd yn barhaus yn pregethu mai yn yr amddiffyn a olygir mewn Masnach Deg—hyny yw, mewn geiriau eraill, Masnach Gaeth—y mae ein hiachawdwriaeth. Ond yr oedd ein cydwladwr parchus, Mr. Osborne Morgan, pan yn ddiweddar yn Ffrainc, un o wledydd y diffyndollau, yn cael fod y dorth y talwn ni 4c. am dani, yno yn costio 9c.; y siwgr a gawn ni am 2½c. y pwys, yno yn 7c.; yr halen yn ddrutach dair gwaith; y tê yn rhy ddrud i'r gweithiwr allu ei gyrhaedd; ac esgidiau gweithwyr yn ddrutach dair gwaith nag yn y wlad hon. A

dangosai Mr. Goschen a Mr. Chamberlain yn ddiweddar, ar giniaw y *Cobden Club*, a hyny mewn modd nad oedd yn bosibl ei wrthbrofi, nad ydyw yr iselder yn Lloegr, gyda'i masnach rydd, yn agos mor fawr ag ydyw yn Ffrainc, a Germany, ac America, gyda'u holl ddiffyndollau. Dangosai Mr. Goschen hefyd yn bur amlwg fod sefyllfa y gweithwyr yn y wlad hon yn llawer gwell nag ydoedd lawer o flynyddoedd yn ol. Y maent yn abl i gael mwy y pen o angenrheidiau a moethau bywyd, ac mewn llawer o amgylchiadau y mae gallu pwrcasol eu cyflogau yn fwy nag ydoedd hyd yn nod yn 1874. Dywedai Mr. Goschen hefyd, a chymeryd yr holl wlad, fod cynnydd wedi bod yn y symiau a osododd y dosbarthiadau gweithiol yn eu banciau cynnilo a'u cymdeithasau cyfeillgar. Ac fel prawf diammheuol ymhellach o lwyddiant, cyfeiriai at allu y wlad i dreulio, gyda golwg ar yr hyn y dangosai fod yr ystadegau yn ddiammheuol foddhaol. "Yfasom fwy o dê," meddai, "nag mewn un flwyddyn o'r blaen; defnyddiasom fwy o siwgr; cawsom fwy o wlân i'n gweithfeydd; bu genym fwy o wasanaethyddion; cymerasom fwy o drwyddedau i saethu; bu genym gynifer o gerbydau; ac nid oedd mewn un gyfran o'n gwario, pa un bynag ai ymysg y dosbarthiadau gweithiol ai dosbarthiadau uwch, un arwydd o leihâd, oddieithr mewn un, neu, gadewch i mi ddyweyd, mewn dwy. Mewn yfed gwirodydd y mae lleihâd amlwg. Nid ydym yn yfed yn awr ond 10 gwydriad o wirod am bob 13 a yfem yn mlwyddyn yr yfed mwyaf, sef 1875, ac yr ydym wedi lleihâu un gwydriad o bob deg yn y pedair neu y pum' mlynedd diweddaf. Mewn tybacco hefyd y mae ychydig leihâd; yr ydym wedi tori ymaith un bibellaid neu un *cigar* allan o bob 35, ac fe dybir fod hyny i'w briodoli i'r doll uwch." Mor wahanol ydyw hyn oll i ddyddiau Diffyndollaeth, yr oes euraidd y mae pobl ddoniol y Fasnach Deg yn hiraethu am eu gweled! Yn 1839 yr oedd yn Sheffield 29,000, ac yn Leeds 30,000 yn derbyn cymhorth plwyfol. Drachefn yn 1844 yr oedd 12,000 yn Manchester yn yr un ystâd. Y flwyddyn hono, 1844, yr oedd *naw y cant* o boblogaeth y deyrnas ar y plwyf; tra yn 1879, adeg ein hiselder diweddar mwyaf, nad oedd ond *tri a chwarter y cant* yn derbyn cymhorth plwyfol. Am ein cydwladwyr tirion a allont fod yn cael eu temtio i ddychymygu y byddai dychwelyd y Toryaid i allu yn debyg o fywiogi masnach, da fyddai iddynt feddwl am y pethau hyn! Heblaw amddiffyn yn eiddigeddus bob gormes a chamwri; llochi y fasnach feddwol; ein dysgu i ymgrymu yn barchedig i'r Sgweier, ac ymddiried ein cydwybod i ofal y Person; torsythu ymysg Galluoedd tramor a chwilio am gyfleusdra i gweryla â hwynt,—yn ychwanegol at amcanion ardderchog o fath y rhai hyn, nid ydym ni yn gweled fod gan y Toryaid ddim ag y maent wedi gosod eu bryd yn gymaint arno â'u heilun o Fasnach Deg. Mae y *Standard* yn ddigon dibris o ddrychfeddwl mawr y rhai a dybir y fath golofnau i'r achos y mae yn hanfodi i'w wasanaethu, fel y geilw ef y "*Fair Trade Craze*"—y peth y maent yn pendroni yn ei gylch! A barned y Cymry mwynion, ai dyma y bobl y maent i ddychwelyd i'r Senedd, a gosod eu hunain wrth eu traed? Ac y mae yn gysur neillduol i ni gofio, yn rhinwedd y Balot a'r *Corrupt Practices Act*, fod holl ddannedd eu hysgriwiau, trwy ba rai y buont yn gwasgu mor ofnadwy ac yn "malu wynebau y tlodion," erbyn hyn wedi eu llwyr ddinystrio, ac na fydd ein boneddigion mawrion, gyda holl llaws eu

cynffonau, yn etholiadau y dyfodol ond fel pobl eraill. Mae y Cyfansoddiad Prydeinig, o hyn allan yn neillduol, yn amddiffyn yn eiddigus holl hawliau yr etholwyr, ac yn barod i gosbi yn ddiarbed pwy bynag a ryfygo i ymyraeth â hwynt.

Am y rhesymau paham y gellid dysgwyl pleidleisiad cryf a gorchfygol o blaid Rhyddfrydwyr yn yr Etholiad sydd bellach gerllaw, prin, dybygem, y mae eisieu myned trwy y ffurf o'u crybwyll. Nid oes dim sydd yn werth ei *geidwadu* yn ein plith na fyddent yn sicr o ofalu am dano yn llawn cystal, os nad gwell na'u gwrthwynebwyr. Yn wir y mae y rhan fwyaf o'r pethau da sydd yn ein meddiant wedi eu creu gan y Rhyddfrydwyr, ac nid ydyw yn debyg y byddai iddynt fod mor wallgof a dinystrio gwaith eu dwylaw eu hunain. Mae y siarad mawr sydd yn ffynu yn gymaint am eu hysbryd chwyldröadol, a'u hysfa i ddymchwelyd a dinystrio, y peth mwyaf disail y gellid meddwl am dano. Mae yn wir fod ambell ddinystrio yn anhebgorol mewn trefn i gadw. Rhaid tori aelod weithiau er mwyn achub y corff, ac mewn amgylchiad felly dinystrydd y peth mawr ydyw y neb a fynai arbed y peth bychan. Yn yr ystyr yma yr oedd yr Arglwyddi Ceidwadol pan yn troi y *Compensation for Improvements Bill* allan o'u Tŷ yn gwneyd eu hunain yn gyfrifol am beth anferth o'r galanasdra a gymerodd le mewn canlyniad yn Iwerddon; ac mewn llïaws o amgylchiadau yr un ffunud, y mae ymlyniad dall Ceidwadwyr wrth gamwri am ei fod yn hen, neu am nad ydoedd i'w deimlo yn gymaint mewn amseroedd aethant heibio a than amgylchiadau cwbl wahanol, wedi arwain y deyrnas i fin dibyn ag yr oedd yn dda bod wrth law ddynion doethach—"a fedrent ddeall yr amseroedd i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur"—i'n hachub rhag trychineb. Yn wir y mae Ceidwadwyr, dan arweiniad dynion fel Disraeli a Randolph Churchill, yn agored i ffitiau sydd yn eu gwneyd yn wirioneddol beryglus, ac yn peri i'r *Tory Democracy*, heb fod dan lywodraeth unrhyw egwyddor, ruthro ymlaen i wneyd unrhyw beth, am y gallo ymddangos mor eithafol Ryddfrydig fel na fyddo yn bosibl yn y cyfeiriad hwnw i neb fyned tu hwnt iddo. Y mae Rhyddfrydiaeth oleuedig, o'r ochr arall, yn llywodraethu ei hachosion "wrth farn," a than deimlad o gyfrifoldeb, ac y mae ei mesurau teg, am hyny, yn debyg o fod hefyd yn ddiogel. A dyna gymeriad y mesurau ag yr ymffrostiwn ynddynt fel cynnyrchion goreu ein gwladlywiaeth yn y blynyddoedd diweddaf, y rhai, er ein bod yn ddyledus am danynt yn gwbl i ymdrechion Rhyddfrydwyr, eto y mae y Toryaid yn cyfrif cymaint ar ein hanwybodaeth neu ein gallu i anghofio, fel y maent yn barhaus yn hòni iddynt eu hunain yr holl glod o'u sicrhâu. Cymerer ychydig fel engreifftiau o'r llïaws. Dyna ein holl Ddiwygiadau Seneddol o'r cychwyniad mawr yn 1832, a'r Balot, a'r *Corrupt Practices*, ac Estyniad yr Oriau i Bleidleisio, hyd Estyniad y Bleidlais i dŷddalwyr yn y wlad, a sicrhäwyd, wedi deng mlynedd o ryfela cildyn yn ei erbyn gan y Toryaid, y flwyddyn ddiweddaf; dyna bob symudiad yn nghyfeiriad Rhyddid Crefyddol, o ddiddymiad yr hen ddeddfau erlidgar yr oedd boneddigion a phersoniaid y dyddiau gynt yn llawenychu yn gymaint ynddynt, a Rhyddfreiniaid y Pabyddion a'r Iuddewon, i lawr hyd agoriad y Prifysgolion i Ymneillduwyr, a'r caniatâd i weinidog Anghydffurfiol, trwy

Act ein cydwladwr Mr. Osborne Morgan, i weini yn nghladdedigaeth ei bobl yn y mynwentydd plwyfol; dyna ddilëad yr holl Drethoedd gorthrymus, o Dreth yr Yd a Threthoedd Morwriaeth, y rhai y bu eu dilëad mewn modd neillduol yn gychwyniad masnach rydd a dechreuad llwyddiant digyffelyb y deugain mlynedd diweddaf, i lawr i Dreth y Papyr, a Threth y Goleuni, a'r Dreth Eglwys, a'r Trethoedd ar gynifer o angenrheidiau bywyd; dyna y cymhorth gan y Wladwriaeth at Addysg Elfenol, heb ei defnyddio fel offerynoliaeth i wneyd y bobl yn Eglwyswyr ("i addysgu y plant yn egwyddorion Eglwys Loegr"), o'r *grants* cyntaf at Ysgolion Brytanaidd hyd sefydliad ein cyfundrefn ardderchog o Fyrddau Ysgol, ynghyd a rhyw gymaint o ëangiad ar yr Ysgolion Gramadegol Gwaddoledig; dyna bob mesur o degwch a chyfiawnder a estynwyd i'r Iwerddon, y rhai ydynt oll â'u tuedd i symud o galonau y Gwyddelod y teimlad o ddwfn anfoddlonrwydd a gynnyrchwyd gan oesoedd o ormes, a'u dwyn i deimlo ein bod bellach, yn sicr, yn awyddus am estyn i'r Iwerddon yn union yr un rhagorfreintiau ag a fwynheir gan bob rhan arall o'r Deyrnas Gyfunol; dyna bob amddiffyn a estynwyd i Amaethwyr, a phob attaliad ar y Fasnach feddwol, a llawer o bethau eraill a allesid enwi: fe ŵyr pawb eu bod oll yn dra gwerthfawr, ac eto, y maent oll wedi eu cael trwy ymdrechion y blaid Ryddfrydig, *ac er gwaethaf y Toryaid!* Mae yn wir fod rhai o honynt wedi eu cario i weithrediad pan oedd y Toryaid mewn awdurdod, ond yr oeddynt am flynyddoedd wedi bod yn eu gwrthwynebu, ac fe'u gorfodid i'w pasio yn unig am fod y Rhyddfrydwyr yn drech na hwynt; ac y mae eu hyfdra yn ymffrostio ynddynt fel eu mesurau eu hunain yn beth ag y mae hanesyddiaeth dan rwymau i'w gondemnio, ac y dylai pob dyn gonest edrych arno gyda dirmyg.

Gwerth ein hastudiaeth o helyntion yr amser aeth heibio ydyw y goleuni a deifl i ni ar y dyfodol. Pa un o'r ddwy blaid sydd debycaf o estyn i ni y mesurau ag y mae amgylchiadau y dyddiau hyn yn galw am danynt? Mae yn wir y gallai y Toryaid, dan arweiniad anamgyffredadwy arwr y *Tory Democracy*, fel Mr. *Anything* John Bunyan, roddi i ni beth bynag a fynom; ond o barch iddynt hwy eu hunain, ac yn enwedig y bobl dda yn eu plith ag y mae ganddynt eto rywfaint o barch i egwyddor ac anrhydedd, ni ddylem oddef iddynt eu darostwng eu hunain i'r fath ddiraddiad. Ond am y Rhyddfrydwyr, *pethau o'r fath ag sydd arnom eisiau ydyw y pethau ag y mae yn naturiol i ni edrych am danynt oddiar eu llaw.* Y maent hwy o'r bobl, ac yn hanfodi i'w gwasanaethu. Mae yn wir na wnant gam â'r pendefigion; ond y mae mor sicr a hyny na allant edrych arnynt fel rhywogaeth mor uwchraddol o fodau fel nad ydyw y gweddill o'n cyd-ddynion yn hanfodi ond i fod yn gaethweision iddynt. Nid ydyw Rhyddfrydiaeth yn gofyn am unrhyw ffafr, ond y mae yn hawlio pob cyfiawnder. Nid ydyw rhaglen y blaid eto wedi ei gwneyd i fyny gyda golwg ar yr Etholiad; ond y mae amryw faterion ag y mae yn eithaf amlwg y rhaid eu cymeryd i sylw yn y Senedd ddyfodol, ac y mae yn bwysig i ni anfon iddi ddigon o Ryddfrydwyr da i'w penderfynu yn y fath fodd ag a wasanaetho i ddaioni penaf y genedl. Am gwestiwn y tir, prin y mae yn foddhaol i neb; y mae llawer o dirfeddiannwyr a lliaws o ffermydd mawr o'r eiddynt yn myned yn anialwch, a miloedd

o amaethwyr yn methu byw. Fel yn yr Iwerddon, mae yn rhaid i'r tir yn y wlad hon hefyd wrth ddeddfwriaeth ddoethach a mwy cyfiawn na dim sydd hyd yma wedi cyrhaedd ein deddflyfrau. Mae arnom eisieu llywodraeth leol o natur mwy ymarferol nag sydd yn bosibl yn llysoedd yr Ustusiaid, a rhaid ei gosod yn nwylaw pobl fydd yn gyfrifol i'r trethdalwyr. Yr ydym ni yn credu hefyd mai goreu po gyntaf i ninnau wneyd addysg fydol ein plant, sydd eisoes yn orfodol, hefyd yn hollol rad. Mae yn ddyddorol gweled mai y bobl barchus, y rhai, trwy gyfyngu i blaid y cyfraniadau a fwriadwyd i'r genedl, sydd yn llwyddo i gael eu haddysg eu hunain ymron heb dalu dim, ydyw y rhai sydd yn pregethu fwyaf yn erbyn addysg rad i'r bobl. Ond yr ydym yn credu fod hyny yn anocheladwy. Y mae ein trethiadau lleol hefyd yn galw am eu had-drefnu, ac yn enwedig mewn ffordd o ddwyn y cyfoethogion a'n tir-feddiannwyr mawrion i gymeryd eu rhan, yn debyg fel y gorfodir y werin i wneyd, yn nygiad y beichiau cyhoeddus. Ac erbyn hyn fe ddeallir ar bob llaw fod dadsefydliad a dadwaddoliad yr Eglwys Sefydledig yn beth sydd wrth y drws. Ni raid i ni ddyweyd pethau cryfion ar y mater hwn; gadawn i'n hen gydymaith parchus y *Record*—cyhoeddiad cymeradwy o eiddo yr Eglwys ei hunan—ddadgan ffrwyth ymofyniad manwl a wnelsai mewn perthynas iddo. Yn y rhifyn am Awst 14, y flwyddyn hon, dywedai :—

Fe allai ymddangos hyd yn nod yn awr, fel pe byddai Eglwyswyr yn nghwsg ac yn anymwybodol o'r hyn sydd yn eu haros. Os felly, hwy a gânt ddeffröad tra anghysurus. Yr ydym ni wedi casglu digon o wybodaeth i fod yn alluog i farnu yn lled agos am yr achos, ac yr ydym yn anturio dyweyd *y daw y canlyniad fel syndod i bawb.* Yr oll sydd yn angenrheidiol i roddi llwyddiant cyflawn i frad y dadsefydliad ydyw i Eglwyswyr barhau i "beidio codi y cwestiwn," ond pleidleisio yn Rhyddfrydol neu yn Doryaidd, yn ol eu plaid, heb gyfeiriad at olygiadau yr ymgeiswyr ar gwestiwn yr Eglwys. Fe wneir pobpeth a ellir i gadw Eglwyswyr yn dawel; tra, ar y llaw arall, y gwneir ymdrechion egnïol i effeithio ar etholwyr newyddion, a pheri iddynt waeddi am ddadsefydliad. Drachefn, y mae ymgeiswyr, *yn llythyrenol wrth y cannoedd*, yn rhwymo eu hunain i yspeiliad, er sicrhau y llafurwyr; tra, "rhag ofn rhwygo pleidiau," neu am nad yw y cwestiwn yn addfed, y mae etholwyr o'r dosbarth uchaf a chanol, yn cydsynio i fod yn ddystaw ar gwestiwn yr Eglwys. Yna, pan fydd yr etholiad drosodd, a'r Senedd wedi cyfarfod, fe fydd i ryw blaid-arweinydd mawr ddarganfod, er nad oedd dadsefydliad wedi ei wneyd yn gwestiwn plaid, eto fod y genedl ei hunan wedi anfon mwyafrif o'i chynnrychiolwyr i Westminster gydag archiad i dynu yr Eglwys i lawr, ac nad ellir anufuddhau commisiwn i'r Senedd gan y fath awdurdod uchel—ac am hyny at y gwaith.

Druan o'r *Record!* A chan yr ymddengys fod y fath gyfathrach rhwng pobl y "Bîr a'r Bibl," gallwn ychwanegu, fod cwestiwn y fasnach feddwol hefyd, erbyn hyn, wedi codi i'r fath arbenigrwydd, a myrddiynau o'n cyd-ddeiliaid yn teimlo mor angerddol mewn perthynas iddo, fel y bydd yn anmhosibl ei adael yn hwy heb roddi dyfarniad arno a fydd yn amddiffyn i'r deyrnas rhag y felldith drymaf ag y mae yn gruddfan dani. Ac yr ydym yn credu fod hyd yn nod yr arweinwyr Rhyddfrydig eto heb orphen eu "haddysgiaeth" ar hyn, ac y rhaid, yn y pen draw, ei adael ymhob man i'w benderfynu yn uniongyrchol gan y bobl eu hunain, ac nid ei ymddiried, fel un o lawer o bethau, i ddoethineb y byrddau sirol y bwriedir eu ffurfio. Dywedai Mr. Trevelyan, wrth siarad rai blynyddoedd yn ol am roddi y gallu hwn yn uniongyrchol

yn llaw y bobl, nad oedd dim a allai eu llywodraethwyr wneyd ag oedd yr ugeinfed ran mor bwysig iddynt. Ac i ni yn Nghymru, yn enwedig, y mae y mater o Addysg Ganolraddol yn un o bwysigrwydd tra mawr. Fe ddarfu i'r Weinyddiaeth flaenorol, ar ol cael ei hir lesteirio, ddwyn i mewn fesur rhagorol ar hyn ychydig cyn ei dymchweliad; ac yn ein bryd ni, nid doeth y gwnelai cryn nifer o'n cyfeillion—ac o herwydd mater neu ddau na fuasai gan ei gynnygwyr wrthwynebiad i'w cyfnewid mewn pwyllgor—yn codi bloedd yn ei erbyn fel pe na fuasai y cyfan ond dyfais o eiddo ein gelynion i'n bradychu. Ar ol hyny y mae gwrthwynebwyr yr amcan, yn y wawr o obaith a welent yn nychweliad eu plaid i awdurdod, wedi dyfod ymlaen yn dra gwrol i gondemnio y mesur. Y mae penderfyniadau aelodau Cymreig y Tŷ Isaf o Gonfocasiwn, yn cynnyg tynu ymaith ei holl enaid a'i adael yn ysgerbwd mor ddiwerth fel y byddai yn llawer gwell i'r genedl fod hebddo. Ac yr oedd Arglwydd Cranbrook wrth dderbyn y penderfyniadau hyny, yn raslawn yn dadgan ei obaith "y byddai i'r mater gael ymwneyd âg ef yn y Senedd nesaf mewn modd a foddlonai holl ymestyniadau cyfiawn y Dywysogaeth." Mae yn amlwg mai y gair "cyfiawn" yn yr atebiad hwn a fwriedid i fod dan bwyslais, gan fod y bobl ragorol hyn yn golygu fod adfer a sefydlu at wasanaeth y genedl, fanteision ag oeddynt hyd yma wedi eu gorfaelu gan sect, yn anghyfiawnder ac yn yspeiliad! Ond er mwyn hyn hefyd, yn gystal ag er mwyn yr holl amcanion pwysig a grybwyllwyd uchod, ynghyd a rhai eraill o gyffelyb natur, y mae o bwys mawr ein bod oll yn ystyried o ddifrif pa ddefnydd a ddylem wneyd o'r etholfraint yn mis Tachwedd. Pe dychwelem Doryaid i allu, nid oes un math o debyg, heb iddynt eu gwadu eu hunain, y byddai iddynt geisio gwneyd y pethau ag ydynt i'r deyrnas mor anhebgorol angenrheidiol. O'r ochr arall, os dychwelwn Ryddfrydwyr, ac mewn nifer digonol i allu cadw gwastrodedd ar y cynghreiriad gwaradwyddus a diegwyddor rhwng y Toryaid a'r Parnelliaid, y mae eu hanes yn yr amser aeth heibio, ynghyd a gallu a chymeriad y gwŷr rhagorol ydynt yn awr yn eu harwain, yn ddigon o wystl i ni y gwnant yr oll a fo yn ddichonadwy i'n gwasanaethu.

Un gair arall: costied a gostio, na fydded i Ryddfrydwyr Cymru syrthio i'r amryfusedd yr aeth cynifer o'u brodyr iddo yn 1874, trwy redeg mwy nag un ymgeisydd. Cymered y blaid bob poen i ddyfod i gyd-ddealltwriaeth; ond wedi hyny, edrycher ar unrhyw ymgeisydd a ymdrecho i'w rhwygo, pa mor "annibynol" bynag, fel gelyn a bradwr.

DANIEL ROWLANDS.

## NODIADAU LLENYDDOL.

*A Commentary on St. Paul's Epistle to the Galatians.* By JOSEPH AGAR BEET. London: Hodder & Stoughton.

Y MAE awdwr y gwaith hwn wedi cyrhaedd enwogrwydd uchel fel efrydydd o'r Ysgrythyrau. Dyddia y gyfrol yma o "Epworth Lodge, Wrexham," lle y mae wedi bod yn weinidog parchus ac yn arolygydd y gylchdaith gyda y Wesleyaid; ond yr ydym yn deall ei fod yn awr ar ymadael, gan ei fod wedi ei benodi yn Athraw Duwinyddol yn ngholeg y Cyfundeb Wesleyaidd yn Richmond. Nid oes llawer er pan ddygwyd allan gan yr un cyhoeddwyr ei *Esboniad ar Epistol St. Paul at y Rhufeiniaid*, pris 7s. 6c., yr hwn sydd yn ei bedwerydd argraffiad; dilynwyd hwnw gan *Esboniad ar Epistolau St Paul at y Corinthiaid*, pris 10s. 6c., yr hwn sydd yn ei ail argraffiad; a dyma hwn yn awr wedi ymddangos ar yr *Epistol at y Galatiaid*, pris 5s. Y mae felly wedi cwblhâu ei esboniadaeth ar bedwar Epistol trydedd daith genadol yr Apostol Paul. Hydera allu dwyn allan gyfrol eto ar yr Epistolau a ysgrifenodd yr Apostol yn neillduedd ei garchariad cyntaf, sef y rhai at yr Ephesiaid, y Philippiaid, y Colossiaid, a Philemon; ac yna bummed cyfrol, ar y ddau Epistol cyntaf a'r tri olaf a ysgrifenodd, sef y rhai at y Thessaloniaid yn ystod ei ail daith genadol, a'r lleill a ysgrifenwyd, fel y gobeithia yr awdwr ddangos, ar ol ei garchariad cyntaf; gan derfynu gyda chyfrol ar ddysgeidiaeth yr Apostol gyda'i gilydd, gan ei gymharu âg eiddo ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd, ac olrhain y cyfan i'w tarddiad cyffredin yn nysgeidiaeth Crist ac yn arfaeth dragywyddol Duw. Fe welir fod yr awdwr wedi gosod nod clir ac uchel o'i flaen, ac y mae yn amlwg ei fod yn crynhoi ei ymadferthoedd mewn modd tra chanmoladwy yn yr ymdrech i geisio ei gyrhaeddyd. Y mae yn arwydd dda fod derbyniad mor garedig yn cael ei roddi i'w lyfrau. Er maint yr awch am y gwagsaw a'r cynhyrfiadol ymysg darllenwyr y deyrnas, mae yn amlwg fod er hyny lïaws mawr o bobl feddylgar sydd yn rhoddi gwerth neillduol ar ymdrechion gwŷr galluog i'w dysgu yn fanylach yn mhethau Duw. Ac mae yn ddiammeu fod Mr. Beet yn llawn deilyngu ei boblogrwydd. Y mae yn weithiwr difefl. Gwna ddefnydd llawn o bob cymhorth sydd o fewn ei gyrhaedd i ddeall y rhanau o'r Gair a fo o dan ei sylw, ac eto ni edy i'w edmygedd at y rhai mewn amseroedd hen a diweddar sydd wedi gosod y byd dan y fath ddyled iddynt ei lesteirio i feddwl yn annibynol ei hunan, ond cyfuna gyda gwybodaeth ëang o olygiadau yr esbonwyr goreu y fath fesur o synwyr da, ac addfedrwydd barn, a gallu i weled i amcan a chydymdeimlo âg ysbryd yr ysgrifenwyr sanctaidd, fel y mae yr esboniad a ddyry, yn bur gyffredin, yn llawn a chlir a boddhäol. Y mae i ninnau, fel i'n hanwyl gyfaill Mr. Parry, yn anamgyffredadwy paham yr oedd Archddiacon Farrar yn y *Contemporary* yn ystyried y gwaith hwn o'i eiddo yn uwch nag esboniad ein cydwladwr, Mr. Charles Edwards, ar yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid. Y mae yn deilwng o ganmoliaeth uchel mae yn wir, ond nid ydyw i'w osod yn yr un dosbarth â hwnw. Mewn barn a synwyr fe allai nad ydyw gymaint ar ol; ond mewn dysgeidiaeth, a gallu, a bywyd, y mae y Cym.o, dybygem, yn llawer mwy cyfoethog. Nid ydyw yn hòni dysgeidiaeth fawr, ond gan fanteisio ar feirniadaeth dda ysgolheigion fel Ellicott, a deongladaeth feistrolgar gwŷr fel Lightfoot, a chan gadw yn glir â llawnder eu cyfeiriadau dysg-

edig, ond wedi meddwl ei faterion i olenni, fe esyd ger bron y pethau hanfodol i eglurhadaeth y Gair mewn dull a'u gwna yn ddealladwy i rai sydd, er heb fod yn ddysgedig, eto yn efrydwyr meddylgar o'r Ysgrythyrau. Trefna yr Epistol yn ol ei gynnwys i raniadau naturiol, a rhydd gyfieithiad mor lythyrenol ag a all o bob adran cyn ei hesbonio, i'r dyben o geisio gosod y darllenydd cyffredin ar yr un tir a phe buasai yn abl i ddarllen y testun Groeg. Mae y cyfieithiad a ddyry felly nid yn anfynych yn ddigon clogyrnaidd, yn llawn mwy felly na'r *Revised Version;* ond gwasanaetha i'r amcan oedd ganddo ef mewn golwg, a chynnorthwya i ddangos yn fwy clir eiriadaeth yr Apostol. Yma a thraw fe ddyry, ar wahan oddiwrth yr esboniad, nodiadau ar faterion dyddorol sydd yn codi. Ceir nodiad rhagorol felly, tu dal. 114, ar y Sabboth. Creda oddiwrth Gen. ii. 3, gyda'r cyfeiriadau yma a thraw yn yr hen fyd at raniad amser i wythnosau, fod sefydliad y Sabboth yn myned yn ol at y greadigaeth. Ond golyga fod yr oll sydd yn ymddangos fel yn profi hyny, o'r Bibl ac o'r byd Cenedlig, yn rhy wan fel awdurdod dros Ddydd yr Arglwydd; ond fod hwnw, ynglŷn âg adgyfodiad Crist a haues yr eglwys foreuol, yn dwyn ar ei wyneb, ac mewn llythyrenau y gall pawb eu darllen, brawf o'i Ddwyfol darddiad a'i amcan cyffredinol, yr hyn hefyd a gadarnheir gan yr hen gyfeiriadau at yr wythnos a'r seithfed dydd. Yn y diwedd ceir niter o *dissertations* neu draethodau ar y materion canlynol: Llyfr yr Actau o'i gymharu â'r Epistol at y Galatiaid; Yr Epistolau at y Corinthiaid a'r Rhufeiniaid o'u cymharu â'r un at y Galatiaid; Amser ysgrifeniad yr Epistol at y Galatiaid, Epistol Iago o'i gymharu â'r Epistol at y Galatiaid; Efengyl ac Epistol Cyntaf Ioan o'u cymharu â'r Epistol at y Galatiaid; Cyfiawnhâd trwy Ffydd; Croes Crist; Diweddglo neu *Summary of Results.* Mewn cyfeiriad at awgrym o eiddo Dr. Ellicott yn ei ragymadrodd i'w Esboniad ar y Galatiaid, y byddai yn ddymunol i bob esboniwr ei gyfyngu ei hun i diriogaeth neillduol o esboniadaeth, yr oedd efe yn ei osod fel ei nôd, nid trwy elfeniad Gramadegol manwl neu trwy ddwyn ynghyd bob goleuni o ffynnonellau ereill i gael o hyd i linell yr Apostol o feddwl, ond cael allan, ac fel amcan eithaf ei linell o feddwl, ei syniad am yr Efengyl ac am Grist. A rhaid dyweyd ei fod yn cadw y nôd yma yn barhâus o'i flaen, a'i fod i fesur helaeth yn ei gyrhaedd. Mae amryw o'r *dissertations* yn delio âg amcan y gyfrol a fwriada ysgrifenu wedi iddo esbonio holl Epistolau Paul, Ar ei ddysgeidiaeth yn gyffredinol o'i chymharu âg eiddo ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd, ac fel y mae yn codi o ddysgeidiaeth Crist. Y mae hyny yn ateb dyben rhagorol fel y mae, ar y naill law, yn dangos mor ddisail ydyw y feirniadaeth ddinystriol a fynai fod y naill ran o'r Testament Newydd yn dymchwelyd rhan neu ranau eraill; ac ar y llaw arall, fel y mae yn dangos "cysondeb y ffydd," neu yr unoliaeth hanfodol sydd yn rhedeg trwy ac yn cylymu ynghyd bob rhan o'r Dadguddiad Dwyfol. Gallwn yn galonog argymhell y llyfr hwn fel un a dalai yn rhagorol am ei astudio.

*The Old Testament Prophecy of the Consummation of God's Kingdom, traced in its Historical Development.* By C. VON ORELLI, Professor of Theology, Basel. Translated by Rev. J. S BANKS, Headingley College, Leeds.

*Encyclopœdia of Theology.* By Dr. J. F. RÄBIGER, Ordinary Professor of Evangelical Theology at the University of Breslau. Translated, with Additions to the History and the Literature, by the Rev. JOHN MACPHERSON, M.A., Findhorn. Vol. II.—Clark's Foreign Theological Library.

Y CYFROLAU cyntaf am 1885. Mae gwaith Dr. Orelli yn amcanu at gael allan yr ystyr a allai fod yn rhai o brophwydoliaethau yr Hen Destament i'r rhai y traddodid hwynt iddynt ar y cyntaf. Y mae wedi bod yn arferiad i ddarllen cymaint o'r

Testament Newydd i ragddywediadau yr Hen Destament fel ag ymron i wneyd i ffwrdd â'r gwahaniaeth rhwng y mesur o oleuni a roddid i'r eglwys yn y naill, yn ngwawr wanaidd y boreu, ac yn y llall, yn nysgleirdeb ei hanner dydd. Pan aeth dynion i efrydu y prophwydoliaethau hyny yn ngoleuni Rhesymoliaeth oer, nid oedd yn annaturiol iddynt golli golwg ar y cyfoeth o ystyr ysbrydol ag yr oedd y byd am gyhyd o amser wedi cymeryd yn ganiataol ei fod yn gorwedd yndlynt. Dadleuent mai yr unig ystyr a allai fod iddynt ydoedd eu hystyr i'r prophwydi eu hunain, ac i'w cydwladwyr yr amcanent at eu dwyn ger eu bron. Ac erbyn gweled fod y rhan fwyaf, os nad yr oll o honynt, y fath ag y gellid eu hesbonio mewn cyfeiriad at amgylchiadau ag oedd yn cymeryd lle ar y pryd, neu nad oedd yn anhawdd i ddynion craff weled eu bod yn sicr o gymeryd lle yn fuan yn y dyfodol, nid oedd ond gorchwyl hawdd ymwrthod â'r cyfeiriadau at y gwirioneddau mawrion am deyrnas Dduw, ac esbonio y cwbl fel "o'r ddaear yn ddaearol." Ond "allan o'r bwytäwr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felusdra." Trwy y sylw a hawliodd Rhesymoliaeth at y dull gramadegol-hanesyddol o esbonio y Bibl—sef cymeryd ei eiriau yn yr ystyr ieithyddol amlwg raid fod iddynt, ac yn eu cyfeiriad at yr amgylchiadau hanesyddol ar y pryd—y mae yn y mater yma o brophwydoliaeth hefyd wedi profi yn ddirfawr ennill i esboniadaeth yr Ysgrythyrau. Mae yn wir fod dynion ar y dechreu yn teimlo nad oedd yn ngallu y feirniadaeth newydd ddim ond dinystrio ; ond wrth astudio yn ddyfnach, y maent yn cael fod y feirniadaeth hono ei hunan yn eu gorfodi i gymeryd i'r cyfrif ystyriaethau o'r fath fawredd a phwysigrwydd fel nad ydyw yn bosibl eu hesbonio ymaith, a'r rhai, ar dir llawer mwy sicr a diogel—tir beirniadaeth wyddonol ei hunan—sydd yn eu dwyn yn ol at y gwirioneddau ysbrydol am deyrnas Dduw ag y tybid unwaith eu bod wedi myned o'r golwg, ond y mae bellach yn dyfod yn fwyfwy amlwg mai hwynt hwy, yn y cwbl ac yn y modd mwyaf arbenig, sydd yn gwneyd i fyny "faich gair yr Arglwydd." I'r ysgol yma y perthyna Dr. Orelli, ac y mae ei lyfr hwn ar "Brophwydoliaeth yr Hen Destament am Orpheniad Teyrnas Dduw, yn cael ei olrhain yn ei Ddadblygiad Hanesyddol," yn gyfraniad hynod o werthfawr i'n llenyddiaeth Fiblaidd. Y mae yn waith llafurfawr a chyfoethog, ac mae yn sicr y teimlai pwy bynag a ymgymero â'r gorchwyl o'i efrydu yn fawr ar ei ennill. Mae yn cael fod prophwydoliaethau yr Hen Destament er ar wahan, eto yn tueddu at gyfanrwydd, ac yn cyrhaedd cyflawniad gogoneddus yn y dadguddiad llawn o deyrnas Dduw ag y maent oll yn cyfeirio ato. Fe wêl hefyd eu bod yn cael cyfyngu arnynt gan amgylchiadau a rhagolygon Israel; ond cå yr awdwr, fel y sylwa Delitzsch, fod byrwelediad dynol y prophwydi yn gwasanaethu y cynllun Dwyfol yr un modd ag yr oedd eu pell-welediad yn ddawn yr Ysbryd, ac fod yr Ysbryd ymhob man yn ceisio ymdori drwy y llen er dangos i Israel Duw ogoniant eu hetifeddiaeth. "Mae prophwydoliaeth yr Hen Destament yn cael ei unoliaeth a'i gyflawniad yn y Cyfammod Newydd, heb yr hwn ni fyddai ond cynhauaf yn gwywo ar fin addfedrwydd: ymdrech y saint puraf wedi ei chario ymlaen am ganrifoedd—heb ennill dim; gwewyr poenus ddigon, ond dim genedigaeth newydd." Y mae y "prophwydoliaethau yn llefaru, nid yn unig am gynnwys mwyaf gogoneddus a gwerthfawr hanes dynolryw yn y gorphenol, ond hefyd am y gwynfyd uchaf ag y mae y dyfodol yn ddwyn yn ei fynwes, gan dystiolaethu fel y maent am dano Ef (Ioan v. 39) "yr hwn sydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd *i ddyfod!*"

Galwasom sylw at y gyfrol gyntaf o waith Dr. Räbiger yn y TRAETHODYDD am Ebrill y flwyddyn hon. Mae hon yn gorphen y gwaith, ac y mae mor wir am dani ag am y llall, "Na all neb godi oddiwrth unrhyw adran o honi heb fod wedi derbyn awgrym ac addysg."

"*Moses a'r Prophwydi:*" *sef Detholion o Farddoniaeth yr Hen Destament wedi eu troi ar Fesurau ar Arfer Gyffredin mewn Addoliad Crefyddol, ynghyd a Nodiadau Eglurhaol.* Gan y diweddar Barch. WILLIAM REES, D.D., Caer, (*Gwilym Hiraethog*).

BYDD yn hyfrydwch mawr gan lawer o gydwladwyr y diweddar Dr. Rees gael y gyfrol hon i'w llaw, ac felly fwynhâu cyfleusdra dymunol yn ychwaneg i gynnal cymundeb âg ysbryd mor bur, mor garuaidd, ac mor lawn o ddoniau. Nid oes, dybygem, eisieu hysbysu neb sydd yn dwyn yr enw Cymro, fod Dr. Rees wedi treulio ei oes mewn efrydiaeth o'r Ysgrythyrau, neu ei fod yn fardd o'r radd flaenaf. Yn y cyfansoddiadau sydd yn y gyfrol hon y mae wedi gosod ei gymhwysderau mawrion yn y naill gyfeiriad a'r llall ar waith i osod rhanau o farddoniaeth ardderchog y Bibl mewn ffurf farddonol Gymreig. Mae yn anhawdd i ambell un ddeall paham y gelwir rhai rhanau o'r Bibl yn farddoniaeth, pan na wêl ynddynt ddim mesur na chynghanedd nac odl, y pethau sydd yn ei fryd ef, o bosibl, mor hanfodol i farddoniaeth, fel, ond eu cael, na all ond prin fod heb ei foddloni, ond os hebddynt, y mae yn drafferth iddo ddirnad pa fodd y mae peth yn farddoniaeth o gwbl. I gyfeillion felly fe fydd cael y meddyliau â pha rai y maent fe allai eisoes yn bur gynnefin, mewn ffurf o bennillion da yn Gymraeg, yn ammeuthyn gwerthfawr, ac y mae yn dra thebyg y galluogir hwynt trwy hyny i weled mwy o'u gogoniant; ac am feddyliau addfetach, ni allant lai na chael boddhad mawr with y dull coeth a meistrolgar ymha un y mae Dr. Rees wedi dysgu Moses a'r Prophwydi i ganu Cymraeg. Mae aralleiriadau, *paraphrases*, o ymadroddion y Gair, wedi cael gwneyd defnydd mawr o honynt yn nghaniadaeth yr eglwys o'r dechreuad, ac y mae llawer o bennillion y gyfrol hon yn rhai ag y byddai yn hyfryd eu canu yn ein haddoliadau. Mae y "Nodiadau Eglurhaol" a geir yn flaenorol i'r aralleiriadau, yn gyffredin yn dangos astudiaeth ofalus a meddylgar, ac felly yn rhagorol o dda. Y maent yn weiniaid yn unig pan y mae barn yr esboniwr, yn yr awdwr hybarch, yn gildio ei orsedd i ffansi y bardd. Er engraifft, wedi cyfeirio at yr anhawsder ynglŷn â'r hyn a goffeir am asen Balaam, dywed, "Os goddefir i minnau fynegu fy meddwl am y tro rhyfedd hwn, dyma ydyw, mai yr angel oedd yn sefyll gerllaw, ond yn anweledig i Baalam ar y pryd, oedd yn llefaru trwy daflu ei lais yn gyffelyb fel y gwna *ventriloquist*, megys i enau yr asen, gan lefaru yn ei henw hi, fel y gwnaethai hi dan yr amgylchiad pe yn meddu rheswm a dirnadaeth." Yn ein bryd ni nid oes dim anhawsder yn y geiriau y cyfeirir atynt mor fawr ag anhawsder yr eglurhâd hwn. Dyweder mai yr oll sydd i'w ddeall ydyw fod argraff fywiog i'r perwyl a grybwyllir wedi ei chynnyrchu yn meddwl Balaam ei hun, ac nid ydyw y golygiad yn anmhosibl. Neu dyweder fod yr asen, fel y dywedir, wedi llefaru y geiriau, nid ydyw hyny ychwaith yn anmhosibl. Os gallodd y sarph dan ddylanwad Satan lefaru yn Eden, paham nad allasai yr asen, wedi i'r "Arglwydd agor ei safn," lefaru wrth Balaam? ac nid oedd eisieu rhoddi iddi "reswm a dirnadaeth"—canys ni lefarodd ddim uwchlaw yr hyn allasai feddwl fel asen,—ond yn unig y gallu i osod ei syniad mewn geiriau. Os oedd hyny yn angenrheidiol i ateb dyben mawr, nid ydoedd yn sicr yn anmhosibl i'r Arglwydd. Ond mae meddwl am i angel yr Arglwydd ymostwng i chwareu yr ystremp o dafl-leisiad, er mwyn peri i'r dyn feddwl fod yr asen yn siarad âg ef, pan nad ydoedd, yn ddireswm a gwrthun. Drachefn dyma yr eglurhâd a gynnygir ar y gair pwysig, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yn uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau:" "Tybiaf finnau mai eiddigedd at anrhydedd Moses, gwaredwr ac arweinydd Israel, a gynnyrchai y dymuniad ynddo. Rhagwelai y byddai i enw ac anrhydedd Moses barhâu yn y byd trwy yr oesau, a dymunasai yntau gael enw ac anrhydedd cyffelyb." Nid oes dim yn ngeiriau Balaam a allai awgrymu y fath olygiad, ac mae

yn anhawdd peidio meddwl ei fod yn dra annaturiol. Drachefn cawn ganddo olygiad rhy gywrain o lawer ar Esa. xxvi. 19, "Dy feirw a fyddant byw, fel fy nghorff i yr adgyfodant." Wedi cyfeirio at y gwahanol olygiadau ar y rhan olaf o'r adnod, dywed: "Anturia yr ysgrifenydd ddodi yma ei olygiad ef ei hun arno. Golyga mai wrth *fy nghorff i* yr ydym i ddeall corff y prophwyd, yn gyfriniol, fel y gelwir goruchwyliaeth yr hen gyfammod gan yr Apostol Judas yn *gorff Moses*, yn arwyddo yr athrawiaeth a'r grefydd a ddysgodd Moses i'r eglwys dan y cyfammod hwnw; sicrheir yma y byddai i'r hen eglwys hono adgyfodi eto ar wedd newydd dan yr efengyl, megys corff Esaiah, sef ei athrawiaeth ef yn ei brophwydoliaethau, yr hwn a elwir bob amser 'y prophwyd efengylaidd.' Gellid cymhwyso yr ymadrodd heb drais arno at gorff y Gwaredwr," &c. Pa sail sydd i'r dychymyg mai "goruchwyliaeth yr hen gyfammod" a feddyliai Judas wrth *gorff Moses?* Neu pwy o wrandawyr neu ddarllenwyr Esaiah a fuasai yn meddwl mai am ei athrawiaeth y meddyliai pan yn sôn am *ei gorff?* A pha reswm meddwl fod y prophwyd mewn un linell o'i gyfochraeth yn cymeryd ystyr naturiol, ac yn y nesaf un gyfriniol, ac esbonio y cwbl drachefn yn naturiol mewn cyfeiriad at adgyfodiad Crist ac adgyfodiad y saint? Mae y cyfieithiad cyweiriedig yn gwneyd i ffwrdd â'r holl gywreiniad hwn: "Dy feirw a fyddant byw; fy nghyrff a adgyfodant." Yr oedd yn chwith genym hefyd weled fwy nag unwaith odliadau fel *hwynt* a *gynt* gan un ag yr oedd yr hen Gymraeg yn barod i wneuthur dan ei fysedd y miwsig a fynai; a thybiwn nad chwaeth dda ydoedd newid y mesurau mor fynych ag y gwneir, a hyny heb reswm yn y byd yn galw am hyny, mewn amryw o'r cyfansoddiadau hyn. Er engraifft, nid yw aralleiriad Esa. lv. ond un ar ddeg o bennillion, ond ceir y rhai hyny mewn dim llai na phedwar o wahanol fesurau, yr hyn sydd yn tori ar unrhywiaeth y gân, ac i fesur yn tarfu ar ein hyfrydwch wrth ei darllen. Pell iawn a fuasai Esaiah ei hun oddiwrth feddwl am beth felly; ac y mae beirdd da cenedloedd eraill yr un mor bell oddiwrth feddwl yr ennillent ddim wrth newid mewn chwim ofer eu mesurau yn barhâus, fel y mae awdwyr caniadau Cymreig yn ddiweddar yn rhy chwannog i wneyd. Ond nid ydyw y pethau hyn, wedi y cyfan, ond gweddol ddibwys; y mae yr aralleiriadau, fel y dywedasom, yn rhagorol iawn, a diammeu y darllenir hwynt gan lawer gyda hyfrydwch mawr. Dysgwyliwn hefyd y cenir rhai o honynt gydag adeiladaeth a blas yn ein cynnulliadau crefyddol.

*Hen Lofft y Llwynedd. Adgofion o Hanes Ysgol Sabbothol y Methodistiaid Calfinaidd yn Mhlwyf Llanrhaiadr Dyffryn Clwyd, o* 1827 *hyd* 1843, *ynghydag ychydig o Hanes y Personau a fuont yn fwyaf amlwg yn nygiad yr Ysgol ymlaen.* Gan JOHN DAVIES, Salford. *Hefyd Ugain o Bennillion i'r un amcan,* Gan JOHN CLWYD WILLIAMS, Tryddyn.

*Canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol. Papyrau a ddarllenwyd yn Nghynnadledd Ysgolion Sabbothol Methodistiaid Calfinaidd Dyffryn Clwyd, a gynnaliwyd yn Ninbych, Mai* 21, 1885. (Cyhoeddedig yn unol â phenderfyniad Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd.)

*Canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol. Adroddiad Cyflawn o Gynnadledd Ysgolion Sabbothol y Methodistiaid Calfinaidd yn Ngorllewin Meirionydd, a gynnaliwyd yn Nolgellau, dydd Gwener, Mai 22ain,* 1885. Cyhoeddedig yn unol â phenderfyniad Pwyllgor yr Ysgol Sabbothol.

YR ydym yn dysgwyl am ffrwyth bendithiol i'r sylw mawr a dalwyd eleni i Ganmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol yn ein gwlad. Mae y cyntaf o'r llyfrynau uchod yn rhoddi hanes difyr am sefydliad yr Ysgol mewn un o'n hardaloedd. Y mae pethau tebyg i'r hyn a gofnodir am *Hen Lofft y Llwynedd* yn wir am liaws o ystafelloedd cyffelyb, y rhai sydd yn gysegredig i lawer gan adgofion am y gwaith a wnaed

ynddynt yn nghychwyniad yr Ysgol Sabbothol. Na ddiffodded byth o'n hanwyl wlad y brwdfrydedd sanctaidd a wnaeth mewn cynifer o'r fath leoedd, ac yn nghanol anfanteision mawrion, waith mor fendigedig. Da iawn oedd genym gael yn y ddau eraill y Papyrau a ddarllenwyd mewn dwy Gynnadledd bwysig a gynnaliwyd ynglŷn â'r Canmlwyddiant. Y maent yn deilwng iawn o gael eu darllen a'u hystyried y tu allan i gylch y Cynnadleddau y parotowyd hwynt ar eu cyfer. Y mae yn arwydd er daioni fod yn ein plith gynifer o gyfeillion meddylgar a ffyddlawn, a'u calon mor lawn o gariad at yr Ysgol Sabbothol. Y maent yn llawn o frwdfrydedd gwresog y dyddiau gynt; ac eto y mae eu llygaid yn agored i'r pwysigrwydd o fod mantais yn cael ei chymeryd, er gwneuthur yr Ysgol Sul yn fwy effeithiol yn ein gwlad, ar bob cynnydd a wnaed yn y blynyddoedd diweddaf yn y gelfyddyd o addysgiaeth, yn gystal ag ar bob cynlluniau gwerthfawr a brofasant gyda gwaith yr Ysgol Sabbothol mor ffrwythlawn o ddaioni mewn gwledydd eraill. Byth, gyda'r gwaith mawr hwn, na ddyger ymaith ein coron!

*Adgofion am y diweddar Barch. John Williams, Llecheiddior:* wedi ei gasglu gan RICHARD EAMES, Borth, Porthmadog, a'r Parch. HENRY HUGHES, Brynkir, ynghyd a Rhagdraeth gan y Parch. THOMAS OWEN, Porthmadog.

MAE John Williams wedi marw er ys deng mlynedd ar hugain, ac yr oedd yn anffodus na fuasai rhyw ymgais wedi bod cyn hyn i ysgrifenu ychydig o'i hanes. Yr oedd yn ddyn tra nodedig. Nid oedd nemawr gaboliad wedi bod arno trwy ddiwylliad; ond yr oedd yn meddu ar lawer o allu a gwresogrwydd ysbryd; yr oedd ei ddawn ymadrodd yn llithrig a hyfryd, ac nid yn anfynych yn ymgodi i wir hyawdledd; ac yr oedd ei grefyddolrwydd syml ac ange ddoldeb ei zel yn aml yn gwneyd ei eiriau yn nerthoedd. Mae ein cenedl hyd heddyw yn well o'i fywyd a'i lafur. Iawn y gosodwyd Englyn campus Eryron Gwyllt Walia ar wynebddalen y llyfr hwn:—

Llecheiddior, lluchiai addysg -cywirlym
Fel curwlaw a chenllysg;
O'r allor marwor i'n mysg,
Gemau a thân yn gymysg.

Ni fu erioed well desgrifiad, ac eto clywsom Eryron ei hun yn dyweyd nad ydoedd erioed wedi cael cyfleusdra i wrando ar John Williams. Yr ydym yn ddiolchgar i'n cyfaill rhagorol, Richard Eames, am ysgrifenu ei adgofion am dano. Y mae efe yn cofio llawer. O'i ieuenctyd ei hoff bethau ydyw yr efengyl a'i hordinhadau; ac er yn edmygwr gwresog iawn o'r tadau sydd wedi myned i orphwys, y mae eto mewn henaint tirf a phylgryf, a'i galon yn llawn agored i ragoriaethau y dyddiau hyn O ran barn a chwaeth, buasai yn dda genym weled y llyfr wedi ei osod dan well golygiaeth; ond o law Richard Eames, ac fel hanes am John Williams, Llecheiddior, darllenasom ef gyda hyfrydwch, a da genym ei gyflwyno yn garedig iawn i sylw ein darllenwyr. Pris 6c.

ARGRAFFWYD GAN P. M. EVANS AND SON, TREFFYNNON.

# LLYFRAU

## *Cyhoeddedig gan P. M. EVANS & SON, Holywell.*

---

RHESTR-LYFR O AELODAU YSGOLION SABBOTHOL. Y mae y Llyfr hwn yn an-enwadol, ac wedi ei argraffu a'i linellu er cadw cyfrif manwl a threfnus o aelodau yr Ysgolion ; ac y mae y derbyniad croesawgar a roddwyd iddo er ei ymddangosiad yn brawf ei fod yn cyflenwi angen a hir deimlwyd gan Ysgrifenyddion Ysgolion Sabbothol ein gwlad.

Pris llyfr wedi ei rwymo yn gryf, yn cynnwys 100 o du dalenau, ydyw 5s. ; 150, 6s. 6c. ; a 200, 8s. 6c.

---

GEIRLYFR SEINIADOL (NEU GYNANIAETHOL) SAESONEG A CHYMRAEG, ynghyd ag agoriad ar Lythyriaeth yr Iaith Gymraeg, gan y diweddar THOMAS EDWARDS, Ysw. (Caerfallwch). Ail Argraffiad, gydag Ychwanegiadau, gan y diweddar BARCH. D. HUGHES, B.A., Tredegar.

Pris, yn Rhifynau, 16s. 6c. ; Dwy gyfrol, croen llo, 22s. 6c.

---

CANIADAU MAES Y PLWM: sef Gweithiau Barddonol y Diweddar MR. EDWARD JONES, Maes y Plwm. Cynnwysa y Gyfrol Emynau, Carolau, Caneuon ar wahanol destynau, Englynion, Marwnadau, ac Emynau Claddedigaethol.

Pris mewn llian, 2s. 6c.

---

LLYFR HYMNAU YR YSGOL SUL. Yn awr yn barod, Casgliad o Hymnau at wasanaeth yr Ysgol Sul, gan T. LEVI. Pris 2c. mewn amlen.

Bellach gall pob dyn a phlentyn gael yr emyn yn ei law wrth ganu.

Anfoner am danynt at Meistri P. M. EVANS & SON. *Holywell.*

---

YSBRYDOLIAETH Y BIBL: gan y Parch. D. CHARLES DAVIES, M.A., Llundain. CYNNWYSIAD: Natur y Prawf—Ystyr Ysbrydoliaeth—Perthynas Ysbrydoliaeth. 1. A chynnwysiad y Bibl; 2. A chywirdeb ac awdurdod y Bibl; 3. Ag iaith y Bibl.

Pris swllt, mewn amlen.

---

LLYFR RHENTI EISTEDDLEOEDD Wedi ei ddarparu gogfyfer a chadw cyfrif o enwau personau a gymerant Eisteddleoedd, ynghyda'r arian a dderbynir oddiwrth y cyfryw.

---

COFRESTR CLADDEDIGAETHAU *(REGISTER BOOK OF BURIALS).* Llyfr wedi ei barotoi gogyfer a chadw cyfrif cywir o gladdedigaethau.

Y mae ynddo golofnau i ddodi enw y person a gleddir, ei alwedigaeth, ei oedran, y lle y bu farw, dyddiad y gladdedigaeth, pwy a wasanaethodd ar yr achlysur, y fan y claddwyd, rhif y bedd, a sylwadau.

Pris, 8s. 6c., wedi ei rwymo yn gryf.

---

LLYFR RHESTRIAD BEDYDDIADAU, cyfaddas i Eglwysi pob enwad crefyddol. Wrth anfon archebion am dano, dymunir gwybod i ba nifer o Fedyddiadau y dymunir cael y llyfr,—100, 200, 400, 600, &c.

Pris, Llyfr wedi ei rwymo yn gryf, i gynnwys 100 o enwau, 3s. ; a 1s. 6c. am bob 100 vchwanegol.

P. M. EVANS & SON, Treffynnon *(Holywell)*

